At that rate—yn ol y cyfrif hwnw; felly.
At sea—ar y môr. [eangder.
At large—yn rhydd; mewn rhyddid, mewn
To walk at large—rhodio yn rhydd; rhodio mewn eangder.
What would you be at?—beth a fynech ei ddywedyd *neu* ei wneuthur? beth sy'n eich bryd?
Good at a dart—hyfedr ar daflu picell.
To play at billiards—chwareu pelre; pelrëu.
To shoot at a person—saethu at ddyn; saethu dyn.
Barrister at law—dadleuwr cyfreithiol; cynghawsydd, dadleuwr.
To be at law—ymgyfreithio.
To sue at law—cyfreithio; ymgyfreithio.

**Atabal**, *s.* (Ysp.) tabwrdd; tabyrddeu y Mwriaid.
**Ataraxy**, *s.* (Gr. *ataraxia*) tawelwch meddwl; boddlonrwydd, cymmodlonedd, tawelfrydedd.
**Ataxy**, *s.* (Gr. *ataxia*) annhrefn; terfysg; afreoledd.
**Atelene**, *a.* (Gr. *atelês*) anghyflawn; anmherffaith. [digellog.
**Athalamous**, *a.* (Gr. *a* a *thalamos*) anghellog,
**Athamanta**, *s.* (oddi wrth *Athamas*) creigberllys.
**Athanor**, *s.* (Ar. a H. *thanor*) ffyrnais fwyglo, llarffyrnes. [dduwiaeth.
**Atheism**, *s.* (o'r Gr. *atheos*) annuwiaeth, di-
**Atheist**, *s.* (Gr. *atheos*, o *a*, an, a *theos*, Duw) annuwiad, annuw, (*pl.* annuwiaid), annuwydd.
**Atheistic**, } *a.* (o *atheist*) annuwaidd, didduw,
**Atheistical**, } annuw.
**Atheisticalness**, *s.* (o *atheistical*) annuweiddrwydd, annuwdeb.
**Atheize**, † *v. n.* (o'r Gr. *atheos*) annuweiddio, annuwio; llafaru fel annuwiaid.
**Atheologian**, *s.* (Gr. *a* a *theologos*) gwrthdduwinydd, annuwinydd, annwyfydd.
**Atheology**, † *s.* (Gr. *a* a *theologia*)=*Atheism.*
**Atheous**, † *a.* (Gr. *atheos*)=*Atheistical.*
**Atheroma**, *s.* (Gr.) ceulgrangen, llyngranc.
**Atheromatous**, *a.* (o *atheroma*) ceulgrangol, ceulgrangenol, llyngrangol, crangenol.
**Athirst**, *a.* (*a* a *thirst*) sychedig; â syched arno.
To be athirst—sychedu; bod yn sychedig; bod â syched arno.
**Athlete**, *s.* (Gr. *athlêtês*) amdrechwr, ymdrechydd; campwr, rhyswr; codymwr.
**Athletic**, *a.* (Gr. *athlêtês*) amdrechol, campwraidd; cryf, cadarn, pybyr, grymus, gwrol, cadarngryf.
**Athleticism**, *s.* (o *athletic*) amdrechiant; camprysedd; cryfder.
**Athwart**, *prep.* (*a* a *thwart*) ar draws, yn groes, ar groes; croes, traws.
**Athwart**, *ad.* ar draws, ar groes, yn groes; ar gam, ar ŵyr.
**Atilt**, *ad.* (*a* a *tilt*) ar ogwydd; ar annelfa.
**Atimy**, *s.* (Gr. *atimia*) anfri; gwarth, diraddiad.
**Atlantes**, *s. pl.* (Gr.) attegwys, dynattegion, dynwanasau; Atlantwys.
**Atlas**, *s.* (oddi wrth *Atlas*, un o'r Titaniaid; neu Al. *atlas*, math o bali) tudlenas, Atlas= casgliad o dudleni.
**Atmometer**, *s.* (Gr. *atmos* a *metron*) tarthiadyr =offeryn i fesur swmp tarth.
**Atmosphere**, *s.* (Gr. *atmos* a *sphaira*) awyrgylch, amawyr, nwyfre; gwybr, wybr, ewybr, ewybren, wybren.
**Atmospheric**, } *a.* (o *atmosphere*) amawyrol,
**Atmospherical**, } awyrgylchaidd, nwyfreawl; wybrenol, wybrenaidd, gwybrol, wybrig, ewybrenol.
**Atom**, *s.* (Gr. *atomos*; Ll. *atomus*) mymryn, temig, as, ith, gronyn, til, corffilyn: *pl.* mymrynau, temigau, temigion, asau, ithion, gronynau, tilion.
**Atomic**, } *a.* (o *atom*) temigol, mymrynol,
**Atomical**, } ithol, gronynol, asol.
The atomic theory—y ddamcaniaeth demigol, y ddamcaniaeth fymrynol.
The atomic philosophy—yr athroniaeth demigol, yr athroniaeth fymrynol.
**Atomism**, *s.* (o *atom*) temigiaeth, mymryniaeth. [rynwr.
**Atomist**, *s.* (*atom*) temigydd, temigwr, mym-
**Atomize**, *v. a.* (o *atom*) mymrynu, temigo, gronynu.
**Atomology**, *s.* (Gr. *atomos* a *logos*) temigiaeth, mymryniaeth.
**Atomy**, † *s.* (o *atom*)=*Atom.*
**Atone**, *v.* (*at* a *one*) cymmodi, heddychu, dyhuddo, penydio, penydu; gwneuthur iawn, gwneyd cymmod; dadolychu; iawnu, boddloni; cydfod, cytuno; adgymmodi.
Virtue atones for bodily defects—rhinwedd a guddia ddiffygion corfforol.
To atone for—gwneyd cymmod *neu* iawn dros; cymmodi dros.
**Atone**,† *ad.* yn gytun; yn unol; yn nghyd.
**Atonement**, *s.* (o *atone*) iawn; cymmod; penyd, cymrodedd, dadolwch, dyhuddiad; tâl, cyfwerth.
Atonement for a crime—iawn dros fai *neu* gamwedd; cymmod.
**Atoner**, *s.* (o *atone*) cymmodwr; penydiwr, iawnydd; dyhuddwr.
**Atonic**, *a.* (Gr. *atoneô*) gwanhaol, gwanychol, egwanol, dinerthol, anefrais.
**Atony**, *s.* (Gr. *atonia*) egwander, llesgedd, eiddiledd, gwendid, annerth; cyhyrwst.
**Atop**, *ad.* (*a* a *top*) ar y top, ar gopa, ar ben.
**Atrabilarian**, } *a.* (Ll. *atrabilis*) athrist, prudd,
**Atrabilarious**, } pendrist, trist, trymllyd; duegol, pruddglwyfus, pruddinebus.
**Atrabilariousness**, *s.* (o *atrabilarious*) athristedd, pruddineb, pendristedd.
**Atramental**, } *a.* (o'r Ll. *atramentum*) du,
**Atramentous**, } duawg; muchwyol.
**Atramentarious**, *a.* (o'r Ll. *atramentum*) duaidd, muchwyaidd; addas i wneyd muchwy.
**Atriplex**, *s.* (Ll.) llygwyn, eurllys.
**Atrocious**, *a.* (Ll. *atrox*, *trux*) echryslawn, ysgeler, anfad, erchyll; creulawn, ffyrnig; drwg, drygionus, anfadus, esgymun, iwin; treisiol.
**Atrociousness**, *s.* (o *atrocious*) erchylldod, ysgelerder, ysgelerdod, anfadrwydd, echryslondeb, echryslonrwydd, erchylldra.
**Atrocity**, *s.* (Ll. *atrocitas*) ysgelerder, echryslondeb, erchylldod; creulondeb, creulonder, ffyrnigrwydd; anfadrwydd, drygioni.
**Atropa**, *s.* (Gr. *atropos*) codwarth. [faeth.
**Atrophy**, *s.* (Gr. *atrophia*) disborthiant; an-
**Atrous**, *a.* (Ll. *ater*) gorddu, duddu.
**Attach**, *v. a.* (Ff. *attacher*) dàl, gafaelu, gafaelyd; attafaelu, attafaela; glynu, cyssylltu.
To be attached—ymlynu, ymgyssylltu, ymglymu; pleidio, bod o blaid; tueddu; bod yn dueddol; hoffi, ymhoffi, ymserchu; caru; bod yn ddyfal *neu* ddiwyd.
To attach a friend—ennill cyfaill; ennill cariad cyfaill.

**To attach one's self**—ymlynu, glynu, ymgyssylltu, ymglymu; ymröi.

**Attache**, *s.* (Ff.) ymlynwr, dylynydd, ymlyniad.

**Attachment**, *s.* (o *attach*) attafaeliad, gafaeliad; attafael, gafael; ymlyniad, ymglymiad; glyniad; ymlynedd; serch, serchiad, ymserchiad, tuedd, tueddiad, cariad, cysswyn, hoffedd; ffyddlondeb.

Attachment to liberty—rhyddgarwch; ymlyniad wrth ryddid.

Attachment to a party—pleidgarwch; ymlyniad wrth blaid.

Mutual attachment—cydhoffedd, cydhoffiant, cydserch. [gyfaill.

Attachment to a friend—ymlyniad wrth

Illicit attachment—ymlynedd anghyfreithlawn; cysswyn anghyfreithlawn.

Court of attachment—llys attafael.

**Attack**, *v. a.* (Ff. *attaquer;* Ysp. *atacar*) ymosod ar, rhuthro ar, ymgyrchu ar; ymosod, rhuthro, ymgyrchu, gosod, cyrchu; ymosod *neu* gyrchu yn erbyn; ffwyro, rhysgyru, dwyn cyrch, taraw, ymladd, ergyrchu.

To attack one another—ymgyrchu, ymhyrddio; ymosod ar y naill y llall.

**Attack**, *s.* rhuthr, cyrch, ymosodiad, ymgyrch, ergyrch, ymosawd, gosawd, rhysgyr, dyrch; rhysgyriad, rhuthrad, cyrchiad; chwiw; yngyrth, lluchynt.

Attack and onset—dyrch a gosawd; dyrchaf a gosawd.

Mutual attack—ymgyrch, ymosawd, ymosodiad.

First attack—cynosawd, cynymgyrch.

Attack of cold—chwiw o annwyd.

**Attacker**, *s.* (o *attack*) rhuthrwr, ymosodwr, &c.

**Attain**, *v.* (Ff. *atteindre;* Ll. *attingo*) cyrhaedd, cyrhaeddyd, cyrhaeddu; cael, caffael; dyfod i, dyfod hyd, dyfod at, dyfod o hyd i, dyfod hyd at; dylyn; ennill, mwynhau; cael gafael.

To attain to the knowledge of a thing—cael cymmedr ar beth; cyrhaedd *neu* gael gwybodaeth o beth; medru ar *neu* oddiwrth beth.

To perform that which is good, I cannot attain—cwblhau yr hyn sy dda, nid wyf yn medru arno.

I cannot attain unto it—ni fedraf oddi wrthi.

That he may attain everlasting joy and felicity—bod iddo fwynhau llawenydd a dedwyddyd tragwyddol.

A man of understanding shall attain unto wise counsels—y deallgar a ddaw i gynghorion pwyllog.

The pious alone shall attain wisdom—y duwiol yn unig a gânt ddoethineb.

The gentiles have attained to righteousness—y mae y cenedloedd wedi derbyn cyfiawnder.

It is that which I could attain unto—hyny yw yr hyn a allwn ei ddwyn i ben.

Virtue is the ready way to attain a quiet life—ffordd rhinwedd a'th ddwg ar frys i lonyddwch buchedd.

**Attainability**, *s.* (o *attainable*)=*Attainableness.*

**Attainable**, *a.* (o *attain*) cyrhaeddadwy; caffaeladwy, hygael; à ellir ei gyrhaedd.

**Attainableness**, *s.* (o *attainable*) cyrhaeddolrwydd; caffaelogrwydd, hygaeledd.

**Attainder**, *s.* (Ff. *atteindre;* Ll. *attinctus*) anaddfwyniad, anaddfwyniant; lledrywiad; gwarthruddiad, anurddiad.

**Attainment**, *s.* (o *attain*) cyrhaeddiad, caffaeliad, caffawd, cyrhaedd, caffad; dawn, dysg, teithi.

Above attainment—uwch cyrhaedd; uwch law cyrhaedd; tu hwnt *neu* uch law i gyrhaedd; uwch na dawn.

Superior attainment—gorgaffad, gorgaffawd; rhagorddysg, gorddysg.

A man of superior attainments—dyn godidog ei ddoniau; gwr doniog; dyn mawr ei ddawn a'i ddysg; dyn ardderchog ei gyrhaeddiadau; dyn rhagorddysg.

A man of great attainments—dyn aml ei gyrhaeddion; gwr mawr ei gyrhaeddiadau; dyn helaeth ei wybodau; un doniog.

**Attaint**, *v. a.* (Ff. *teindre, teinte;* Ll. *attingo*) anaddfwyno; difwyno, anurddo, gwarthruddo, gwarthnodi; llygru; lledrywio; dyfarnu, euogi.

**Attaint**, *s.* anurddas, gwarthnod, dufan, llwgr; clais; difwyneb.

**Attaintment**, *s.* (o *attaint*) anurddasiad, gwarthnodiad, gwarthruddiad; lledrywiad.

**Attainture**, *s.* (o *attaint*) anurddiad, difwyniad; gwarthrudd, gwarthnod, gwarth, difrïant.

**Attask**, † *v. a.* (o *task*) tasgu; trethu.

**Attemper**, *v. a.* (Ll. *attempero*) tymmeru, ardymmeru; cymmedroli, cyttymmeru; meddalhau; cyfaddasu.

**Attemperance**, † *s.* (o *attemper*) tymmerusrwydd; cymmedroldeb.

**Attemperate**, *a.* (o *attemper*) tymmerus; cymmedrol, cyfaddas.

**Attemperate**, † *v. a.* (o *attemper*)=*Attemper.*

**Attemperment**, *s.* (o *attemper*) tymmeriad, tymmerusiad; cymmedroliad.

**Attempt**, *v. a.* (Ll. *attento;* Ff. *attenter*) cynnyg, anturio, ymgeisio, ceisio, amcanu, llyfasu, ymdrechu, argeisio, argynnyg, ymegnïo, osio; rhoi cais ar; gwneuthur cynnyg, prawf, *neu* ymgais; dargynnyg.

Attempt it—rho gais arno; dyro gynnyg arno; rho gynnyg arno; cynnyg ef.

He attempted her life—efe a amcanodd ddwyn ei bywyd; cynnygodd am ei bywyd; ceisiodd ddwyn ei bywyd.

He attempted it fairly—efe a'i cynnygiodd yn deg; gwnaeth gynnyg teg arno.

**Attempt**, *s.* cynnyg, cais, ymgais; anturiaeth, antur; ymdrech, gosod, llyfas, dargais, dargynnyg, argais; ymgyrch; cyrch; prawf; amcan. [ymgais.

Great attempt—argais, mawrgais, mawr-

Feeble attempt—llesgymgais, llesg ymgais.

Vain attempt—gwag ymgais, gwagymgais.

Slight attempt—lledymgais, lledgais.

Make an attempt upon it—rho gynnyg arno; rho gais arno; dyro gynnyg arno; cynnyg ef.

The attempt was not amiss—nid oedd bai ar y cynnyg; nid oedd dim bai ar y cynnyg.

He made two or three attempts—gwnaeth ddau neu dri gosod *neu* gynnyg.

**Attempter**, *s.* (o *attempt*) cynnygwr, ymgeisiwr, ceisiedydd, ymegnïwr, llyfaswr, anturiwr; profydd; amcanwr; ymgyrchydd.

**Attend**, *v.* (Ll. *attendo;* Ff. *attendre*) gweini; canlyn; canymdöi, hebrwng, cydfyned; dylyn, gweini ar, gweinyddu, gweini i; gofalu; gwrandaw, gwrando, andaw, oiaw, ystyried; heilio; areilio, gwarchod, gwarchadw, gwarched, gwylio; dàl sylw, talu

sylw, rhoi clust, clustymwrando, dâl ar; aros, aros wrth *neu* gyda; dysgwyl; bod yn; bod yn bresennol *neu* wyddfodol.

I will attend upon you with ten thousand men—mi a'ch canymdoaf â myrdd o wŷr; hebryngaf chwi â deng mil o wŷr.

Misery attends the wicked—trueni a erys y drygionus.

Ill luck attend you—anffawd a'ch canlyno; tynged ddrwg a'ch dylyno; anffawd i chwi.

He attends chapel—mae efe yn dylyn y capel; y mae yn arfer bod yn yr addolfa; y mae yn wyddfodol yn y capel; i'r capel y mae yn myned; mae yn arfer myned i'r addolfa.

He attends lectures—y mae efe yn y darlithiau; y mae yn dylyn *neu* ganlyn darlithiau; mae yn gwrandaw darlithiau; y mae e'n arfer bod yn y darlithiau; y mae yn oiaw darlithiau; y mae 'n arfer gwrando y darlithiau.

He diligently attends the worship of God—y mae efe yn dyfal lynu wrth addoliad Duw.

She never attends there—nid yw hi byth yn myned yno; nid yw hi byth yn arfer myned yno; nid yw byth yno.

The like punishment attends you—y mae yr un gosp yn nghadw i chwithau; y mae y gyffelyb gosp yn eich dylyn chwithau; mae yr un gosp yn eich aros chwithau.

Whom the king had appointed to attend upon her—yr hwn a osodasai y brenin i weini iddi *neu* arni; yr hwn a osodasai y brenin i wasanaethu o'i blaen hi.

I will attend you there—mi a'ch dysgwyliaf *neu* arosaf yno; arosaf wrthych yno.

Many misfortunes attend wars — aml aflwydd a ganlyn ryfeloedd; y mae llawer aflwydd yn cydfyned â rhyfeloedd.

To attend one's devotion—cyflawnu gwasanaeth crefyddol; cyflawnu dyledswyddau crefyddol; bod wrth ei ddyhewyd.

To attend to business—gofalu am fasnach, goruchwyliaeth, gorchwyl, *neu* drafnidiaeth; bod yn ddyfal, diwyd, *neu* ddiflin ar orchwyl, *neu* wrth alwad; bod wrth orchwyl; bod mewn goruchwyliaeth; bod yn ofalus am drafnidiaeth *neu* fasnach.

Let us attend to the ministry—byddwn ddyfal yn y weinidogaeth.

Attend to my words—gwrandëwch ar fy ngeiriau; ymwrandëwch â'm geiriau; rhowch glust i'm geiriau; clust-ymwrandëwch â'm geiriau.

Attendance, *s.* (Ff.) gweinyddiad, gwasanaeth, gweinid; gofal, diwydrwydd, dyfalwch, ystigrwydd; ymroddiad, ymroad; gosgordd, gosgorddyd; gosgorddiaid, gosgorddolion, gosgorddwyr; ymgeledd, amgeledd; ystyriaeth, sylw.

A man in attendance—gosgorddwr, dyn gosgordd.

King's attendance—gosgordd brenin.

To give attendance—glynu, ymlynu; ymröi; bod yn ddyfal, astud, *neu* ddiwyd; gweini.

No man gave attendance at the altar—nid oedd neb yn gwasanaethu yr allor.

Attendance at table—heiliad, heilyniaeth.

Give attendance to reading—glŷn wrth ddarllen.

Let us all give attendance to meditation—ymröwn *neu* ymroddwn oll i fyfyrdod.

He died for want of attendance—bu farw o eisieu ymgeledd; bu farw o eisieu *neu* ddiffyg triniaeth.

When Athenobius saw the glory of Simon, and his great attendance, he was astonished—pan welodd Athenobius ogoniant Simon, a'i arlwy mawr, rhyfedd fu ganddo.

Attendant, *a.* (Ff. o'r Ll. *attendo*) dylynol, cydfynedol; yn cydfyned, yn dylyn, yn canlyn, yn cydgerdded; gweinyddol, gweiniol, gweinidol; gosgorddol; yn gweini.

Intemperance with all its attendant evils—anghymmedroldeb a'r holl ddrygau sy'n ei osgordd.

Attendant, *s.* cydymaith, canymdeithydd, canymdöydd, cytteithydd; gweinydd, gweinidog, gwas, adnair; gosgorddwr, dyn gosgordd; ymddibynydd, ymddylynwr.

Female attendant—gweinyddes.

The king and his train of attendants—y brenin a'i osgordd.

He too has a little attendant—y mae iddo *neu* ganddo yntau wesyn; y mae gwesyn iddo yntau.

A disease and its attendants—clefyd a'i bethau cydfynedol; clefyd a'i gydbethau; clefyd a'i ddylynolion *neu* gymdeithion.

Attender, *s.* (o *attend*)=*Attendant.* [40).

Attent, *a.* (Ll. *attentus*)=*Attentive* (2 *Cron.* vi.

Attentates, *s. pl.* (Ll. *attentata*) lluddwysolion.

Attention, *s.* (Ll. *attentio*) ystyriaeth; gwrandawiad, ymwrandawiad, clust-ymwrandawiad; gofal, dyfalwch, dichlynedd; sylw, andawiad; moesgarwch.

To give attention — ymwrandaw; ymwrando, clust-ymwrandaw; dyfal wrandaw; rhoi clust, rhoi gosteg; ystyried; gofalu.

There was none that gave attention—nid oedd neb yn ymwrandaw.

Attention to business—dyfalwch, diwydrwydd, astudrwydd, *neu* astigrwydd mewn gorchwyl *neu* alwedigaeth; ymroddiad i orchwyl; plygiad *neu* ymblygiad at orchwyl, masnach, *neu* drafnidiaeth.

Let me entreat you to read it with favour and attention—byddwch, atolwg, yn ewyllysgar ac yn ddyfal i'w ddarllen; atolwg, byddwch ewyllysgar a dyfal i'w ddarllen.

Attentive, *a.* (o *attent;* Ff. *attentif*) dyfal, gofalus, corth, dichlyn, astud; ystyriol, gwrandawgar, ymwrandawgar, gwrandawus, hyglust; gwyliadwrus.

To be attentive—ystyried, synied; dichlynu; gwylio, dâl sylw; bod yn wrandawgar, dyfal, *neu* ofalus.

Let thy ears be attentive to the voice of my supplications—ystyried dy glustiau wrth lef fy ngweddïau.

Let thy ear be attentive to the prayer of thy servant—bydded dy glust yn gwrandaw ar weddi dy was.

All the people were very attentive to hear him—yr holl bobl oeddent yn glynu wrtho i wrandaw arno.

**Attentive ear is the desire of a wise man**—clust y gwrandawydd yw dymuniad y doeth.
Attentiveness, *s.* (o *attentive*) gwrandawiad, ymwrandawiad; ystyriaeth, ystyriant, ystyrioldeb; gofal, dyfalwch, dichlynrwydd; gwrandawgarwch, hyglustedd, hyglustrwydd; gofalusrwydd.
Attenuant, *a.* (Ll. *attenuans*) teneuol, eiddiliadol: *pl.* teneuolion.
Attenuate, *v. a.* (Ll. *attenuo*) teneuo, teneuoli; eiddilo; manhau, lleihau.
Attenuate, *a.* (Ll. *attenuatus*) teneuedig; eiddiledig; teneu, mân.
Attenuation, *s.* (Ll. *attenuatio*) teneuad, teneuhad; eiddiliad; manhad, lleihad.
Atterate, *v. a.* (Ll. *attero*) treulio, rhuglo, treulio ymaith; treuldyru.
Atteration, *s.* (o *atterate*) treuliad, rhuglad, treuliad ymaith, treuldyriad.
Attest, *v. a.* (Ll. *attestor;* Ff. *attester*) tystio, tystiolaethu; gwirio, ardystio; dwyn tystiolaeth; galw yn dyst; cadarnhau, sicrhau, gorchwirio; tystebu.
Attest, *s.* tystiolaeth, tystiad.
Attestation, *s.* (Ll. *attestatio*) tystiolaeth; tystiad, ardystiad; gorchwiriad, dilysiad, sicrhad; tystebiad.
Attestor, } *s.* (o *attest*) tystiwr, tyst, tystiolaethwr; dilyswr.
Attester, }
Attic, } *a.* (Gr. *Atticos;* Ll. *Atticus*) Attig; coeth, pur, dillyn, destlus, uchawdurol, awdurol, uchadurol; uchaf.
Attical, }
Attic story—crogloffi, nenawr.
Attic faith—ffyddlondeb annhoradwy.
Attic, *s.* crogloffi, nenawr; tlysiaith.
Atticism, *s.* (o *Attic*) Attigiaeth, Atticiaeth, priodwedd Attig.
Atticize, *v.* (o *Attic*) Attigeiddio, Attigio.
Attiguous, † *a.* (Ll. *attiguus*) cyfagos, agos, ger llaw, wng.
Attiguousness, † *s.* (o *attiguous*) agosrwydd, cyfagosrwydd, yngder.
Attinge, *v. a.* (Ll. *attingo*) gogyffwrdd, ysgafn gyffwrdd, gogisio.
Attire, *v. a.* (Norm. *attyrer;* Ff. *atourner*) gwisgo, dilladu; addurno, trwsiadu, trwsio, taclu; harddu *neu* addurno â dillad.
Attire, *s.* gwisg, dillad, trwsiad, diwyg; addurn, harddwisg, addurnwisg; cyrn carw.
Can a bride forget her attire?—a anghofia priodasferch ei harddwisg?
Clothed in rich attire—wedi ei wisgo mewn dillad gwychion; gwisgedig â dillad gwychion.
Attirer, *s.* (o *attire*) gwisgwr, addurnydd, trwsiedydd, harddwisgwr.
Attitle, † *v. a.* (Ll. drosgl, *attitulare*) rhoi hawl, senwi.
Attitude, *s.* (Ff.) ystum, agwedd, gosgedd, dull, safiad.
Attitudinal, *a.* (o *attitude*) ystumiol, gosgeddol, agweddol.
Attollent, *a.* (Ll. *attollens*) cyfodol, cyfodiadol.
Attollent muscle—cyhyr cyfodol; cyfodydd, cyfodor.
Attollent, *s.* cyfodydd, cyfodor.
Attorn, *v. n.* (Ll. *ad* a *torno;* It. *attornare;* Llyd. *turnein, tuiryna*) attröi; trosi; ymdroi o'r naill i'r llall.
Attorney, *s.* (Ll. drosgl, *attornatus*, o *torno;* Norm. *attournon*, o *tour* neu *tourn*, tro, twrn) attyrnai (*pl.* attyrneion), cyfreithiwr; dirprwywr.
Attorney-general—cyfreithiwr y goron; dirprwywr cyffredinol; attyrnai cyffredinol.
Letter of attorney—llythyr attyrnai, llythyr dirprwy, gwarant dirprwywr.
Attorney, † *v. a.* dirprwyo, prwyo.
Attorneyship, *s.* (o *attorney*) attyrneiaeth; dirprwyaeth.
Attornment, *s.* (o *attorn*) trosglwyddiad, trosiad; cydnabyddiad.
Attract, *v. a.* (Ll. *attraho, attractum*) attynu, tynu, tynu at, athynu; denu, hudo, llithio; cyfymgyrchu.
To attract attention—tynu sylw.
Attract, † *s.*=*Attraction*.
Attractability, *s.* (o *attractable*) tynadwyoldeb, attynoldeb, tynolrwydd; hudolrwydd.
Attractable, *a.* (o *attract*) tynadwy, attynadwy athynadwy; denadwy, llithadwy.
Attractile, *a.* (o *attract*) tyniadol, attyniadol.
Attraction, *s.* (o *attract*) attyniad, tyniad, tynedigaeth, tynfa; llithiad, deniad, hudoliaeth, llithiant; cunedd, ymdyniad.
Attraction and gravitation—attyniad a dysgyrchiad.
Attraction of cohesion—attyniad cydlynol; ymlyniad.
Attraction of gravity—attyniad dysgyrchol; dysgyrchiad.
Capillary attraction—attyniad brigerol.
Chemical attraction—attyniad fferyllol, attyniad fferyllaidd; attyniad cystlynol; tyniad detholig.
Centre of attraction—craidd cyrch, craidd [tyniad.
The point of attraction—attynfa, cyrchle.
Attraction of aggregation—attyniad cyfasol, attyniad cyngreol.
Magnetic attraction—tryfaendyniad, attyniad ehedfaen, tyniad yr hedfaen, attyniad y tynfaen; tynwyrth.
Electrical attraction—trydandyniad, attyniad trydanol.
Mutual attraction—cyfymgyrchiad, cyfymgyrch, cyfattyniad.
Attractive, *a.* (o *attract;* Ff. *attractif*) tyniadol, attyniadol, attynol, tynol, tynedigol; hudol, deniadol, denol, hudolaidd, llithiannol, llithiadol, cyfymgyrchol.
Attractiveness, *s.* (o *attractive*) tyniadolrwydd, attynoldeb, tynedigolrwydd; hudoldeb, denoldeb, dengarwch, llithioldeb.
Attractor, *s.* (o *attract*) attynydd, attynor; cuniad; hudolydd, denwr.
Attrahent, (Ll. *attrahens*) ymdynol, atymdynol, attynol.
Attrahent, *s.* ymdynai, attynai.
Attrap, † *v. a.* (Ff. *drap*, brethyn) gwisgo, trwsiadu.
Attrectation, *s.* (Ll. *attrectatio*) mynychlofiad, trafodiad mynych.
Attributable, *a.* (o *attribute*) priodoladwy; gosodadwy, cyfrifadwy.
Attribute, *v. a.* (Ll. *attribuo;* Ff. *attribuer*) priodoli, cyfrif, rhoddi, gosod, bwrw.
To attribute to one's self—cymmeryd iddo ei hun; cymmeryd arno ei hun; priodoli iddo ei hun.
He attributes praise to himself—cymmer glod iddo ei hun.
He attributes his vices to old age—y mae

efe yn bwrw ei feiau ar henaint; i henaint y mae yn priodoli ei feiau.

His own errors he would attribute to another—ei gyfeilornadau ei hun a fynai efe eu cyfrif i arall.

In all this he sinned not, nor attributed folly to God—yn hyn i gyd ni phechodd efe, ac ni roddodd ynfydrwydd yn erbyn Duw.

**Attribute**, *s.* priodoledd, priodoliaeth; aniad; arwydd, nodeb.

**Attribution**, *s.* (Ll. *attributio*) priodoliad, priodoliant; cyfrifiad; canmoliaeth.

**Attributive**, *a.* (o *attribute*) priodolig; ansoddol; perthynol, aniadol; cyfrifol.

**Attributive**, *s.* ansoddeb, aniadair, perthynair: *pl.* ansoddebion, aniadeiriau, aniadolion, priodolion.

**Attrite**, *a.* (Ll. *attritus*) treuliedig, treuliadol; cyffredin.

**Attriteness**, *s.* (o *attrite*) treuliedigrwydd, treuliogrwydd; cyffredinrwydd.

**Attrition**, *s.* (Ll. *attritio*) treuliad, ymdreuliad, rhwbiad, rhuglad; rhagedifeirwch, tristwch yn codi odd ar ofn cosp.

**Attune**, *v. a.* (o *tune*) cyweirio, rhoi mewn cywair, hwylio; cynghordio; perori.

**Atwain**, † *ad.* (o *twain*) yn ddau; ar wahan.

**Atween**, } † *ad.* (o'r S. *tweg, twegen*) rhwng,
**Atwixt**, } yn y canol.

**Atwo**, † *ad.* (o *two*) bob yn ddau, yn ddau.

**Auburn**, *a.* (Ff. *brun*, It. *bruno*, llwyd) gwineu, llwydwineu; gwineuddu.

Auburn hair—gwallt gwineu.

**Auction**, *s.* (Ll. *auctio*) arwerthiant, arwerthiad, gwerthiant cyhoedd.

To sell by auction—arwerthu, cyhoedd werthu.

**Auctionary**, *a.* (Ll. *auctionarius*) arwerthol, arwerthiannol, arwerthiadol.

**Auctioneer**, *s.* (Ll. *auctionarius*) arwerthydd, arwerthwr.

**Auctioneer**, *v. a.* arwerthu, cyhoedd werthu.

**Aucupation**, *s.* (Ll. *aucupatio*) adarwriaeth; adariad.

**Audacious**, *a.* (Ll. *audax;* Ff. *audacieux*) hyf; haerllug, rhyfygus, digywilydd, arfeiddiol; eofn, hy, hyfaidd; dïarswyd, anturiog.

**Audaciousness**, *s.* (o *audacious*)=*Audacity.*

**Audacity**, *s.* (Ll. *audax, audacia*) eonder, eofnder, hyfder; rhyddewredd, hyfeiddrwydd, tradewredd; haerllugrwydd, digywilydd-dra, talgryfder; rhyfyg.

**Audible**, *a.* (Ll. *audibilis*) hyglyw; llafar, soniarus, clywedog, clywadwy, croew; croch, uchel.

**Audibleness**, *s.* (o *audible*) hyglywder, clywedogrwydd, llafarogrwydd, croewder.

**Audience**, *s.* (Ff. o'r Ll. *audio*) clyw, clywedigaeth; clywiant, clywiadaeth; gwrandawiad, gwrandawiant; gosteg; gwrandäwyr, cynnulleidfa; llys.

To give audience—gwrando, rhoi gwrandawiad, rhoi clust.

In the audience of the people of the land—lle y clybu pobl y tir; yn nghlyw pobl y tir; lle y clywai pobl y wlad.

He read the book in the audience of the people—darllenodd y llyfr lle y clywai y bobl; efe a ddarllenodd y llyfr yn nghlyw *neu* glywedigaeth y bobl.

Men of Israel, give audience—gwŷr Israel, gwrandëwch.

All the multitude gave audience to Barnabas and Paul—yr holl luaws a wrandawodd ar Barnabas a Paul.

The king gave audience to the embassadors—caniataodd y brenin wrandawiad i'r cenadau; y brenin a wrandawodd y cenadau; rhoes y brenin wrandawiad i'r cenadogion a'u cenadwri.

Audience chamber—clybodfa, clybodgell, clyw-ystafell.

Audience court—clybodlys, gwrandawle=llys à gynnelir gàn Archesgob Caergaint.

**Audient**, † *s.* (Ll. *audiens*) gwrandäwr, gwrandawydd.

**Audit**, *s.* (Ll. *audit*, clywa, o *audio*) clywiad, prawiad, olrheiniad; prawodfa, prawf cyfrifon.

**Audit**, *v. a.* clywiadu; prawiadu, profi cyfrifon.

To audit accounts—profi cyfrifon, prawiadu cyfrifon.

Audit-house—clybotty, prawiatty.

**Audition**, *s.* (Ll. *auditio*) clywedigaeth, clybodigaeth, clyw.

**Auditive**, *a.* (Ff. *auditif*) clywiadol, clybodig.

**Auditor**, *s.* (Ll.) clywiadur, clywedydd, gwrandäwr; prawiadur; profwr *neu* olygwr cyfrifon.

Auditor of the Exchequer—prawiadur y Sylltty.

Auditor of accounts—prawiadur cyfrifon.

**Auditorship**, *s.* (o *auditor*) prawiaduriaeth, prawiadaeth.

**Auditory**, *s.* (Ll. *auditorium*) clywiadfa, clywiadle, gwrandofa; darlithfa; clybodfainc; gwrandäwyr, clywiant, cynnulleidfa.

**Auditory**, *a.* clywiadol, clybodol.

The auditory nerves—y clybodïau, y clywïau, y gïau clyw: *sing.* clybodïen, gïen glyw, clywïen.

**Auditress**, *s.* (o *auditor*) prawiadures; clywiadures.

**Auf**, *s.* (Is. *alf*) ffwl, ffol, cadafael, symlyn, delff, lleban, drel.

**Auger**, *s.* (Is. *avegaar*) taradr, (*pl.* terydr), tarad, (*pl.* teryd), ebill, trwyddew, trul, rhwmp.

Auger-hole—twll taradr.

**Aught**, *s.* (S. *awiht, aht, ohwit, owiht, oht*) dim, unpeth, unrhyw beth.

For aught I know—er dim à ẁn i; hyd y gẁn i; am à ẁn i; er dim à ẁn; hyd y gẁn.

For aught I care—er dim à'm dawr i; er dim à'm dawr; er dim à ofalaf i; er dim ag wyf yn falio; er dim à doraf.

**Augment**, *v.* (Ll. *augmento;* Ff. *augmenter*) cynnyddu, chwanegu, ychwanegu, mwyhau, amlhau, helaethu, achwanegu, angwanegu, cynnyrchu, mwyadu, dargynnyddu; ymhelaethu, myned yn fwy.

His fortune augments daily—y mae ei olud yn cynnyddu, chwanegu, mwyhau, *neu* ymhelaethu beunydd, *neu* o ddydd bwygilydd; y mae efe yn ymgyfoethogi beunydd *neu* yn feunyddiol.

**Augment**, *s.* (Ll. *augmentum*) cynnydd, chwanegiad; mwyad, rhagfwyad, atfwyad.

Temporal augment—mwyad amserol, oedfwyad; rhagfwyad amserol.

Syllabic augment—mwyad silliadol, sillfwyad; rhagfwyad sillawl.

**Augmentable**, *a.* (o *augment*) chwanegadwy, mwyadwy, helaethadwy.
**Augmentation**, *s.* (o *augment*) cynnyddiad, mwyhad, chwanegiad, mwyad, amlhad, helaethiad, mwyedigaeth, chwanedigaeth, argynnyddiad, atfwyad, cynnydd, dargynnydd, cynnyddiaeth.
Augmentation court—mwyadlys=llys i chwanegu cyllid y goron, yn amser Harri VIII.
**Augmentative**, *a.* (o *augment*) mwyadol, mwyhaol, achwanegol, chwanedigol, dyfwyol, cynnyddol, chwanegiadol, helaethol.
**Augmenter**, *s.* (o *augment*) cynnyddwr, chwanegwr, helaethydd, mwyhäwr, amlhäwr, achwanegydd.
**Augur**, *s.* (Ll.) adarddewin, ednarmesydd; dewin, dewinwr.
**Augur**, *v.* (Ll. *auguro*) ednarmesu, ednarmäu, adargoelio; dewino, dewinio; darogan, arddysgogan, darmain; argoelio, rhagddangos, arwyddoli; rhagarwyddo, rhagfynegu; dysgogan, brudio.
**Augural**, *a.* (Ll. *auguralis*) adarddewinol, ednarmesol; adargoelus; dewinol.
**Augurate**, *v.* (Ll. *auguro*) ednarmesu, adargoelio; dewino; darogan, rhagddarogan.
**Auguration**, *s.* (Ll. *auguratio*) ednarmesiad, adarddewiniad; dewiniad; daroganiad, rhagddarogan.
**Augurial**, *a.* (Ll. *augurius*)=*Augural*.
**Augurize**, † *v. a.* (o *augur*)=*Augur, v.*
**Augurous**, *a.* (o *augur*) daroganol, daroganus; argoelus, rhagargoelus; rhagfynegus.
**Augury**, *s.* (Ll. *augurium*) ednarmes, adargoel; dewiniaeth, armes; darogan, argoel, rhagargoel, rhagarwydd; daroganiad, rhagddaroganiad.
**August**, *s.* (Ll. *Augustus*) Awst=yr 8fed mis.
**August**, *a.* (Ll. *augustus*) mawreddog, mawreddig, mawreddus, mawrydig; ardderchog, urddasol, edmygol, mygr, gwymp, boneddig; breninol.
**Augustness**, *s.* (o *august*) mawredd, mygredd, mawreddogrwydd, mawreddigrwydd, mawreddusdeb, ardderchogrwydd, urddasoldeb, urddasolrwydd; mawrhydi.
**Auk**, *s.* (Ll. *alca;* Al. *alk;* D. *alke*) pengwyn=rhyw o adar dwr.
**Aularian**, *s.* (Ll. *aula*) neuaddwr, neuaddog, neuaddiad: *pl.* neuaddiaid, neuaddwyr, neuaddogion.
**Auletic**, *a.* (Gr. *aulêticos*) pibellig, pibellawl.
**Aulic**, *a.* (Ll. *aulicus*) llysol, breninol.
Aulic council—llys-gynghor; llysraith=y cynghor llys yn yr Almaen.
**Aumail**, † *v. a.* (Ff. *email*) amrywio, amrywioli.
**Aumbry**, *s.*=*Ambry*.
**Aune**, *s.* (Ff. o'r Ll. *ulna*) llathell Ffrengig.
**Aunt**, *s.* (Ll. *amita;* Ff. ac Al. *tante*) modryb; bodo.
Aunt by the father's side—modryb chwaer tad.
Aunt by the mother's side=modryb chwaer mam.
Great aunt by the father's side—modryb chwaer taid.
Great aunt by the mother's side—modryb chwaer nain.
**Aura**, *s.* (Ll.) chwa; tarth, anwedd, mygdarth.
**Auraatium**, *s.* (Ll.) eurafal, eurfal.
**Aurate**, *s.* (Ll. *aurum*) euraint; eurberen.
**Aurated**, *a.* (Ll. *aurum*) euraidd, euraid.
**Aurated**, *a.* (Ll. *auris*) clustenog, clustaidd, clustiog; â chlustiau iddo.
**Aureate**, *a.* (Ll. *aurum*) eurol, euraid, euraidd, eurin, euredig; melynwawr.
**Aurelia**, *s.* (Ll. *aurum*) chwiler, chwileryn, chwileren.
**Aurelian**, *a.* (o *aurelia*) chwilerol, chwileraidd.
**Aureola**, *s.* (Ll. *aurum*) rheigoron, rheiddgoron =cylch o belydron, yn arwyddlun o ogoniant.
**Auric**, *a.* (Ll. *aurum*) eurig.
Auric acid—sur eurig.
**Auricle**, *s.* (Ll. *auricula*) clusten, ysgyfar, godre y glust.
The auricles of the heart—clustenau y galon.
**Auricled**, *a.* (o *auricle*) clustenog; â chlustenau iddo *neu* iddi.
**Auricula**, *s.* (Ll.) clust yr arth.
*Auriculæ Judæ*—clustiau yr ysgaw; clust yr Iuddew=math o ffwng â dyf ar goed ysgaw.
**Auricular**, *a.* (Ll. *auricularis*) clustaidd, clustiol; perthynol i'r glust; traddodiadol; clywol; o ben i ben; dirgel.
Auricular confession--clustgyffes, celgyffes, dirgelgyffes, dirgeladdefiad, clustaddefiad.
To make auricular confession—clustgyffaddef, celgyffesu, clustgyffesu, clustaddef.
Auricular tradition—traddodiad clyw.
Auriculars—clustolion.
**Auriculate**, *a.* (Ll. *auricula*) clustaidd.
**Auriculated**, *a.* (Ll. *auricula*) hirglust, clustfawr.
**Auriferous**, *a.* (Ll. *aurifer*) eurddwyn, eurddygol, eurog.
**Auriform**, *a.* (Ll. *auris* a *forma*) clustaidd, ar wedd clust.
**Auriga**, *s.* (Ll.) y Cerbydwr, y Cerbydydd= cydser rhwng Perseus a'r Gefeilliaid.
**Aurigation**, *s.* (Ll. *aurigatio*) gyriadaeth; afwyniad, awyniad.
**Aurigraphy**, *s.* (Ll. *aurum*, a Gr. *graphô*) eurysgrifiaeth.
**Auripigmentum**, *s.* (Ll.) eurlliw.
**Auriscalp**, *s.* (Ll. *auriscalpium*) clustgrafell.
**Aurist**, *s.* (Ll. *auris*) clustfeddyg.
**Aurocephalous**, *a.* (Ll. *aurum*, a Gr. *cephalê*) peneuraid, peneurog.
**Auroch**, *s.* (Al. *urochs, aürochs*) math o fual, neu ych gwyllt, esgyrn yr hwn a geir mewn graiandir a maranedd.
**Aurora**, *s.* (Ll.) gwawr, y wawr, y wawrddydd; gwenddydd; gwawren: peneuraidd.
Aurora borealis, } y goleuni gogleddol, y
Lumen boreale, } wawr ogleddol; gogleddwawr, gogleddwawl.
**Auroral**, *a.* (o *aurora*) gwawrol, gwawraidd, gwawrain; perthynol i'r gogleddwawl.
**Aurulent**, *a.* (Ll. *aurum*) eurwawr, melynwedd.
**Aurum**, *s.* (Ll.) aur.
**Auscultation**, *s.* (Ll. *auscultatio*) gwrandawiad, clustfeiniad, clustandawiad.
**Auscultatory**, *a.* (o'r Ll. *ausculto*) gwrandawol, andawol, clustandawol, clywiadol.
**Auspicate**, *v. a.* (Ll. *auspicor*) llwyddiannu, ffoduso; rhagddangos; cychwyn, dechreu.
**Auspice**, *s.* (*auspicium*) ednarmes, adargoel; dewiniaeth; argoel; nawdd, nodded; llad, ffawd.
Under the auspices—tàn nodded, nawdd, ymgeledd, amddiffyn, awdurdod, *neu* ddylanwad.

Under the auspices of a general—tàn gyfarwyddiad *neu* gyfarwyddyd cadfridog; dàn dywysiad *neu* nawdd cadfridog.
Auspicious, *a.* (o *auspice*) llwyddiannus, hylwydd, ffyniannus, ffyniannol, ffodiog, tyciannus, dedwydd, ffynadwy, hwylus, lladol; hynaws, tirion; yn argoelio yn dda.
Auspiciousness, *s.* (o *auspicious*) llwyddiant, ffyniant, ffawd, ffodiant, ffynedigrwydd; lladoldeb, rhwydd-deb.
Auster, *s.* (Ll.) gwynt y de, deheuwynt, dewynt.
Austere, *a.* (Ll. *austerus*) gerwin, sarig, tost, llym, caled, cystig, llymdost, chwefrin, garw, agarw, tryn; sur, traws, cuchiog.
An austere master—meistr caled.
Because thou art an austere man—am dy fod yn wr tost.
Austereness, *s.* (o *austere*)=*Austerity*.
Austerity, *s.* (Ll. *austeritas*) gerwindeb, gerwinder, toster, llymder, llymdoster, sarigrwydd; durfingder.
The austerities of a monastic life—gerwinderau buchedd fonachol; gerwindeb bywyd mynachaidd.
Austral, *a.* (Ll. *australis*) deheuol, de, deheu, debarthig, deheubarthig.
Austral lands—tiroedd de; tiroedd deheuol; debarthau, deheudiroedd.
Austral signs—yr arwyddion deheuol, arwyddion y de=yr arwyddion o'r tu de i'r cyhydedd, sef, y Pysg, y Dyfrwr, yr Afr, y Saethydd, y Sarff, a'r Fantol.
Australize, *v. n.* (o *austral*) deheuo, deheuoli; tynu tua'r de.
Austrine, *a.* (Ll. *austrinus*) de, deheuol, deheu, debarthol.
Austromancy, *s.* (Ll. *auster*, a Gr. *manteia*) gwyntarmes=dewiniaeth â'r gwynt.
Authentic, Authentical, } *a.* (Gr. *authenticos;* Ff. *authentique*) awduredig, gwarantedig, profedig; awdurdodedig, dilys, dïammheuol; coeladwy, sicr, credadwy, profadwy.
Authentic and genuine—gwireddol ac anffugiol; credadwy a chynnwynol.
Authenticalness, *s.* (o *authentical*)=*Authenticity*.
Authenticate, *v. a.* (o *authentic*) awdurdodi, awduroli, gwarantu, awdureiddio; dilysu, gorwirio.
Authentication, *s.* (o *authenticate*) awdurdodiad, awduroliad, gwarantiad, dilysiad.
Authenticity, *s.* (o *authentic*) awdurdodaeth, awduroldeb; awdureiddiad; gwiredd, dilysrwydd, sicrwydd, gwireddoldeb.
Authenticness, *s.* (o *authentic*)=*Authenticity*.
Author, *s.* (Ll. *auctor;* Ff. *auteur*) awdur, awdwr; gwneuthurwr, dyfeisydd; achos.
The authors of fables—dychymygwyr chwedlau.
The men of the country, that were authors of that conspiracy—gwŷr y wlad, y rhai oeddent flaenoriaid yn y cydfwriad hwnw.
The first author of mischief—mam y drwg; dychymygydd drygioni.
Female-author—awdures.
Author, † *v. a.* achosi, achlysuro, effeithio, peri, peru.
Authoress, *s.* (o *author*) awdures; gwneuthures.
Authorial, *a.* (o *author*) awduraidd, awdurol.
Authoritative, *a.* (o *authority*) awdurdodol, gwarantol; pendant.
Authoritativeness, *s.* (o *authoritative*) awdurdodoldeb, gwarantoldeb, awdurdodedd.
Authority, *s.* (Ll. *auctoritas*) awdurdod; gallu, gwarant; arwaesaf, tystiolaeth; llywodraeth, rhwysg, rheolaeth, meistrolaeth; crededd; dylanwad; pwys; awduriaeth.
To usurp authority—ymawdurdodi; cymmeryd awdurdod iddo *neu* arno ei hun.
He was in great authority at court—yr oedd efe yn fawr ei rwysg yn y llys; yr oedd efe yn fawr ei allu yn y llys.
He was of great authority with the king—yr oedd efe yn fawr ei allu gyda'r brenin; yr oedd iddo fawr ddylanwad gyda y brenin.
This he did of his own authority—hyn a wnaeth efe o'i ben ei hun.
An eunuch of great authority under Candace—efnuch galluog dàn Candace.
Of classic authority—awduraidd; âg iddo warant awduraidd.
He continued still in authority—efe a arosodd yn ei swydd; arhöes yn ei swydd; parhaodd mewn awdurdod.
To put in authority—awdurdodi, urddo, breinioli, breinio; gosod *neu* roddi mewn awdurdod, swydd, braint, *neu* oruchafiaeth.
To put out of authority—diswyddo, dïawdurdodi, difreinio, difreinioli; dwyn ei awdurdod *neu* swydd oddi ar un.
Of authority—awdurdodol, galluog; cyfrifol.
As for the tower, I yield up my authority over it—am y castell, yr ydwyf yn rhoddi i fyny fy meddiant *neu* awdurdod arno.
They that are in authority—y rhai sy mewn awdurdod; yr awdurdodau; y penaethiaid.
To quote authorities, To cite authorities, } dwyn awdurdod, dwyn awduriaeth; dwyn awduriaeth dros ddadl.
Authorization, *s.* (o *authorize*) awdurdodiad; gwarantrwydd, cefnogiad; cenadiad.
Authorize, *v. a.* (Ff. *autoriser;* Ysp. *autorizar*) awdurdodi, rhoddi awdurdod; cefnogi; cyfreithloni; rhoi cenad.
Authorship, *s.* (o *author*) awduriaeth.
Autobiographical, *a.* (o *autobiography*) hun-gofiannol, ymgofiannol, hunan-gofiannol.
Autobiography, *s.* (Gr. *autos*, a *biography*) hunan-gofiant, ymgofiant, hun-gofiant.
Autocarpous, *a.* (Gr. *autos* a *carpos*) ymffrwythol, amffrwythol.
Autochthons, *s. pl.* (Gr. *autochthones*) cyndrigolion, cynfrodorion, cynnhrigolion: *sing.* cynfrodor, cyndrigwr, cyndrigiannydd.
Autochthonic, *a.* (Gr. *autochthôn*) cynfrodorol, cyndrigol, cyndrigiannol; cynhenid; cynnhrefedig.
Autocrasy, *s.* (Gr. *autocrateia*, o *autos* a *cratos*) unbenaeth, ymbenaeth, unbenigaeth; arbenigaeth.
Autocrat, Autocratical, } *s.* (Gr. *autocratôr*, o *autos* a *cratos*) unben, ymben, unben annibynol, unbenadur, archdeyrn.
Autocratic, Autocratical, } *a.* (Gr. *autos* a *cratos*) unbenol, ymbenol; annibynol, arbenig.
Autocratrix, *s.* (o *autocrater*) unbenes, ymbenes, unbenes annibynol=senw à roddir i Amherodresau Rwssia.
Autogenous, *a.* (Gr. *autos* a *gennaô*) ymgenedlawl, hunan-genedlawl.

**Autograph,** } *s.* (Gr. *autographon*, o *autos* a
**Autography,** } *graphô*) cynysgrif, cynysgrifen, prifysgrif, prifysgrifen, awdurysgrif.
**Autographic,** } *a.* (o *autograph*) cynysgrifol,
**Autographical,** } prifysgrifol, awdurysgrifol.
**Autographal,** }
**Automath,** (Gr. *autos* a *manthanô*) hunanddysgydd, hunanddysgwr, ymddysgwr, ymddysgydd.
**Automatic,** } *a.* (Gr. *automatos*) ymysgogol,
**Automatical,** } ymosgogiadol, hunanysgogol,
**Automatous,** } hunysgogol, hunansymmudol, ymmodyrol; o hono ei hun.
**Automaton,** *pl.* Automatons, Automata, *s.* (Gr.) ymysgogydd, hunanysgogydd, ymysgogiadyr, ymmodydd, ymmodiadyr, ymfynedyr, ymmodyr.
**Autonomasy,** *s.* (Gr. *autos* ac *onoma*) amenwad, lledenw.
**Autonomous,** *a.* (Gr. *autos* a *nomos*) ymlywodraethol, hunanlywiol.
**Autonomy,** *s.* (Gr. *autos* a *nomos*) ymlywodraeth, hunlywodraeth, hunanlywiaeth.
**Autopisty,** *s.* (Gr. *autos* a *pistis*) ymgoeledd, ymgoeledigaeth, gwiwgredEdd tufewnol.
**Autopsy,** *s.* (Gr. *autopsia*) ymolwg, hunanolwg, profweliad, llygadwel.
**Autopsical,** } *a.* (Gr. *autos* ac *optomai*) prof-
**Autoptical,** } weliadol; gweledig â'i lygaid ei hun.
**Autotheism,** *s.* (Gr. *autos* a *theos*) ymdduwiaeth.
**Autumn,** *s.* (Ll. *autumnus*) hydref, yr hydref, elfed, y cynauaf, dyhewydd=Awst, Medi, a Hydref.
**Autumnal,** *a.* (Ll. *autumnalis*) hydrefol, hydrefaidd, elfedol.
  **Autumnal** equinox—alban elfed; cyhydedd yr hydref.
  **Autumnal** signs—arwyddion yr hydref, yr arwyddion hydrefol=y Fantol, y Sarff, a'r Saethydd.
**Autumnal,** *s.* hydreflys, elfedlys, llysieuyn hydref: *pl.* hydrefolion, elfedolion, hydreflysiau.
**Auxesis,** *s.* (Gr.) cynnyddeb; helaethiad.
**Auxiliar,** } *a.* (Ll. *auxiliaris*) cynnorthwyol,
**Auxiliary,** } attegol, cyweithiol, cyfnerthol.
  **Auxiliary** troops—cyfnerthiaid, cannerthiaid, cynnorthwyr, canllofiaid.
  **Auxiliary** muscles—ffrwygyhyrau, cyhyrau cyweithiol.
  **Auxiliary** verbs—perwyddiaid cynnorthwyol; perwyddiaid cyweithiol; peryfiaid cynnorthol; berfau cynnorthwyol.
**Auxiliary,** *s.* cynnorthwr, cynnorthwywr, cynnorthydd, cyfnerthydd, helpwr, cymhorthydd, cyweithydd; cynnorthwy, canllaw, canllofiad: *pl.* cyfnerthiaid, cannerthiaid, canllofiaid, cynnorthwyr, cannorthwyr.
**Auxiliation,** *s.* (o'r Ll. *auxiliatus*) cyweithiad; cymhorth, help, cynnorthwy.
**Avail,** *v.* (Ff. *valoir;* Ll. *valeo*) buddio, buddioli, lleshau, llesoli; tycio; mânu; bod yn fuddiol *neu* lesol; gwneuthur lles; bod o les, budd, *neu* ddefnydd.
  It **avails**—y mae yn fuddiol; e wna les; mae yn llesol.
  It **avails** nothing—diles yw, ofer yw; ni thâl dim, ni fuddia ddim; ni ddichon ddim; nis gall ddim.
  All this **avails** me nothing—nid yw hyn oll yn lleshau i mi; hyn oll nid yw yn buddio dim i mi.
  What did it **avail**?—pa les a wnaeth? beth a dalodd?
  What **availeth** his washing?—pa fudd a geiff efe o'i ymolchiad?
  It will not **avail** him—ni lesha iddo; ofer fydd iddo; ni weryd iddo.
  It **avails** little—ychydig o les a wna; ychydig a dâl; ni fuddia fawr; nid yw o nemawr bwys.
  It **avails** much—mae yn fuddiol iawn; gwna les nid bychan; e lesha lawer; mae yn fater mawr; y mae o bwys mawr; mae yn fuddfawr.
  To **avail** one's self—ymfuddio, ymfuddioli, ymlesoli, ymleshau; cymmeryd budd, lles, *neu* fantais.
  The fervent prayer of the righteous man **availeth** much—llawer a ddichon taer weddi y cyfiawn.
  Artifice will not **avail** the sinner—ni thycia cyfrwysdra i'r pechadur.
**Avail,** *s.* budd, lles, ennill, elw, mantais, mael.
  Labour without economy is of little **avail**—llafur heb gynnildeb ni thycia fawr: llafur heb gynnildeb nid yw o fawr fudd *neu* les.
**Availability,** *s.* (o *available*)=*Availableness.*
**Available,** *a.* (o *avail*) buddiol, llesol, lleshaol; effeithiol; safadwy.
  **Available** land—tir rhyddfael.
**Availableness,** *s.* (o *available*) effeithioldeb, effeithiolrwydd, grym, cadernid.
**Availment,** *s.* (o *avail*) budd, lles, ennill, lleshad; effeithioldeb, nerthineb; defnyddioldeb.
**Avails,** *s. pl.* (o *avail*) daill, cynnyrch, ennillon.
**Avalanche,** } *s.* (Ff.) talpeira; *pl.* talpeiraon=
**Avalange,** } talp mawr o eira yn llithro i lawr o fynydd uchel.
**Avant-Coureur,** *s.* (Ff.) rhagredydd, rhagredegwr; brysgenad.
**Avant-guard,** *s.* (Ff. *avant-garde*) cynnhorf, y fyddin flaen, blaen y gad, y dromgad; y blaeniaid.
**Avant-mure,** *s.* (Ff. *avant-mur*) rhagfur, mur allanol.
**Avarice,** *s.* (Ll. *avaritia*) cybydd-dod, cybyddiaeth, trachwant, gorchwant, crintachrwydd.
**Avaricious,** *a.* (Ll. *avarus;* Ff. *avaricieux*) cybyddol, cybyddlyd, cybyddus, trachwantus, awyddus, gorchwantol; crintach, crinwasaidd; ariangar.
  An **avaricious** man—cybydd, crinwas, mab y crinwas, crintachwr.
**Avariciousness,** *s.* (o *avaricious*)=*Avarice.*
**Avarous,** † *a.* (Ll. *avarus*)=*Avaricious.*
**Avast,** *in.* (Al. *basta, bastant*) aros! dyt! dyd! paid! dâl! gàn bwyll! dâl dy law!
**Avatar,** } *s.* (Sanscrit) ymgnawdoliad duwiau
**Avatara,** } yr Hindwaid.
**Avaunt,** *in.* (C. *i bant*) ymaith! ffwrdd! i bant! dos! heng! ymaith â thi! ffwrdd â thi! wb!
**Ave-Mary,** *s.* (Ll. *ave Maria, Luc* i. 28) Henffych Mair=ffurf o weddi â gyfiwynir i'r Forwyn Fair gàn Babyddion.
  **Ave-Marys** and pater-nosters—Henffych Mair a phaderau.
**Avena,** *s.* (Ll.) ceirch, cerch; ceirchwellt.
**Avenaceous,** *a.* (Ll. *avenaceus*) ceirchaidd, ceirchlyd.
**Avenage,** *s.* (Ff. o'r Ll. *avena*) ceirchdreth, tâl ceirch, ceirchdal.

**Avener,** } **Avenor,** } *s.* (Ll. *avena*) ceirchydd; ebranwr.
**Avenge,** *v. a.* (Ff. *venger;* Ll. *vindico*) dïal, dïalu, dïaleddu.
To avenge one's self, } To be avenged of, } ymddïal, ymddïalu.
Avenge not yourselves—nac ymddïelwch; nac ymddïalwch.
Avenge me of my adversary—dïal fi ar fy ngwrthwynebwr.
He avenged him that was oppressed—efe a ddïalodd gam yr hwn a orthrymid.
Until the people had avenged themselves upon their enemies—nes i'r genedl ddïal ar ei gelynion; nes dïal o'r genedl ar ei gelynion; nes y dïalasai y bobl ar eu gelynion.
**Avengeance,** †*s.* (o *avenge*) cosp, cospedigaeth.
**Avengement,** *s.* (o *avenge*) dïal, dïaledd, dïaliad, ymddïal, ymddïalad, dïalyddiaeth, dïaleddiad.
**Avenger,** *s.* (o *avenge*) dïalydd, dïalwr, ymddïalydd, ymddïalwr, dïaleddwr; cospwr.
Avenger of blood—dïalydd y gwaed.
**Avengeress,** *s.* (o *avenger*) dïalyddes, dïales.
**Avens,** *s.* mabgoll, llysiau fy anwylyd, llys fy anwylyd, bendigeidlys.
Common avens—mabgoll, bendigeidlys, llysiau Benned, mabgoll bendigaid.
Water avens—mabgoll glàn y dwr.
Mountain avens—derig.
**Aventure,** *s.* (Ff.) anhap, marwolaeth ddisyfyd.
**Avenue,** *s.* (Ff.) dyfodfa, cyntedd, cyntor, cynnor; rhodfa, rhodle; gwyddrodfa.
**Aver,** *v. a.* (Ff. *averer;* It. *averare*) gwirio, hòni, sicrhau, dilysu, cadarnhau, gorchwirio, arwirio, haeru.
**Average,** *s.* (Ll. *averagium*) cyfartaledd, cyfartalwch, cymmes, canolrif, canoliant, canoldeb, canolbris, cyfartaliad; llongwobr.
On an average—yn gyfartal, yn ogyfartal; ar gyfartaledd; gyda'u gilydd; â'u cymmeryd gyda'u gilydd.
**Average,** *a.* cyfartal, gogyfartal, cymmesol, canolaidd.
Average number—canolrif, cymmesrif.
Average price of corn—canolbris yr yd.
**Average,** *v.* cyfartalu, gogyfartalu, canoli, canoliannu, cymmesu, talbenu.
**Averment,** *s.* (o *aver*) gwiriad, sicrhad, cadarnhad, dilysiad, arwiriad, gorchwiriad; honiad, haeriad.
**Averruncate,** *v. a.* (Ll. *averrunco*) dadwreiddio, diwreiddio.
**Averruncation,** *s.* (o *averruncate*) dadwreiddiad, diwreiddiad.
**Averruncator,** *s.* (o *averruncate*) ysgythror=math o offeryn ysgythru.
**Aversant,** *a.* (Ll. *averto*) cefnedig; â'i gefn at.
**Aversation,** *s.* (Ll. *aversatio*)=*Aversion.*
**Averse,** *a.* (Ll. *aversus*) gwrthwynebol, gelynol; croes, cas, gwrthnawsol, annhueddol; drygwyllysiol, anfoddog.
He is averse to learning—cas ganddo ddysg; un o'i gasbethau yw dysgeidiaeth; y mae ganddo wrthwyneb at ddysgeidiaeth; nis gall efe aros dysg; mae efe yn erbyn dysgeidiaeth.
**Averseness,** *s.* (o *averse*) gwrthwynebrwydd, croesineb, gwrthnawsedd, casineb; anwyllysgarwch.
**Aversion,** *s.* (Ff. o'r Ll. *averto*) gwrthwyneb, gwrthwynebrwydd; casineb, gwrthnaws, casedd, ffieiddiad; annhuedd, diflasdod, diflasrwydd; anfoddogrwydd; gwrthwynebedd; casbeth; gwrth, gwrthedd.
I have an aversion to him—cas yw genyf fi ef; y mae yn gas genyf fi ef; y mae yn gas genyf am dano.
That thing is my aversion—fy nghasbeth yw hwnw; un o'm casbethau ydyw hwnw.
He has an aversion to me—y mae ganddo gasineb ataf; cas ganddo fi.
He has an aversion to reading—y mae ganddo wrthwyneb at ddarllen; y mae yn wrthwyneb ganddo ddarllen; darllen sydd wrthwynebus ganddo; un o'i gasbethau ydyw darllen.
**Avert,** *v.* (Ll. *averto*) troi oddi wrth; troi heibio, dattröi; cadw draw, troi ymaith; rhagflaenu, rhagodi; eiriach.
**Averter,** *s.* (o *avert*) dattröwr, rhagodydd.
**Aviary,** *s.* (Ll. *aviarum*) adardy, adargell.
**Avidity,** *s.* (Ll. *aviditas*) awydd, gwanc, ainc, gorawydd, gorwanc; awchusrwydd, awyddfryd.
**Avile,**† *v. a.* (Ff. *avilir*) bychanu, iselu.
**Avis,** *pl.* Aves, *s.* (Ll.) aderyn, edn; *pl.* adar, ednod.
**Avise,** } **Aviso,** } † *s.* (Ff. *avis*)=*Advice.*
**Avise,**† *v. n.* (Ff. *aviser*) ystyried, ystyrio, rhoi sylw.
**Avisement,** *s.* (o *avise*)=*Advisement.*
**Avocate,** *v. a.* (Ll. *avoco*) galw ymaith, galw ffwrdd.
**Avocation,** *s.* (Ll. *avocatio*) galwad ymaith, galwad i ffwrdd; galwad, gorchwyl.
**Avocative,**† *a.* (o'r Ll. *avoco*) à eilw ymaith.
**Avoid,** *v.* (Ff. *vuider, vider*) gochel, gochelyd, gwachelyd, gogelyd; gadael, gadaw, ymadael â; ysgöi, gwilio, dïanc, dïengu, dïengyd, dïanc rhag; cilio, ffoi, *neu* droi oddi wrth; ffoi rhag; arlloesi; gwaghau, bod yn wag.
Avoid the house—gadëwch y ty; ymadëwch â'r ty; ewch ymaith o'r ty.
To avoid the sight of one—ymgadw rhag dyfod i olwg un; peidio â dyfod i olwg un.
**Avoidable,** *a.* (o *avoid*) gocheladwy, ysgoadwy; gwagadwy.
**Avoidance,** *s.* (o *avoid*) gocheliad, gwacheliad, gwiliad, ysgoad, ymogeliad; gwaghad, arlloesiad, dyhysbyddiad; dirymiad.
**Avoider,** *s.* (o *avoid*) gochelwr, ymogelydd; dïangwr, gwiliwr; gwaghäwr, arlloesydd.
**Avoidless,** *s.* (*avoid* a *less*) anocheladwy, anysgoadwy, nas gellir ei ochel, *neu* ddïanc rhagddo.
**Avoirdupois,** *s.* (Ff. *avoir du pois*) hirbwys, cywirbwys, pwys cywir=pwysi yn cynnwys 16 unas yn y pwys.
Avoirdupois weight—hirbwysi.
**Avolation,** *s.* (Ll. *avolo*) ffoad, ciliad, dïangiad, hediad ymaith.
**Avouch,** *v. a.* (Norm. *voucher;* Ll. *advoco*) gwirio, gwarantu, dilysu, sicrhau; hòni, haeru; dadgan; amddiffyn, cyfiawnhau; arddelwi; sefyll *neu* ateb dros.
**Avouch,** *s.* tystiolaeth, tystiad; dadganiad.
**Avoucher,** *s.* (o *avouch*) arddelwr, arddelwydd, gwarantwr; gwiriwr, honwr.
**Avouchment,** *s.* (o *avouch*) treithiad, dadganiad; amddiffyniad; gwiriad; arddelwad, ardystiad.

**Avow**, *v. a.* (Ff. *avouer;* Ll. *voveo*) arddelwi; amddiffyn; addef, cyfaddef, cyffesu, dadgan, arddadgan, hòni, ardystio; cydnabod a chyfiawnhau; addef ar gyhoedd.
**Avow**,† *s.* adduned, penderfyniad.
**Avowable**, *a.* (o *avow*) arddelwadwy, arddeladwy; diffynadwy; addefadwy, honadwy.
**Avowal**, *s.* (o *avow*) arddelwad, addefiad, cyffes; ardystiad.
**Avowant**, *s.* (o *avow*) arddelwr, arddelwydd; amddiffynydd, amwynwr.
**Avowee**, *s.* (Ff. *avouer*)=*Advowee.*
**Avower**, *s.* (o *avow*) cyffeswr, addefwr, arddelwr, amddiffynydd; honwr, ardystydd.
**Avowry**, *s.* (o *avow*) attafael, attafaeliad; diffyniad.
**Avowtry**, *s.* (Ff. *avoutrie*)=*Advoutry.*
**Avulsed**, *a.* (Ll. *avulsus*) tynedig, rhwygedig.
**Avulsion**, *s.* (Ll. *avulsio*) tyniad ymaith, rhwygiad, ysgariad.
**Await**, *v. a.* (*a* a *wait;* Ff. *guetter*) dysgwyl, aros; cyfaros, gweitio; edrych *neu* ymaros am *neu* wrth.
**Await**, *s.* cynllwyn, dysgwylfa; dysgwyl.
**Awake**, *v.* (S. *gewæcan, wacian, weccan;* Is. *wekken*) deffröi, deffro, dihuno, dadebru; ymddeffröi, effröi, ymddadebru.
**Awake**, *a.* effro, deffro, yn effro, ar ddihun, ar ddeffro.
  I have lain awake all this night—ni chysgais i amrantun heno.
  Half awake and half asleep—rhwng cwsg ac effro; rhwng cysgu a pheidio; rhwng cysgu a deffro; heb fod nac yn nghwsg nac yn effro.
**Awaken**, *v.* (o *awake*)=*Awake.*
  Awakening discourses—ymadroddion deffröus; pregethau cyffröus.
**Awakener**, *s.* (o *awaken*) dihunwr, deffröwr, deffroadur.
**Awakening**, *s.* (o *awaken*) deffroad, effroad; adfywiad.
**Award**, *v.* (Norm. *garda, agardetz*) dyfarnu, dedfrydu, barnu; penderfynu.
**Award**, *s.* dedfryd, barn; penderfyniad; barn cyflafaredd.
**Awarder**, *s.* (o *award*) dyfarnwr, dyfarnydd, dedfrydwr.
**Aware**, *a.* (S. *gewarian, war*) yn gwybod, yn rhagwybod, yn rhagweled, yn rhagddeall, yn rhagsynied; hysbys; rhagystyriol, gofalus, arwybodus, arwybod; gwyliadwrus, gochelgar.
  Not aware—heb wybod, heb ddysgwyl, heb edrych, heb feddwl, dïarwybod.
  To be aware of—gwybod; bod yn hysbys o; rhagwybod, deall, rhagweled.
  I was not aware of this—nis gwyddom i am hyn; ni wyddwn i oddi wrth hyn; ni feddyliais i am hyn; nis gwyddwn hyn.
  The general was aware of the enemy's designs—gwyddai y cadfridog amcanion y gelyn; yr oedd y cadfridog yn hysbys o fwriadau y gelyn.
  He swallowed it before he was aware—efe a'i llyncodd heb wybod iddo; efe a'i llyncodd heb feddwl *neu* yn ddifeddwl; efe a'i llyncodd cyn gwybod o hono; llyncodd ef yn ddïarwybod iddo.
  Lo, he is here, and I was not aware of him—dyma efe, a minnau heb feddwl am dano.



**Awarn**, *v. a.* (o *warn*) rhybuddio.
**Away**, *ad.* (S. *aweg, onweg*) ymaith, ffwrdd, hwnt, i bant, heng, hwt, i ffwrdd.
  Away with you—ymaith â chwi; ffwrdd â chwi; i bant â chwi; cerddwch a cherddwch yn fuan; ymaith os mynwch.
  Away with him—ymaith âg ef; ffwrdd âg ef.
  To go away—myned ymaith, myned i ffwrdd, myned i bant, myned hwnt, myned i faes, myned i gerdded.
  Go away—dos ymaith; dos i ffwrdd; cerdd i gerdded; cerdd i dy ffordd.
  The new moons and sabbaths I cannot away with—ni allaf oddef y newydd loerau na'r sabbathau; y newydd loerau a'r sabbathau nis gallaf eu goddef (*Esa.* i. 13).
  She never could away with me—nis gallai hi byth fy aros i.
  Have me away—Dygwch fi ymaith (2 *Cron.* xxxv. 23).
  To make away—lladd; dyfetha, dinystrio.
  He made away with himself—lladdodd ei hun.
  To die away—llewygu, masu, llesmeirio; syrthio mewn llewyg *neu* lesmar.
**Awayward**, *ad.* (*away* a *ward*) o'r neilltu, ymaith ar neilltu.
**Awe**, *s.* (D. *ave;* S. *ege, oga*) arswyd, ofn, parchedig ofn, swyd; mygarswyd.
  To stand in awe—ofni, arswydo, dâl adlaw, crynu rhag.
  Stand in awe—ofnwch, arswydwch.
  To be in awe—ofni, arswydo, bod mewn ofn; parchus ofni.
**Awe**, *v. a.* dychrynu, brawychu, arswydo, swydo.
**Aweary**, *a.* (*a* a *weary*) blin, diffygiol.
**Aweather**, *ad.* (*a* a *weather*) tua'r tywydd, tua'r gwynt, at y gwynt.
**Aweigh**, *ad.* (*a* a *weigh*) yn syth; o'r gwaelod.
**Awful**, *a.* (o *awe* a *full*) arswydlawn, arswydol, arswydus, ofnadwy, edmygol; i'w ofni, i'w arswydo; dychrynllyd, echrys, engur, certh, engyrth, enguriol; swydol, swydus.
**Awfulness**, *s.* (o *awful*) arswydoldeb, arswydolrwydd, arswydlonedd, swydoldeb, uthroledd, edmygrwydd, parchusrwydd; uthredd, uthroledd.
**Awhape**,† *v. a.* (C. *chwapio*) taraw, taro; dyrysu; cythruddo.
**Awhile**, *ad.* (*a* a *while*) ennyd, encyd, ysbaid, hawg; am ennyd, am encyd, ychydig amser.
**Awk**,† *a.* (anhysbys) hynod, chwith, lledchwith.
**Awkward**, *a.* (*awk* a *ward*) chwithig, trwsgl, (*f.* trosgl), trwstan; anfedrus, anhylaw, anhyfedr, anneheu; carbwl, echwith, lledchwith, asw, annestlus, annhaclus, bongleraidd.
  Very awkward—trachwithig, gorchwithig, tra thrwstan.
**Awkwardness**, *s.* (o *awkward*) chwithigrwydd, anfedrusrwydd, anneheurwydd, trysgledd, trwstanrwydd, annhaclusrwydd, echwithder, lledchwithrwydd, bonglerwch.
**Awl**, *s.* (S. *æl;* Al. *ahl*) mynawyd.
**Awless**, *a.* (o *awe* a *less*) dïarswyd, dïofn.
**Awlwort**, *s.* (*awl* a *wort*) mynawydlys.
  Water awlwort—mynawydlys dyfrdrig.
**Awm**, **Aum**, *s.* (Is. *aam;* Al. *ahm*) mesur yn yr Isdiroedd yn cynnwys 36 galwyn Seisonig.

**Awn**, *s.* (Sw. *agne*; Gr. *achna, achnē*) còl yd, còl, cola, barf, ydgol.
**Awned**, *a.* (o *awn*) coliog, barfog.
**Awning**, *s.* (Goth. *hulyan*) cysgodfa, gwasgodfa, cysgodlen; diddosgudd.
**Awnless**, *a.* (*awn* a *less*) digol, angholiog, difarf.
**Awny**, *a.* (o *awn*) coliog, colaog, barfog.
**Awork**,† *ad.* (*a* a *work*; S. *geweorcan*) wrth waith, ar waith, ar orchwyl.
**Aworking**, *ad.* (o *a* a *working*) ar waith, ar orchwyl, wrth waith.
**Awry**, *ad.* (*a* a *wry*; D. *vrider*; Sw. *vrida*; S. *writhan*) ar ŵyr, yn agwyr, ar lettraws, yn lledbai, yn lledgam, yn wyrgam, ar oleddf, ar osgo, ar draws, yn drofäus.
  To make awry—gwyrgamu.
  To become awry—agwyro, gwyrgamu, gwyro.
  To go awry—myned ar gam, gwyro.
  To look awry—edrych yn llygattraws; edrych ar ŵyr.
  To turn the mouth awry—mingamu.
  To turn *or* set awry—gwyrdroi, gwyrgamu.
  To tread awry—sengu ar gam, camsengu.
**Axe**, **Ax**, *s.* (S. *æx, eax, æsc*; Al. *axt*; Sw. *yxe*; Ll. *ascia*; Gr. *axinē*) bwyell, (*pl.* bwyeill, bwyelli), cymmynai.
  Battle-axe—cadfwyell, bwyell arf, aerfwyell, bwyell ennilleg, bwyell ddeufin, bwyell ddeupen.
  Broad axe, Working axe, bwyell lydan, bwyell ledan.
  Axe to fell timber, Felling axe, bwyell hir, bwyell gynnud.
  Pick-axe—cyfegydd, bwyellgaib, bwyell gaib.
  Pole-axe—isarn, ffonfwyell.
  Small axe, Little axe, bwyellig, bwyellan.
  A stroke *or* cut with an axe—bwyellawd, cymmynad: *pl.* bwyellodau, bwyellodion, cymmynadau.
  Axe-head—pen bwyell.
  Axe-vetch, Axe-wort, rhonell y wennol.
**Axial**, **Axal**, *a.* (o *axis*) gwerthydol, echelaidd.
**Axiferous**, *a.* (Ll. *axis* a *fero*) echelddwyn.
**Axiform**, *a.* (Ll. *axis* a *forma*) echelaidd, ar ddull echel, goddynaidd.
**Axil**, *s.* (Ll. *axilla*) cesail, breichell; pwll y gesail.
**Axile**, *a.* (Ll. *axis*) echelain, echelin, echelaidd.
**Axillar**, **Axillary**, *a.* (Ll. *axillaris*) ceseilol; perthynol i'r gesail.
  Axillary vein—gwythen yr afu.
  Axillary gem—ceseilem, cilflaguryn.
  Axillary leaves—ceseilddail, cilddail.

**Axinomancy**, *s.* (Gr. *axinē* a *manteia*) bwyellarmes=dewiniaeth â bwyell, yn mhlith yr hynafiaid.
**Axiom**, *s.* (Gr. *axiōma*) gwireb, (*pl. t.* ion), arwireb, arwiredd, direb, gosodiant; egwyddor.
**Axiomatic**, **Axiomatical**, *a.* (Gr. *axiōmaticos*) gwirebol, gwirebus, arwireddol, direbol, arwirol.
**Axiopisty**, *s.* (Gr. *axios* a *pistis*) gwiwgrededd, gwiwgoeledd.
**Axis**, *pl.* Axes, *s.* (Ll.; Gr. *axōn*) echel, gwerthyd, paladr, pegwn, pegwrn, pegor, goddyn, còl.
**Axle**, **Axle-tree**, *s.* (S. *æx*, a *tree*) echel, echel olwyn; gwerthyd.
**Axotomous**, *a.* (Gr. *axōn* a *temnō*) echeldor, echelgroes.
**Axstone**, *s.* (*ax* a *stone*) bwyellfaen.
**Ay**, **Aye**, *ad.* (Al., Is., D., a Sw. *ja*=ia; C. *ïa, ïe*; Cern. *ia*) ïe, ïa; do.
  Ayes and noes—ïau a nagau; ïeod a naod.
**Aye**, *ad.* (S. *aa, a, awa*; Gr. *aei*) yn wastadol, byth, bob amser, yn barhäus, dros byth.
**Ayle**, *s.* (Norm.) taid, tad cu.
  Writ of ayle—teidwyseb.
**Ayry**, *s.* (C. *eryr*)=*Aerie*.
**Azalea**, *s.* (Gr.) eilgorros=rhyw o blanigion.
**Azimuth**, *s.* (Ar. *as-samt*) rhyngoredd=ongl mewn seryddiaeth.
**Azimuthal**, *a.* (o *azimuth*) rhyngoreddol.
**Azote**, *s.* (Gr. *a* a *zōē*) blorai.
**Azotic**, *a.* (o *azote*) bloreiol.
**Azotite**, **Nitrite**, *s.* (o *azote*) blorhalan.
**Azotize**, *v. a.* (o *azote*) bloreio, bloreiddio.
**Azure**, *a.* (Ff. *azur*; C. *asur*; Per. *lazurd*) asur, glasar, llasar, nefliw, balasar, glasoleu, glas, o liw yr awyr.
  Azure-eyed—llygadlas, llygadlasar.
  The goddess, graceful with her azure eyes—y dduwies deg a'i llygaid asur liw.
  Azure-stone—asurfaen, llasarfaen.
**Azure**, *s.* asur, glasar, llasar, nefliw, balasar, glas goleu, golesni, glas.
  Azure of copper—copr-asur, asur copr.
**Azure**, *v. a.* asuro, glasaru, llasaru, glasu.
**Azured**, **Azurn**, *a.* (o *azure*) asur, asurol, glasarol, glasar, glas.
**Azurite**, *s.* (o *azure*) asurfaen, llasarfaen.
**Azygos**, *a.* (Gr. *azugos*) unig, anweddog, gweddw.
**Azyma**, *s.* (Gr. *azuma*) gŵyl y bara croew.
**Azyme**, **Azymus**, † *s.* (Gr. *azumos*) bara croew, bara cri, bara crai.
**Azymites**, *s. pl.* (Gr. *azumos*) Anheplesiaid, Aneplesiaid=Cristionogion â weinyddant y cymun â bara croew.
**Azymous**, *a.* (Gr. *azumos*) croew, cri, crai, diheples, dïeples, anheplesol.

# B.



**Baa**, *v. n.* (o'r sain) bä=brefu fel dafad.
**Baa**, *s.* bä=brefiad dafad.
**Babble**, *v.* (Is. *babbelen;* Ff. *babiller*) baldorddi, bragaldian, baldorfi, bragaldio, clebran, clebarddu, chwaldodi, llolian, llolio, dwndro, ffregodi, gwagsiarad, pepru, dadyrddu.
**Babble**, *s.* baldordd, dwndwr, dadwrdd, clebar, ffregod, ffregawd, llol, ffreg, ffrec, ffiloreg, siaradach, gwagsiarad, pepriad, peprwn.
Mere babble—ffiloreg, llol.
**Babblement**, *s.* (o *babble*)=*Babble.*
**Babbler**, *s.* (o *babble*) baldorddwr, dwndrwr, bragaldiwr, lloliwr, pepryn, llolyn, clebryn, clepai, cloliwr, gwagsiaradydd, siaradwr, siaradur.
What would this babbler say?—beth a fynai y siaradwr hwn ei ddywedyd?
A babbler is no better—nid gwell yw dyn siaradus.
**Babblers**, *s. pl.* ffregodiaid, tresglod hirgoes.
**Babbling**, *p. a.* (o *babble*) dadyrddol, dadyrddus, baldorddus, goddyar; yn godyrddain, yn siffrwd, yn trydar.
The babbling stream—y ffrwd odyrddol; y ffrwd yn trydar *neu* yn godyrddu; godwrdd *neu* drydar y ffrwd.
**Babbling**, *s.* siaradach, gwagsiarad, llol, ffiloreg, clebar, peprwn, lloliad.
Profane and vain babblings—halogedig ofersain.
**Babe**, *s.* (C. *baban;* Gw. *baban*, *bab;* Gael. *bab;* Syr. *babia*) maban, baban; plentyn, dyn bach, un bach.
**Babel**, *s.* (H. Gen. xi. 9) cymmysgedd, annhrefn, dyfysgi.
**Babery**, *s.* (o *babe*) tegan, tegan plentyn, ffril.
**Babish**, *a.* (o *babe*) mabanaidd, babanaidd, plentynaidd.
**Baboon**, *s.* (Ff. *babouin*) cïab, cïepa=math o epa mawr.
**Baby**, *s.* (o *babe*)=*Babe.*
**Baby**, *a.* mabanaidd, babanaidd, plentynaidd.
Baby things—cadachau, dillad dyn bach, dillad magu.
**Baby**, *v. a.* mabanu, babanu; twyllo.
**Babyhood**, **Babyship**, } *s.* (o *baby*) mabandod, babandod; plentyndod, mabdod.
**Babyish**, *a.* (o *baby*) mabanaidd, babanaidd, plentynaidd.
**Bac**, **Back**, } *s.* (Is. *bac*) twrnel, twrnel breci; oeriadyr; ysgraff, ceubal.
**Bacca**, *s.* (Ll.) grawn; aeronen, aeren, baconyn: *pl.* grawn, aeron, magon, bacon, rhyfion.
**Baccalaureate**, *s.* (Ll. *baccalaureatus*) mabradd, mabraddiaeth, bagloriaeth.
**Baccate**, *a.* (Ll. *baccatus*) aeronog, aeronol, magonol, eirinog, baconog.
**Baccated**, *a.* (Ll. *baccatus*) gemog, myrieridog, addurnedig â gemau; llawn o aeron.



**Bacchanal**, **Bacchanalian**, } *s.* (o *Bacchus* neu *Bacchos*, duw y gwin) meddwyn, gloddestwr, wttreswr, glwth, oferddyn.
**Bacchanal**, **Bacchanalian**, } *a.* gloddestol, wttresol, wttresgar, cyfeddwog; trystfawr.
**Bacchanals**, *s. pl.* (Ll. *bacchanalia*) gwleddoedd *neu* ŵyliau Bacchus; gloddestwyliau, wttreswyliau, llerthwyliau, gwinwleddoedd, glosddestau; Bacchanolion: *sing.* gloddestwyl, wttreswyl, llerthwyl, wttres, cyfeddach, gloddest.
**Bacchant**, *s.* (Ff. o *Bacchus*)=*Bacchanalian.*
**Bacchic**, *a.* (Ll. *Bacchicus*, o *Bacchus*) perthynol i Bacchus; meddw, brwysgl, cyfeddwog; llonwych, gorawenus, hoenus.
**Bacchius**, *s.* (Gr. *baccheios*) corfan o un sill fer a dwy hir.
**Bacciferous**, *a.* (Ll. *baccifer*) aeronog, eirinog, baconog.
**Baccivorous**, *a.* (Ll. *bacca* a *voro*) grawnysol, aeronysol; yn bwyta grawn *neu* aeron.
**Bachelor**, *s.* (Ff. *bachelier;* Ll. *baccalaureus*) anweddog; mebydd; gwyryf, (*c. g.*) gwerydd, gwyrydd; mab ieuanc, gwr ieuanc, mab anweddog; baglor, (*pl. t.* ion, iaid).
Bachelor of Arts—Mebydd y Celfau, Mebydd y Celfyddydau; Baglor y Celfau; Gwyryf y Celfau; Baglor y Celfyddydau; Baglor Celfyddydau; Gwyryf yn y Celfyddydau.
Bachelor of Laws—Mebydd y Cyfreithiau; Baglor Cyfreithiau.
Bachelor of Civil Law—Mebydd y Gyfraith Wladol; Baglor Cyfraith Lëyg.
Bachelor of Divinity—Mebydd Dwyfyddiaeth; Baglor Duwinyddiaeth; Gwyryf Dwyfyddiaeth.
Bachelor of Medicine—Mebydd Meddygiaeth; Baglor Meddyginiaeth.
Bachelor's degree—mabradd.
The degree of bachelor of arts—mabradd y celfau; mabradd yn y celfyddydau; mabradd y celfyddydau.
An old bachelor—hen lanc, henfab, henfab gweddw.
Bachelor's button—lluglys ysgar, llys yr ychain, blodeuyn rhudd.
Knight bachelor—marchog febydd.
**Bachelorship**, *s.* (o *bachelor*) mabradd; mebyddiaeth, mabraddiaeth, bagloriaeth; anweddogaeth, annyweddïaeth.
**Back**, *s.* (S. *bac*, *bæc;* Sw. *bak;* D. *bag*) cefn; trum; cil; gwegil.
Behind the back—trach y cefn; tu ol i'r cefn.
Back of the hand—cefn y llaw.
Back of a sword—cil cleddyf.
Back edge—adfin.
To turn the back—cefnu, troi cefn.

Back part—cefnran; tu cefn, y tu cefn, y tu ol.
Back to back—cefn-gefn, cefn yn nghefn.
Back part of the skull—gwegil; cnwc y gwegil, pillgorn y gwegil.
Back part of an axe—gwegil bwyell.

**Back**, *ad.* yn ol, yn ei ol, yn ei wrthol; gwrth; trachefn.
I stepped back—aethym gam yn ol; mi a aethym gam i'm gwrthol; rhoddais *neu* rhoais adlam; ciliais yn ol, i'm gwrthol, *neu* yn fy ngwrthol.
They went back—hwy a aethant i'w gwrthol; aethant yn eu gwrthol; aethant yn ol.
He went back with her—dychwelodd gyda hi.
To keep back—cadw yn ol, attal.
To give back—adferu, edfryd, rhoi yn ol.
To pay back—ad-dalu, talu yn ol, talu y pwyth, talu adref.

**Back**, *v.* cefnogi, attegu; cynnal, bod yn gefn i; cilio, myned yn ol; eilio; esgyn, esgyn i gefn, myned ar gefn; gyru yn ol; cefnu; dàl.

**Backbite**, *v. a.* (*back* a *bite*) absenu, athrodi, enllibo, goganu, hortio, cablu.
A backbiting tongue—tafod athrodgar, tafod deuddyblyg, tafod enllibus.

**Backbiter**, *s.* (o *backbite*) absenwr, athrodwr, enllibwr, hortiwr, goganydd, dyn enllibus.

**Backbiting**, *s.* (o *backbite*) athrod, athrawd, absen, gogan, drwg absen, anair, drygair, enllib, hort, cabl.

**Backbone**, *s.* (*back* a *bone*) asgwrn cefn, glain cefn, asgwrn y cefn.

**Backcarry**, *s.* (*back* a *carry*) beichddwyn, baich.

**Backdoor**, *s.* (*back* a *door*) drws cefn; drws dirgel.

**Backed**, *a.* cefnog; â chefn ganddo, âg iddo gefn: arferedig mewn cyfansoddiad.
Broad-backed—cefnlydan.
Hump-backed—cefn-grwm, ysgwyddgam.
Hunch-backed—cefn-grwba, cefnhwrwg.
Crook-backed—cefn-grwca, crwca.
Broken-backed—cefndwn.
Saddle-backed—cefnbant.

**Backer**, *s.* (o *back*) cefnlech.

**Backfriend**, *s.* (*back* a *friend*) cyfaill gau, cuddelyn, gelyn dirgel.

**Backgammon**, *s.* (C. *bachgammawn*, o *bach* a *cammawn*, brwydr) bachgammawn, bachgammon, chwareu tawlbwrdd.

**Background**, *s.* (*back* a *ground*) y tu cefn, y tir cefn; dinodedd, cudd.

**Backhanded**, *a.* (o *back* a *hand*) â chefn y llaw.
A backhanded blow—ergyd cefn llaw.

**Backhouse**, *s.* (o *back* a *house*) ty cefn, cefndy.

**Backpainting**, *s.* (o *back* a *paint*) cefnarliwiaeth.

**Backpiece**, *s.* (*back* a *piece*) } cefnial, cefn-
**Backplate**, *s.* (*back* a *plate*) } ffestin.

**Backroom**, *s.* (*back* a *room*) olgell, cefnystafell, olystafell, ystafell gefn.

**Backs**, *s. pl.* cefnau=y crwyn tewaf a goreu.

**Backset**, *a.* (*back* a *set*) â olosodwyd, â osodwyd yn ol.

**Backside**, *s.* (*back* a *side*) cefn, gwrthwyneb; tu ol, pen ol, rhefr, llafr, y cyfeistedd; buarth.

**Backslide**, *v. n.* (*back* a *slide*) gwrthgilio, llithro, adlithro, cilio ymaith, syrthio ymaith, ymadael, ymlithro, encilio, gwrthlithro.

**Backslider**, *s.* (o *backslide*) gwrthgiliwr, gwrthgiliedydd, enciliwr, adlithrwr.

**Backsliding**, *s.* (o *backslide*) gwrthgiliad, gwrthlithrad, adlithrad, enciliad, ymadawiad, encil, gwrthgwymp.

**Backslidingness**, *s.* (o *backsliding*) gwrthgiliogrwydd, enciliadaeth.

**Backstaff**, *s.* (o *back* a *staff*) onglyr, ongliadyr.

**Backstairs**, *s. pl.* (*back* a *stairs*) olrisiau, cefnrisiau; llwybr dirgel.

**Backstays**, *s. pl.* (*back* a *stay*) olddalion, olraffau.

**Backsword**, *s.* (*back* a *sword*) cledd unfin.

**Backward**, } *ad.* (*back* a *ward*) yn ol, yn y
**Backwards**, } gwrthol; yn ŵysg y cefn, yn llwrw cefn; yn y gwrthwyneb; yn ei ol; yn ei hol; i'w wrthol, i'w gwrthol; i'w ol; i'w hol.
Backwards and forwards—yn ol ac yn mlaen; yn ol a gwrthol; yn ol ac yn ngwrthol.
They went backwards—aethant yn ŵysg eu cefn; cerddasant yn ŵysg eu cefnau; aethant yn llwrw eu cefn.

**Backward**, *a.* anfoddog, anwyllysgar, anewyllysgar, hwyrfrydig, anmharod; dihontus, annhueddol, dïog, musgrell, hwyrdrwm, swrth, llaes, araf, annybeu; hurt, diflas; hwyr, diweddar; pell yn ol; yn ol.
A backward learner—dysgwr hwyrdrwm, dysgydd hwyrfrydig.
Backward fruits—ffrwythau diweddar.
The season is backward—y mae y tymmor yn ddiweddar; y mae y tymmor yn mhell yn ol.

**Backwardness**, *s.* (o *backward*) anfoddogrwydd, anwyllysgarwch, anewyllysgarwch, anmharodrwydd, annhuedd; hwyrder, hwyrfrydigrwydd, musgrellni, syrthni, hwyrdrymedd; annybendod; diflasdod; diweddarwch; gwrthwynebrwydd.

**Backwoodsman**, *s.* (*back*, *wood*, a *man*) olgoedwr, cefngoedwr: *pl.* olgoedwys.

**Backworm**, *s.* (*back* a *worm*) arenbryf.

**Bacon**, *s.* (C. *bacwn;* Gw. *bogun;* Al. *bache*, gwyddhwch) bacwn, mehin; cig moch.
Flitch of bacon—hannerob, ystlys o facwn, ystlys o gig moch, hannereg o facwn.
Gammon of bacon—angell o facwn, angell hwch, cnuch mochyn, morddwyd o gig moch.
To save one's bacon—dïanc yn ddïen; dïanc yn ddïanaf *neu* ddïasgen; dïengyd yn groen-gyfan; ymgadw rhag niwed *neu* golled.

**Bacule**, *s.* (Ff. *bascule*) porthog.

**Baculometry**, *s.* (Ll. *baculus*, a Gr. *metron*) ffonfesureg, ffonfesuriaeth.

**Bad**, *a.* (Per. *bad*, drwg?) drwg, drygionus; niweidiol; claf, anhwylus, sal; salw, gwael; anfad.
Equally bad, } cynddrwg, mòr ddrwg, dryc-
As bad, } ed, càn ddryced.
He is as bad as ever—y mae efe cynddrwg ag erioed.
Completely bad—llwyrddrwg, llwyr ddrwg, hollol ddrwg.
Bad times—amseroedd drwg, amseroedd adfydig.
Bad man—drygddyn, dyn drwg.
Bad weather—dryghin, hin ddrwg, tywydd garw, dihinedd.

**Badge**, *s.* (anhysbys) arwydd, nod, amlygyn, nodeb.
**Badge**, *v. a.* arwyddo, arwyddnodi, nodi, nodebu.
**Badgeless**, *a.* (*badge* a *less*) dïarwydd, dinod.
**Badger**, *s.* (S. *bygan*, *bycgan*, prynu) edwicwr, ydelwadwr, ydelwedydd.
**Badger**, *s.* (anhysbys) daiarfochyn, (*pl.* daiarfoch, *f.* daiarhwch), broch, pryf llwyd, pryf penfrith, byrhwch, gwilfrai.
Badgers' skins—crwyn daiarfoch.
**Badinage**, *s.* (Ff.) nwyfymadrodd.
**Badness**, *s.* (o *bad*) drygioni, drygedd; drwg; bai, anhwyldeb, salwedd, gwaeledd.
Badness of weather—dryghinedd, gerwindeb tywydd, garwedd hin.
Badness of roads—gwaelder ffyrdd, dryggedd ffyrdd, gerwindeb ffyrdd.
**Baffle**, *v.* (Ff. *beffler*) trechu, gorchfygu, maeddu; somi, seithugio, twyllo; gochelyd; dyrysu; hudo.
He baffled the enemy's designs—diddymodd *neu* seithugiodd amcanion y gelyn.
**Baffle**, *s.* trechiad, gorchfygiad, som, somiad, maeddiad, seithugiad; twyll.
**Baffler**, *s.* (o *baffle*) trechydd, trechwr, gorchfygwr, somwr, maeddwr, twyllwr, seithugiwr.
**Bafflingness**, *s.* (o *baffle*) trechogrwydd; seithugrwydd, somusrwydd.
**Bag**, *s.* (Norm. *bage*) cod, cwd, ffetan; ysgrepan, coden; cydaid, codaid.
A small *or* little bag—cydan, coden, codan.
Bag-bearer—gwr y god.
Letter-bag—llythyrgod.
Saddle-bag—marchgod, sadellgod.
Carpet-bag—teithgod, teithgydan; ysgrepan.
Work-bag—cetog glytio, cotog glytio.
Leathern bag—bolgan groen, bwlgan groen, cod ledr.
He hath taken a bag of money with him—efe a gymmerth godaid o arian yn ei law; cymmerodd godaid o arian gydag ef.
Bag-ful—codaid, cydaid.
Bag and baggage—cod a chelfi.
**Bag**, *v.* cydu, ffetanu, rhoi mewn cwd; ymgrynöi yn gwd, ymgydu, ymchwyddo.
**Bagatelle**, *s.* (It. *bagatella*; Ff. ac Ysp. *bagatela*) ffril, ffiloreg, anoberi, tegan; mebilion.
Bagatelle board—bwrdd mebilion.
**Baggage**, *s.* (Ff. *bagage*) llugelfi, clud, llubethau; dodrefn a chyfreidiau byddin.
To march away bag and baggage—cychwyn god a chelfi; cargychwyn.
**Baggage**, *s.* (Ff. *bagasse*; It. *bagascia*) dyhiren, huran, huren, dyhirog, (*pl. t.* od), puten.
The dirty baggage—y sopen front, yr huren front, y sogan front, y fwyglen fudr.
**Bagging**, *s.* (o *bag*) defnydd cydau; codlïan.
**Bagnio**, *s.* (It. *bagno*; Ff. *bain*) baddon, ymolchdy, ymdrochfa, twymdy; trythyllfa, trythyllfa, puteindy.
**Bagpipe**, *s.* (*bag* a *pipe*) codbib, pib god; *pl.* codbibau, pibau cod=offeryn cerdd, arferedig yn benaf yn yr Alban ac Iwerddon.
**Bagpiper**, *s.* (*bag* a *piper*) codbibydd, pibydd cod.
**Bagreef**, *s.* (*bag* a *reef*) codhwylen.
**Baguet**, *s.* (Ff. *baguette*) colofrwyan, amadduruen.
**Baigne**,† *v. a.* (Ff. *baigner*) trochi, gwlychu.
**Bail**, *v. a.* (Ff. *bailler*) meichio, mechnïo; ymwystlo dros, ymrwymo dros, myned yn feichiai dros, arfeichio; nwyddachredu, ymddiried.
**Bail**, *s.* mach, mechnïwr, meichiai, (*pl.* meichiau), mechnïydd; mechnïaeth, mechni; coes *neu* glust llestr.
Bail for the appearance of a person—mach gorfodog, mach ar gyfraith.
Bail for debt, / Bail for money, } mach cynnogn, mach dyled, mach talu.
Joint bail—cydfechnïaeth, cydfechni.
To exonerate bail—dadfechnïo, dadfeichio.
The act of exonerating bail—dadfechnïad.
Forfeit of bail—tormach.
**Bailable**, *a.* (o *bail*) mechnïadwy, meichiadwy.
**Bailbond**, *s.* (*bail* a *bond*) machrwymeb, mechrwymeb, machrwym.
**Bailee**, *s.* (o *bail*) nwyddachretai, achretai.
**Bailer**, / **Bailor**, } *s.* (o *bail*) nwyddachretor, achretor.
**Bailiff**, *s.* (Ff. *bailli*; Llyd. *belly*) ceisbwl, ceisiad; gwysor, gwysiwr, maer y biswal, beili, bygant; maenorydd, cantrefwr; maer.
Bailiff of a hundred—cantrefwr, cantrefog.
Farm bailiff—meirionwr, maeronwr, maeronydd.
**Bailiwick**, *s.* (Ff. *bailli*, a S. *wic*) maerdref, cantref, cwmmwd, cantrefwriaeth.
**Bailment**, *s.* (o *bail*) nwyddachred.
**Bailpiece**, *s.* (*bail* a *piece*) mechleinell, machlain.
**Bairn**, / **Barn**, } *s.* (S. *bearn*; Ysg. *bairn*) plentyn, maban, baban.
**Bait**, *s.* (C. *abwyd*, *bwyd*; Gw. *abadh*; S. *bete*) abwyd; ebran; byrbryd; hud, llith, llithiad, deniad, hudiad.
**Bait**, *v.* abwydo, rhoi abwyd; ebranu, byrbrydio, adborthi; aros i fwyta; hudo, llithio, denu.
To bait horses—ebranu meirch; coethi meirch.
**Bait**, *v.* (Goth. *beitan*) eirthio, dygyfarth, annos, baeddu; gosod *neu* ollwng cŵn ar; cythruddo; ymosod ar; ysgwyd adenydd, hofio, hofian.
**Bait**, *s.* yr abwyd gwŷn=pysgodyn bychan â geir yn y Tafwys.
**Baiting**, *s.* (o *bait*) annosiad, ymosodiad, eirthiad, cyfarthfa.
**Baize**, *s.* (Per. *pozah*; Ysp. *bausan*) baias, brethyn cedenog.
**Bake**, *v.* (S. *bacan*; Al. *backen*) pobi, crasu; armerth.
To bake bread—crasu bara, pobi bara.
To bake bricks—crasu priddfeini.
Baking board—clawr bara, clawr pobi.
Baking day—dïwrnod pobi, dydd pobi, dïwrnod armerth.
Easy to be baked—hybob, hawdd ei bobi.
Baked meats—bwydydd pobedig; bwydydd o waith pobydd, pobedigion.
Baking woman—pobyddes, poburies.
**Bakehouse**, *s.* (*bake a house*) pobdy, crasdy, ffyrndy.
**Bakemeats**, *s. pl.* (*bake* a *meat*) bwydydd pobedig, bwydydd pob; pobedigion.
**Baker**, *s.* (o *bake*) pobydd, pobwr, tylinwr, pobur: *f.* pobyddes, poburies.
Baker's trough—cafn tylino, toeseg.
Baker-foot—troed traws, troed gwyrgam.
Baker-legged—coesgam, bergam, bongam; â'i liniau yn nghyd â'i draed ar led.

Baker's trade—pobyddiaeth.
**Bakery**, *s.* (o *baker*) pobyddiaeth, poburiaeth; pobdy.
**Baking**, *s.* (o *bake*) pobiad, poblwyth; crasiad.
The art of baking—pobyddiaeth.
**Bakestone**, *s.* (*bake* a *stone*) greidell, cradell, craslech, llech bobi, llech grasu.
**Balance**, *s.* (Ff.; Ll. *bilanx*) clorian, mantol, tafal, taflan; cydbwysedd, cyfartaledd, cydbwys; gwastad; gorbwys; gorbwysedd; diffyg, gweddill.
Sign of the Balance—arwydd y Fantol, y Fantol.
Hydrostatic balance—clorian awsafol.
Spring balance—twythfantol, twythdafal.
To strike a balance—cynnogni.
**Balance**, *v.* mantoli, clorianu, taflo, cydbwyso; cyfartalu, pwyso; cynnogni, gwastadhau, cydfantoli, cyfantoli, cyttaflo; petruso, cloffi rhwng dau feddwl.
To balance accounts—mantoli cyfrifon; cydfantoli, cyfartalu, *neu* gynnogni cyfrifon.
The expenses balance the receipts—y mae y draul yn fwy na'r derbyniadau; mae y draul yn mantoli y derbynion.
**Balancer**, *s.* (o *balance*) mantolwr, mantolydd, clorianwr; cydbwysydd, cynnognwr.
**Balancing**, *s.* (o *balance*) mantoliad, cydbwysiad, cyfartaliad, cynnogniad.
**Balcony**, *s.* (Ff. ac Ysp. *balcon*; It. *balcone*) balcawd, balcon, murdalffen=rhodfa egored o'r tu allan i furiau tai.
**Bald**, *a.* (Ysp. *baldio*; C. *bàl*) moel, penfoel, gwalltgoll; diwallt, diflew, noeth; gwael, annhlws; difarf.
To make bald—moeli; ginio, hifio.
Bald before—arfoel, iadfoel, talfoel, rhagfoel.
Bald crown—corynfoel; â choryn moel ganddo.
To grow bald, / To become bald, } moeli, arfoeli; myned yn foel.
To make one's self bald—ymfoeli.
Men shall not make themselves bald for them—nid ymfoelir drostynt.
Go up, thou bald head—dos i fyny, moelyn; dos i fyny, y moelyn.
Bald ones—moelion.
Bald buzzard—bod tinwyn, bod y gwerni, bwncath y wern.
Bald eagle—eryr moel.
**Balderdash**, *s.* (C. *baldordd, baldorddus*) baldordd, ffregawd, clebar, ffiloreg, lol; dyfysgi.
**Balderdash**, *v.* cymmysgu *neu* waethygu gwirod.
**Bald-head**, *s.* moelyn, moelcen; pen moel.
**Bald-money**, *s.* ffenigl Elen Lueddog, amranwen Elen Lueddog.
**Baldness**, *s.* (o *bald*) moeledd, moelder, moelni, moeldra, penfoelni, arfoeledd, arfoelni; gwaelder, gwaeledd; annhlysni.
**Baldpate**, *s.* (*bald* a *pate*) moelyn, moelcen.
**Baldpated**, / **Baldheaded**, } *a.* penfoel, iadfoel, iadlwm, moel, arfoel, corynfoel.
**Baldric**, / **Baldrick**, } *s.* (o Sw. *balt*, Ll. *balteus*, Gw. *balt*, a S. *rick*) gwregys, cad-wregys; sidydd.
**Bale**, *s.* (Ff. *balle*; It. *balla*) trwsa, bwrn, byrnaid, sachbwn, pyner, sypyn.
A bale of goods—trwsa o nwyddau, sypyn o nwyddau.
A little bale—byrnyn, sypyn, sachbynyn.
Bale-goods—nwyddau pynerog.
**Bale**, *v. a.* byrnio, byrneidio, sypynu, pyneru.
**Bale**, *v. a.* (Ff. *baille*) dysbyddu; dysbyddu llong *neu* gwch.
To bale a boat—dysbyddu cwch.
**Bale**, † *s.* (S. *bcal, bealo*) trueni, adfyd, trychineb.
**Bale-fire**, *s.* tânbigwn; alarm.
**Baleful**, *a.* (o *bale* a *full*) drwg, andwyol, anfad, dinystriol; niweidiol, alaethus, tristlawn, trist, prudd, galarus, blin, gofidus, gresynol, trwch, trychlawn; marwol, angeuol, gwenwynig.
**Balefulness**, *s.* (o *baleful*) anfadrwydd, niweidioldeb, dinystrioldeb.
**Balister**, *s.* (Ll. *balista*) albrys, bwa croes, croesfwa.
**Balistraria**, *s.* (Ll. o *balista*) bliforel=agoriad neu rwyll mewn mur i saethu âg albrys trwyddynt.
**Balize**, *s.* (Ff. *balise*) morarwydd, mornod, pigwn.
**Balk**, *s.* (S. *balc*; Celt. *balc, bailc*) balc, malc, bryncyn; som, somiant, seithugiant, twyll.
**Balk**, *s.* (Is.; Al. *balken*) trawst; tylath, swmer.
**Balk**, *v. a.* balcio, malcio, bryncynu, twyllaru; somi, seithugio, twyllo; myned heibio.
**Balker**, *s.* (o *balk*) balciwr; somwr, seithugiwr: *pl.* heigebwyr, heigebyddion=y rhai a safant ar greigiau neu uchelfanau i ddangos i'r pysgotwyr pa ffordd yr ymgyfeiria yr haig bysgod.
**Ball**, *s.* (Al. *ball*; It. *palla*; Ff. *balle*) pel, pelen, pellen, bwl, clobyn, peled, bwled, blifyn, bolawd; cloben.
Ball of the eye—canwyll y llygad, canwyll llygad, mablygad.
Ball of the hand—tor y llaw.
Ball of the foot—gwadn y troed.
Cannon-ball—maen blif, blifyn, bwled, blifan, peled magnel.
Ball of thread—pellen o edafedd, pellen o edeu.
Snow-ball, / Ball of snow, } caseg eira, pel eira, pelen eira.
To play at ball—chwareu pel.
Cricket-ball—pel dafarch, humbel.
Ball-racket—pelgib, pelgip.
Fire-ball—goruchionen; llosbel.
Ball and socket—pel a grain.
Foot-ball—pel droed, pel ddu.
Serve thou the ball—pwysa y bel.
A little ball—pelen, pel fechan.
Sweet ball, / Musk-ball, } pelen ber.
Wash-ball—golchbelen, pelen olchi, pelen ymolchi.
Ball of a pillar—clobyn colofn.
Ball-flower—pelflodyn.
Puff-ball—coden euraid, coden eurych, coden hyred, cwd y mwg, mwg y ddaiar, mwydon y ddaiar.
**Ball**, *v. n.* pellenu, pelenu, clobynu, ymsypio, sypio; ymgasglu.
**Ball**, *s.* (Ff. *bal*; It. *ballo*) corelwest, donsawd; dawns.
**Ballad**, *s.* (It. *ballata*; Ff. *ballade*) dyrif, dyri, baled; canu; canu pen ffair: *pl.* dyrifau, dyriau, baledau, canuon.
To sing ballads—canu dyrifau, canu baledau, canu canuon.

**Ballad-maker,** } dyrifwr, dyrifydd, baledwr,
**Ballad-writer,** } canüwr, caneuwr.
**Ballad-monger**—ysgrifydd dyrifau, baledydd, ysgrifenydd canuon.
**Ballad-singer**—canwr dyrifau, canwr baledau, cantor dyrïau; cantor pen ffair, canwr pen hoel, clerwr y dom.
**Ballad-style** — ieithwedd dyrifau; dyrifwedd.
**Ballad-tune**—dyriddygan, tôn dyrif.
**Ballader,** *s.* (o *ballad*) dyrifwr, dyrifydd, baledwr, canüwr, caneuwr.
**Balladry,** *s.* (o *ballad*) dyrifiaeth, balediaeth.
**Ballarag,** † *v. a.* (Gael. *ballardaicht*) bygylu; bwgwth, dwrdio.
**Ballast,** *s.* (S. *bat*, bad, a *last*, llwyth=*bat-last*; Is. *ballaste*,) balasarn; gwadalbwys, gwadalydd.
**Ballast,** *v. a.* balasarnu; gwadalu.
**Ballasting,** *s.* (o *ballast*) balasarn; y peth à roir yn falasarn.
**Ballatry,** *s.* (o *ballad*) canu; llamddawns.
**Ballet,** *s.* (Ff. *ballet*; It. *balletto*) mydumeg; ystumddawns, digrifddawns.
**Balliage,** *s.* (Gw. *baile*, tref) eilltoll=toll fechan à dalir i ddinas Llundain gàn estroniaid.
**Ballista,** *s.* (Ll. o'r Gr. *ballō*) blif, taflbeiriant, lluchbeiriant.
**Ballistic,** *a.* (o *ballista*) blifol, blifiadol, tafliadol.
**Ballistic** pendulum—blifddiblyn.
**Ballistics,** *s.* (o *ballistic*) blifiadaeth.
**Balloon,** *s.* (Ff. *ballon*; It. *pallone*) awyrell, awyren; awyrbel; clobyn, cronwagell.
**Balloonist,** *s.* (o *balloon*) awyrellydd, awyrellwr, awyrenwr.
**Balloonry,** *s.* (o *balloon*) awyreniaeth, awyrelliaeth.
**Ballot,** *s.* (Ff. *ballotte*) tugel, coelbren; tugeliad.
To vote by ballot—tugelu, celbleidio.
Ballot-box—tugelgist.
**Ballot,** *v. n.* tugelu, celbleidio.
**Ballota,** *s.* (Gr. *ballōtē*) marddanadlen ddu; marddanad drewsawr.
**Ballotation,** *s.* (o *ballot*) tugeliad, tugeliant.
**Balloting,** *s.* (o *ballot*) tugeliad, tugeliant.
**Balm,** *s.* (Fl. *baume*, talfyriad o *balsam*) persug, persudd, perenaint; balm; gwenynddail, gwenynllys, llysiau y gwenyn.
**Bastard balm**—gwenynog, y wenynog.
**Abraham's balm**—dail bendigaid.
**Balm of Gilead**—balm Gilead.
**Balm-tree**—balmwydden, y falmwydden, y pren balm.
**Balm,** *v. a.* pereneinio, eneinio; lloddi, esmwytho, llinaru.
**Balmy,** *a.* (o *balm*) peraroglaidd, peroglaidd, peraidd, aroglber; balmaidd; llinarus, lloddiannol, esmwythaol, adferol, iachaol, adfywiol.
**Balneal,** *a.* (Ll. *balneum*) baddol, baddonol.
**Balneary,** *s.* (Ll. *balnearium*) baddfa, baddon, ymdrochfa, ymolchgell, ymdrochgell.
**Balneation,** *s.* (o'r Ll. *balneum*) baddiad, ymdrochiad, ymolchiad.
**Balneatory,** *a.* (Ll. *balneatorius*) baddol, baddiadol, ymdrochol; twymdyol.
**Balsam,** *s.* (Gr. *balsamon*; Ll. *balsamum*) balsam; ffromlys; perenaint, persug.
**Yellow balsam**—ffromlys.
**Balsamation,** *s.* (o *balsam*) persugiad; balsamiad, balsameiddiad.

**Balsamic,** } *a.* (o *balsam*) balsamig, balsam-
**Balsamical,** } aidd; iachol, iachaol, adferol; pereneiniol; tyner, lloddus, esmwyth.
**Balsamic,** *s.* balsamig, esmwythai.
**Balsamiferous,** *a.* (Ll. *balsamum* a *fero*) balmaidd, balmddygol; balsamog.
**Balsamine,** *s.* (o *balsam*) ffromlys.
**Baluster,** *s.* (Ff. *balusre*; It. *balaustro*) canbost, colofnig, canllaw, cledren; grisbost: *pl.* canbyst, cledr, manbilerau, grisbyst.
**Balustrade,** *s.* (Ff.; Ysp. *balaustrado*) colofres, rheilwydd, canllaw, manbyst, colofnawd.
**Bamboo,** *s.* (gair dwyreiniol) bambw=math o gorsen à dyf yn ngwledydd y dwyrain.
**Bamboozle,** *v. a.* (o *bam*, gair gwerinaidd am hoced) twyllo, somi, scithugio, hocedu.
**Bamboozler,** *s.* (o *bamboozle*) twyllwr, somwr, hocedwr.
**Ban,** *s.* (S. *bannan*, *abanan*; Al. ac Is. *ban*, *bannen*; Celt. *bann*, *ban*; Ff. *ban*) cyhoeddiad; gosteg; esgymundod, melltith, rheg, rhydwng; gwaharddiad; camgwl.
Banns of matrimony, } gostegion priodas.
Banns of marriage, }
To put under the ban of the empire—gosod *neu* roi dàn esgymundod y deyrnas; esgymuno.
**Ban,** *v.* melltithio, melltigo, esgymuno, rhegu.
**Banco,** *s.* (It.) ariandy Gwenethia; ariandy.
**Band,** *s.* (S. *banda*; Is. *band*; Al. *band*, *binde*) rhwym, rhwymyn, amrwymyn; cengl, ceingl, ceingel; caw, ffas, tas, tasgell; cwlwm, clwm, achlwm; achrwym; cadwyn; cyfrwym, rhefog; byddin, torf, (*pl. t.* oedd, au), tyrfa, (*pl. t.* oedd), myntai, bagad, torfa, (*pl.* torfaoedd, torfëydd).
By bands—yn fyddinoedd, yn fynteioedd, yn dorfoedd, yn dorfaoedd, yn lluoedd, yn dyrfaoedd; wrth y mynteioedd, wrth y lluoedd.
Band of music, } perorion, perorwyr,
Band of musicians, } peroriaid, seindorf, seinorion.
Band of pensioners—torf gyfarwysog; cyfarwysogion.
Band of vagrants—gwiblu, gwibiaid; haid o wibiaid, haid o grwydriaid.
Swaddling band—rhwymyn magu, ysnoden gorni, rhwymyn.
Band round the waist—gwasgrwym, gwasgrwymyn.
Band of honour—bangaw.
Hat-band — hetrwym, hetrwymyn, llinyn het.
Head-band—penre, penrwym, ffunen, penrwymyn.
Little band—rhwymynyn, ffunenig, ysnodenig.
Band of hay—ffwynen.
Hymen's bands—rhwymau Hufon, rhwymau Priodas.
**Band,** *v.* rhwymo, cyfrwymo, cenglo, cenglu, ffunenu, ysnodenu; ymfyddino, ymfynteio; uno, ymuno; llunio cyfarfod.
**Bandage,** *s.* (Ff.) amrwym, amrwymyn, cyfrwym, rhefog, rhwymyn.
Slight bandage—gorwym, gorwymyn.
Tight bandage—tynrwym, tynrwymyn.
**Bandbox,** *s.* (*band* a *box*) caesflwch; blwch hetiau; blwch papyr; blochas.
**Bander,** *s.* (o *band*) ymfyddinwr; ymunwr.

**Banderet**, *s.* (o *band*) penciwdod y Swissiaid.
**Banderol**, *s.* (Ff. *banderole*) banerell, trofaner.
**Bandit**, *pl.* Bandits, Banditti, *s.* (Ll. *banditto*) ysbeiliwr, ysbeilydd, carnleidr: *pl.* ysbeilwyr, carnladron, ysbeildorf.
**Bandlet**, } *s.* (Ff. *bandelette*) amrwymyn, am-
**Bandelet**, } rwymen, amdorchen, toprwymyn; taleithig.
**Bandog**, *s.* (o *band* a *dog*) cadwyn-gi.
**Bandoleers**, *s. pl.* (Ysp. *bandolera*; Ff. *bandoulière*) gwregys, ysgwyddrwy, ysgwyddwregys.
**Bandore**, *s.* (Ysp. *bandurria*; Gr. *pandoura*) cyfeileg=math o offeryn cerdd.
**Bandrol**, *s.* (Ff. *banderole*) baneren, llumanig.
**Bandstring**, *s.* (*band* a *string*) ffaslinyn.
**Bandy**, *s.* (Ff. *bander*) pelgip, pelgib.
To play bandy—chwareu pelgip.
Bandy-leg—coes gam.
Bandy-legged—coesgam, gargam.
**Bandy**, *v.* pelgipio; curo yn ol ac yn mlaen; ysgytio, gwesgrynu, chwyfo; ymryson, ymdrechu, terfysgu, cynghuro, ymdynu.
To bandy reports about—chwalu chwedlau.
To bandy together—dirgel ymgynnull; ymgyfarfod i derfysg.
**Bane**, *s.* (S. *bana*, llofrudd; Gr. *phenô*, lladd) gwenwyn; dinystr, dystryw, dïen; andwyad, drygedd.
Flea-bane—cedowydd, cedowys, anmhrydlwyd.
Common flea-bane — cedowys cyffredin, cedowydd cyffredin.
Samphire-leaved flea-bane—cedowys sugol, sampier y geifr.
Wolf's bane—bleidd-dag, llysiau y blaidd, llys y blaidd.
Leopard's bane — llewpard-dag, llysiau y llewpard.
Bane-wort—codwarth.
Flea-bane-wort—llysiau Silin.
Blue flea-bane-wort—anmhrydlwydrhuddlas.
Hen-bane—llewyg y iar, parfyg, bela.
Common hen-bane—bela, parfyg, crys y brenin, ffa y moch, llewyg y iar.
Bane-berry, } llysiau Christopher,
Herb Christopher, } llysiau Cristoffis.
They are the bane of human society—gwenwyn y gymdeithas ddynol ydynt.
**Bane**, *v. a.* gwenwyno; andwyo.
**Baneful**, *a.* (*bane* a *full*) gwenwynol, gwenwynig, marwol, angeuol; andwyol, dinystriol, adwythig.
**Banefulness**, *s.* (o *baneful*) gwenwynigrwydd, gwenwynoldeb; adwythigrwydd, andwyolder.
**Bang**, *v. a.* (D. *banker*; Al. *bängel*, pastwn) llachio, dulio, curo, ffusto, llabio, paffio, wabio, pwmpio, ffonodio, maeddu, baeddu, maeddgenu, pwyo.
**Bang**, *s.* llach, llab, dul, pwmp, ffonod, dyrnod; curiad, pwyad.
**Bangle**, *v.* (anhysbys) gwastraffu bob yn ychydig, afradu.
**Banian**, *s.* (gair dwyreiniol) boreuwisg, arferedig yn yr India Ddwyreiniol.
**Banish**, *v. a.* (Ff. *bannir*, *bannissant*) alltudio, alltrodio, deol, allwladu, aethwladu, carddu, gorthorddi; gyru o'r deyrnas; gyru ymaith.
To banish one's self — ymalltudio, ymddeol; myned o'r wlad *neu* deyrnas.
A banished one—alltud; gwr deol, gwr allfro, gorthordd, alltudiedig.
A banished woman—alltudes; gwraig ddeol, gwraig allfro.
They were banished from court—gwaharddwyd y llys iddynt; deolwyd hwynt o'r llys.
**Banisher**, *s.* (o *banish*) alltudiwr, deolwr, deolydd.
**Banishment**, *s.* (o *banish*) alltudiaeth, alltrodiaeth, alltudedd, deoliad, allwladiad, aethwladiad.
They suffered banishment in a strange country—goddefasant alltudedd mewn gwlad ddyeithr.
Long be his banishment—hir bid ei alltudiaeth; boed hir ddifröedd arno.
**Banister**, *s.* (llygriad o *baluster*)=*Baluster*.
**Bank**, *s.* (S. *banc*; Is. ac Al. *bank*; Sw. *banck*; D. *banke*; C. *banc*; Gael. *banc*, *beinc*; Gw. *beinc*; Llyd. *bancq*; Cern. *benk*; It. *banco*; Ysp. a Port. *banca*, *banco*; Basc. *banco*; Ff. *banc*, *banque*; Ar. *bank*) banc, ariandy, cedfa; glàn, ceulan, torlan, min, arlan, ebyrn; traethell, tywoden, esgyndir; twmpath, bryncyn, twyn; clawdd, gwaldon.
Bank of England—banc Lloegr, ariandy Lloegr.
Bank-bill, } cedlen, cedeb, banceb; *pl.*
Bank-note, } cedleni, cedebion, bancebion.
Bank-post-bill--cedlythyreb, banclythyreb.
Bank-stock—cedsawdd, ariansawdd banc.
Bank-interest — cedlog, llog banc, banclog.
Bank-agio — cedwarthal, cedryngwerth, rhyngwerth banc.
Savings' bank—banc cynnilion, cedfa cynnilion, swylgedfa, ariandy cynnilion.
Bank of oars, } maincorwyfwyr; meinc-
Bank of rowers, } aid o rwyfwyr.
Bank-cresses—arfog=enw llysieuyn.
Bank of a river—glàn afon, ceulan afon, min afon, torlan afon.
Parallel bank—cynglan.
Sand-bank—traethell, tywoden, tyrwn.
**Bank**, *v. a.* bancio, gosod yn yr ariandy; gwrthgloddio.
**Banker**, *s.* (o *bank*) arianydd, arianwr, bancwr, cedydd.
**Banking**, *s.* (o *bank*) bancyddiaeth, arianyddiaeth; gwrthgloddiad.
**Bankrupt**, *s.* (o *bank*, a Ll. *ruptus*; Ff. *banqueroutier*) torged, torgedwr; methdalwr, methdalydd.
Bankrupt law—torgedraith, cyfraith torgedaeth.
He has become a bankrupt—y mae efe wedi tori; y mae wedi myned yn dorged.
Bankrupt list—torgedres.
He made his creditor a bankrupt—efe a dorodd ei achretor; y mae wedi tori ei echwynwr.
**Bankruptcy**, *s.* (o *bankrupt*) torgedaeth, methdal; methdaliad, methfasnach.
Bankruptcy court—torgedlys.
**Banner**, *s.* (C. *baner*; Ff. *bannière*) baner, baniar, lluman, penwn, penon, pensel; arwydd.
Bearing a banner—banerog, llumanog.
An army with banners—llu banerog, llu banierog, byddin fanerog.
To display a banner—dyrchafu baner.

**Bannered**, *p. a.* (o *banner*) banerog, llumanog, lanierog.
**Banneret**, *s.* (Ff. o *banner*) marchog y faner, cadfarchog, baneryn.
**Bannock**, *s.* (Gw. *boinneog;* Gael. *bonnach*) teisen geirch, torth geirch.
**Banns**, } *s. pl.* (o *ban*) gostegion.
**Bans**, }
**Banquet**, *s.* (Ff.) gwledd, cyfeddach; banfaeth, prain, cyfedd, cywledd, gwestfa, allwest.
A princely banquet — gwledd freninol, arlwy breninol, gwledd dywysogaidd.
At the banquet of wine—yn nghyfeddach y gwin, yn ngwledd y gwin.
Delicacies of the banquet—ceinion cyfeddach, danteithion cyfeddach; danteithion y wledd.
Banquet-house, } gwledd-dy, gwleddfa,
Banqueting-house, } gwindy, ty gwledd.
**Banquet**, *v.* gwledda, cywledda, preinio, cyfeddach.
**Banqueter**, *s.* (o *banquet*) gwleddwr, cyfeddachwr.
**Banqueting**, *s.* (o *banquet*) cyfeddach, gwledd; gwleddiad.
Banqueting room—gwleddystafell, ystafell wledd, gwleddgell.
**Banquette**, *s.* (Ff.) uchsarn, ardyle.
**Bans**, } *s. pl.* (o *ban*) gostegion.
**Banns**, }
Bans of matrimony, } gostegion priodas.
Banns of matrimony, }
**Bansticle**, *s.* (anhysbys) crothell; *pl.* crythyll=math o bysgodyn.
**Banter**, *v. n.* (Gr. *phenacizô?* Ff. *badiner?*) cellwair; cydgam, chwerthin am ben, gwawdio, llonwawdio, saethyta.
**Banter**, *s.* cellwair, celchwar, llonwawd, gwawd, digrifwawd, digrifwch.
**Banterer**, *s.* (o *banter*) cellweiriwr, cydgamwr, llonwawdydd, digrifwr.
**Bantling**, *s.* (Al. *bankart?*) maban, baban, plentyn, plentyn bach.
**Baphomet**, *s.* (llygriad, tebygol, o *Mahomet*) eilun dychymygol y Temlyddion.
**Baptism**, *s.* (Gr. *baptisma, baptismos*) bedydd.
Infant baptism—bedydd babanod.
**Baptismal**, *a.* (o *baptism*) bedyddiol.
Baptismal font—bedyddfaen, bedyddfan.
Baptismal vow—adduned bedydd.
**Baptist**, *s.* (Gr. *baptistês*) bedyddiwr; *pl.* bedyddwyr.
John the Baptist—Ioan Fedyddiwr.
Baptist minister—gweinidog y Bedyddwyr, gweinidog bedyddiol.
**Baptistery**, *s.* (Ll. *baptisterium*) bedyddfa, bedyddfan, bedyddfaen, bedyddle.
**Baptistic**, } *a.* (o *baptist*) bedyddiol; perth-
**Baptistical**, } ynol i fedydd.
**Baptistable**, *a.* (o *baptist*) bedyddadwy.
**Baptize**, *v. a.* (Gr. *baptizô*) bedyddio.
**Baptizer**, *s.* (o *baptize*) bedyddiwr, bedyddiedydd.
**Bar**, *s.* (C. *bàr;* Ff. *barre;* It. *barra*) bàr; bollt, trosol, gweilging; rhwystr, lludd, llestair, attaliad; annod, oed.
Iron bar—bàr haiarn; bàr o haiarn.
Bar of soap—bàr o sebon, agalen o sebon.
Thou shalt make bars of Shittim wood—gwna farau o goed Sittim.
To stand at the bar—sefyll wrth y bàr; sefyll o flaen y bàr; sefyll o flaen y fainc; sefyll o flaen y frawdle; sefyll ger bron y frawdle; sefyll mewn llys; sefyll yn ngwyneb llys.
When I first appeared at the bar—pan ymddangosais gyntaf wrth y bàr; pan ddadleuais gyntaf o flaen y fainc; pan ddadleuais gyntaf yn ngwyneb llys.
He was called to the bar—galwyd ef i'r bàr; galwyd ef at y bàr; dyrchafwyd ef i'r ddadleufa; galwyd ef i ddadleu.
Bar of an inn—bàr gwestty, bàr tafarn.
Bar-maid—barweinyddes, barferch, morwyn bàr.
Cardigan bar—bàr Aberteifi.
Bar of a door—bàr drws, bollt drws.
The bar of public opinion—barn y wlad; brawdle y cyhoedd; llais y wlad.
Bar (in music)—ban, bàr.
Double bar—deufar, deufan, bàr dyblyg.
Bars gemels—gefellfarau.
Bars of a plough—probwyllau.
**Bar**, *v. a.* bario, bolltio; attal, lluddio, rhwystro; annodi, oedi, gohirio, eithro; llysu, gwrthod; trecio.
To bar the door—bolltio y drws, bario y drws; rhoi y bàr ar y drws.
To bar out—cau allan; bario allan; gwahardd.
**Barb**, *s.* (Ll. *barba;* C. *barf;* Cern. *bar*) adfach, gaflach, gwrthfach; barf; blaen arf; tagell.
Barb of an arrow—barf saeth, adfach saeth.
**Barb**,† *v. a.* (Ll. *barba;* C. *barf*) eillio, trwsio y farf; adfachu; trecio march.
**Barb**, *s.* (talfyriad o *Barbaria*, gwlad yn Affrica) ceffyl o Barbaria, Barb.
**Barbacan**, } *s.* (Ff. ac It. *barbacane*) rhagwerth-
**Barbican**, } yr, murglawdd, rhagfwrch; gwnorel, magneldwr.
**Barbarian**, *s.* (Gr. *barbaros;* Ll. *barbarus*) barbariad; anwariad, anfoesog, anwaryn, anfoesyn, creuloniad; estron: *pl.* barbariaid, anwariaid, anfoesogion, creuloniaid, estroniaid.
They put the multitudes of the barbarians to flight—hwy a yrasant dyrfaoedd y barbariaid i gilio *neu* ar ffo.
I am a debtor both to the Greeks and to the Barbarians—dyledwr ydwyf i'r Groegiaid ac i'r Barbariaid hefyd.
**Barbarian**, *a.* barbaraidd, anwaraidd; anfoesaidd, difoes, trwsgl, annysgedig, anghyfieithus; creulawn, annynol, cïaidd.
**Barbaric**, *a.* (Ll. *barbaricus*) tramor, pellenig; o'r gwledydd pell; barbarig.
Barbaric gold—aur tramor, aur o'r gwledydd tramor.
Barbaric pearl and gold—myrierid pell ac aur.
**Barbarism**, *s.* (Ll. *barbarismus*) llediaith, llygriaith, anghyfiaith, anwariaith, brithiaith; llygrair; annysg, anfoes; anfoesogrwydd, creulonedd, anwaredd.
**Barbarity**, *s.* (o'r Ll. *barbarus*) barbariaeth, anwariaeth, anwaredd; creulondeb, creulonedd, ffyrnigrwydd, annynoliaeth; llediaith.
**Barbarize**, *v. a.* (Ll. *barbarus*) barbareiddio, anwareiddio, anfoesoli.
**Barbarous**, *a.* (Ll. *barbarus*) anwar, anwaraidd, barbaraidd; anfoesog, difoes, diddysg, anniwyllus, trwsgl, taiog, gwladaidd, gwrthun; anghyfiaith, anghroew; gwyllt; creulawn, ffyrnig, annynol, cïaidd, milain, milus.

Beak-ful—pigaid, gylfinaid, llonaid pig.
Beak (in farriery)—pengarn.
The gross beak—y gylfinbraff.
The cross beak—y gylfin-groes.
To snatch with the beak—ysgylfu, ysgylfio; ymaflyd â'r gylfin.
Beak, v. a. ymaflyd â'r big; ysgylfio, ysgylfu.
Beaked, a. (o *beak*) gylfinog, gylfog; durynog; â phig *neu* ylfin iddo; pigfain, blaenfain.
Long-beaked—gylfinhir, gylfhir; hirylfinog.
Hook-beaked—gylfin-gam, gylfgam; camylfinog.
Cross-beaked — gylfin-groes, gylfgroes; croesylfinog.
Thick-beaked — gylfinbraff, gylfindew; praffylfinog.
Broad-beaked — piglydan, gylfinlydan, gylflydan; llydanylfog.
Even-beaked—cyfylfin; gylfin-gyfiol.
Short-beaked — pigfyr, gylfinfyr; byrylfinog.
Beaker, s. (Al. *becher*) cwpan, gwydryn, diodlestr.
Beakiron, s. (*beak* ac *iron*) pigarn, pighaiarn.
Beal, s. (Al. *beule*; It. *bolla*; S. *bile*) penddüyn, llynoryn, ploryn, crugdardd.
Full of beals—llynorog, plorynog, llawn crugynau.
Beal, v. llynori, crawnu, gori; codi yn grugdardd *neu* benddüyn; magu crawn.
Beam, s. (S.; Al. *baum*; Gw. *beim*) trawst, tylath, swmer, paladr; saffwn, swdden, swddyn, gweilging, dyrwynlath.
Weaver's beam—carfan gwëydd.
House beam—tylath.
Ridge beam, Upper roof beam, } nenbren, neniar.
Eaves' beam—llogail y bargod; llogail: *pl.* llogeiliau, llogeilwydd y bargod.
Plough beam—arnawdd, arnodd; *pl.* arnoddion, arnoddau.
Share beam of a plough—cŵar aradr.
Lever beam—trostlath.
Beam of a wain—trawst, llath, paladr, *neu* fforch men.
Beam of a wheel—ambren, ambren olwyn.
Beam of an anchor—paladr angor.
Draw-beam, Wind-beam, } tynlath, tyndrawst, trawst dyrwyn, dyrwynlath.
Beam of a balance—trawst clorian.
Beam compass—llathgwmpas.
Beam feathers—hirbluf aden gwalch.
The ship is on her beam ends—y mae'r llong ar y naill ochr; y mae'r llong braidd yn gorwedd ar ei hochr.
Beam tree—cerddinen wyllt.
White beam tree—cerddinen wèn, criafallen wèn.
Horn beam—oestrwydden.
Small beam—trewstyn, gweilging, carfan.
Beam, s. (S.) paladr, (*pl.* pelydr, pelydron, pelydrau), pelydryn, rhaidd, llugyn, llygedyn, ffiaw, hirell.
Sun-beams, Beams of the sun, } pelydr *neu* belydron yr haul; terydr yr haul; pelydr haul.
Compassed with beams—pelydrog, rheiddiog.
Beam, v. pelydru, rheiddio, ffloi, rhaiadu, rheio, pleinio, paladu; tywynu, dysgleirio, llewyrchu.

Beaming, s. (o *beam*) pelydriad, tywyniad, llewyrchiad, rheiddiad, pleiniad; gwawr, llewyrch; rhagddangosiad.
Beamless, a. (o *beam* a *less*) dibelydr, diraidd, didywyn, dilewyrch.
Beamy, a. (o *beam*) pelydrog, pelydraidd, pelydrol, rheiddiog; yn saethu allan belydr; braisg; cornosglog, corniog.
Bean, s. (S.) ffäen, (*pl.* ffa); ponar.
Kidney beans, French beans, } ffa ffreinig, ffa Ffrengig.
Scarlet beans—ffa cochion.
Buck beans—ffa y gors, ffa cors, meillion y gors.
Common buck beans—ffa y gors teirdalen.
Horse beans—ffa ceffylau.
Bean tree—ffaonwydden; *pl.* ffaonwydd.
Bean trefoil tree—euron, pyswydden.
Binding bean tree—draenen yr Aifft.
Stinking bean trefoil—drewgoed, y ddrewgoed.
Bean-cod—ffagib=llestr pysgota arferedig ar afonydd yn Portugal.
Bean-shells—plisg ffa, codau ffa, cibau ffa, masgl ffa.
To shell beans—masglu ffa, ysbeinio ffa, pilio ffa.
Bean-stalks--callodr ffa, callod ffa, gwellt ffa.
Bean-fly—ffagleren.
Every bean has its black—nid oes neb heb ei fai; nid difai neb a aned.
Bear, v. (S. *bæran*, *beran*, *beoran*, *byran*) dwyn, dygyd; cludo, cario; cynnal, dàl, dala; arwain, arweddu, arwedd; dyddwyn, dyborthi; goddef, dyoddef; geni; ymarweddu, ymddwyn, ymddwyn ar, ymddygyd; pwyso; caniatäu.
To bear fruit—dwyn ffrwyth, ffrwytho.
To bear arms—dwyn arfau; dwyn arfau bonedd.
To bear with—cyd-ddwyn â; cyd-ddygyd; cydoddef; cydymaros; ymaröi â; ymaros â; goddef gyda; cannwyn.
How long shall I bear with you?—pa hyd y goddefaf chwi?
To bear a child—dwyn plentyn; geni plentyn; dwyn plentyn i'r byd; ymddwyn ar blentyn; esgor ar blentyn.
To bear up—dàl i fyny; cadw i fyny; cynnal; arddala; codi; cadw ar nawf; tynu tuag at; bod yn wrol; bod yn gryf, cadarn, *neu* ddïysgog; cael ei gynnal.
The waters bore up the ark—y dyfroedd a godasant yr arch.
I bear up the pillars of it—myfi sydd yn cynnal ei cholofnau.
In their hands they shall bear thee up—hwy a'th ddygant yn eu dwylaw.
They bear up with them—y maent cyfuwch a hwythau; y maent yn cadw i fyny â hwynt.
To bear up against—dàl yn erbyn; ymgynnal i fyny yn erbyn; ymegnïo *neu* ymorchestu yn erbyn; gwrthsefyll, gwrthladd.
To bear up to—hwylio at; hwylio cerddediad at.
To bear up under a calamity—bod yn dda ei amynedd mewn adfyd; bod yn dda ei oddef mewn blinfyd; ymgynnal yn wrol dan wasgfa *neu* galedi; dàl i fyny dàn flinfyd.

I have made, and I will bear—gwnaethym, arweddaf hefyd.
Every herb bearing seed—pob llysieuyn yn hadu had; pob llysieuyn yn dyborthi had; pob llysieuyn yn dwyn had.
I bore you on eagles' wings—codais chwi ar adenydd eryrod.
He is generous beyond what his estate will bear—y mae ei haelioni yn fwy na'i allu.
Whither do these bear the ephah?—i ba le y mae y rhai hyn yn myned â'r ephah?
Then all the cattle bore speckled—yna yr holl braidd a epilient fanfrithion.
She is past bearing—y mae hi yn rhy hen i blanta; y mae hi dros oedran planta; y mae hi dros oed dwyn plant.
To bear one's self—ymddwyn, ymarweddu, ymarwedd.
To bear the charge of a thing—dwyn traul peth; talu cost peth.
He cannot bear the expense—nid eill ateb i'r gost; nis gall efe ddwyn y draul.
To bear company—canymdöi, canymdeithio, hebrwng; bod yn gyfaill *neu* gyfeilles i; myned gyda.
To bear date—bod wedi ei ddyddio; bod yn ddyddiedig; dwyn dydd *neu* oed.
This letter bears date the twentieth of June—dyddiwyd y llythyr hwn yr ugeinfed o Fehefin; y llythyr hwn a ddyddiwyd *neu* ysgrifenwyd yr ugeinfed o Fehefin; y mae y llythyr hwn wedi ei ddyddio yr ugeinfed o Fehefin.
To bear down—suddo, soddi; myned, cwympo, *neu* ddisgyn i'r gwaelod; gwaelodi, gwaddodi, llorio; gyru yn mlaen; gwasgu i lawr; curo i lawr; dadymchwelyd, dymchwelyd; bwrw *neu* daflu i lawr o'i flaen; nesu *neu* dynu at.
To bear down upon—gwasgu, gwasgu ar; goddiweddyd; hwylio ar warthaf.
To bear hard—gwasgu, pwyso, dirwasgu, gorddwyo; pwyso yn drwm, gwasgu yn drwm; goreilidio.
To bear a part—cymmeryd rhan; bod â rhan ganddo; dwyn rhan.
To bear a part of the burden—cynnal pen yr iau.
To bear a grudge—dàl gwg, cadw cilwg, cadw llid; dwyn malais; ymarfer o anysgymmod; bod ganddo frŷn.
He bears me a grudge—y mae ganddo frŷn ataf; y mae cilwg rhyngddo a mi.
Herodias bore him a grudge—Herodias a ddaliodd wg iddo.
To bear in mind—cofio; cadw mewn cof; dàl mewn cof; dàl yn nghof.
To bear great affection—dwyn mawr serch; caru o'r galon; gorhoffi, mawr hoffi; hoffi *neu* serchu yn fawr.
To bear good will—ewyllysio yn dda; dwyn ewyllys da.
To bear the loss of a thing—dwyn y golled; sefyll yn y golled; digolledu; gwneuthur colled yn dda; gwneyd i fyny golled; gwneuthur yn dda ryw golled; goddef colled; ymddwyn yn amyneddgar dàn golled; bod yn amyneddgar; bod yn amyneddus dàn golled o beth.
To bear off—cadw draw; dàl draw; attal; bwrw *neu* droi heibio; ymadael, myned ymaith; symmud ymaith; dwyn *neu* gludo ymaith; erddygyd.
To bear a price—dwyn pris; bod yn gwerthu yn uchel *neu* yn dda; bod â gwerth *neu* werthu mawr arno.
They bear a good price—y maent yn gwerthu yn dda; dygant bris da; y maent yn dwyn pris da.
They bear little *or* no price—hwy a werthir dàn draed; gwerthir hwynt tàn draed; gwerthir hwynt am ganu; hwy a werthir am iselbris.
What price bear oxen here?—pa fodd y gwerthir ychain yma?
He bore a great name—dygodd enw mawr; dug enw mawr; yr oedd enw mawr iddo.
To bear pain—dwyn poen, goddef poen.
To bear out—amddiffyn hyd yr eithaf; amddiffyn, amwyn, diffynu, myntumio; dàl yn gadarn; digolledu.
To bear through—cynnal hyd y diwedd; dàl i fyny; dwyn *neu* gynnal trwy; llywio, trefnu.
To bear on—pwyso *neu* wasgu yn erbyn; dwyn yn mlaen; annog, bywiogi; cymhell.
To bear in hand—twyllo; dallu llygaid, bwrw hud.
To bear a hand—brysio, ffullio; bod yn weisgi.
To bring matters to bear—dwyn pethau i ben; dwyn pethau i gael effaith; peri i bethau dycio; cyflawnu.
The land bore south-west from the ship—gorweddai y tir tua'r de-orllewin o'r llong; yr oedd y tir o du y de-orllewin i'r llong; gorweddai y tir i'r de-orllewin i'r llong.
To bear away—dwyn *neu* gludo ymaith; erddygyd, dyddwyn, dyddygyd; newid rhedfa, hynt, *neu* hwylfa.
To bear away the palm—myned â'r gamp; ennill y gamp; ennill y maes; ennill y bel; ennill y fuddugoliaeth; cael yr oruchafiaeth; cael y maes; cael y goreu; dwyn y bel.
To bear in—tynu, rhedeg, *neu* bwyso tuag at.
The ship bears in with the land—y mae y llong yn tynu tuag at y tir.
To bear upon *or* against—pwyso yn erbyn; pwyso ar; gorphwyso ar; dynesu i ruthro *neu* ymosod ar; bod yn barod i gyrchu ar.
To bear upon—gweithredu ar; effeithio ar; pwyso, gorphwys, *neu* orwedd ar; ymorphwys ar; bod â'i bwys ar; dwyn perthynas â; dylanwadu ar.
To bear an office—dwyn swydd; gwasanaethu *neu* wneuthur swydd; bod mewn swydd.
To bear witness, } tystiolaethu, tystio,
To bear record, } dwyn tystiolaeth; bod yn dyst.
To bear proportion to—bod yn cyfateb i; bod â chyssondeb *neu* gymmesurdeb rhyngddo â; bod â chyfartalwch rhyngddo â.
To bear resemblance to—bod yn gyffelyb *neu* debyg i; bod â chyffelybiaeth *neu* debygolrwydd rhyngddo â.
To bear a body—ymunoli; ymgorffoli o baent âg olew.
To bear sway, } arglwyddiaethu, rhwysgo;
To bear rule, } rheoli, meistroli, rhwyfo,

dwyn rhwysg; bod yn arglwydd, arlwydd, *neu* feistr.
To bear respect to—parchu, perchi; bod gàn un barch i.
To bear the blame—cymmeryd y bai; myned dàn y bai; cymmeryd y bai arno.
To bear such a sense—goddef *neu* gynnwys y cyfryw ystyr; cymmeryd y cyfryw ystyr.
The word does not bear that sense—ni oddef y gair yr ystyr hwnw; ni chymmer y gair yr ystyr hwnw; nid oes i'r gair y cyfryw ystyr.
To bear the sense of a thing—bod gàn un deimlad o beth; dwyn *neu* feddu teimlad o beth.
To bear towards a coast—morio, nofio, *neu* hwylio at làn *neu* oror; llongwrio i fàn; tynu tuag at y tir.
Bear-cloth, Bearing-cloth, } llian bedydd.

**Bear**, *s.* (S. *bera*; Al. *bär*; Is. *beer*) arth, (*c. g.*): *f.* arthes: *pl.* arthod, eirth.
She-bear—arthes, arth fenyw.
He-bear—arth, arth gwryw.
A bear robbed of her whelps—arth *neu* arthes wedi colli ei chenawon.
Little bear, Bear's cub, Bear's whelp, } arthan, arthen, cenaw arth, cenau arth, fel arth.
Bear-dog—arthgi: *f.* arthast: *pl.* arthgwn, artheist.
Bear-baiting—arthlygiad, arthlwg, arthannos.
To bait the bear—arthlygu yr arth, annos yr arth, arthannos.
To growl as a bear—arthal, arthio, arthu; rhuo fel arth.
Like a bear, Bearlike, } arthaidd, fel arth.
Bear-ward, Bear-herd, } arthgeidwad, ceidwad arthod.
Bear-garden—arthfa, arthgadlas; terfysgle.
Bear-berry—mefuswydd yr arth.
Bear's breech—llawdr yr arth, ellddrain.
Bear's foot—crafanc yr arth, troed yr arth, llun troed yr arth, llewyg y llyngyr, hylithr, hylyf.
Bear's ear—clust yr arth, golchwraidd.
Bear's ear sanicle—clust yr arth olcheuraid.
Bear's wort—efyrllys, cron, efwr cyffredin.
Bear's bind—cynghafog fawr, tagwydd, cloffrwym y mwci.
Bear's fly—arthgleren; *pl.* arthgler; arthglyr.
Bear's grease—blawn arth, iraid arth, bloneg arth.
The Bear—yr Arth = enw dau gydser gogleddol.
The Greater Bear, Ursa Major, } yr Arth Fwyaf.
The Lesser Bear, Ursa Minor, } yr Arth Leiaf.
The Great and Little Bear—yr Arth Fawr a'r Arth Fach.
To sell the bear's skin before one has caught him—pysgota o flaen y rhwyd; bwyta llygoden cyn ei dàl; gwerthu cyn meddu.

**Bearable**, *a.* (o *bear*, *v.*) dygadwy; cludadwy; cynnaladwy, daladwy; arweddadwy.

**Beard**, *s.* (S.; Is. *baard*; Al. a D. *bart*) barf; còl, cola, còl yd, ydgol; adfach, gaflach, gwrthfach.
Beard of corn—còl yd, barf yd, ydgol.
Beard of an arrow—adfach saeth, gaflach saeth.
Having a long beard—barflaes.
Having a grey beard—barflwyd.
Having a red beard—barfgoch.
Having a white beard—barfwyn.
Having a thick beard—barfdew, tewfarfog.
Having a thick strong beard—barfrwog, rhwog.
Hawk's beard—gwalchlys, llysiau y gwalch.
Goat's beard—barf yr afr.
Yellow goat's beard—barf yr afr felen.
Beard-grass—barf y gwr.
The old man's beard—barf y gwr hen, cudd y coed, dringiedydd.
Jupiter's beard—barf Iau; arianllwyn; bywfyth, byddarlys, dilosg.

**Beard**, *v.* barfu; tynu y farf; ymaflyd yn y farf; sarhau; sarhau un yn ei wyneb; herio, rhoi hew; tocio.
To beard wool—tocio gwlan; blaendocio *neu* flaengneifio gwlan.

**Bearded**, *a.* (o *beard*) barfog; coliog; adfachog, gwrthfachog.
Bearded arrow—saeth *neu* bicell adfachog; saeth aflachog, saeth farfog, picell aflog.
Bearded ears—twys coliog.
Bearded grain—grawn coliog, yd coliog, grawn barfog.

**Beardless**, *a.* (*beard* a *less*) difarf, difarfog, heb farf; moel; mebinaidd, bachgenaidd, ieuanc.

**Beardlessness**, *s.* (o *beardless*) difarfedd, anfarfedd, anfarfogrwydd.

**Bearer**, *s.* (o *bear*) dygiedydd, dygiadur, addygydd, addugwr, dygwr; cludwr, cludydd, cariwr; arweddwr, dygiawdr, (*pl.* dygiodron), dygiawdwr, arweddodwr, arweddawdr, (*pl.* arweddodron); cannalydd, cannaliedydd, daliedydd.
Ensign-bearer—llumanwr, banerwr, banierydd.
Armour-bearer—cludydd arfau, macwy, ysweiniad.
He touched the bier, and the bearers stood still—cyffyrddodd â'r elor, a safodd yr arweddodwyr; efe a gyffyrddodd â'r elor, a'r rhai oeddent yn ei dwyn a safasant.
Bearer of a corpse—dygiawdr, arweddwr, *neu* arweddodwr elor *neu* gorff.

**Bearing**, *s.* (o *bear*) dygiad; arweddiad, ystum, munud, ymddygiad, ymarweddiad, ymarwedd, arweddawd; cyfeiriad; perthynas; cyssylltiad; safiad, sefyllfa; goddefiad, ymoddefiad; cludiad; daliad, cynnaliad.
Bearings, Armorial bearings, } arfarwyddion, pais arfau, arfbais, arfau bonedd.
I know him by his bearing—adwaen ef wrth ei arweddiad.
Past bearing—tros amser planta, epilio, *neu* ffrwytho; gwedi myned dros amser ymddwyn ar; hysp, (*f.* hesp).

**Bearish**, *a.* (o *bear*) arthaidd, arthog, arthol.

**Bearlike**, *a.* (*bear* a *like*) arthaidd, fel arth.

**Bearn**, **Bairn**, } *s.* (S. *bearn*) plentyn; maban.

**Beast**, *s.* (Ll. *bestia*; Is. a D. *beest*; Ff. *bête*) anifel, anifail, mil, milyn, ysgrubl, ysgrubliad; bwystfil; llwdn.
Four-footed beasts—pedryfilod.

Wild beast—anifel gwyllt, gwylltfil, bwystfil, gwyddfil, bwystgun, gwyddlwdn, bwystfil coed.
Tame beast—anifel dof, anifail gwâr, gwestfil; anifail llawfaeth.
Beast of prey—bwystgun, ysglyfil, anifel ysglyfus, anifail ysglyfaethus.
Beast of the field—anifel y maes, maesfil.
Gregarious beast—gwysfil, gwysfilyn, anifel gregarus, anifail gregarol.
Huge beast—enfil, anifel mawr, anifel anferth.
Beast of burden—ysgrubl, anifail gwaith, pynfil, llwythfil, byrnfil, pynior.
Beasts of the forest—gwyddfilod, milod coed, bwystfilod coed, milod y goedwig.
Beasts of the chase, } helfilod, miledion; Beasts of venery, } anifeiliaid, *neu* fwystfilod y maes; maesfilod; milod, bwystfilod, *neu* anifeiliaid y maesdir; preiddiawr.
A beast without horns—anifail moel; eidion moel.
A perfect beast—cenfil, anifail trwyadl.
Four-footed beasts — pedwar-carnolion, pedryfilod, pedrybediaid, pedrybedogion.
Man and beast—dyn ac anifel.
The lion is the most fearless of wild beasts—dewraf gwylltfil llew.
You nasty beast!—y llwdn brwnt!
To become a beast—ymanifeilio, mileiddio, bwystfileiddio, myned yn anifel.
Small beasts—mân-ysgrubliaid, ysgrubliaid mân, anifeiliaid mân.

**Beastish,** } *s.* (o *beast*) anifeilaidd, bwystfilaidd,
**Beastlike,** } ysgrublaidd; creulawn; fel anifel.

**Beastliness,** *s.* (o *beastly*) anifeleiddrwydd, anifeligrwydd, bwystfileiddrwydd, bwystni, mileiddrwydd; brynti, budredd, budreddi; ffieidd-dra, aflendid, anmhurdeb; mochyneiddrwydd.

**Beastly,** *a.* (o *beast*) anifeilaidd, anifelaidd, bwystfilaidd, bwystus, bwyst; ffiaidd, aflan, budr, brwnt, mochynaidd; serthaidd.

**Beat,** *v.* (S. *beatan, gebeotan*) curo, taro, taraw, baeddu, maeddu, dulio, pwyo, ffusto; gorchfygu, gorfod; myned â'r maes; cael *neu* ennill y maes; cael y llaw uchaf; cario ar; briwo, malurio, cymriwo; curo yn fân; pwyo *neu* guro â phwyodr; llachio, wabio, cobio, pwnio, chwatio, cnocio; dyrnu; tori; morthwylio; chwyfio, dygyfor; dychlamu, ysboncio.
To beat down—curo i lawr; bwrw, taro, *neu* daflu i lawr; dinystrio, dystrywio; gwasgu i lawr; iselu, gostwng.
To beat down the price—curo i lawr y pris; gostwng y pris; gostwng y farchnad; masnachu *neu* farchnata yn galed.
Thee also shall God beat down for ever—Duw a'th dery dithau i lawr yn dragywydd.
When thou beatest thine olive tree—pan ysgydwech dy olewydden; pan ysgydwot dy olewydden.
To beat back—gyru, curo, *neu* daro yn ol; gyru i gilio; cilgwthio, gwrthdaro, gwrthguro.
To beat into—gyru *neu* guro i mewn; taflu *neu* ymdaflu i mewn; curo *neu* yru yn; bwrw i mewn; curo *neu* bwyo yn; mynych adrodd yr un peth.
The waves beat into the ship—y tònau ymdaflasant i'r llong.
They shall beat their swords into ploughshares—hwy a gurant eu cleddyfau yn sychau.
To beat on *or* upon—taro ar; curo ar; rhuthro ar; taro wrth.
The sun beat upon the head of Jonah—yr haul a darawodd ar ben Ionah.
To beat up—rhuthro yn ddisymmwth ar; dyfod ar warthaf yn ddisymmwth; cymmeryd yn ngwrth; dàl yn ngwrth; brawychu, aflonyddu, alarmu; curo i fyny.
To beat up and down—rhedeg yn ol ac yn mlaen; rhedeg y ffordd yma a'r ffordd acw; ymredeg, darymred, rhedegain.
To beat the wing—curo, ysgwyd, *neu* chwyfio yr aden; ehedfan, ehedeg; chwareu yr aden.
To beat off—gyru *neu* wthio yn ol; gyru yn ei wrthol; gyru i gilio; gyru ar gil; gyru yn wysg cefn; cilgwthio, burthio, gwrthdaro.
To beat the hoof—cerdded, rhodio; myned ar draed.
To beat upon the hoof—myned *neu* gerdded dàn guro ei garnau; carnialu.
To beat to pieces—chwilfriwo, curo yn chwilfriw, dryllio, tori yn gandryll.
To beat soundly—dygaboli; rhoi maeddgen dda.
To beat a drum—curo *neu* bwyo tabwrdd; canu tabwrdd; chwareu tabwrdd; tabyrddu.
To beat an alarm—canu cyrn cychwyn; canu *neu* seinio alarm; canu alarwm; seinio alarm; galw at arfau drwy sain tabwrdd.
To beat against—taro wrth *neu* yn erbyn.
To beat a charge—canu *neu* seinio ymgyrch; rhoi sain gosod; rhoddi cyrchsain; canu rhuthr; seinio *neu* dabyrddu i ddechreu y gad.
To beat to a parley—tabyrddu i gynnadledd *neu* gyflafaredd; galw allan *neu* wahodd i gynnadl trwy sain tabwrdd.
To beat the brains—curo yr ymenydd; rhoi *neu* osod yr ymenydd ar waith; gorweithio yr ymenydd.
To beat with a cudgel—ffonodio, ffondorio; curo â ffon *neu* glwpa; llachio.
To beat black and blue—cleisio, dugleisio; ffusto yn ddu ac yn las; gwneuthur yn dduglais; rhoi un dàn ei gleisiau.
To beat about—curaw o amgylch; ymdrechu cael; ymdrechu y ffordd hyn a'r ffordd arall.
To beat softly—cnithio, taro yn llaes, gogisio.
To beat the air—curo yr awyr.
To beat out—morthwylio, morthwylio allan; curo *neu* bwyo allan; dyrnu.
They did beat the gold into thin plates—gyrasant yr aur yn ddalenau teneuon.
The watch beats well—yr oriadyr a gur yn gywir; y mae yr oriawr yn tician yn dda.
To beat to death—curo, taro, *neu* faeddu i farwolaeth.
To beat out of countenance—peri gwrido; gorchuddio â gwrid wyneb; peri delwi; peri gwrid yn ngwyneb; cywilyddio.
To beat out the brains—difenyddio; curo yr ymenydd allan, dïymenyddio.

My heart beat for joy—llamodd fy nghalon o lawenydd; fy nghalon a ddychlamodd gàn lawenydd.
They kept beating the door—parhasant yn curo *neu* gnocio y drws.
To beat together—cymhwyo, cydbwyo, cydguro.
To beat mutually—ymguro, ymbwyo.
Beat, Beaten, *p. p.* curedig, pwyedig, maeddedig, tarawedig, duliedig, &c.
Beaten gold—aur dilin, aur coeth.
Beaten path—llwybr sathredig, llwybr amsathr.
An old beaten soldier—hen filwr à ymadawodd à'r rhyfel.
Beat, *s.* cur, maedd, dul, pwy, llach, wab; curiad, pwyad, duliad, tarawiad.
Beat of a watch—tic oriawr, cur oriadyr.
Beat of a drum—sain tabwrdd; cur tabwrdd.
Beater, *s.* (o *beat*) curwr, pwywr, maeddwr, baeddwr, llachiwr, &c.; pwyedydd, pwyodr; gorddwyn, gordd balmantu.
Gold beater—eurddalenwr, eurddalenydd, eurdduliwr, pwywr aur; un à yro aur yn ddalenau.
Beath, † *v. a.* (S. *bæth*) ymdrochi, baddo.
Beatific, Beatifical, *a.* (Ll. *beatificus*) gwynfydlawn, gwyneithiol, gwynfydol, gwynfydedig; à bair gwbl *neu* gyflawn ddedwyddwch.
Beatific vision—gweledigaeth wynfydlawn.
Beatification, *s.* (Ll. *beatus* a *facio*) gwyneithiad, gwynfydoliant, dedwyddiant, dywyniant; cyflead mewn gwynfyd=dadganiad gwynfydigrwydd un gàn y Pab.
Beatify, *v. a.* (Ll. *beatifico*) gwyneithu, gwynfydoli, dedwyddu, dedwyddoli; cyflëu yn mysg y gwynfydedigion yn nhrigfanau dedwyddwch.
Beatified spirits—ysbrydion gwynfydedig; ysbrydion gwynfydlawn.
Beating, *s.* (o *beat*) curiad, pwyad, duliad, maeddiad; maeddgen, curfa; cyweiriad; ffustiad, ffonodiad.
Beating of time—curiad amser, awdguriad.
A beating down—dinystriad, dystrywiad; curiad, bwriad, *neu* darawiad i lawr.
A beating together—cymhwyad, cydbwyad, cydguriad.
Beatitude, *s.* (Ll. *beatitudo*) gwynfyd, gwynfydolrwydd, gwynfydigrwydd, gwynfydedigrwydd, bendigedigrwydd, dedwyddwch, dedwyddyd, llawn wynfyd, eithaf dedwyddusrwydd.
Beau, *pl.* Beaux, *s.* (Ff.) coegyn, ysgoegyn, pertyn, pefryn, dyn dillyn, gwas destlus; cariedyn, cariad.
Beau ideal—manon, tybfanon, gwir degwch dychymygol.
Beau esprit — ffraethebydd, arebydd, ffraetheiriog.
Beau monde—gwychfyd, arfuchedd, defodfyd, y byd dullweddus.
Beauish, *a.* (o *beau*) coegynaidd, coegaidd, ysgoegaidd, coegfalch, pefrynaidd, pefrin, mursynaidd.
Beauteous, Beautiful, *a.* (o *beauty*) teg, prydferth, glandeg, glân, prydweddol, hardd, mirain, telediw, eirian, glwys, iesin, cain, dillyn, prydus, deiniol, dain, telaid, berth, tlws, (*f.* tlos), mir, cyfrdelaid, eiriocs, pefr, gwymp, arbrydus, prydus; hyfryd.
She was beautiful to look on—glân yr olwg ydoedd hi.
The woman was beautiful—y wraig oedd deg ei gwedd.
Beautiful sound — sain hyfryd, hyfryd sain.
Beautiful voice—hyfrydlais, llais hyfryd.
Beauteousness, Beautifulness, *s.* tegwch, prydferthwch, glendid, harddwch, mireinedd, mireinwch, berthineb, telediwrwydd.
Beautifier, *s.* (o *beautify*) prydferthwr, harddwr, addurnwr, tegychydd, prydferthydd, addurnydd.
Beautify, *v.* (*beauty*, a Ll. *facio*) prydferthu, teghau, tecäu, harddu, addurno, gwychu, gorwychu, tegu, tegychu, mireinio, tlysio, berthu, hoewi, eirianu, ceinioni, eirioni, deinioli.
Beautifying, *s.* (o *beautify*) addurniad, harddiad, trwsiad.
Beauty, *s.* (Ff. *beauté*) tegwch, glendid, prydferthwch, harddwch, ceinder, ceindeb, glwysder, glwysedd, tegid, mireinder, mireinedd, mireindra, mireindod, mireindeb, mireinwch, mireinrwydd, telediwrwydd, berthineb, berthedd, berthyd, tegedd, tegaint, tegder, eirianedd, tlysder; pryd a gwedd; hyfrydwch.
Beauties—ceinion, teleidion, dillynion, prydferthion, tlysion.
Beauties of language—ceinion iaith, dillynion iaith; ceinion ymadrodd; dillynion *neu* deleidion ymadrodd.
Beauties of nature—ceinion anian, prydferthion natur, dillynion notur.
Paragon of beauty—manon.
Perfect beauty—gwir degwch; un landeg odiaeth.
Beauty spot—berthfan; ysmotyn, (*pl.* ysmotiau).
Beauty of face *or* mien—tegwch pryd, glendid gwedd, tegwch gwedd.
Beauty of shape—prydferthwch gosgedd; tegwch, glendid, *neu* brydferthwch gwedd *neu* osgedd.
Beauty of shape and mien—tegwch *neu* lendid pryd a gwedd.
Beauty of air *or* carriage—diwyg da, telediwrwydd.
Beauty of mien, shape, and air—pryd, a gwedd, a diwyg da; pryd, a gosgedd, a thelediwrwydd.
He was a perfect beauty—gwir ddelw tegwch ydoedd; o wadn ei droed hyd ei goryn nid oedd gwrthuni ynddo.
This was a virgin of perfect beauty—morwyn oedd hon o bryd, a gosgedd, a thelediwrwydd; un yn meddu perffaith *neu* wir degwch ydoedd y forwyn hon.
The beauty of eloquence—gloewder, hoewder, hoewedd, dillynder, gwychder, llathreiddrwydd, dysgleirder, trybelidrwydd, *neu* hyfrydwch hyawdledd; tlysni ffraethineb.
The beauty of a place—tirionwch *neu* diriondeb lle; hyfrydwch *neu* serchusrwydd lle; harddwch màn.
Beauty of style — ceinder ieithwedd; harddwch ieithwedd; harddwch *neu* lathreiddrwydd ymadrodd *neu* ysgrifen; dillyn ddull araeth.
In his beauty, In its beauty, yn ei flodau; yn nghanol ei degwch; yn ei degwch.

To lose one's beauty—colli ei flodau, ei wawr, *neu* ei degwch; dihoeni, edwi, gwywo, diflanu, difanu, edwino.
Beauty of holiness—harddwch santeiddrwydd.
Beauty, † *v. a.* addurno, harddu, tecäu.
Beautyless, *a.* (*beauty* a *less*) didegwch, anhardd, anferth.
Beaver, *s.* (S. *befor, biofor;* Ff. *bièvre*) llostlydan; ffrancon: *pl.* llostlydain=math ar anifel amelfenol, nid annhebyg iawn i ddyfrgi: pân *neu* fanflew y llostlydan.
Beaver hat—het lostlydan, het ffrancon, hed ffranconaidd; het o bân y llostlydan.
Beaver of a helmet—barfle penial, crib helm.
Bebleed, † *v. a.* (*be* a *bleed*) gwaedu.
Beblood, Bebloody, † *v. a.* (*be* a *blood*) gwaedlydio, gwaedlydu, gwaedruddo.
Beblot, † *v. a.* (*be* a *blot*) dilëu, diwyno.
Becafico, Beccafigo, *s.* (It.) ffigysor=math o aderyn tebyg i'r eos, ac yn byw ar ffigys.
Becalm, *v. a.* (*be* a *calm*) tawelu, gostegu, llonyddu, llinaru, lleddfu, dystewi, esmwytho, llareiddio; colli yr awel; attal ysgogi.
Becalming, *s.* (o *becalm*) tawelwch; gostegiad; tawelwch ar fôr.
Because, *c.* (S. *be*=by, a *cause*) o herwydd, oherwydd, oblegid, o blegid, o achos, herwydd, o ethryb; canys, am, gàn, càn, rhag, erwydd, gwaith, o waith, yn gymmaint a, o blaid.
Because of—o herwydd, oblegid, o blegid, o achos, o ethryb, am, serch, o ran.
Because that—am mai, o waith, herwydd mai.
Because thou hast done this thing — o herwydd i ti wneuthur y peth hwn; gàn i ti wneuthur hyn o beth; gàn, càn, *neu* am wneuthur ohonot hyn o beth.
Because he is an hireling—am mai gwas cyflog yw.
Because I live—canys byw wyf fi.
Because of these things—oblegid y pethau hyn; o achos y pethau hyn.
It is no use for thee because of that—nid gwiw i ti serch hyny; nid gwiw iti o ran hyny; nid gwiw i ti am *neu* oherwydd hyny.
Beccabunga, *s.* (Al. *bach* a *bunge*) llychlyn y dwr, goferini, rhwyddlwyn.
Bechance, *v. n.* (*be* neu *by* a *chance*) hapio, dygwyddo, dygwydd.
Bechics, *s. pl.* (Gr. *bêchica*) pesycholion, cyfferi rhag y peswch.
Beck, † *s.* (S. *becc;* Al. *bach*) cornant, gofer, rhidys.
Beck, *s.* (S. *beacn*) amnaid, awgrym, munud; awgrymiad, amneidiad.
To be at one's beck—bod wrth amnaid, awgrym, archiad, gorchymyn, ewyllys, *neu* alwad un; bod wrth addug un.
He is at his master's beck—efe a wna y peth à fyno ei feistr; mae efe wrth addug ei feistr.
Beck, *v.* amneidio, awgrymu; gwneyd amnaid *neu* awgrym; rhoddi amnaid; bwrw amnaid; rhoddi awgrym; munudio.
Beckon, *v.* (S. *beacnian*)=*Beck.*
Alexander beckoned with the hand for silence — Alecsander a amneidiodd â'i law am osteg.
He beckoned to them—gwnaeth amnaid iddynt *neu* arnynt.
Beckon, *s.* (S. *beacn*)=*Beck.*
Beclip, † *v. a.* (S. *beclyppan*) cofleidio.
Becloud, *v. a.* (*be* a *cloud*) cymylu, tywyllu, caddugo.
Become, *v. n.* (S. *becuman;* Is. *bekoomen*) dyfod yn, myned yn; dawed yn; dyfod, myned, dygwydd, damweinio; dyfod o; dyfod i fod yn.
What became of him?—beth a ddaeth o hono? pa beth sydd wedi dyfod o hono? beth a ddygwyddodd iddo?
What will become of him?—beth a ddaw o hono?
And the man became a living soul—a'r dyn a aeth yn enaid byw.
The man is become as one of us—y dyn sy megys un o honom ni.
To the Jews I became as a Jew—mi a ymwnaethym i'r Iuddewon megys yn Iuddew.
All things are become new—gwnaethpwyd pob peth yn newydd.
To become incarnate—ymgnawdoli.
To become cruel—creuloni, ymgreuloni.
It has become a proverb—y mae wedi dyfod *neu* fyned yn ddïareb; aeth yn ddïareb.
Become, *v. a.* (S. *be* a *cweman*) gweddu, bod yn gweddu; gweddu i, bod yn gweddu i; bod yn weddus, addas, cymhwys, addwyn, priodol, *neu* hardd; perthynu, perthyn; bod yn perthyn.
It becomes—e weddai, gweddai, e gyngwedda; mae'n weddus, addas, cymhwys, *neu* addwyn; gweddus, addas, *neu* gymhwys yw.
It becomes a king—addwyn yw i frenin; gweddus *neu* addas yw i frenin.
It becomes not, It ill becomes, anweddus yw; anweddaidd yw; anaddas, anaddwyn, anghymhwys, anhardd, *neu* anmhriodol yw; mae'n anweddus *neu* anweddaidd; drwg y gwedda; ni chyngwedda; nid yw addas.
Excellent speech becometh not a fool—anweddaidd yw i ffol ymadrodd rhagorol; nid gweddus i ffol yw ymadrodd rhagorol.
Let your conversation be as it becometh the gospel—ymddygwch yn addas i'r efengyl.
As it became thee—fel yr oedd weddus iti; fel y gweddai iti; fel yr oedd yn gweddu i ti.
Becoming, *a.* (o *become*) gweddus, addas, cymhwys, prydferth, addwyn, hardd, gweddaidd, priodol.
Becoming, † *s.* addurn.
Becomingness, *s.* (o *becoming*) gweddusrwydd, gweddusder, addasrwydd, gweddeidd-dra, gweddeiddrwydd, addwynder, prydferthwch, prydferthedd, prydferthrwydd.
Becripple, *v. a.* (*be* a *cripple*) cloffi, efryddu, gwneyd yn gloff.
Becurl, † *v. a.* (o *curl*) crychu, crychgudynu.
Bed, *s.* (S. ac Is.; Al. *bett, beet*) gwely; gorweddfa, gwâl, gwelyf, gorweddle, gwalas, cysgwal, gwalfa; priodas; haen, gwânaf.
Feather bed—gwely plu, gwely pluf.
Down bed—gwely manblu, gwely manbluf.
Straw bed—gwely gwellt.
Flock bed—gwely casnach, gwely casnod.
Press bed—cistwely, gwely ar weddd dilladgist.

Settle bed—meincwely, gwely ar wedd mainc.
Table bed—byrddwely, bordwely, gwely ar lun talford.
Pallet bed—glwth, gwely bach, glytha.
Folding bed—plygwely, gwely plyg; gwely codi.
Tent bed—tentwely, gwely tent.
Truckle bed, Trundle bed, } gwely tròl, trolwely, trwl.
Turn-up bed—gwely codi.
Bed of state—teyrnwely, rhwysgwely.
Marriage bed—gwely priodas, gwely priodasol.
Bride bed, Bridal bed, } gwely priodas, priod-wely.
Bed of a river—gwely afon; dyfrle; ffos, ceuffos, *neu* gafn afon; gwaelod afon; gwely y dwr.
Bed in a garden—gwely gardd, gwely mewn gardd, garddwely.
To make the bed—taenu *neu* gyweirio y gwely; gwneyd *neu* wneuthur y gwely.
The bed's head—pen gwely; pen y gwely.
The bed's feet—traed gwely; traed y gwely.
Bed's tester—gortho gwely, cysgodlen gwely.
Bed's post—post gwely, colofn gwely.
Bed mattress, Bed mat, } bannas gwely, matras gwely, rhestog gwely, mat gwely.
Bed hangings—crogleni gwely.
Bed curtain—croglen, cylched, cauadlen, rhedlen, tynlen, cylchedlen, cylchlen, *neu* gortyn gwely.
Bed clothes—dillad gwely.
Bed chamber—ystafell wely, gwelystafell, gwelygell, ystafell gwely, cuddigl, hungell, cysgell, gwelyfan, ystafell gysgu.
A gentleman of the king's bed chamber—ystafellydd y brenin; un o ystafellyddion y brenin; teyrn-ystafellydd; gwelygellydd y brenin.
Sick bed—clafwely.
To be sick in bed—gorwedd yn glaf; gorwedd ar ei glafwely; bod yn *neu* ar ei glafwely.
Death bed—gwely angeu, marw-ysgafn, llogwydd.
Bed of sand—tywoden, torlan dywod.
Bed of ease—gwely anwes.
Bed and its furniture, Bed with its appurtenance, } gwely a'i gylchedau.
Bed time—pryd cysgu; pryd myned i'r gwely; pryd *neu* amser gwely.
To go to bed—myned i'r gwely; myned i gysgu; myned i orwedd.
To bed with you—i'r gwely â chwi.
In bed, A-bed, } yn y gwely; mewn gwely.
Child-bed—gwely esgor; esgorfan, gwelyfod; etifeddwely.
A woman in child-bed, A child-bed woman, } gwraig ar *neu* yn ei gwely esgor; gwraig ar ei gwely; gwraig yn ei gwelyfod; gwraig yn gorwedd i mewn; gwraig etifeddog.
To be in child bed—gwelyfodi, gwelyodi; gorwedd i mewn; bod ar wely esgor.
She died in child-bed—bu farw ar *neu* yn ei hetifedd-wely; bu farw ar ei gwely esgor; bu farw ar enedigaeth dyn *neu* un bach.
To be brought to bed—esgor; bod wedi esgor; cael ei hebrwng i'w gwely; bod wedi ei hebrwng i'w gwely; dwyn i'r gwely.
She is brought to bed of a son—hi a esgorodd ar fab; ganwyd iddi fab.
She is now just brought to bed—y mae hi newydd ei hebrwng i'w gwely.
To put to bed—gwelyfu; colwyno; esgor; dwyn i'r byd; rhyddhau; cael ei rhyddhau; rhoi yn y gwely.
To keep one's bed—cadw y gwely; cadw ei wely; cadw ei gwely.
Bed of justice—gorsedd yr eisteddai brenin Ffrainc arni pan yr ai i'r senedd.
To hold a bed of justice—eistedd ar orsedd; cynnal barn.
From board and bed—o fwrdd a gwely; ar ysgariad.
As you have made your bed, so you must lie in it—fel y gwnaethoch y cawl, cymmerwch; fel y gwnaethoch y cawl, yfwch ef.
George, the son of his second bed—Georg, mab ei ail briodas; Georg, ei fab o'i ail briodas.
My beloved has gone to the beds of spices—aeth fy anwylyd i welyau y peraroglau; fy anwylyd a aeth i welyau y perlysiau.

Bed, *v.* gwelyo; gwelya; gwelyfu; cydwelya, cydorwedd; cyttrigo, cydgysgu; gorwedd, gorweddian; gosod, haenu, gwanafu; rhoi mewn gwely; cymmeryd i'r gwely.
Bedabble, *v. a.* (*be* a *dabble*) gwlychu; taenellu.
Bedaff,† *v. a.* (*be* a *daff*) ffylio, ffoli, gwneyd ffwl o un.
Bedagat, *s.* enw llyfrau cyssegredig y Bwdhiaid yn Burmah.
Bedaggle, *v. a.* (*be* a *daggle*) diblo, caglo, caglu, llodro.
Bedare,† *v. a.* (*be* a *dare*) beiddio; herio.
Bedash, *v. a.* (*be* a *dash*) taenellu, ysgeintio, ysgeinio, ysgaenu.
Bedaub, *v. a.* (*be* a *daub*) diwyno, dwyno, dwbio, plastro, edlynu, llytrodi, lluthrodi.
To bedaub with smut—pardduo, duo, gorddu.
To bedaub with dirt—gorchuddio, diwyno, *neu* ddwbio â baw *neu* dom; tomi, llytrodi; plastro â baw *neu* laid.
Bedazzle, *v. a.* (*be* a *dazzle*) teryllu, gorddysgleirio, serenu, llathru, seirianu.
Bedder, Bedetter, } *s.* (o *bed*) maen isaf melin olew.
Bedding, *s.* (o *bed*) gwely a'i gylchedau; defnydd gwely; dillad gwely; gwely.
Bed and bedding—y gwely a'i ddefnydd.
Bedead, *v. a.* (*be* a *dead*) marwhau, marweiddio.
Bedeck, *v. a.* (*be* a *deck*) addurno, trwsio, trwsiadu, prydferthu, gwychu, eirioni, pincio, tacluso.
Bedehouse, *s.* (S. *bead*, a *house*) paderdy, betws; elusendy, ysbytty.
Bedel, *s.* (S. *bædel*)=*Beadle.*
Bedelry, *s.* (o *bedel*) brysgylliaeth, berllysgiaeth; brysgylldod.
Bedevil, *v. a.* (*be* a *devil*) dyrysu; dinystrio, dystrywio.
Bedew, *v. a.* (*be* a *dew*) gwlitho, gwlychu; taenellu â gwlith.

**Bedewer**, *s.* (o *bedew*) gwlithwr, gwlithydd, gwlychwr.
**Bedewy**, *a.* (o *bedew*) gwlithog; llaith gàn wlith.
**Bedfellow**, *s.* (*bed* a *fellow*) cydwely, (*c. g.*), cywely: *f.* cydwelyes, cywelyes.
**Bedight**, *v. a.* (*be* a *dight*) gwychu, harddu, addurno, pincio, trwsio; gwisgo, harddwisgo.
**Bedim**, *v. a.* (*be* a *dim*) dallu, tywyllu, caddugo.
**Bedizen**, *v. a.* (*be* a *dizen*) addurno, gwychu, trwsiadu.
**Bedlam**, *s.* (o *Bethlehem*, enw crefydd-dy yn Llundain, yr hwn a dröwyd wedi hyny yn ysbytty lloerigion) bedlem, gwallgofdy, lloerigdy, gorphwyllfa, ynfytty.
Bedlam is the fittest place for her—y bedlem yw y lle cymhwysaf iddi; cymhwysach iddi fod yn y bedlem nag yn rhodio yn rhydd.
**Bedlam**, **Bedlamite**, *s.* (o *bedlam*) bedlem, (*pl. t.* od), bedlemydd, bedlemig, lloerig, gorphwyllog, gorphwyllwr; gwallgofwr, dyn gwallgof, gwallgofus, ynfyd, *neu* orphwyllog: *f.* bedlemes, gwallgofes.
**Bedlam**, *a.* gorphwyllog, gwallgofus, lloerig, bedlemaidd, gwallgof.
**Bedmaker**, *s.* (*bed* a *maker*) taenydd, taenwr, cyweirydd, *neu* gyweiriwr gwely; taen-wraig gwely, taenyddes gwely.
**Bedmate**, *s.* (*bed* a *mate*) cydwely, (*c. g.*), cywely: *f.* cydwelyes, cywelyes.
**Bedmoulding**, *s.* (*bed* a *moulding*) addurndalaith gwely, rhigol gwely, addurn-rigol gwely.
**Bedote**,† *v. a.* (*be* a *dote*) dotio, dotian, peri dotio.
**Bedpost**, *s.* (*bed* a *post*) post gwely; *pl.* pyst gwely.
**Bedpresser**, *s.* (o *bed* a *press*) diogyn, seguryn, musgrellyn, un hoff o'r gwely.
**Bedraggle**, *v. a.* (*be* a *draggle*) caglo, diblo, llusgo'r llawr, ysdragio, llusgo.
**Bedrench**, *v. a.* (*be* a *drench*) tochi, trochi, swgio, mwydo, gwlychu.
**Bedrid**, **Bedridden**, *a.* (o *bed* a *ride*) gorweiddiog, gorweddog; à wanhawyd drwy anhwyldeb fel nas gallo godi o'r gwely.
**Bedrite**, *s.* (*bed* a *rite*) braint gwely; rhagorfraint y cyflwr priodasol.
**Bedrop**, *v. a.* (*be* a *drop*) taenellu, ysgeintio, dosi.
**Bedside**, *s.* (*bed* a *side*) ochr gwely, erchwyn gwely, ystlys gwely.
**Bedstead**, *s.* (*bed* a *stead*) erchwyn gwely, carfan gwely, pren gwely.
**Bedstraw**, *s.* (*bed* a *straw*) gwellt gwely: gwendon, gwenwlydd, briwydd.
White water bedstraw—gwendon, gwenwlydd y gors.
Smooth heath bedstraw—gwenwlydd lefn, briwydd wèn.
Rough marsh bedstraw—gwendon arw y migyn.
Yellow bedstraw—briwydd felen, briger twynau, ceulon, ceulion, llysiau y cywer, cywer y llaeth.
**Bedswerver**, *s.* (o *bed* a *swerve*) gwelygiliwr; un anffyddlawn i'w wely priodas.
**Beduck**, *v. a.* (*be* a *duck*) trochi, soddi, rhoi dàn ddwr.
**Bedung**, *v. a.* (*be* a *dung*) tomi, teilo; gorchuddio â thom *neu* dail.
**Bedust**, *v. a.* (*be* a *dust*) llychwino, llychio.
**Bedward**, *ad.* (*bed* a *ward*) tua'r gwely; at y gwely; tuag at y gwely.
**Bedwork**, *s.* (*bed* a *work*) hawddwaith, gwaith esmwyth, gwaith gwely.
**Bedwarf**, *v. a.* (*be* a *dwarf*) cori, rhwystro twf, attal tyfiant.
**Bedye**, *v. a.* (*be* a *dye*) lliwio, lliwo, ystaenio.
**Bee**, *s.* (S. *beo*; Is. *bye*; Al. *biene*) gwenynen *pl.* gwenyn.
Queen bee—cornor, cornor y gwenyn; y frenines.
Drone bee—begegyr, gwenynen ormes; bychygyr.
Gad bee—cacynen y meirch, (*pl.* cacwn y meirch), clyryn llwyd.
Humble bee—gwenynen wyllt.
Bee glue—glud gwenyn.
Bee eater, Eat bee,—gwenynysor, delor y derw; cymmynydd y coed.
Swarm of bees—haid o wenyn.
The first swarm of bees—y gynhaid, y gyntaid, y gynt-haid.
Bee hive—cwch gwenyn, llestr gwenyn, cyff gwenyn, gwenyn lestr, modrydaf, bodrydaf.
Nest of wild bees—bydaf.
To hive bees—cychu gwenyn; llestru *neu* lestro gwenyn.
To drive bees—lladd, mogi, mygu, tori, *neu* dynu gwenyn.
Bee garden—gwenynog, gwenynlle, gardd wenyn.
Bee master—ceidwad gwenyn.
Bees' wax—cwyr gwenyn, cwyr melyn.
Bee flower—caineirian, blodyn y gwenyn.
As busy as a bee—mòr ddiwyd a'r wenynen; cyn ddiwyted a'r wenynen.
**Beech**, *s.* (S. *becc*, *boc*; Al. *buche*) ffawydden, pren ffawydd: *pl.* ffawydd, coed ffawydd.
Beech-tree=*Beech.*
Beech-mast—ffrwyth y ffawydd, cnau y ffawydd.
Beech-coal—golosg ffawydd, golosged ffawydd.
Beech-oil—olew ffawydd, olew y ffawydd.
Beech-grove, Grove of beech,—ffawyddog, llwyn ffawydd.
**Beechen**, *a.* (o *beech*) ffawyddaidd, ffawyddain, ffawyddin, o ffawydd.
Beechen vessel—llestr ffawydd, llestr ffawyddin.
**Beef**, *pl.* Beeves, *s.* (Ff. *bœuf*, *beuf*) eidion, ych; biw.
**Beef**, *s.* cig eidion, buchgig, bugig.
After beef cometh mustard—cynghawsedd wedi brawd.
Beef steaks—golwythion cig eidion, golwythion buchgig, tafelli cig eidion.
Beef-eater—bugiger, torlas; bugigwr; gosgorddwr y brenin; dyn ffyrf cydnerth.
Salted beef, Powdered beef,—cig eidion hallt, buchgig hallt, bugig hallt.
Hung beef—cig eidion sych, cig eidion pen ty.
Roast beef—cig eidion rhost, bugig rhost.
Beef-witted—pendew, penfas, penfeddal, hurt, penbylaidd, synwyrbwl.
**Beeld**, **Bield**, † *s.* (S. *behlydan*) nodded, nawdd; noddfa; caban.
**Beele**, *s.* cyfegydd à arferir gàn fwnwyr.
**Beemol**, **Bemol**, *s.* (*b*, a Ll. *mollis*) hanner tôn.
**Been**, *s.* math ar offeryn cerdd tannau ar arfer yn yr India Ddwyreiniol.
**Beer**, *s.* (Ff. *biere*; Llyd. *bir*, *byer*, *ber*; Is. ac

Al. *bier*) cwrw, cwrwf, heiddlyn, bir, dïod frag; dïod, dïodlyn.
Small beer—dïod fain, chwiblen.
Ale and beer—cwrw a bir; dïod a chwrw.
Beer-house, Beer-shop, } dïotty, tafarndy, cyrfdy.
Beer-barrel—baril gwrw, baril ddïod.
Stale and hard beer—cwrw wedi caledu; cwrw â blas suri arno; cwrw merf.
Dead beer—dïod dreng; dïod wedi marw; cwrw egr diflas; cwrw marw.
Spruce beer—pyrddïod, cwrw pyrwydd.
Table beer—bordlyn, byrddlyn, ail ddïod, dïod ail, dïod y ford.

**Beestings, Biestings,** } *s. pl.* (S. *bysting, byst;* Is. *biest*) llaeth tor, llaeth mysg, llaeth melyn, llaeth brith, cynlaeth.

**Beet,** *s.* (Ll. *beta;* Is. *biet;* Al. *beete*) betysen, (*pl.* betys), melged.
Sea beat—melged arfor, betysen y môr.
White beet—melged wèn, betysen wèn.
Red beet—melged goch, betysen goch.
Beet-root—gwraidd melged, gwraidd betys, melged-wraidd, pid-wraidd.
Beet-rave, Beet-radish, } pidruddygl, pidheddig, betys-ruddygl.

**Beetle,** *s.* (S. *betel*) chwilen, chwil: *pl.* chwilod.
Black beetle—chwilen ddu.
Long black beetle—gysp, chwilen ddu hir.
Great horned beetle—chwilen gorniog.
Elephant beetle—cawrchwilen, cawrchwil.
Dung beetle—chwilen y dom, tomchwilen, chwil y dom, chwilen wyllt.
Dorr beetle—chwilen y baw.
As blind as a beetle—mòr ddall a'r wadd; mòr ddall a'r wàl; heb weled mwy na'r wàl; heb weled trem *neu* dremyn; heb weled golwg ar y byd.

**Beetle,** *s.* (S. *bitl, bytl*) gordd, gorddwyn, pwysodr, pwyodr.
Pavier's beetle—pwysodr, pwyodr, gordd balmantu.
Small beetle—gorddan, gordd fechan.
Bucking beetle—golchbren, golchffon.
Beetle-stock—coes gordd.
Beetle-brow—cuch, cuwch, cuchiog ael, crogael.
Beetle-browed—cuchiog, cuwchiog, aeliog, banaeliog, aelfawr; sarig.
Beetle-head — hurthgen, llelo, penbwl, hurtyn, pendew, llob, cuall.
Beetle-headed—penbylaidd, penglogaidd, penwan, hurt, pwl, disynwyr.
Beetle-stones—chwilfain, chwilfeini.

**Beetle,** *v. n.* ysgwyddo, ysgythu, ysgwyddo allan, gorysgwyddo; crogi *neu* hongian allan; sefyll, pwysu, ymdaflu, *neu* estyn allan *neu* yn mlaen.

**Beeves,** *s. pl.* (o *beef*) eidionau; da duon, buch, biw, da cyrnig.
Threescore and twelve thousand beeves—deuddeg a thrigain mil o eidionau (*Num.* xxxi. 33).

**Befall,** *v.* (*be* a *fall*) dygwydd, dygwyddo, damweinio, hapio; dyfod; darfod i; tycio.
There shall no evil befall thee—ni ddygwydd i ti niwed; ni ddaw niwed i ti.
That which befalleth the sons of men befalleth beasts—dygwydd meibion dynion a ddygwydd i'r anifeiliaid.
It befell — dygwyddodd, e ddygwyddodd; damweiniodd; deryw, darfu; bu.

**Befalling,** *s.* (o *befall*) dygwyddiad; damwaen, dygwydd.

**Befit,** *v. a.* (*be* a *fit*) gweddu, sutio, addasu; bod yn gweddu; bod yn weddus, addas, *neu* gymhwys; cyngweddu, ymweddu.

**Befitting,** *a.* (o *be* a *fit*) gweddus, gweddaidd, cymhwys, addas, sutiol, tymmoraidd, cyfaddas; yn gweddu, yn cyngweddu.

**Befoam,** *v. a.* (*be* a *foam*) ewynu; gorchuddio âg ewyn.

**Befool,** *v. a.* (*be* a *fool*) gwatwar, gwawdio; ynfydu, gorphwyllo; twyllo; ffylio; ffoli; gyru yn ynfyd.
Men befool themselves—y mae dynion yn twyllo *neu* ffylio eu hunain; dynion a wnant ffyliaid o honynt eu hunain.
You befool me now—yr ydych yn awr yn fy ngwatwar; yr ydych yn awr yn chwerthin am fy mhen; yr ydych yn awr yn gwneuthur gwawd o honof.

**Before,** *prep.* (*be* a *fore;* S. *before, beforan*) o flaen, rhag, cyn, yn mlaen; gwydderbyn, ger bron, ger, ger gŵydd, ger wyneb, rhag, yn ngŵydd; rhag-, blaen-.
Before me—o'm blaen, rhagof, rhagddof, rhagddwyf, rhagwyf; o fy mlaen, ger fy mron.
Before thee—o'th flaen, rhagot, rhagddot; o dy flaen, ger dy fron.
Before him, Before it, } o'i flaen, rhagddo, rhago; ger ei fron.
Before her—o'i blaen, rhagddi, rhagi; ger ei bron.
Before us—o'n blaen, rhagom, rhagddom; ger ein bron.
Before you—o'ch blaen, rhagoch, rhagddoch; ger eich bron.
Before them—o'u blaen, rhagddynt, rhagynt; ger eu bron; gwydderbyn â hwynt.
From before thee—oddi ger dy fron; o ger dy fron; o dy rag; o rhagot.
I will go before you—af rhagoch; af o'ch blaen.
Before his face—o flaen ei wyneb; ger bron ei wyneb; ger ei fron; yn ei wyneb.
Before the house—o flaen y ty; cyferbyn *neu* gwydderbyn â'r ty; rhag y ty.
The house before him—y ty rhagddo; y ty o'i flaen; y ty cyferbyn âg ef.
Before the beginning of the world—cyn dechreuad y byd, cyn dechreu y byd.
Endeavour to come before winter — cais ddyfod cyn y gauaf.
My sighing cometh before my meat—o flaen fy mwyd y daw fy uchenaid.
Before all things—cyn pob peth; yn mlaen pob peth; o flaen pob peth.
Before the wind — o flaen y gwynt; gyda'r gwynt.
There was no day like that before it—ni bu y fath ddïwrnod a hwnw o'i flaen.
They are before my face—y maent ger bron fy wyneb; y maent ger fy ngwyneb; maent ger fy mron.
Them that sin rebuke before all—y rhai sydd yn pechu, cerydda yn ngŵydd pawb.
I reprimanded him before them all—mi a'i ceryddais ef yn eu gŵydd *neu* ger eu bron hwynt oll.
He ran before the multitude—rhedodd o flaen y dorf; rhagredodd *neu* rhagflaenodd y dyrfa; blaenodd ar y lluaws.

Before I was afflicted—cyn fy nghystuddio; cyn i mi gael fy nghystuddio; cyn cael o honof fy nghystuddio.
To go before—blaenu, myned o flaen, rhagflaenu, rhagu.
He knew my meaning before I spoke—deallodd fy meddwl cyn llefaru o honof; deallodd fy meddwl cyn imi lefaru; deallodd fy meddwl cyn nag y llefarais.
Every thing was finished before he came—gorphenasid pob peth cyn ei ddyfod; gorphenasid pob peth cyn dyfod o hono; yr oedd pob peth wedi ei orphen cyn ei ddyfodiad.
Before Abraham was, I am — cyn bod Abraham, yr wyf fi.
Before this time, } cyn hyn; cyn y pryd
Before now, } hwn *neu* hyn; cyn yn awr; cyn heddyw; cyn no hyn.
Before that time, } cyn hyny; cyn y pryd
Before then, } hwnw *neu* hyny; cyn no hyny; cyn na hyny.

Before, *ad.* cynt, gynt, o'r blaen, yn mlaen; cyn, cyntna, cyn na, cyn nag; cynt no *neu* nog.
The days that were before shall be lost—aed y dyddiau cyntaf yn ofer.
As before—megys cynt, megys gynt; fel cynt, fel o'r blaen; megys o'r blaen.
I told you before—rhagddywedais i chwi; dywedais i chwi o'r blaen; dywedais wrthych yn mlaen llaw.
You knew these things before—rhagwyddech y pethau hyn; gwyddech y pethau hyn o'r blaen.
Thou hast beset me behind and before—amgylchynaist fi yn ol ac yn mlaen.
They were full of eyes before and behind—yr oeddent yn llawn llygaid o'r tu blaen ac o'r tu ol.
The battle was before and behind—yr oedd rhyfel yn mlaen ac yn ol.
They smote them before and behind—hwy a'u tarawsant yn ngwyneb ac yn nghefn.
Neither before nor since—na chynt nac wedi; na chynt na gwedi.
Before and after—cyn a gwedi; cynt ac wedi; gynt a gwedi.
To be before—bod o flaen; rhagori ar; blaenori ar; bod yn well nag.
To get before—myned o flaen; cael *neu* ennill y blaen; blaenu, blaenu ar; gadael ar ol; achub blaen.
To set before—gosod *neu* ddodi o flaen; cyfrif yn well na; parchu yn well na.

Beforecited, *a.* (*before* a *cite*) crybwylledig, rhagddyfynedig; â ddyfynwyd o'r blaen; rhagenwedig.

Beforehand, *ad.* ac *a.* (*before* a *hand*) yn mlaen llaw, yn mlaenllaw; o'r blaen; rhag-.
Take no thought beforehand—na ragofalwch.
Some men's sins are open beforehand—pechodau rhyw ddynion sydd amlwg o'r blaen.
To be beforehand with one—rhagflaenu un; achub *neu* gael y blaen ar un; bod yn mlaen llaw gydag un.
To be beforehand in the world—bod yn mlaen llaw â'r byd; bod yn mlaen llaw yn y byd; bod yn ddiwall, digonol, *neu* gyfoethog; bod â'r trechaf ganddo ar y byd.
To pay beforehand—talu yn mlaen llaw; talu yn mlaen; rhagdalu.

Beforementioned, *a.* (*before* a *mention*) crybwylledig, rhagddywededig, rhagenwedig; â grybwyllwyd o'r blaen; rhag-grybwylledig.

Beforetime,† *ad.* (*before* a *time*) cynt, gynt, o'r blaen (1 *Sam.* ix. 9; *Jos.* xx. 5).

Befortune, *v. a.* (*be* a *fortune*) dygwydd, damweinio, hapio; dygwydd i.

Befoul, *v. a.* (*be* a *foul*) diwyno, budru, anurddo; llytrodi, bryntäu, lluthrodi.

Befreckle,† *v. a.* (*be* a *freckle*) brychu, brithliwo.

Befriend, *v. a.* (*be* a *friend*) gwneuthur cymmwynas; cymmwynasu, gwneyd rhan cyfaill; dangos caredigrwydd; pleidio, cynnorthwyo, llesoli, cedu.

Befringe, *v. a.* (*be* a *fringe*) sideru, amaerwyo; addurno â sider, rhidens, *neu* amaerwy.

Beg, } *s.* (Tyrc. *begh*, *bek*) llywydd tref neu wlad
Bey, } yn mysg y Tyrciaid: yn Tunis, y Bey neu Beg yw y brenin.

Beg, *v.* (Al. *begehren*; D. *begierer*; Is. *begeeren*) erfyn, deisyf, deisyfu, erfynied, erfynio, crefu, atolygu, ymbil am, ymbil, crëu; gofyn, ceisio, dymuno, damuno, erchi; cardota, ceinioca; gofyn cardod *neu* elusen; gofyn *neu* geisio peth yn gardod; cymmeryd yn ganiataol.
To beg the question—haeru cyn profi; baeru, taeru, hòni.
To beg in a round-about way—pedu.
To beg humbly *or* earnestly — atolygu, atolwg, adolwyn; ymbil âg *neu* am; ymhwedd ar; ioli; ufydd atolygu; atolygu yn ufydd; atolygu yn ostyngedig; adolwyn er mwyn Duw; ymbil ar liniau; taer grefu, crefu.
To beg I am ashamed—cardota sy gywilyddus genyf.
She came to beg a kindness of him—hi a ddaeth i ofyn cymmwynas ganddo.
She was begging something of him—yr oedd hi yn deisyf rhywbeth ganddo.
I beg your pardon—erfyniaf eich nawdd; esgusodwch fi; deisyfaf eich maddeuant; maddeuwch i mi.
Let me beg it of you—gadëwch i mi ymbil â chwi; gadwch i mi ymbil arnoch; gadëwch imi dycio gyda chwi; gadwch i mi ymhwedd arnoch.
I beg of you—erfyniaf arnoch; yr wyf yn erfyn *neu* yn deisyf arnoch; atolygaf i chwi.

Begall,† *v. a.* (*be* a *gall*) dolurio, ysbelwi, llygru; digio.

Beget, *v. a.* (S. *begetan*) cenedlu; epilio, hilio, essillio; ennill plant, ennill epil; rhialu; magu; deillio, dwyn allan; peri, peru, cynnyrchu.
To beget children—ennill plant.
He begat sons and daughters—efe a genedlodd feibion a merched.
Luxury begets vice—gloddest a bair ddrygioni.
To beget again—adgenedlu.
Bad air begets diseases—drygsawr a fag glefydau; awyr afiach a genedla glefydau; o awyr afiach y deillia clefydau.

Begetter, *s.* (o *beget*) cenedlwr, cenedlor, tad, epiliwr, hiliwr; magwr; parwr.

Beggar, *s.* (o *beg*) cardotyn, (*f.* cardoten), cardotwr, (*f.* cardotwraig), cardotai, (*c. g.*), rheidusyn, (*f.* rheidusen), rheidusddyn; cref-

wr; honwr, taerwr: *pl.* cardotiaid, cardoteion, rheidusion, angenogion, cardotwyr.
An importunate beggar—clipan; cardotyn haerllug.
Beggar-woman, } cardoten, cardotes,
Beggar-maid, } rheidusen, cardotwraig, cardotferch, cardotai, angenog, angenoges.
Beggars' bush—llwyn cardoteion, llwyn rheidusion, llwyn cardotwyr, cyfarfodle cardotiaid.
Beggar-man=*Beggar.*
Set a beggar on horseback, and he will ride to the devil—nid trawsfalch ond tlawd â ddyrchafwyd.
Beggar, *v. a.* tlodi, llymhau, rheiduso; gwneuthur yn dlawd; dwyn i dlodi; dysbyddu, amddifadu.
Beggarliness, *s.* (o *beggarly*) rheidusrwydd, rheidusni, angenogrwydd, tlodi, gordlodi; cardoteiaeth; crintachrwydd, gwaelder.
Beggarly, *a.* (o *beggar*) rheidus, tlawd, angenog, angenus, llymrig; cardotynaidd; gwael, distadl, bawaidd.
Weak and beggarly elements—egwyddorion llesg a thlodion.
Beggarly fellow—bawai, cardotwas, adill; mab y crinwas.
Beggarly wretch — cardotyn gwael *neu* druan; adyn tlawd; truan gwael.
Beggary, *s.* (o *beggar*) tlodi, eisieu, angen; angenoctyd, angenusrwydd, rheidusni, rheidusedd; cardoteiaeth, cardotyniaeth; crwydri.
Begging, *s.* (o *beg*) cardota.
Begging is sweet in the mouth of the shameless—melus yw cardota yn ngeneu y digywilydd.
He lives by begging—ar gardota y mae yn byw; y mae yn byw wrth gardota.
The begging trade—celfyddyd cardota; cardotyniaeth.
To go a begging—myned i gardota.
Begilt, *a.* (*be a gilt*) euredig, goreuredig, eurdde.
Begin, *v.* (S. *beginnan*) dechreu, dechre; cychwyn, cychwynu, codi.
To begin anew, } ymadnewyddu; dechreu
To begin afresh, } *neu* ymddechreu o newydd.
This mischief begins afresh—y mae yr echrys hwn yn ymadnewyddu.
Since the world began—er dechreuad y byd; er dechreu y byd.
Charity begins at home—nesaf i bawb eu nesaf; nes elin nag arddwrn; nes imi fy nghrys na'm pais; nid hael ond hael gartref.
I intend to begin my journey to-morrow—bwriadaf ddechreu fy nhaith efory; yr wyf yn bwriadu cychwyn i'm taith fory; y mae yn fy mryd gychwyn fy nhaith efory.
The day begins to break—y mae yn dyddhau; mae yn dyddio; y mae yn dechreu dyddhau *neu* ddyddio; mae y wawr yn tori; mae hi yn rhacio y wawr.
When the year begins — yn nechreu y flwyddyn; pan ddechreuo y flwyddyn; pan ddechreua *neu* pan ddechry y flwyddyn.
To begin the world—dechreu byd; cymmeryd galwad *neu* gelfyddyd; cymmeryd ffordd o fywyd mewn llaw; dechreu byw.
Well begun is half done—deuparth gwaith ei ddechreu.
To begin to march — cychwyn, dechreu cychwyn; dechreu trodio.
Beginner, *s.* (o *begin*) dechreuwr, dechreuydd, cychwynwr; awdwr; dysgadur.
New beginner—newyddian.
Beginning, *s.* (o *begin*) dechreuad, dechreu, dechre, dechread; cychwyniad, cychwynfa; pen.
This was the beginning of my misfortunes—dyma ddechreu fy anffodion; o'r ffynnonell hon y tarddodd fy holl aflwydd.
Before the beginning of the world—cyn dechreuad y byd; cyn dechreu y byd; cyn bod y byd.
Beginningless, *a.* (*beginning a less*) diddechreu.
Begird, *v. a.* (*be a gird*) gwregysu, amwregysu; cylchynu, amgylchu, amgylchynu; gwarchau; ymwregysu â.
Beglerbeg, *s.* (Tyrc.) prif raglaw talaeth yn yr amherodraeth Dyrcaidd.
Beglerbeglik, *s.* talaeth y Beglerbeg, Beglerbeglic.
Begloom, *v. a.* (*be a gloom*)) caddugo, tywyllu.
Begnaw, *v. a.* (*be a gnaw*) cnoi, deintio; ysu, treulio, difa.
Begod, *v. a.* (*be a god*) duwio, dwyfoli.
Begone, *in.* (*be a gone*) ffwrdd! ymaith! hwnt! ymaith â thi! cerdd i gerdded! ffei!
Begot, } *p. p.* (o *beget*) cenedledig, wedi ei
Begotten, } genedlu, â genedlwyd.
Only-begotten—unig-anedig, unig-genedledig, unigenid; un mab tad a mam.
The only-begotten Son of the Father—unig-anedig Fab y Tad.
First-begotten — cyntaf-anedig, cynt-anedig, cynenid; cynfab; cyntaf genedledig.
Begrave,† *v. a.* (*be a grave*) claddu, rhoi mewn bedd; cerfio.
Begrease, *v. a.* (*be a grease*) seimio, ireidio, iro â saim, iro.
Begrime, *v. a.* (*be a grime*) pardduo, duo, gordduo; gorchuddio â pharddu; diwyno, anurddo, bryntau.
Begrudge, *v. a.* (*be a grudge*) grwgnach, grymial; cenfigenu; gwarafun.
Beguile, *v. a.* (*be a guile*) twyllo, hudo, llithio; somi, siomi, seithugio; difyru, hudfoddio, cyfrwysddenu.
To beguile the time, } difyru yr amser.
To beguile the hour, }
The serpent beguiled me — y sarff a'm twyllodd.
Beguiling unstable souls—yn llithio eneidiau anwadal.
Beguiler, *s.* (o *beguile*) twyllwr, hudwr, denydd, somwr, seithugwr.
Begum, } *s.* tywysoges neu bendefiges, yn
Bigum, } Hindwstan a manau ereill o'r
Begawm, } Ddwyreiniol India.
Behalf, *s.* (S. *behefe*; Al. *behuf*; Is. *behoef*) plaid, rhan, achos, plegid, parthed, tu.
In my behalf—o'm plaid, o'm plegid, o'm parthed; o'm plaid *neu* o'm plegid i; drosof; ar fy rhan; o'm tu.
In behalf of—dros, o blaid, o blegid, ar ran, o du, ar du, er.
He pleaded in behalf of the prisoner—dadleuodd dros y carcharor; dadleuodd o

blaid, yn mhlaid, o du, *neu* ar ran y carcharor.

I have yet to speak on God's behalf—mae genyf ymadroddion eto dros Dduw.

In the behalf of Christ—er Crist; dros Grist; o du *neu* o blaid Crist.

Let him glorify God on this behalf—gogonedded Dduw yn hyn o ran.

In his own behalf—drosto ei hun; ar ei ran ei hun.

Behappen, *v. n.* (*be* a *happen*) dygwyddo, dygwydd; hapio.

Behave, *v.* (*be* a *have*; S. *gehabban*, *behabban*) ymddwyn, ymarweddu, ymarwedd; arweddu.

To behave one's self—ymddwyn, ymarweddu, ymarwedd, dwyn ei hun, ymagweddu.

How we have behaved ourselves among you—pa fodd yr ymddygasom yn eich mysg chwi.

We behaved ourselves not disorderly among you—ni buom afreolus yn eich plith chwi.

To behave valiantly—ymddwyn yn wrol; bod yn wrol; ymwroli.

To behave proudly—ymfalchïo; bod *neu* ymddwyn yn falch; ymfawrygu.

To behave unseemly — ymddwyn yn anweddaidd; gwneuthur yn anweddus.

To behave wisely—ymddwyn yn gall; ymddwyn yn ddoeth; bod yn ddeallus.

Well behaved—moesog, moesol, moesgar, moddus, gweddus, gweddaidd; da ei foes; da ei ymddygiad.

Ill behaved — anfoesog, anfoesol, drygfoesog; drwg ei foes; mawr ei anfoes.

They behaved themselves ill in their doings —buant ddrwg yn eu gweithredoedd; drwg fuant yn eu gweithredoedd.

Behaviour, *s.* (o *behave*) ymddygiad, ymarweddiad, ymarwedd, moes.

Good behaviour — ymddygiad da, ymarweddiad da, gwiwfoes.

Decent behaviour—ymddygiad gweddus, ymarweddiad gweddaidd.

To be upon one's behaviour, } bod mewn
To be on one's good behaviour, } sefyllfa o brawf; bod ar brawf; bod ar ymddygiad da.

Bad behaviour—ymddygiad drwg, ymarweddiad drwg, drygfoes.

Behead, *v. a.* (*be* a *head*) dibenu, tori pen, torfynyglu; lladd pen; cymmeryd y pen oddi ar y corff.

Beheading, *s.* (o *behead*) dibeniad, torfynygliad, toriad pen, pendoriad; lladdiad pen oddi ar y corff.

Behemoth, *s.* (H.) anifail à grybwyllir yn llyfr Iob (xi. 15), a thybir mai yr afon farch a olygir.

Behen, }
Ben, } *s.* enw llysieuyn.

Red behen—llemyg, llafant y môr.

Behest, *s.* (*be*, a S. *hæse*) gorchymyn, archiad, arch.

Behight, † *v. a.* (S. *behetan*) addaw; ymddiried; galw, enwi; gorchymyn; dyfarnu; anerch; hysbysu; meddwl; cyfrif.

Behind, *prep.* ac *ad.* (S. *behindan*) yn ol, ar ol, o'r ol, y tu ol, o'r tu ol, y tu cefn, o'r tu cefn, tu hwnt, gwrthol, trach.

Get thee behind me—dos yn fy ol i.

They came behind them—daethant o'u hol hwynt.

Behind the back—trach y cefn; tu ol i'r cefn.

Behind one's back—yn absen un; trach cefn un; yn nghefn un; hwnt i gefn un.

She looked behind her—hi a edrychodd drach ei chefn.

They cast thy law behind their backs—taflasant dy gyfraith o'r tu ol i'w cefn.

I left my money behind—gadawais fy arian ar ol.

There shall not a hoof be left behind—ni adewir ewin yn ol; ni thrig ewin yn ol.

He cometh not behind any—y mae efe gyda'r blaenaf; nid yw efe yn ol i neb.

I will come behind—mi a ganlynaf; deuaf ar ol.

He will be the same before your face and behind your back—yn eich gŵydd ac yn eich absen, yr un a fydd efe; yr un a fydd efe yn ngŵydd ac yn absen.

To be behind one in point of learning—bod yn ol i arall mewn dysg; bod yn llai nag un arall o ran dysg.

To ride behind—ysgilio; marchogaeth wrth ysgil.

She rode behind him—hi a farchogodd yn *neu* wrth ei ysgil ef; marchogodd is ei gil; marchogodd y tu ol iddo.

He took her behind him—ysgiliodd hi; cymmerodd hi wrth ei ysgil; efe a'i cymmerodd hi is ei gil.

Behind the door—yn ysgil y drws; is cil y drws; wrth ysgil y drws; tu cefn i'r drws.

Behindhand, *a.* ac *ad.* (*behind* a *hand*) yn ol llaw; ar ol.

He is behindhand in the world—y mae efe yn ol yn y byd; y mae efe yn ol llaw â'r byd.

He is behindhand in his business—mae efe mewn dyled i'w orchwyl; y mae efe yn ol â'i orchwyl; mae yn ol llaw yn ei alwad.

Behold, *v.* (S. *behealdan*, *beheoldan*) edrych, gweled, canfod, tremu, tremio, golygu, ardremu, ardremio, syllu, craffu; craffu ar; ceinio.

Behold here—llyma; dyma; wele dyma; wel dyma; wele yma.

Behold there—llyna; dyna; wele dyna; wel dyna; wel dacw; dacw, llacw, wele acw.

To behold earnestly *or* steadfastly—darsyllu, selu, synio, dàl sylw; dyfal *neu* graff edrych ar; edrych yn graff.

He beheld them earnestly—syllodd arnynt; edrychodd yn graff arnynt.

Behold thou yonder—sylla draw; edrych acw; sylla raco; gwel acw.

Behold your king—wele eich brenin.

Behold, *in.* wele! wela! nycha! enycha! wel!

Beholden, *a.* (o *behold*) rhwymedig; dàn rwymau; dàn ddyled.

We are greatly beholden to them—mae arnom fawr ddyled *neu* rwymau iddynt hwy.

Beholder, *s.* (o *behold*) gweladur, edrychydd, edrychwr, gweledwr, gwelwr, syllwr, selwr, canfyddwr.

Beholdingness, † *s.* (o *behold*) rhwymedigrwydd.

Behoney, *v. a.* (*be* a *honey*) melusu â mel; melusu, melysu.

Behoof, *s.* (S. *behofian*) budd, lles, mantais, mael, elw.

Behoovable, *a.* (o *behoove*) llesol, buddiol manteisiol; rheidiol, angenrheidiol, gofynol, dir, gweddus.

Behoove, } *v. a.* (S. *behofian*) gweddu; bod yn
Behove, } weddus, cymhwys, *neu* addas; bod yn rhaid; bod yn rheidiol; llesoli.
It behooves, } dylai, e ddylai, fe ddylai;
It behoves, } mae yn rhaid; mae yn ddir; mae yn gofyn; rhaid yw; dir yw; e ddawr; e berthyn; mae yn gymhwys, addas, *neu* weddus; gweddus, addas, *neu* gymhwys ydyw; gweddai, e weddai; mae yn gweddu; mae yn fuddiol *neu* lesol; buddiol *neu* lesol yw; e dâl.
It behooves us—dylem; ni a ddylem; mae yn ddyled arnom; rhaid i ni; y mae yn rhaid ini; mae yn gofyn ini.
Thus it behoved Christ to suffer—felly yr oedd raid i Grist ddyoddef.
Wherefore it behoved him to be made like unto his brethren—am ba achos y dylai efe fod yn gyffelyb i'w frodyr.
Behooveful, *a.* (*behoove* a *full*) rheidiol, angenrheidiol; buddiol, llesol, buddfawr; gofynol.
Behove, } *v. a.*= { *Behoove.*
Behoove, } { *Behove.*
Being, *s.* (o *be*) bod, hanfod; en; bodolaeth; bodoliaeth, bodiad.
The supreme Being—y Bod goruchaf.
Heavenly beings—nefolion, bodau nefol.
Finite being—bod meidrol, hanfod terfynol.
Earthly beings—daiarolion, daiarblant, bodau daiarol.
Mortal beings—marwolion, bodau marwol.
Before we were in being—cyn ein bod; cyn ein geni.
In him we have our being—ynddo ef yr ydym ni yn bod.
I will sing to my God while I have my being—canaf i'm Duw tra byddwyf.
Being, † *c.* gàn, càn, cyd; yn gymmaint a *neu* ag; o herwydd.
Bejade, † *v. a.* (*be* a *jade*) peri lludded, blino.
Bejape, † *v. a.* (*be* a *jape*) chwerthin am ben; gwawdio; twyllo.
Bejesuit, *v. a.* (*be* a *jesuit*) Iesuadu, Iesuadeiddio; egwyddori yn egwyddorion yr Iesuaid.
Bekiss, † *v. a.* (*be* a *kiss*) cusanu; anerch.
Beknave, † *v. a.* (*be* a *knave*) galw yn ddrel, drelio.
Beknow, † *v. a.* (*be* a *know*) cyfaddef, addef.
Belabour, *v. a.* (*be* a *labour*) curo, ffusto, pwmpio, maeddu, tresio.
Thou shalt be belaboured—cei faeddgen; cei dy guro; cei dy dresio.
Belace, *v. a.* (*be* a *lace*) ysnodenu; rhwymo âg ysnoden; curo, ffrewyllio.
Belam, † *v. a.* (*be* a *lamm*) curo, rhoi maeddgen, llachio.
Belamour, † *s.* (Ff. *bel amour*) cariad, cydwedd.
Belamy, } † *s.* (Ff. *bel ami*) cyfaill; cyfaill
Belamie, } gwych.
Belate, *v. a.* (*be* a *late*) hwyrhau; dàl yn ol, rhwystro.
Belated, *a.* (o *be* a *late*) rhy hwyr; diweddar.
To be belated—bod yn rhy hwyr; bod yn rhy ddiweddar.
I was belated—nosasai arnaf; nosodd arnaf; aeth yn rhy hwyr arnaf; aethai yn nos arnaf.
Belatedness, *s.* (o *belate*) diweddarwch, rhyhwyredd.
Belave, † *v. a.* (*be* a *lave*) golchi.
Belay, *v. a.* (*be* a *lay*) gwarchau, gwarchae, cau i fyny; cynllwyn, rhagod; addurno; amgylchu, cuddio; rhwymo, sicrhau, ysblygu.
Belch, *v.* (S. *bealcan*) brytheirio, bytheirio, blytheirio, ysgyfogi, chwydu allan.
They belch out with their mouth—bytheiriant â'u geneu.
Belch, *s.* brythar, blythar, blytheiriad, brytheiriad, bytheiriad, archyth, ysgyfog.
Belching, *s.* (o *belch*) brytheiriad, blytheiriad, bytheiriad, ysgyfogiad.
Given to belching—brytheiriog, bytheiriog; â flytheirio lawer.
Beldam, *s.* (Ff. *belle dame*) gwrach, hen wrach, hen fenyw; gwiddanes.
Beleaguer, *v. a.* (Al. *belagern;* Is. *belegeren*) gwarchau, gwarchae, amgylchu, cylchynu, amgylchynu; gwersyllu yn erbyn; amgylchu â llu.
Beleaguerer, *s.* (o *beleaguer*) gwarcheuwr, gwarchaewr, amgylchynydd.
Beleave, † *v. a.* (*be* a *leave*) gadael, gado, gadaw.
Belee, *v. a.* (*be* a *lee*) gosod yn groes i'r gwynt.
Belemnite, *s.* (Gr. *belemnon*) bysfaen, saethfaen, pensaeth.
Beleper, *v. a.* (*be* a *leper*) peri y gwahanglwyf, gwahanglwyfo.
Belfry, *s.* (Ff. *beffroi*) llofft y gloch, clochdy.
Belial, *s.* (H.) y fall, mallt, march Malen; drygioni.
Sons of Belial—meibion y fall; meibion Belial.
Belibel, *v. a.* (*be* a *libel*) difenwi, goganu, cablu.
Belie, *v. a.* (*be* a *lie*) taflu y celwydd i ddannedd un; dywedyd celwydd; llunio celwydd ar; rhoi'r celwydd ar; celwyddu; ffugio, lledrithio, ffuantu; athrodi, enllibio, goganu.
I am the man whom thou didst belie—myfi ydyw y dyn y cymmeraist ti arnat mai tydi oedd.
They belied those whom they hated—lluniasant *neu* clytiasant gelwyddau ar y rhai hyny à gashäent.
Belief, *s.* (S. *geleaf*, *geleafan*) cred, crediniaeth, coel, ffydd, credfdd, coeledd; credo.
False belief—geugred, camgred.
Orthodox belief—uniongred, gwirgred, iawngred.
Worthy of belief—gwiwgred, teilwng o'i gredu, credadwy, teilyngred, gwiwgoel.
Past belief—anghredadwy, anhygoel, anhygred; tu hwnt i gred *neu* grediniaeth.
Implicit belief—llwyrgred, gorgred; crediniaeth hollol *neu* drwyadl.
Faint belief—gogred, gwangred, gosgred, gosgoel; cred *neu* grediniaeth wàn.
True belief—gwirgred, gwirgoel, iawngred, gwir grediniaeth.
Divine belief—dwyfolgred, cred ddwyfol.
Strong belief—crediniaeth gadarn.
The believing world—y byd crediniol, cred.
Such is my belief—y cyfryw yw fy nghred; dyna fy nghred; dyna'm cred; felly mae fy nghred; dyna fel yr wyf yn credu.
I have a belief in him—y mae genyf gred *neu* goel ynddo.
Articles of belief—banau ffydd; erthyglau credo.
It is past my belief—y mae tu hwnt i'm cred i; y mae ef yn anghredadwy i mi; nis gallaf fi ei gredu; y mae yn anhygoel genyf.

**Believable,** *a.* (o *believe*) credadwy, coeladwy, hygoel, hygred.
**Believe,** *v.* (S. *geleafan, gelefan, geliefan*) credu, coelio; rhoi coel *neu* ymddiried; ymddiried i *neu* yn; credu i *neu* yn; ffyddio, hyderu.
I believe in God the Father—credaf yn Nuw Dad.
Believe in him—cred ynddo; rho dy goel arno; rho ynddo yth gred.
They believe amiss—rhoddant goel i gelwydd; camgredant.
Who hath believed our report?—pwy a gredodd i'n hymadrodd? pwy a gredodd ein hymadrodd?
It is believed on all hands—credir ef gàn bawb; credir gàn bawb; pawb a'i credant; pob un a'i cred; nid oes dyn nas creda.
If I may be believed—os caf fi fy nghredu; os credir fi; os caf fy nghoelio; os coelir fi.
I only made you believe—nid oeddwn i ond cymmeryd arnaf.
**Believer,** *s.* (o *believe*) credadyn, crediniwr, credwr, credydd, coeliwr, ffyddloniad; un à gredo, un yn credu: *pl.* credinwyr, credin-iaid, credwyr, ffyddloniaid, &c.
**Belike,** *ad.* (*be* a *like*) ysgatfydd, efallai, yn debygol, mae yn debyg, y mae yn debygol.
**Belime,** *v. a.* (*be* a *lime*) calchu; dwbio *neu* blastro â chalch.
**Bell,** *s.* (S. *bell, bella, belle*) cloch; *pl.* clych, clychau.
To ring a bell—canu cloch.
A ring of bells—caniad clych, clychseiniad; cynghanedd clych; tyaid o glychau.
Bell-ringer—canwr cloch; canwr clych.
Little bell—clochig, clochan, cloch fach, cloch fechan.
Passing bell—cnul, cnull.
His passing bell goes—mae ei gnul yn canu; cân ei gnull.
Alarm-bell—cloch alarm, cloch alw, alarmgloch.
Diving-bell—soddgloch, cloch soddi.
Hand-bell—llaw-gloch, cloch law, clochan, clochig.
Low-bell—cloch adarwr, nosgloch.
Bell-clapper—tafod cloch, tafod y gloch.
Bell-gable, Bell-turret, } clochdy, tàldy cloch, clochdyran, clochdal, twred cloch, clochdwred.
Bell-crank—cambill cloch, cranc cloch.
Bell-rope—rhaff y gloch; rhaff cloch.
Bell-animal—clochfil, clochfilyn.
Chime of bells—clochgynghan, clychgynghan, clychgynghanedd, cynghanedd clych.
To bear away the bell—ennill y gamp; myned â'r gamp; ennill y fuddugoliaeth, y gamp, y maes, y bel, *neu* y gâl; cael yr oruchafiaeth; cael y goreu; cael y maes; dwyn y bel; dwyn y gloch.
To curse with bell, book, and candle—rhegu *neu* felltithio â llyfr, cloch, a chanwyll.
Bell of a flower—cloch *neu* gwpan blodeuyn.
Bell-flower—clychlys.
Round-leaved bell-flower—clychlys amryddail.
Rampion bell-flower—clychlys bwytadwy, clychlys erfin-wraidd.
Nettle-leaved bell-flower—clychlys dynadddail, clychlys danadl-ddail.
Corn bell-flower—drych Gwener.
Hare-bell—cloch yr eos, glas y llwyn, croesaw haf, ceninen y brain, bwtias y gog, botasen y gog.
Canterbury bells, Hedge bells, } clych y perthi.
Blue-bell—clychlys amryddail, clychlys glas
**Bell,** *v. n.* tyfu ar ddull cloch; ymglochi.
**Belladonna,** *s.* (It. *bella*, teg, a *donna*, rhian) codwarth=enw llysieuyn.
**Bellatrix,** *s.* (Ll.) rhyfeloges=seren ddysglaer yn nghydser Orion.
**Belle,** *s.* (Ff.) tlosferch, ceinferch, pefren, perten; rhian.
**Belled,** *a.* (o *bell*) clochedig.
**Belles-Lettres,** *s. pl.* (Ff.) ceinddysg, deinddysg, deinddysgeidiaeth, amryddysgiaeth=y dosbarth o lenoriaeth â gynnwys brydyddiaeth, areitheg, hanes, ieithyddiaeth, &c.
**Bell-fashioned,** *a.* ar lun cloch, clochddulliog.
**Bellfounder,** *s.* (*bell* a *founder*) clochdoddwr, clochdoddydd, bwriwr clych, toddwr clych.
**Bellibone,** † *s.* (Ll. *bellus* a *bonus*) rhagorferch.
**Bellicose,** *a.* (Ll. *bellicosus*) rhyfelog, llueddog, llueddus, rhyfelgar.
**Bellied,** *a.* (o *belly*) boliog, cestog, chwyddedig, crothog: arferedig mewn cyfansoddiad.
Empty-bellied—bolwag, archlawd, gwag ei fol.
A big-bellied one—toroges; *m.* torogyn.
To grow big-bellied—torogi.
Round-bellied — bolgrothog, bolgrythog, bolgrwn, crynfoliog.
Broken-bellied—boldwn.
Big-bellied, Great-bellied, } boliog, cestog, bolfawr, rhythfoliog; torog; crothog, beichiog, tromfeichiog.
Full-bellied — boldyn, tordyn, cestlawn, llawn ei fol.
A short big-bellied person—torpwth.
**Belligerate,** † *v. a.* (Ll. *belligero*) rhyfelu, rhyfela, lluedda.
**Belligerent, Belligerant,** } *a.* (Ll. *belligerens*) rhyfelog, rhyfelus, rhyfelgar, llueddol, llüyddol, llueddus, rhyfelaidd.
Belligerent powers—rhyfel-bleidiau, rhyfelogion; y galluoedd à font mewn rhyfel â'u gilydd.
**Belligerent,** *s.* rhyfel-blaid, rhyfelog, rhyfelallu; cenedl *neu* deyrnas yn rhyfela.
**Belligerous,** *a.* (Ll. *belliger*)=*Belligerent.*
**Belling,** *s.* (S. *bellan*) hyddfref, rhidfref=lleisiad *neu* fref gafr ddanas yn amser rhidio.
**Bellipotent,** *a.* (Ll. *bellipotens*) cadarn mewn rhyfel; llueddog, llüyddog, llueddus, rhyfelog, cadffer, cadnerthol.
**Bellique,** † *a.* (hen Ff.)=*Belligerent.*
**Bellis,** *s.* (Ll.) aspygan, llygad y dydd.
**Bellitude,** *s.* (Ll. *bellitudo*) tegwch, harddwch.
**Bellman,** *s.* (*bell* a *man*) clochydd, canwr cloch; criwr.
**Bellmetal,** *s.* (*bell* a *metal*) clochddelid, mettel clych; clydr, elydn=cymmysgedd o gopr ac alcan.
Bellmetal ore—mwn elydr, mwn clochddelid, mwn clochfettel.
**Bellon,** *s.* (?) mwnwst, mwynwst.
**Bellow,** *v. n.* (S. *bulgian*; Ll. *balo*) buguned, bugunad, buguno, breferu, brefu, buchio, beichio, bugadu; rhuo, gorddyar; crochfrefu, crochwaeddi.

The bull was bellowing and turning up the ground—yr oedd y tarw yn buguned ac yn bugloddio.
To bellow again—adfuguned; ateb drwy fugunad.

Bellow, *s.* bugunad, bugunawd, brefer, bref; rhu, gorddyar.

Bellowing, *s.* (o *bellow*) bugunad, breferad, buchiad, brefiad, beichiad; rhuad, crochfrefiad; rhu, crochwaedd.

Bellows, *s. sing.* a *pl.* (S. *bilig;* Goth. *balgs*) megin; *pl.* meginau.
A pair of bellows—megin.
Bellows-fish—meginbysg.
Bellows-maker—meginwr.
Smith's bellows—megin gof.

Bellpepper, *s.* (*bell* a *pepper*) pupyr coch.

Bell-shaped, *a.* ar ddull *neu* lun cloch.

Belluæ, *s. pl.* (Ll.) milodolion, bwystfilod.

Belluine, *a.* (Ll. *belluinus*) bwystfilaidd, anifeilaidd, milaidd.

Bellwether, *s.* (*bell* a *wether*) llwdn y gloch, maharan y gloch, dafad y gloch; arweinydd y praidd.

Belly, *s.* (C. *boly, bola;* Gw. *bolg*) bol, boly, bola, ceudod, rhumen, crul; cest, tor; croth, bru.
The lower belly—rhumen, isfol, gwaelod y bol.
Great belly, } gorfol, cest, tor, cestor,
Gorbelly, } rhemmwth, tryfol, rhythfol.
The protuberance of the belly — talon, hwrwg bol.
The part of the belly on the side under the short ribs—achfen, yr achfen.
Rotundity of the belly—crynder y bol, bolgwd.
The belly of a bottle—cest *neu* fol potel.
Slow bellies—boliau gorddïog.
Belly or concave of a harp—ceudod telyn, croth telyn.
Upon thy belly shalt thou go—ar dy dor y cerddi.
What a belly he has!—y fath gest sy ganddo!
He thrust the dagger into his belly—efe a frathodd y ddager yn ei boten ef; gwanodd y fidog yn ei geudod.
What is got over the devil's back, is spent under his belly—à gasgler ar farch Malen, dàn ei dor ydd ä.
The belly robs the back—y bol a bil y cefn.

Belly, *v.* bolio, cestu, crothi; chwyddo allan, chwyddo yn fola; llanw; bolchwyddo.

Bellyache, *s.* (*belly* ac *ache*) bolwst, dolur bol, gwaew bol, gwewyr bola, cnofa coluddion.
He has the bellyache—mae y folwst arno; y mae gwaew, gwewyr, *neu* ddolur yn ei fol; mae cnofa yn ei goluddion.

Bellyband, *s.* (*belly* a *band*) cengl, torgaing, torgengl, tengl, bolrwymyn.

Bellybound, *a.* (*belly* a *bound*) bolrwym, rhefrwym, rhwym.

Belly-cheer, *s.* bwyd, cynnaliaeth, ymborth, lluniaeth.

Belly-fretting, *s.* bolysbelwad, bolddoluriad; poen bol.

Belly-friend, *s.* bolerwr, bolerai.

Bellyful, *s.* (*belly* a *full*) gwala, bolaid, crulaid, digon, llonaid bol.

Belly-god, *s.* gloddestwr, glwth, wttreswr, dyn glwth, bolrythwr, boldduw.

Belly-pinched, *a.* newynog, newynllyd; newynedig.

Belly-roll, *s.* bolrolen, cestrolen.

Belly-slave, *s.* bolwas, bolgaethwas, caethwas ei fola.

Belly-timber, *s.* cynnaliaeth, ymborth, lluniaeth, bwyd.

Belly-worm, *s.* llyngyren, llyngeren: *pl.* llyngyr, llynger, llyngyr bol.

Belock, *v. a.* (*be* a *lock;* S. *belucan*) cloi.

Belomancy, *s.* (Gr. *belos* a *manteia*) saetharmes, saethogan, dewiniaeth â saethau.

Belone, *s.* (Gr.) mornodwydd, y fornydwydd.

Belong, *v. n.* (Is. ac Al. *belangen*) perthyn, perthynu, deiryd; bod yn eiddo.
To me belongeth vengeance—i mi y perthyn dïal; myfi bïau dïal; mi bïaf ddïal; eiddof fi yw dïal; dïal sydd eiddof fi.
To the fire that belongs—i'r tân y deiryd hwnw.
Salvation belongeth unto the Lord—iachawdwriaeth sydd eiddo yr Arglwydd.
This matter belongeth unto thee—arnat ti y mae y peth; i ti y perthyn y peth hwn.
What does that belong to me?—pa beth yw hyny i mi?
To whom does this belong?—eiddo pwy yw hwn?—i bwy y mae hwn yn perthyn? pwy y mae hwn yn perthyn iddo?
To whom belongest thou?—i bwy yr wyt yn perthyn? i pwy y perthyni? gwas i bwy wyt ti?

Belonging,† *s.* (o (*belong*) ansawdd; teithi.

Beloved, *a.* (*be* a *love*) anwyl, hoff, cu, cariadus, caredig: *pl.* anwylaid, caredigion.
Dearly beloved—anwyl gariadus; anwyl garedig: *pl.* anwyl garedigion; anwyliaid, caredigion.
Dearly beloved brethren—anwyl gariadus frodyr; anwyl garedig frodyr.
This is my beloved Son—hwn yw fy anwyl Fab.
Beloved of God—hoff gàn Dduw; caredig gàn Dduw.

Below, *prep.* (*be* a *low*) is, tàn, dàn, is law, oddi tàn, goris, o dàn, o tàn.
Below us—tanom, danom; is law i ni; is ein llaw.
Below ground—is daiar, tàn ddaiar, tàn y ddaiar.
Below the sun—tàn yr haul, is yr haul; is awyr, is nen, tàn y nen.
The praise of men below, and saints above—mawl dynion obry, ac y seintiau fry.
One of them sat above him, and the other below him—eisteddodd y naill o honynt uwch ei law, a'r llall is ei law; eisteddasant y naill uwch law, a'r llall is law iddo.

Below, *ad.* isod, obry, tanodd, danodd; iso; i waered, i lawr; is law; dobry.
From below—oddisod, odd isod, oddi isod, oddiso, oddobry, oddi obry, oddi waered, oddi tanodd, oddi lawr.
From below me—oddi tanaf, oddi tanof.
The heavens above and the earth below—y nefoedd uchod a'r ddaiar isod.
We have been above and below—buom fry ac obry; buom uchod ac isod.

They searched every place above and below—chwiliasant bob màn i fyny ac i waered.
The shades below—y cysgodion isod; y cysgodolion obry; y gwyllon isod.

Belowt,† *v. a.* (*be* a *lowt*) llysenwi, difrïo.

Belswagger, *s.* (*belly* a *sway?*) anlladwr, trythyllwr, puteiniwr.

Belt, *s.* (S.; Ll. *balteus*) gwregys; rhwymyn, amrwymyn, cylchrwy; gwregys cleddyf.
Shoulder-belt—gwregys ysgwydd, ysgwyddrwy.
The belts of Jupiter—gwregys Iau; modrwyon Iou; gwregysau Iou.
The Great Belt — y Gwregys Mawr; y Gwregys Mwyaf=culfor rhwng yr ynysoedd Sealand a Ffunen, yn Môr Llychlyn.
The Little Belt, The Lesser Belt, } y Gwregys Bychan; y Gwregys Lleiaf=culfor rhwng Ffunen a Iutland.
Sea belts—gwregysau y môr, morwregys.

Belt, *v. a.* gwregysu, amwregysu, cylchu.

Beltane, Beltein, } *s.* (Gw. a Gael.=tân Belus neu Bel) coelcerth Galanmai, yn yr Alban ac Iwerddon; Beldan, Beltan.

Belvidere, *s.* (Ll. *bellus* a *video*) tegwel=pabell ar nen adeilad; twyn mewn gardd: math o sawdl y crydd.

Belye, *v. a.*=*Belie.*

Bema, *s.* (Gr.) canghell; areithfa.

Bemad,† *v. a.* (*be* a *mad*) gorphwyllo, gwallgofuso.

Bemangle, *v. a.* (*be* a *mangle*) llarpio, rhwygo; rhwygo yn ddrylliau *neu* ddarnau.

Bemask, *v. a.* (*be* a *mask*) mygydu; cuddio, celu.

Bemaze, *v. a.* (*be* a *maze*) dyrysu; tywys i ddyryswch.

Bemete,† *v. a.* (*be* a *mete*) mesur, mesuro.

Bemingle, *v. a.* (*be* a *mingle*) cymmysgu, mysgu; gwneyd cymmysgedd.

Bemire, *v. a.* (*be* a *mire*) diwyno, dwyno, budro; tynu drwy y llaid; gorchuddio â thom.

Bemist, *v. a.* (*be* a *mist*) tywyllu, caddugo; toi â niwl.

Bemoan, *v. a.* (*be* a *moan*) cwyno, cwynfan, galaru, alaethu, gruddfan, wylofain; gofidio am *neu* dros.
Who shall bemoan thee for this misery—pwy a gwyna i ti am y gofid hwn? pwy a'th gwyna am y trueni hwn?
Bemoan her—alaethwch drosti.
Bemoan your children — galarwch dros eich plant.
To bemoan one's self — ymofidio, ymalaethu, ymalaru.
I have surely heard Ephraim bemoaning himself—gàn glywed y clywais Ephraim yn cwynfan.
He is not to be bemoaned—nid oes cwyn iddo; nid oes dim cwyn iddo.

Bemoaner, *s.* (o *bemoan*) cwynwr, ymofidiwr, galarwr, alaethydd.

Bemock, *v. a.* (*be* a *mock*) gwatwar, gwawdio; chwerthin am ben.

Bemoil,† *v. a.* (*be* a *moil*) caglo, diblo; diwyno.

Bemoisten, *v. a.* (*be* a *moisten*) gwlychu, ireiddio, lleithio.

Bemol, Beemol, } *s.* (*b*, a Ll. *mollis*)= { *Beemol.* *Bemol.*

Bemonster,† *v. a.* (*be* a *monster*) anferthu, afluneiddio, angenfileiddio.

Bemused, *a.* (*be* a *muse*) dros ei ben mewn myfyrdod; yn breuddwydio.

Ben, *s.* cneuen ryddhaol.

Bench, *s.* (S. *benc*; Ff. *banc*) mainc, eisteddle, sedd, esgemydd; brawdle, y llys; eisteddfa; eisteddfod; cydseddwyr.
King's bench—y llys penadur, llys y penadur, meinclys y penadur.
Queen's bench—y llys penadur, llys y benadures, y llys penadures.
A little bench—lleithig, corfainc, mainc fechan.

Bench, *v.* meincio; seddu.

Bencher, *s.* (o *bench*) arseddog, arseddwr; barnwr; henadur: *pl.* arseddogion, arseddwyr, arseddiaid, meincwyr.

Bend, *v.* (S. *bendan*) plygu, camu, crymu, gwyro, crwcäu, tumio, ystumio; gwneuthur yn gam; gogwyddo, tueddu; cyfeirio; annelu; dolenu, lledbeio, dolystumio; gostwng; ysgythu; sicrhau.
Easy to bend—hyblyg; hydro, ystumiol, plygadwy, hawdd i'w blygu.
To bend the brow—crychu y talcen; cuchio, talgrychu, gygu, blynghau; edrych yn guchiog; edrych yn flwng.
To bend one's steps—hwylio taith; hwylio cerddediad; hwylio camrau; myned, cerdded; troi wyneb; cyfeirio.
To bend a bow—annelu bwa; gosod bwa ar annel.
To bend one's mind—rhoi *neu* osod bryd, meddwl, *neu* fwriad; gofalu; bod gàn un duedd at beth; glynu; bod yn ystig *neu* ddyfal.
He bends himself wholly to this—hyn yw ei unig ofal.
She bends her mind to nothing but her book—ni rydd *neu* ni ddyry hi ei bryd ar ddim ond ei llyfr; ni phlyg hi at ddim ond ei llyfr.
To bend the mind to study—glynu wrth fyfyrio; ymröi i fyfyrio; rhoi bryd ar fyfyrio; rhoi cais ar efrydu; gogwyddo y bryd at efryd.
He bends his thoughts to nothing else—ni ofala efe am ddim arall; nid yw yn gofalu am ddim arall.
To bend the fist—cau dwrn.
To bend round—plygu yn grwn; plygu yn gylch; troi yn dorch.
To bend back — dadblygu, gwrthdumio, dattumio; plygu yn ol.
To bend forwards — crogi drosodd; gogwyddo yn mlaen; crymu yn mlaen.
To bend backwards — gogwyddo yn ol; plygu *neu* gamu yn ol.
To bend downwards — gogwyddo tuag i waered; pwyso i lawr; plygu i lawr *neu* i waered.
To bend about—damblygu, amblygu, amgrymu, damgrymu.
To bend over—plygu dros, dargrymu.
To bend in—plygu *neu* grymu i fewn.
To bend under a burden—ymollwng, llaesu, crymu, *neu* blygu dàn bwn *neu* faich.
He is bent on mischief—nid oes dim ond drwg yn ei fryd; mae ei holl fryd ar ddrygioni; y mae ei holl ogwydd ar ddrwg; mae ei holl ogwydd at ddrwg.

He is bent on doing it—y mae efe wedi penderfynu ei wneyd; y mae wedi rhoi ei fryd ar ei wneuthur.
With bended knees—ar liniau; ar ei liniau; ar ei gliniau; ar fy ngliniau, &c.
Bent bow—bwa annelog, bwa ar annel.
The eyes of all men are bent on you—y mae pawb â'u llygaid arnoch.
Bent on—â'i fryd, â'i feddwl, *neu* â'i fwriad ar; gwedi ymröi i; wedi ymroddi i; yn ymröi i; gwedi penderfynu.
He is bent on nothing but his pleasures—nid yw ei fryd ar ddim ond ei ddifyrwch; ar ei ddifyrwch y mae ei holl fryd.
Is he so bent upon it?—a ydyw efe felly wedi ymröi iddo? a yw efe felly wedi rhoddi ei fryd a'i fwriad arno?
Wholly bent on his work—â'i holl fryd *neu* fwriad ar ei waith.
Bent on war—parod i ryfel; â'i fryd ar ryfel; â'i ogwydd at ryfel; ar ei ogwydd at ryfel; tueddol i ryfel.
Bent against one—gwrthwyneb i un; â'i fryd *neu* â'i fwriad yn erbyn un; ar annel *neu* annelfa yn erbyn un.
To be firmly bent against—bod â'i fryd *neu* â'i fwriad yn dyn yn erbyn; dwyn meddwl anhyblyg yn erbyn; dala yn dyn yn erbyn; gwrthwynebu yn gadarn.
To be obstinately bent against—bod wedi ystyfnigo *neu* ymgyndynu yn erbyn; cyndyn wrthwynebu; dàl yn gyndyn yn erbyn; gwrthwynebu yn wrthnysig.
To be cruelly bent against—dwyn meddwl creulawn yn erbyn; bod wedi ymgreuloni yn erbyn; bod yn elyn marwol i.
To be fiercely bent against one—bod wedi ymffyrnigo *neu* ymgynddeiriogi yn erbyn un; bod yn ffyrnig yn erbyn un.
To be violently bent against a thing—gwrthwynebu peth â'r holl allu; ymosod yn erbyn peth â'r holl egni.
To be bloodily bent—bod â'i fryd ar dywallt gwaed; dwyn meddwl gwaedlyd; sychedu am waed; ymlosgi gàn ddygasedd yn annyhuddol.
To be earnestly bent on—bod â chwbl o'i fryd, o'i feddwl, *neu* o'i fwriad ar *neu* yn erbyn; bod â'i fryd, ei feddwl, *neu* ei fwriad yn hollol ar *neu* yn erbyn; bod â'i holl fryd ar.
Bent many ways—llawn ymdro, ystumiog, dolystumiog; wedi plygu *neu* ei blygu igam ogam.
Not to be bent—anmhlygadwy, anhyblyg, anhydro; anhawdd ei blygu; nas gellir ei blygu *neu* gamu; ystyfnig, cildyn, cyndyn, cildynus, cildynog.

**Bend**, *s.* plyg, cam, plygiad, plygfa, camedd, ystum, crymedd; camen; tum, gwyredd, gogwydd.
Bend of the knee *or* ham—camedd gàr, plyg gàr. [braich.
Bend of the arm—camedd braich, plyg
Bends—plygestyll; coed ceimion; plygion.
Bend (in heraldry)—talaith, taleithen.
Bend dexter—talaith dde.
Bend sinister—talaith chwith.
Bend-with—y winwydden wyllt.

**Bend**,† *s.*=*Band*.

**Bendable**, *a.* (o *bend*) plygadwy, hyblyg; à ellir ei blygu *neu* gamu.



**Bender**, *s.* (o *bend*) plygwr, plygiedydd, plygydd, camwr, ystumiwr, gogwyddwr.

**Bendlet**, *s.* (o *bend*) taleithig.

**Bendy**, *s.* (o *bend*) taleithran.

**Beneaped**, *a.* (*be* a *neap*) treiedig; heb allu nofio dros y bàr.

**Beneath**, *prep.* (S. *beneath*, *beneothan*, *benythan*) tàn, dàn, is, is law; oddi tàn, goris, o dàn.

**Beneath**, *ad.* isod, obry, tanodd, danodd, tano, iso, oddi tanodd, dobry.
From beneath—oddisod, odd isod, oddi isod, oddiso, oddobry, oddi waered.
In heaven above, or in earth beneath—yn y nefoedd uchod, neu ar y ddaiar isod.

**Benedict**,† *a.* (Ll. *benedictus*) iachaol, esmwyth, esmwythaol.

**Benediction**, *s.* (Ll. *benedictio*) bendith; bendithiad, lladaeth, gorllad, gorlad, lladiad; dïolch, dïolchgarwch, tâl dïolch; moliant; cyssegriad, cyflwyniad; hawddammor; gwelling.
Nuptial benediction—bendith briodas.

**Benedictive**, *a.* (Ll. *benedictus*) bendithiol, bendithiadol, bendith-roddol.

**Benefaction**, *s.* (Ll. *benefacio*) cymmwynas; haeledd, llesiant, llesineb; gweithred dda, twrn da, tro da.

**Benefactor**, *s.* (Ll. *benefacio*) cymmwynaswr, noddwr, cyflesydd, cedroddwr, cyfroddwr, cyfladwr, lleswr, lladwr, llesolwr, cyfarwyswr, mwynaswr.

**Benefactress**, *s.* (o *benefactor*) cymmwynaswraig, cymmwynasoges, noddes, cyflades, mwynasoges.

**Benefice**, *s.* (Ff.; Ll. *beneficium*) glwysfudd, bywoliaeth eglwysig, eglwysfudd.

**Beneficed**, *a.* (o *benefice*) glwysfuddiog; â chanddo eglwysfudd; mewn meddiant o fywoliaeth eglwysig.
A beneficed clergyman—glwysfuddog; perchen bywoliaeth *neu* eglwys; offeiriad glwysfuddiog; person.
He is well beneficed—y mae ganddo fywoliaeth *neu* eglwys dda; mae glwysfudd da ganddo.

**Beneficence**, *s.* (Ll. *beneficentia*) haelioni, haeledd, cymmwynasgarwch, haelder, hygedrwydd, ciried, lladedd, madedd, buddged, cedolrwydd, caredigrwydd, daioni, cirwn.

**Beneficent**, *a.* (Ll. *beneficus*) haelionus, hael, cymmwynasgar, cymmwynasol, hyged, cedfawr, lladol, madus, madiain, rhwyddged, cedol, rhoddgar, haelgar.
A beneficent person—madwr, cedroddwr, gwr hael, dyn haelionus.
A beneficent protector—modur hael, modur llad, modwr mad.

**Beneficial**, *a.* (Ll. *beneficium*) buddiol, llesol, buddfawr, llesiannol, manteisiol, llesfawr, ennillfawr, llesinebol, madus, mad; defnyddiol, gwasanaethgar; buddiedig.
Extremely beneficial—gorlesol, gorfuddiol, o les mawr, o fawr les, tra buddiol.

**Beneficialness**, *s.* (o *beneficial*) buddioldeb, llesoldeb, llesolder; defnyddioldeb, gwasanaethgarwch, madusrwydd.

**Beneficiary**, *a.* (Ll. *beneficiarius*) yn dàl bywoliaeth *neu* swydd o werth dàn arall; glwysfuddiog.

**Beneficiary**, *s.* glwysfuddog; person; perchen bywoliaeth eglwysig.

**Beneficiency**, *s.* (o *beneficien* caredigrwydd, cymmwynas.

**Beneficient**, *a.* (Ll. *beneficium*) yn gwneuthur daioni; daionus, lladol, cymmwynasol.

**Benefit**, *s.* (Ll. *beneficium*; Ff. *bienfait*) cymmwynas; budd, lles, ennill, elw, lleshad, ced, llesineb, mwyniant; dawn; daioni, ewyllys da; twrn da.

Benefit of clergy—braint eglwyswyr.
General benefit—lles cyffredinol, amles, amfudd, amged.
Mutual benefit—cyfles, cydles, cyflesiant, cydlesiant.
Useless benefit—oferfudd.
To take the benefit of—mwynhau.
Benefit society—amlesged, cyflesfa, amlesfa, llesgymdeithas, buddgymdeithas.
Forget not all his benefits—nac anghofia ei holl ddoniau ef.
For the great benefits that we have received at his hands—am yr aml ddaioni à dderbyniasom ar ei law.
Remember the benefits that I have done unto you—cofiwch y cymmwynasau à wnaethym i chwi.
And all other benefits of his passion—a phob doniau ereill o'i ddyoddefaint ef.
He rewarded him not according to the benefits which he had received of him—ni thalodd adref yr ewyllys da à dalasai efe iddo.
He seeks the benefit of others—efe a gais fudd rhai ereill.

**Benefit**, *s.* lleschwareu, lles-gerdd=chwareu y rhoddir ei ennill at wasanaeth rhyw un neilltuol.

**Benefit**, *v.* lleshau, llesu, buddio, llesoli; elwa, manteisio; bod yn llesol neu fuddiol; gwneyd cymmwynas; gwneyd tro *neu* dwrn da; gwneyd lles; peri budd; cael *neu* dderbyn lles; cedu, cirioli.

What will it benefit me?—pa leshad fydd i mi oddi wrtho? pa fudd a gaf trwyddo?
By the same things they were benefited—trwy yr un pethau y cawsant hwy les.
Trade benefits a nation—masnach a lesola genedl.
Benefited ticket—llesdocyn.

**Beneme**,† *v. a.* (S. *be* a *naman*) enwi; addaw; rhoddi.

**Beneplaciture**,† *s.* (Ll. *beneplacitum*) ewyllys; dewisiad.

**Benet**,† *v. a.* (*be* a *net*) rhwydo, maglu.

**Benevolence**, *s.* (Ll. *benevolentia*) caredigrwydd, cymmwynasgarwch, caredigedd, ewyllys da; hoffedd, cariad, serch; elusen, elusendod, elusengarwch, rhodd wirfodd; daionedd, darladaeth; cirwn; gorfottreth.

Due benevolence—dyledus ewyllys da.

**Benevolent**, *a.* (Ll. *benevolens*) cymmwynasgar, cymmwynasol, caredig, caredigol, elusengar, dyngarol; yn dwyn ewyllys da; da ei wyllys; caruaidd, darladol, daionus, cariadus.

**Benevolous**,† *a.* (Ll. *benevolens*)=*Benevolent*.

**Benight**, *v. a.* (*be* a *night*) nosi; tywyllu; mantellu mewn tywyllwch.

He was benighted far from home—nosodd *neu* nosasai arno yn mhell oddi gartref; daliodd y nos ef yn mhell o'i gartref; goddiweddodd y nos ef yn mhell oddi gartref.
Benighted nations — cenedloedd tywyll; cenedloedd yn eistedd mewn tywyllwch.
In that benighted region—yn y fro dywell hòno; yn y wlad gaddugol hòno; yn yr ardal anwybodus hòno.

**Benign**, *a.* (Ll. *benignus*) tirion, hynaws, mwyn, mwynaidd, addfwyn; hael, haelwych; haelfrydig; rhywiog, rhywiogaidd; caruaidd, caredig, cymmwynasol, cyweithasol, rhadlawn; gwaraidd, gwareddog, mynog, cyweithas; iachus, iachaol, iachol.

Benign aspect—tirionwedd, mynogwedd.
Benign benefactor—cymmwynaswr hael, haelroddwr.
Benign medicine—meddyginiaeth iachaol; cyffer iachaol.

**Benignant**, *a.* (Ll. *benignus*)=*Benign*.

**Benignity**, *s.* (Ll. *benignitas*) tiriondeb, tirioni, tirionder, hynawsedd, cyweithasrwydd, mwynder, addfwynder, gwareddogrwydd, mynogaeth, rhywiogrwydd, mwyneidd-dra; haelioni, haeledd, haelder, cymmwynasgarwch; iacholrwydd, iachusdeb.

**Benison**, *s.* (Ff. *benir*, *benissant*) bendith; bendithiad; lladaeth.

**Benjamin**, *s.* y pren beniamin, benwydden; perlwyn; perystor.

Benjamin tree—benwydden; *pl.* benwydd.

**Bennet**, *s.* llysiau Benned, llysiau Bennet, mabgoll, mabgoll bendigaid, bendigeidlys, llysiau fy anwylyd, fy anwylyd.

Way Bennet—heiddwellt y muriau, heiddwellt y fagwyr.

**Bent**, *s.* (o *bend*) plyg, plygiad, camedd, crymedd, gwyredd, ystumiad; tuedd, gogwydd, tueddfryd, meddylfryd, bryd, bwriad, meddwl; gogwyddiad, tueddiad, tueddoldeb; nwyd, rhael; gorwaered, llechwedd.

Bent of the mind—tuedd, tueddiad, tueddfryd, meddylfryd, tueddoldeb; gogwyddiad y meddwl, tueddiad ewyllys; gogwydd bryd *neu* feddwl.
Of a stubborn bent—ystyfnig, gwrthnysig, gwydus, anhyblyg.
She has got the bent of his bow—hi a ŵyr y ffordd arno o'r goreu; medr ei drin o'r goreu; hi a ŵyr hyd ei droed i'r blewyn.
Bents—troadau, doleniadau, troion, ystumiadau, cyfeiriadau; hen wellt *neu* gawn.

**Bent**, **Bent-grass**, } *s.* maeswellt, meuswellt.

Brown bent-grass—maeswellt y ci.
Fine bent-grass—maeswellt addfain.
Creeping bent-grass—maeswellt rhedegog.
Marsh bent-grass—maeswellt gwŷn y waen.
Sea bent-grass—maeswellt arfor.
Silky bent-grass—maeswellt sidanaidd.
Bristly bent-grass—maeswellt y bryniau.
*Agrostis sylvatica* — maeswellt gwŷn y coed.
*Agrostis palustris*—maeswellt y gors.
Benting time—amser maeswellt; yr amser yr ymbortha colomenod ar faeswellt, cyn yr addfedo pys.

**Benumb**, **Benum**, } *v. a.* (S. *beniman*) merwino, marweiddio, fferu, cyffio, marwhau, cysgu; hurtio, syfrdanu; peri cysgu *neu* ferwino; gwneuthur yn ddideimlad; dwyn y teimlad; cymmeryd ymaith y teimlad.

To be benumbed by cold—fferu, rhynu, *neu* sythu gàn annwyd; merwino gàn oerfel; bod â'r ewinrew arno.
My hand is benumbed by cold—y mae yr

ewinrew ar fy llaw; mae fy llaw wedi merwino, fferu, sythu, *neu* rynu gàn annwyd; mae fy llaw yn ddiffrwyth *neu* ddideimlad gàn annwyd.
To benumb the senses — merwino *neu* hurtio y synwyrau.
**Benumbedness**, *s.* (o *benumb*) merwindod, fferdod, rhyndod; hurtrwydd, syfrdandod, madrondod; ewinrew; dideimladrwydd.
**Benumbment**, *s.* (o *benumb*) merwiniad, cyffiad, rhyniad, marweiddiad.
**Benzoic**, *a.* (o *benzoin*) bensöig, benwyddig.
Benzoic acid, } sur chwerwig, sur
Flowers of benzoin, } bensöig, sur bensoin, sur benwyddig.
**Benzoin**, } *s.* bensoin, beniamin, mòl ben-
**Benzoine**, } iamin=math o sudd neu fôl pren
**Benjamin**, } à dyf yn Sumatra a manau ereill yn y dwyrain.
**Bepaint**, *v. a.* (*be* a *paint*) arliwio, paentio.
**Bepowder**, *v. a.* (*be* a *powder*) pylori, ffylori; ysgeintio à phylor.
**Bepraise**, *v. a.* (*be* a *praise*) tramoli, gorganmawl; canmawl tu hwnt i reswm.
**Bepurple**, *v. a.* (*be* a *purple*) porffori, rhuddgochi, lliwio yn borffor.
**Bequeath**, *v. a.* (S. *becwæthan*) cymmynu, gwyllysgedu; rhoddi *neu* adael mewn ewyllys; gwyllysio.
**Bequeather**, *s.* (o *bequeath*) cymmynwr, cymmynydd, gwyllysgedydd, gwyllysiwr.
**Bequeathment**, *s.* (o *bequeath*) cymmyniad, gwyllysiad; gwyllysged, gwyllysrodd.
**Bequest**, *s.* (o *bequeath*) cymmyn, gwyllysged, cymmynrodd, gwyllysrodd, rhodd ewyllys.
**Berain**,† *v. a.* (*be* a *rain*) gwlawio ar.
**Berate**, *v. a.* (*be* a *rate*) ymserthu, ymsenu, difrïo, clewtio, clewtian, cecru, dwrdio; cymhenu, tafodi, ymdaeru.
**Berattle**, *v. a.* (*be* a *rattle*) clocho, trystio, dwrdio, dwndro, tafodi.
**Beray**,† *v. a.* (*be* a *ray*) diwyno, budrogi, budreddu, bryntio.
**Berberry**, *s.* (Ll. *berberis*)=*Barberry*.
**Bereave**, *v. a.* (S. *bereafian*) difuddio, amddifadu, difeddu, difeddiannu; dwyn oddi ar; gwneuthur yn amddifad; difadu.
To bereave of children—diblanta.
You have bereaved me of my children—diblantasoch fi.
Abroad the sword bereaveth—y mae y cleddyf yn dyfetha oddi allan.
He bereaved me of my property—difuddiodd fi o'm heiddo; dygodd fy eiddo oddi arnaf.
For whom do I bereave my soul of good?—i bwy yr ydwyf yn difuddio fy enaid oddi wrth hyfrydwch?
A bear bereaved of her whelps—arthes wedi colli ei chenawon.
A bereaved one—amddifad, un amddifad.
**Bereavement**, *s.* (o *bereave*) amddifadiad, difadiad, difuddiad, difeddiad, difeddiant; amddifadrwydd, difadrwydd.
**Berg**,† *s.* (S. *beorg*, *beorh*) bwrdeisdref; castell.
**Bergamot**, *s.* (Ff. *bergamote*; Ysp. *bergamota*) math o beren; math o lebafal, neu afal melyn hir; math o berarogl; math o drewlwch perogledig â'r beren bergamot.
**Bergamot**, *s.* (oddi wrth dref *Bergamo*) math o deisban neu garped garw.
**Bergander**, *s.* (*berg*, a D. *and*, Al. *ente*, S. *ened*, hwyad) llwynogwydd=math o hwyad neu ŵydd wyllt.
**Bergeret**,† *s.* (Ff. *berger*) càn, canu, caniad.
**Bergmaster**, *s.* (*berg* a *master*) penfwynwr, penfwnwr=penswyddog yn mhlith mwnwyr swydd Derby.
**Bergmote**, *s.* (S. *beorg* a *mote*) brynlys, brelys=llys à gynnalir ar fryn yn swydd Derby, i dori ymrafael rhwng y mwnwyr.
**Berhyme**, *v. a.* (*be* a *rhyme*) rhigymu; crybwyll mewn cerdd.
**Berlin**, *s.* (oddi wrth *Berlin*, prifddinas Prwssia) math ar gerbyd.
**Berme**, *s.* (Ff.) rhynglas, caerofod.
**Bernacle**, } *s.* (Ff. *bernacle*) gwyran: *pl.* gwyr-
**Bernicle**, } ain, adar gwyrain=math o ŵydd fôr.
**Berob**,† *v. a.* (*be* a *rob*) ysbeilio, anrheithio.
**Berry**, *s.* (S. *beria*, *berga*) grawn; aeronen, magonen, baconyn, mwyaren, crawelen: *pl.* grawn, aeron, magon, bacon, macon, cyrawel, crawel, cyrafol, cyrawol, cair, mwyar, llusi, llus.
Bil-berries, } llus, llusi; llusi *neu* llus
Blea-berries, } duon bach; mwyar y
Whortle-berries, } brain.
Hurtle-berries, }
Great bil-berries—lluswydd mwyaf.
To gather bil-berries—llusa, hela llus, hel llus; casglu llusi duon bach.
Cow-berries—lluswydd y geifr.
Black-berries, } mwyar duon, mwyar y
Bramble-berries, } perthi.
Cran-berries, } llygaeron, llyged aeron,
Bog-berries, } llygaid aeron, llyged eirian, llygeirin, ceirios y waen, llyged eirin: *sing.* llygaeren, ceiriosen y waen, llygeirinen.
Crake-berries—creiglus, creiglys, cryglus, llus y brain, llus duon y mynydd.
Cloud-berries, } mwyar dwywan, mwyar
Roebuck-berries, } Berwyn, mwyar gwenith, mwyar y ddaiar.
Dew-berries—mwyar Mair, mwyar ffreinig, mwyar glaslwyd, mwyarllwyni gleision.
Goose-berries — eirin Mair, eirin perth eurddrain, grwys: *sing.* grwysen, eirinen Mair, eirinen perth eurddrain.
Rasp-berries—afan, mafon; *sing.* afanen, mafonen.
Straw-berries—mefus, syfi; *sing.* mefusen, syfïen.
Elder-berries — grawn ysgaw, crawel ysgaw, cyrawol yr ysgaw.
Ivy-berries—grawn eiddew, crawel eiddew, cyrafol eiddew, crawel e iddiorwg.
Service-berries, } crawel, cyrawol, cyr-
Service-tree-berries, } afon, rhafon, rhafol, grawn criafolen; aeron criafol *neu* gerddin.
Hawthorn-berries, } ogfaen, (*sing.* og-
Whitethorn-berries, } faenen), egfaen, (*sing.* egfaenen), crawel y moch, grawn yr ysbyddaid.
Dogrose-berries—egroes, (*sing.* egroesen), aeron mïeri Mair, grawn y ciros, afalau y bwci, ffrwyth yr egroeswydd, mwcwg.
Bryony-berries—eirin gwion, aeron greol.
Heath-berries — gruglus, grugon, llus y llau, llus y brain.
Gritty berries—graianllus, grutlus.
One-berry—cwlwm cariad, llys Paris llysiau ungronyn.

Olive-berries—grawn olewydd.
Crop of berries—cnod o aeron, cnwd o aeron, cnwd o rawn.
Candle-berry tree—gwerwydden, gwerfanwydden.
Berry, *v. n.* dwyn *neu* gynnyrchu grawn; grawnddwyn.
Berry-bearing, *a.* grawnddygol, grawnddwyn.
Berry-bearing alder—breuwydd.
Berry-bearing chickweed—gwlyddyn gronynog.
Berth, *s.* (o *bear*) llongrawd, llongsaf; cysseigfa; gwelygell, cuddigl, cysgell.
He has got a berth—y mae ganddo sefyllfa, swydd, *neu* fywoliaeth yn y llong; y mae iddo gyflog morwr.
Bertram, Bartram, } *s.* (Ll. *pyrethrum*) pelydr gwyllt.
Beryl, *s.* (Gr. *bêrullos;* Ll. *beryllus*) beryl, maen beryl=math o wyrddfaen gwerthfawr.
Beryl-crystal—beryl-grisial.
Berylline, *a.* (o *beryl*) berylaidd; glaswyrdd; fel beryl, fàl maen beryl.
Besaint,† *v. a.* (*be* a *saint*) seintio, seintioli.
Besayle, *s.* (Norm. *ayle;* Ff. *aïeul*, taid) gorhendad.
Bescatter,† *v. a.* (*be* a *scatter*) gwasgaru, gwasgar, taenu ar led.
Bescrawl, *v. a.* (*be* a *scrawl*) ysgrifenu yn drwsgl *neu* anferth.
Bescreen, *v. a.* (*be* a *screen*) cuddio, cysgodi, gwasgodi.
Bescribble, *v. a.* (*be* a *scribble*) coeg-ysgrifenu; gwneyd baglau brain.
Besee,† *v. a.* (*be* a *see*) edrych; gofalu.
Beseech, *v. a.* (S. *be* a *secan*) atolygu, atolwg, erfyn, deisyf, deisyfu, erfynied, erfynio, ymbil, adolwyn, crefu, erdolwg, dymuno, taer ofyn, erchi; ymhŵedd, ymadolwyn, ymddifregu, *neu* ymioli âg.
We humbly beseech thee—yn ufydd atolygwn i ti; ni yn ufydd a atolygwn i ti; ufydd atolygwn arnat; yn ostyngedig atolygwn i ti.
I beseech thee—atolwg, adolwg, adolwyn; atolwg iti; adolwyn iti.
Grant my request, I beseech thee—caniatâ fy neisyfiad, yr wyf yn ymbil arnat; atolwg, caniatâ fy neisyfiad; caniatâ fy erfyniad, atolygaf i ti; caniatâ fy neisyfiad, adolwg i ti; adolwyn iti, caniatâ fy neisyfiad.
I besought them for God's sake—ymbiliais â hwynt er mwyn Duw.
Beseecher, *s.* (o *beseech*) atolygwr, erfyniwr, deisyfydd, deisyfwr, &c.
Beseek,† *v. a.* (*be* a *seek*)=*Beseech*.
Beseem, *v. a.* (*be* a *seem*) gweddu, cydweddu; bod yn gweddu; bod yn weddus, addas, cymhwys, *neu* addwyn; cyngweddu; bod yn gyngweddol.
Beseeming, *a.* (o *beseem*) gweddus, gweddaidd, addas, cymhwys, cyngweddol.
Beseeming, Beseemingness, } *s.* gweddusder, gweddusrwydd, addasrwydd, harddwch, gweddeidd-dra.
Beseemingly, *a.* (o *beseem*) addas, gweddus, gweddaidd, priodol, cymhwys, addas; sutiol.
Beseen,† *a.* (*be* a *see*) cymhwys, cyfatebol.
Beset, *v. a.* (*be* a *set*) amgylchu, amgylchynu, gwarchau, cau ar, amgau, cau i mewn; cynllwyn, rhagod; dyrysu, nidro; ymosod ar.
Thou hast beset me behind and before—amgylchynaist fi yn ol ac yn mlaen.
Troubles and fears beset me on all sides—gofidiau ac ofnau a ymdywalltasant arnaf *neu* o'm hamgylch.
We are beset with enemies—yr ydym yn nghanol gelynion; amrwydwyd ni gàn elynion; yr ydym wedi ein hamrwydo gàn elynion; yr ym wedi ein hamgylchu gàn elynion.
You are hard beset—mae yn galed arnoch; y mae yn gyfyng arnoch; mae'n drwm arnoch.
Beset with jewels—gemog; addurnedig â [gemau.
A besetting sin—pechod parod i amgylchu.
Beshine,† *v. a.* (*be* a *shine*) llewyrchu ar.
Beshrew, *v. a.* (*be* a *shrew*) melltithio, melltigo, rhegu; dymuno drwg i un.
Beshrew your heart—yn ngrog y boch chwi; drwg dynged i chwi; dystryw a'ch caffo; i ddystryw â chwi; anmhorth i chwi; drwg Duw a'ch dalio.
Beshut,† *v. a.* (*be* a *shut*) cau i fyny.
Beside, *prep.* (*be* a *side*) ger llaw, wrth, ger, gàr, yn ochr, yn ymyl, yn agos at, wrth ochr, wrth ystlys; heb law, dros ben; anmherthynol i, dyeithr i, anghytunol â, allan o, tu hwnt i; gyda; heb; heibio i.
Beside the stream—yn ymyl y ffrwd; yn min y ffrwd; ar fin y ffrwd; ar làn y ffrwd; wrth y ffrwd.
Beside all this—heb law hyn oll.
Beside the shepherds' tents—ger llaw pebyll y bugeiliaid.
Beside the bridge—wrth y bont; ger llaw y bont; yn gyfagos i'r bont; yn agos at y bont.
A thousand shall fall beside thee—wrth dy ystlys y cwymp mil.
It is beside my present business—y mae yn anmherthynol i'm dyben ar hyn o bryd; y mae yn anghytunol â'm neges y pryd hwn.
Some things are beside nature—y mae rhai pethau tu hwnt i natur.
To put one beside his patience—gyru un allan o'i amynedd; tori ar amynedd un.
Beside her he had neither son nor daughter—nid oedd ganddo na mab na merch ond hi; heb law hi nid oedd ganddo na mab na merch.
To be beside one's self—ynfydu, gorphwyllo, anmhwyllo, gwallgofi, ansynwyro; bod mewn gorphwyll; bod yn orphwyllus *neu* wallgofus; bod wedi colli ei gof *neu* ei bwyll; bod allan o'i bwyll.
Thou art beside thyself—yr wyt ti yn ynfydu; yr wyt allan o'th bwyll; yr wyt yn anmhwyllo.
Beside one's self—gorphwyllog, gorphwyllus, anmhwyllog, ynfyd, gwallgofus, gwallgof; allan o'i bwyll *neu* ei gof; lledfrydig.
To be beside the mark—bod maes o'i amcan; colli ei amcan; colli ei ergyd; cyfeiliorni oddi wrth y nod.
Besides, *prep.* (*be* a *side*) heb law, gyda, eithr, oddi eithr, heb, ond, onid, oddi gerth, odd eithr.
Besides the first famine—heb law y newyn cyntaf.
Besides those men—heb law y dynion hyny; gyda y cyfryw ddynion.

Nobody thinks so besides myself—nid oes neb ond fy hun yn tybied felly.

Beside, } *ad.* heb law hyn; hefyd, yn mhellach;
Besides, } gyda hyn *neu* hyny; am ben hyn; mwyach, eto, eto mwyach.

Hast thou any here besides?—a oes genyt ti yma neb eto?

Besides, it is our duty so to do—am ben hyn, ein dyled yw gwneuthur felly.

To all beside—i bawb ereill; i bawb heb law hyny *neu* y rhai hyny.

Except him, and a few besides—ond efe ac ychydig ereill; eithr *neu* oddi eithr ef ac ychydig ereill; onid ef ac ychydig gydag ef; eithr efe ac ychydig ereill hefyd.

Besides, I have no mind to rob her—heb law hyn, nid wyf yn chwennych ei hanrheithio hi.

And besides, it was her own desire—ac hefyd *neu* yn mhellach, ei dymuniad hi ei hun ydoedd; ac heb law hyn, ei dymuniad hi ei hunan oedd.

Besidery, *s.* (?) math o beren.

Besiege, *v. a.* (*be* a *siege*) gwarchau, gwarchae, gwarchau ar; amgylchu, amgylchynu, cylchynu, amgau; cynllwyn wrth; gwersyllu yn erbyn.

Besieged city—dinas warchauedig, dinas amgylchynedig, dinas warchedig.

The besieged—y gwarchauedigion; gwarchedigion; y rhai y gwarchauir arnynt.

He fortified the city against besieging—efe a gadarnhaodd y ddinas yn erbyn gwarchau; cadarnhaodd y ddinas rhag gwarchae.

Besieger, *s.* (o *besiege*) gwarchauwr, gwarcheuwr, amgylchwr, amgylchynydd.

Besieging, *a.* (o *besiege*) gwarchauol, gwarcheuol, gwarchaeol, amgylchynol, amgylchol.

Besit, † *v. a.* (*be* a *sit*) gweddu; bod yn gymhwys.

Beslave, † *v. a.* (*be* a *slave*) caethiwo, darostwng.

Beslime, † *v. a.* (*be* a *slime*) diwyno, bryntio.

Besmear, *v. a.* (*be* a *smear*) dwbio, plastro; diwyno; edlynu, iro; tomlydu, budreddu.

Besmirch, *v. a.* (*be* a *smirch*) diwyno, dwyno, bryntäu, budrhau; llychwino, diliwio.

Besmoke, *v. a.* (*be* a *smoke*) mygu, mygsychu; sychu yn y mwg.

Besmut, *v. a.* (*be* a *smut*) pardduo, duo, huddyglo; gorchuddio â pharddu *neu* huddygl.

Besnow, *v. a.* (*be* a *snow*) eiryo; gwasgaru *neu* daenu fel eira.

Besnuff, *v. a.* (*be* a *snuff*) trewlychio; diwyno â threwlwch.

Besom, *s.* (S. *besm*; Al. *besen*; Is. *bezem*) ysgubell, dysgubell, ysgub.

A small besom—ysgubellan, ysgubellig, ysgubell fechan.

I will sweep it with the besom of destruction—ysgubaf hi âg ysgubau dystryw.

Besom, *v. a.* ysgubo.

Besomer, *s.* (o *besom*) ysgubwr, ysgubellydd.

Besort, *v. a.* (*be* a *sort*) sutio, gweddu; bod yn weddus *neu* briodol.

Besort, † *s.* gosgordd, cymdaith; gosgorddiad.

Besot, *v. a.* (*be* a *sot*) meddwi; gofrwysgo, brwysgo, lledfeddwi, penfeddwi; ymfeddwi, ar *neu* o; syfrdanu, pendroni; gwneuthur yn feddw *neu* frwysg; pensyfrdanu, dotio, hurtio; bod yn benwan.

Besotted on—wedi ynfydu, pendroni, dotio, *neu* feddwi ar.

Besottedness, *s.* (o *besot*) syfrdandod, pendrondod, penwendid; brwysgedd, gofrwysgedd, lledfrydedd; ynfydrwydd, ffolineb.

Bespangle, *v. a.* (*be* a *spangle*) seirianu, serenu, seriglo, echdywynu, eirianu, tryfritho; hau â ser, ysgeintio â ser.

Bespangled with stars — seirian, serig, serigl; brith o ser.

God is the architect of the bespangled sphere—Naf yw saer y nef seirian.

Bespatter, *v. a.* (*be* a *spatter*) diblo, caglo; taenellu, ysgeinio, *neu* ysgeintio â llaca *neu* laid; taenellu; tasgu dwr; diwyno; enllibio, goganu; taenu *neu* roi anair.

Bespawl, *v. a.* (*be* a *spawl*) poeri ar; diwyno â phoer; dyboeri; ymboeri *neu* amboeri ar; poeri, cornboeri, ymboeri, mynych boeri.

Bespeak, *v. a.* (*be* a *speak*) rhaglefaru, rhagddywedyd; rhaglafaru am; rhagerchi, rhagorchymyn, rhagammodi, rhagrwymo; gorchymyn, ammodi, *neu* gytuno yn mlaen llaw; dywedyd yn mlaen llaw; rhagfynegu, rhagddarogan, rhagddangos, rhagarwyddo; cyfarch, anerch; llefaru; llafaru wrth; dangos, arddangos, arwyddo, dynodi; rhagofyn, gofyn, ceisio.

His manners bespeak him a gentleman—dengys ei foesau mai boneddig ydyw.

To bespeak one's good opinion—ennill *neu* ddiogelu tyb da un yn mlaen llaw; rhagennill barn dda un.

He thus the queen bespoke—fel hyn y dywedodd efe wrth y frenines; efe a gyfarchodd y frenines fel hyn.

Bespeaker, *s.* (*be* a *speak*) rhaglefarwr, rhagofynwr, rhagammodydd, &c.

Bespeaking, *s.* (o *bespeak*) rhagdreithiad, rhagdreithawd, rhaglefariad, &c.

Bespeckle, *v. a.* (*be* a *speckle*) britho, manogi, mànu, mànfritho, dyfritho, ysmotio, amliwio, brychu; amliwio â brith.

Bespice, *v. a.* (*be* a *spice*) perlysieuo; cyweirio *neu* dymmeru â pherlysiau.

Bespirt, } † *v. a.* (*be* a *spirt*) chwistrellu; pis-
Bespurt, } tyllio *neu* saethu allan; ffrydio *neu* lifo allan yn ddisymmwth.

Bespit, *v. a.* (*be* a *spit*) diwyno *neu* ddwbio â phoer; poeri ar.

Bespot, *v. a.* (*be* a *spot*) manogi, mànu, britho, ysmotio, mànfritho, amliwio; nodi â mànau *neu* ysmotiau.

Bespread, *v. a.* (*be* a *spread*) taenu, lledu, *neu* estyn dros; gwasgaru ar hyd; gorchuddio â.

With painted flowers bespread—yn llawn o flodau hardd eu lliw.

Besprinkle, *v. a.* (*be* a *sprinkle*) taenellu, ysgaenu, ysgeinio, ysgeintio.

Besprinklings, *s. pl.* (o *besprinkle*) taenellion, taenelliadau, ysgeiniadau, ysgeinion.

Besputter, *v. a.* (*be* a *sputter*) taenellu â phoer; tasgu poer trwy ddannedd ar; gwlychu â phoer o rhwng dannedd; diwyno â phoer; poerdaenu, poerysgaenu.

Best, *a.* (S.) goreu, goraf.

The best—y goreu, y goraf; y rhagoraf, yr amgenaf; yr eithaf.

The very best—y goreu oll, y goraf, y goreu i gyd.

The best of all—y goreu i gyd, y goreu o'r

cwbl; y goreu o bawb; cymmaint a hyny yn well.

At best, } ar y goreu.
At the best, }

Let a man do his best—gwnaed dyn ei oreu; gwnaed dyn y goreu ag y medro; gwnaed dyn hyd eithaf ei allu; gwneled dyn ei eithaf; gwnaed dyn ddim ag a allo.

Life is at best very short—ber iawn yw einioes ar y goreu.

To the best of my knowledge—hyd eithaf fy ngwybodaeth; hyd yr eithaf o'm gwybodaeth; càn belled ag yr wyf yn gwybod.

To make the best of—gwneyd y goreu o; gwneyd cystal ag y gellir o; gwneyd yr eithaf à ellir o.

To make the best of the way—gwneyd y goreu o'r ffordd.

To make the best of ill fortune, } gwneyd
To make the best of a bad bargain, } *neu* wneuthur y goreu o'r gwaethaf.

To put the best construction upon a thing —rhoi y lliw goreu ar beth; rhoi yr ystyr goreu ar beth; derbyn, cymmeryd, *neu* ddeall peth yn yr ystyr goreu.

To have the best of one—cael y llaw uchaf *neu* oreu ar un; cael y trechaf ar un; cael y llaw drechaf ar un; myned â'r maes ar un; gorchfygu un.

He is none of the best—nid y goreu mo hano; nid y goreu mo hono; nid un o'r goreuon yw.

I did it in the best manner I could—mi a'i gwnaethym yn oreu ag y medrwn; gwnaethym ef yn y dull goreu y medrwn *neu* y gallwn.

The best must have their grains of allowance—nid yw'r goreu heb ei fai; y mae gwehilion i'r gwenith.

Verily every man at his best state is altogether vanity—dïau mai cwbl wagedd yw pob dyn, pan fo ar y goreu.

The best part—y rhan oreu; y rhan fwyaf; y rhan benaf.

The best things are worst to come by—anhawddaf yw cyrhaedd y goreuon.

What is the best news?—beth yw y newydd goreu? beth yw y newydd? pa newyddion sydd? pa newydd sy?

Best, *ad.* yn oreu, yn oraf, goreu.

Best of all—goreu i gyd; goreu o'r cwbl; yn oreu i gyd; yn oreu o'r cwbl.

You know best—chwi a ŵyr oreu; chwi a wyddoch oreu; goreu y gwyddoch chwi; nid oes à ŵyr yn well na chwi.

Thou hadst best be quiet—gwell i ti beidio; gwell i ti nas gwnelot; goreu i ti nas gwnelot.

I know not what I had best do first—nis gwn i pa beth i'w wneuthur gyntaf.

We strive who shall love him best—yr ydym yn ei garu am y goreu.

They strive who shall do best—maent yn ymröi am y goreu; ymroant am y goreu.

Every one likes his own things best—gwell gàn bob un yr eiddo ei hun; goreu gàn bawb yr eiddynt.

As you think best—fel y bo yn dda yn eich golwg; fel y byddo dda genych; fel yr ydych yn tybied oreu; fel y tybiwch yn oreu; fel y mae yn oreu yn eich golwg.

Bestain, *v. a.* (*be* a *stain*) llychwino, ystaenio; diwyno.

Bestead, *v. a.* (*be* a *stead*) llesoli, buddio, llesbau, cymmwynasu, llesu, cedu; diwallu; trefnu.

They shall pass through it, hardly bestead and hungry—hwy a dramwyant trwyddi, yn galed arnynt ac yn newynog.

Bestial, *a.* (o *beast*) anifeilig, anifeilaidd; bwystfilaidd, milaidd, bwystus; creulawn, lledffer.

Bestiality, *s.* (o *bestial*) anifeiligrwydd, anifeleiddrwydd; milgydiad, milrywgydiad.

Bestialize, *v. a.* (o *bestial*) anifeleiddio, bwystfileiddio, anifeilio; gwneyd yn anifail.

Bestick, *v. a.* (*be* a *stick*) pigo, brathu; clwyfo *neu* archolli i gyd drosto.

Truth shall retire bestuck with slander's darts—gwirionedd a gilia yn archolledig gàn saethau enllib.

Bestir, *v. a.* (*be* a *stir*) cynhyrfu, cyffröi, egnïo.

Bestir yourselves — ymgynhyrfwch, ymgyffröwch, ymegnïwch, ymgyfodwch, ymröwch; ymgodwch *neu* ymröwch ati; byddwch wŷr.

Then thou shalt bestir thyself—yna ymegnïa.

He bestirred himself against them—ymgynhyrfodd yn eu herbyn.

They bestirred themselves in defence of the realm—ymwrolasant yn mhlaid y deyrnas.

The innocent shall bestir himself against the hypocrite—y diniwed a ymgyfyd yn erbyn y rhagrithiwr.

Bestow, *v. a.* (*be* a *stow*) rhoddi, rhoi, anrhegu, gosod, dodi, dyroddi; rhoddi *neu* osod ar; cyflëu; rhoi i gadw *neu* yn nghadw; treulio; gwario *neu* dreulio ar; costio wrth *neu* gyda; rhoï *neu* osod allan; cyfeirio, troi, defnyddio.

Though I bestow all my goods to feed the poor—pe porthwn y tlodion â'm holl dda; pe rhoddwn fy holl ddai borthi y tlodion.

To bestow labour, } llafurio, poeni; cym-
To bestow pains, } meryd poen, llafur, *neu* drafferth.

Mary, who bestowed much labour on us—Mair, yr hon a gymmerodd lawer o boen erom ni.

To bestow a daughter in marriage—rhoddi merch yn briod; rhoddi merch i'w phriodi; rhoi merch i briodas.

Lest I have bestowed upon you labour in vain—rhag darfod i mi boeni wrthych yn ofer.

My labour will be well bestowed—ni bydd fy llafur yn ofer; nid ofer fydd fy llafur.

I bestowed a great deal of pains on that work —mi a ddygn boenais wrth y gorchwyl hwnw; cymmerais boen ddygn wrth y gwaith hwnw; cymmerais lawer iawn o drafferth wrth y gorchwyl hwnw.

I sent you to reap that whereon ye bestowed no labour—myfi a'ch anfonais chwi i fedi yr hyn ni lafuriasoch, *neu* yr hyn ni lafuriasoch wrtho.

I bestowed much money upon him—mi a gostiais swrn o arian wrtho; mi dreuliais lawer o arian wrtho.

Bestow not thy money for wine—na ddod dy arian am win.

Why do you bestow your money on such bawbles?—pa ham y treuliwch, y gwar-

iwch, y gosodwch, *neu* y gwastraffwch eich arian ar y fath deganau?
I have no room where to bestow my fruits —nid oes genyf le i gasglu fy ffrwythau iddo.
Upon these we bestow more abundant honours—yn nghylch y rhai hyny y gosodwn ychwaneg o barch.
He bestowed them in the house—efe a'u rhoddodd i gadw yn y ty; rhoddes hwynt yn nghadw yn y ty.

**Bestowal,** } *s.* (o *bestow*) rhoddiad, anrheg-
**Bestowment,** } iad; rhodd, anrheg.

**Bestower,** *s.* (o *bestow*) rhoddwr, anrhegydd.

**Bestraddle,** *v. a.* (*be* a *straddle*)=*Bestride*.

**Bestraught,** † *a.* gorphwyllog, gwallgofus, gwallgof, ynfyd.

**Bestrew,** *v. a.* (*be* a *strew*) gwasgaru, gwasgar; bwrw ar led; taenu; gorchuddio, gorchuddio â; taenu ar hyd.
They would bestrew his paths with roses—rhoent yn ei lwybrau lawer rhosyn.

**Bestride,** *v. a.* (*be* a *stride*) marchogaeth yn fforchog; myned ar geffyl â choes o bobtu; brasgamu dros; myned goes o bobtu; fforchogi, hirgamu, brasgamu, camu dros; marchgau.

**Bestud,** *v. a.* (*be* a *stud*) boglynu, boglymu, gemu; addurno â boglynau.
To bestud with stars—seriglo, serigo, seirianu; hau *neu* fritho â ser; boglynu â ser.
Bestudded with stars—serigl, serig, seirian, serog; hauedig â ser; brith o ser.

**Beswike,** † *v. a.* (S. *beswican*) hudo, denu, llithio.

**Bet,** *s.* (S. *bad*) cyngwystl.
I will venture you what bet you please—mi ddaliaf â chwi y peth à fynoch.
To make bets—cyngwystlo, dàl cyngwystl.

**Bet,** *v. a.* cyngwystlo, dàl cyngwystl.
I will bet nothing with you—ni ddaliaf ddim â chwi.

**Beta,** *s.* (Ll.)=*Beet*.

**Betake,** *v. a.* (*be* a *take*; S. *betæcan*) cymmeryd; ymosod ar; gosod at; rhoi *neu* osod ar.
To betake one's self—ymgymmeryd, ymroddi, ymröi, ymosod; rhoi ei hun, gosod ei hun; rhoi *neu* ddodi ei fryd, ei feddwl, *neu* ei fwriad; glynu; bod yn ystig; ystigo.
They betook themselves to arms—cyrchasant at arfau; ymgyrchasant at arfau; defnyddiasant arfau; ymgymmerasant at arfau; cymmerasant eu harfau; ymwisgasant *neu* ymwregysasant âg arfau.
To betake one's self to a place—cyrchu *neu* fyned i le; hwylio camrau *neu* gerddediad i le *neu* fàn.
I betook me *or* myself to my heels—cymmerais y traed; cymmerais y gwadnau; mi a gymmerais y traed a'r gwadnau; rhoddais y traed yn y tir.
They betook themselves to flight—ffoisant; hwy a ffoisant ymaith.
To betake one's self to a person for protection—cyrchu at un am noddfa *neu* nodded; brysio at un am ei nawdd; ffoi at un am amgeledd; ymnoddi dan aden un.

**Beteem,** † *v. a.* (*be* a *teem*) heigio, heidio, hilio yn aml.

**Bethink,** *v.* (*be* a *think*) adgofio, galw i gof; galw *neu* ddwyn ei hun i gof; ymalaw i gof; ystyried, pwyllo, cymmeryd pwyll; cofio, adfeddwl.
Consideration may make him bethink himself—dichon ystyriaeth beri iddo gymmeryd pwyll.
If they shall bethink themselves—os dychwelant at eu calon.

**Bethlehem,** *s.*=*Bedlam*.
Star of Bethlehem—seren Bethlehem, seren Fethlehem=enw llysieuyn.
Common star of Bethlehem—seren Bethlehem gyffredin.

**Bethlehemite,** *s.*=*Bedlamite*.

**Bethrall,** *v. a.* (*be* a *thrall*) caethiwo, darostwng; dwyn i gaethiwed.

**Bethump,** *v. a.* (*be* a *thump*) pwmpio, dyrnodio; curo, paffio.

**Betide,** *v.* (*be* a *tide*) dygwydd, dygwyddo, damweinio, hapio; dyfod *neu* ddygwydd i.
Woe betide you — gwae chwi; dryglam ichwi; drwg dynged ichwi; drwg ddamwaen ichwi.
What will betide the few?—beth a ddaw o'r ychydig? beth a ddygwydd i'r ychydig?
If she were to die, what would betide thee? —pe dygwyddai iddi hi farw, beth a ddeuai o honot ti? pe byddai iddi hi farw, beth a wnait ti?

**Betime,** } *ad.* (*be* a *time*) yn brydlawn, yn am-
**Betimes,** } serol, mewn amser, mewn pryd; yn gynnar; yn ebrwydd.
They rose up betimes in the morning—codasant yn fore; bore-godasant.
Do your work betimes — gwnewch eich gwaith mewn pryd *neu* yn brydlawn.
Get thee betimes unto him—cyfod yn fore ato ef.
Begin betimes in the spring—dechreuwch yn gynnar yn y gwanwyn.

**Betoken,** *v. a.* (*be* a *token*) arwyddo, argoelio, argoeli, arwyddocäu, dangos, rhagddangos, rhagarwyddo, arddangos; dangos drwy arwydd *neu* argoel.

**Betony,** *s.* (Ll. *betonica*) dannogen, cribau Sant Ffraid, dwyfog, llysiau dwyfog, llys dwyfog, y feddyges lwyd.
Wood betony=*Betony*.
Paul's betony—rhwyddlwyn gruwddail.
Water betony—dannogen y dwr, gornerth y dwr.

**Betorn,** *a.* (*be* a *tear*) drylliedig, llarpiedig.

**Betoss,** *v. a.* (*be* a *toss*) taflu, ysgwyd, siglo, cysgogi, gwesgrynu, treiglo.

**Betrap,** † *v. a.* (o *trap*) maglu, rhwydo.

**Betray,** *v. a.* (Ff. *trahir*; Al. *betriegen*) bradychu, bradu; gwneyd brad; dadguddio, dangos, mynegu, cyhoeddi, amlygu, hysbysu; troi yn fradwr i *neu* yn erbyn; cyhuddo.
Brother shall betray brother to death—brawd a ddyry frawd i farwolaeth.
He betrayed me in this thing—efe a wnaeth fy mrad yn hyn o beth; bradychodd fi yn y peth hwn.
A tale-bearer betrayeth secrets—hustingwr a ddadguddia gyfrinach.
Rhodocus betrayed the secrets to the enemies—Rhodocus a ddadguddiodd y cyfrinachau i'r gelynion.
Lest you betray your ignorance—rhag dadguddio *neu* ddangos o honoch eich an-

wybodaeth; rhag i chwi fradychu eich anwybodaeth; rhag bradychu o honoch anwybodaeth.

Betrayer, *s.* (o *betray*) bradychwr, bradwr; dadguddiwr cyfrinach.

Betrayment, Betrayal, *s.* (o *betray*) bradychiad, bradiad.

Betrim, *v. a.* (*be* a *trim*) trwsio, addurno, pincio, pefru, hoewi, cymhenu, trymio, gwychu, tegychu, eirioni, harddu.

Betroth, *v. a.* (*be* a *troth*) dyweddïo; ymgredu, cyfneithio; ymgredu i *neu* â; ymffyddio â; cyfathrachu; cymmeryd yn ddyweddi; enwi i esgobaeth.

To betroth a wife—dyweddïo gwraig, ymgredu â gwraig, cyfneithio gwraig.

Betrothed maid—morwyn-wraig; morwyn wedi ei dyweddïo; merch wedi ymgredu â gwr.

I will betroth thee unto me—mi a'th ddyweddïaf â mi fy hun.

Her master betrothed her—ei meistr a'i cymmerodd hi yn ddyweddi; dyweddïodd ei meistr hi; ei meistr a'i dyweddïodd.

She is betrothed to a husband—hi a ddyweddïwyd i wr; hi a ymgredodd â gwr.

To betroth each other, To betroth mutually, ymgredu, ymffyddio, ymddyweddïo, *neu* ymneithio â'u *neu* i'w gilydd.

Betrothment, *s.* (o *betroth*) dyweddïad, ymgrediad, cyfneithiad, ymddyweddïad; dyweddi, ymgred, cred briodas.

Betrust, *v. a.* (*be* a *trust*) ymddiried, hyderu; ymddiried *neu* gredu i; hyderu ar; ymddibynu ar.

To betrust one with a thing—ymddiried peth i un; ymddiried *neu* gredu i un am beth; rhoi peth dàn ymddiried un.

Betrustment, *s.* (o *betrust*) ymddiriad, hyderiad.

Better, *a.* (S. *betere, betera;* D. *beter*) gwell; rhagorach, amgenach, amgen.

Better and better—gwellwell.

For the better—er gwell.

For better, for worse—er gwell, er gwaeth.

In a better manner—yn well; mewn gwell trefn; mewn trefn well.

To have the better, To get the better, To gain the better, cael y goreu; cael yr oruchafiaeth *neu* y fuddugoliaeth; cael y maes; cael y llaw uchaf; cael y llaw drechaf; cael y trechaf; ennill y maes; ennill y fuddugoliaeth *neu* yr oruchafiaeth; myned â'r maes; ennill *neu* gario y dydd; gorchfygu, trechu, gorfod, gorthrechu, goresgyn; cefnu.

To get the better of an enemy—gorchfygu gelyn; cael y goreu ar elyn; gorfod gelyn; gorfod ar elyn.

They could not get the better of him—nis gallent ei orchfygu *neu* ei drechu ef.

The villain got the better of her—y dyhiryn a'i gorthrechodd hi.

He rested not till he had the better of them — ni orphwysodd nes eu meistroli hwynt.

The English had far the better of the Spanish—goresgynodd *neu* gorchfygodd y Seison yr Yspaeniaid heb drafferth yn y byd; yr oedd y Seison yn ddigon yn drech na'r Yspaeniaid.

To be better—bod yn well; bod yn well na; bod yn rhagorach na; rhagori *neu* flaenori ar.

To be better off—bod mewn gwell amgylchiad *neu* amgylchiadau; bod mewn gwell cyflwr, helynt, ansawdd, *neu* sefyllfa; bod yn well ei ansawdd, ei amgylchiadau, ei helynt, *neu* ei gyflwr.

All the better, So much the better, goreu i gyd; gwell o hyny; cymmaint a hyny yn well.

Never the better, None the better, dim yn well; dim gwell; ddim gwell; nid gwell o ddim; yn ddim gwell.

Somewhat better — ychydig yn well; ychydig gwell; gwell o ychydig; gwell o rywbeth; gwell o rywfaint; rhyw ychydig yn well.

To give one the better—gado'r maes i un; rhoi y goreu i un; rhoi y lle i un; rhoi i fyny i un.

Better once than always—gwell unwaith na chanwaith.

Better late than later — gwell hwyr na hwyrach; gwell hwyr no hwyrach.

It is better—gwell yw; y mae yn well; mae'n well; gwell ydyw.

Are ye not much better than they?—onid ydych chwi yn rhagori llawer arnynt hwy? onid ydych chwi yn llawer gwell na hwynt?

Much better—gwell o lawer; llawer yn well; llawer gwell; rhagorach o lawer; llawer yn rhagorach *neu* yn amgenach.

It is something better than a yard—y mae rhywbeth dros ben llathaid; mae ef rywbeth yn fwy na llathaid; y mae yn llathaid, a rhywbeth *neu* rywfaint yn ychwaneg.

The wall is ten feet high and better—y mae y mur yn ddeg troedfedd o uchder ac ychwaneg; mae y mur yn ddeg troedfedd o uwchder, a thros ben; y mae y mur yn ddeg troedfedd a chwaneg o uchder; mae y mur dros ddeg troedfedd o uchder.

What shall I be the better?—beth gwell a fyddaf? pa beth yn well a fyddaf? beth a fyddaf yn well?

Better, *ad.* yn well; yn rhagorach, yn amgenach.

Better and better—yn wellwell.

To write better than another—ysgrifenu yn well nag arall.

To love better, To love the better, caru yn fwy; caru yn well.

To grow better—gwellhau, gwella; diwygio; myned *neu* ddyfod yn well.

When did he begin to grow better?—pa bryd y gwellhaodd arno? pa bryd y dechreuodd wella?

She grows better every day—mae hi yn gwella beunydd; y mae hi yn dyfod yn well bob dydd.

To make better—diwygio, unioni, gwella, gwellhau, adgyweirio, gwneuthur yn well.

He had better go — gwell iddo fyned; byddai yn well iddo fyned; gwell fyddai iddo fyned.

I had better not have told it—buasai yn well i fi beidio ei ddweyd; gwell fuasai i mi beidio â son am dano.

**Art thou better?—a wyt ti yn well?**

Better, *v. a.* (S. *beterian*) gwellhau, gwella; gwneuthur yn well; rhagori ar; blaenori ar; goreuo; diwygio; dwyn yn mlaen.

**She was nothing bettered—ni chawsai ddim lleshad.**

**Bettering-house—gwelligdy, diwygdy.**

Betters, *s. pl.* gwell, goreuon, uchafiaid, blaenoriaid, uchelwyr, goruchelwyr, goreugwyr.

**Our betters—ein gwell; ein gwell ni; ein huchafiaid; uwch gwŷr na ni; gwell gwŷr na ni; ein goreugwyr, ein blaenoriaid, ein huchelwyr, ein goruchelwyr.**

**Give place to your betters—rhowch le i'ch gwell, &c.**

**Their betters would be hardly found—prin y gallid cael eu gwell; prin y gellid cael gafael ar eu gwell; anhawdd fyddai cwrdd â'u rhagorach.**

Betterment, *s.* (o *better*) gwelliant, gwellhad, gwellad, gwellineb.

Betterness, *s.* (o *better*) rhagoriaeth, rhagoriant, rhagordod, amgendod.

Bettor, } *s.* (o *bet*) cyngwystlydd, cyngwystlwr.
Better, }

Betty, *s.* (oddi wrth enw morwyn, *Betty?* o *beat?*) doragorydd=offeryn i dori drws yn agored.

Betula, *s.* (Ll.; Celt. *beith, beithe, bezo, bedho, bedw*) bedw.

Between, *prep.* (S. *betweonan, betwynan*) rhwng; cyfrwng, cydrwng.

**Between me—rhyngof, rhyngwyf, rhyngddof, rhyngddwyf, rhyngthof.**

**Between thee — rhyngot, rhyngddot, rhyngthot.**

**Between him, } rhyngddo, rhyngo, rhyng-**
**Between it, } tho.**

**Between her—rhyngddi, rhyngthi, rhyngi.**

**Between us — rhyngom, rhyngddom, rhyngthom.**

**Between you — rhyngoch, rhyngddoch, rhyngthoch.**

**Between them — rhyngddynt, rhyngynt, rhyngthynt.**

**Between me and thee—rhyngof fi a thi.**

**Between those—rhwng y rhai yna; rhwng y rhai hyny; rhwng y cyfryw rai.**

**Between heaven and earth—rhwng nef a llawr; rhwng nef a daiar; cyfrwng nef a llawr.**

**Between her and herself—rhyngddi a hi ei hun.**

**Between ourselves—rhyngom ein hunain; rhyngom ni ein hunain; rhyngot ti a minnau; rhyngof fi a thithau; rhyngoch chwi a minnau; rhyngom ni a chwithau; rhyngof fi a chwithau.**

**Between both—rhwng y ddau; yn y canol; yn y cyfrwng; yn y cyfwng; canolig, yn ganolig; heb fod y naill na'r llall; na'r naill na'r llall; nid un o'r ddau.**

**We might see all above, below, and between—gallem weled y cwbl oddi arnom, oddi tanom, ac yn y cyfwng *neu* y cyfrwng.**

**They left a parcel of ground between them—gadawsant dalwrn yn y canol; gadawsant randir yn y canol rhyngddynt; gadawsant swrn o dir rhyngynt.**

**To distinguish between right and wrong—gwahaniaethu rhwng cam a chymhwys; gwahaniaethu rhwng iawn ac aniawn; dosbarthu drwg a da.**

Betwixt, *prep.* (S. *betwyxt, betweox, betwyx*)= *Between.*

I am in a strait betwixt two—y mae yn gyfyng arnaf o'r ddeutu.

Bevel, } *s.* (Ff. *bureau*) osgonglyr, osglyfelyr,
Bevil, } osglyfelydd.

Bevel angle—osgongl, osgelin, gŵyrelin.

Bevel geer—cêr osgonglyr, trec osgonglyr; osgolwynion, osgrodau.

Bevel, *a.* gŵyr, osgoawl, agwyr, ar osgo, cam, crwca, lledbeiol, goleddf, osg.

Bevel wall — osgfur; mur osgoawl *neu* agwyr.

Bevel, *v.* osglyfelu; gwyro, comi, camu, lledbeio, cyrfu.

Bevelled wheel—osgolwyn, osgrod; olwyn âg osgfin iddi.

Bevelling, *a.* (o *bevel*) osgoaidd, gŵyr, agwyr, lleddf.

Bevelment, } *s.* (o *bevel*) osgdoriad, comdoriad;
Bevelling, } osgongliad, osglyfeliad; osglyfelyr.

Bever,† *s.* (It. *bevere*) byrbryd, rhagbryd.

Bever, *v. n.* byrbrydio, rhagbrydio.

Beverage, *s.* (It. *beveraggio*) dïod, dïodlyn, llyn; peth i'w yfed: dïottal; dïodrodd; rhagddïod; anrheg o ddïod; dyfrosai, afalwy.

To pay beverage—talu dïottal; rhoi arian i yfed ar gyfrif dillad newydd, &c.; talu arian yfed; rhoi arian yfed.

Nectar is called the beverage of the gods—dïod y duwiau y gelwir neithdar; gelwir neithdar yn ddïod y duwiau; gelwir neithdar yn ddïodlyn y duwiau; neithdar a elwir dïod y duwiau.

Bevile, } *s.* osgarn, osgriciad=peth ar ddull osg-
Bevil, } onglyr mewn herodraeth.

Bevilled, *a.* (o *bevil*) osgriciol, osgriciedig.

Bevilways, *ad.* (*bevil* a *ways*) ar ddull osgarn *neu* osgriciad; yn osgriciol.

Bevy, *s.* (It. *beva*, yn ol y Dr. *Johnson*, ond?) llu *neu* haid o adar; nythaid, nythal; haid, twr, cynnulliad, llu.

A bevy of fair ladies—twr o rianod teg; haid o foneddesau teg; torf o foneddigesau teg; myntai o rianod mwyndeg.

A bevy of quails—nythaid o soflieir; cyfor *neu* lu o soflieir; haid o soflieir.

A bevy of roebucks—deadell o iyrchod.

A bevy of roes—deadell o ewigod; haid o iyrchesau.

Bevy-grease — gwer iwrch *neu* iyrches; blawn iwrch; gwer llwdn hydd.

A bevy of the choicest words—nifer o'r geiriau godidocaf.

Bewail, *v.* (*be* a *wail*) alaethu, cwynfan, cwyno, galaru, cwynofain, wylofain, drygyrferthu; dwys ofidio.

Bewail your children—galarwch dros, o herwydd, *neu* o blegid eich plant.

They bewailed him many days—galarasant am dano ef ddyddiau lawer.

Lest I shall bewail many—rhag bod i mi ddwyn galar dros lawer.

Bewailable, *a.* (o *bewail*) alaethadwy, &c.

Bewailer, *s.* (o *bewail*) alaethwr, galarwr, &c.

Bewailing, *a.* (o *bewail*) alaethol, galarus, gofidiol; gwiwgwyn.

Bewailing, *s.* galar, galarnad, alaethiad, cwynfan, alaeth, cwyn, cwynofaint, amafar, wylofedd, wylofaeth.

**Bewailment**, *s.* (o *bewail*) alaethiad, galariad, cwyniad, cwynfaniad.

**Beware**, *v. n.* (S. *bewerian, bewarian*) gochelyd, gochel, gwilio, gwilied, ymogelyd, ymochelyd, gwachelyd, cadw, ymgadw, gogelu, gogelyd, ymswyno, ymswyn, gofalu, synu, edrych.

Beware of him—ymswyn rhagddo; gwilia rhagddo; gochel ef; ymgadw oddi wrtho; ymochel rhagddo.

Beware of the breed—gochel y giwed; ymswyna rhag y giwed; gwilia rhag yr ystrain; gochel y gethern.

Beware what you do—edrychwch beth a wneloch.

Beware of all, but most beware of man—gwilia bawb, ond gwilia yn benaf ddyn; gochela bawb, yn benaf gochel ddyn; goreu gochel, gochel dyn.

Beware of the concision—gochelwch y cyttoriad.

Beware that you do it not, } gwel nas
Beware not to do it, } gwnelit; gofala *neu* syna nas gwnelit.

Beware that thou pass not such a place—ymgadw rhag myned i'r lle a'r lle; syn nad elit i'r lle a'r lle; gwilia nad elot i'r cyfryw le.

Beware of him, and obey his voice—gwilia rhagddo, a gwrando ar ei lais ef (*Ecs.* xxiii. 21.)

Beware that thou speak not—cadw arnat rhag yngan.

**Beweep**, *v. a.* (*be* a *weep*) wylo dros *neu* am; arwylo; dagreuo; gwlychu *neu* wlitho â dagrau.

**Bewet**, *v. a.* (*be* a *wet*) gwlychu, mwydo; gwlitho.

**Bewhore**, *v. a.* (*be* a *whore*) puteinio.

**Bewilder**, *v. a.* (*be* a *wild*; Is. *verwilderen*) dyrysu, nidro, ffeigio, methlu, annhrefnu; ymddyrysu yn; peri dyryswch; gwneuthur yn ddyrys *neu* afrwydd.

Lost and bewildered in the fruitless search—gwedi ymgolli ac ymddyrysu yn yr ymgais anfuddiol.

**Bewildered**, *a.* (o *bewilder*) dyrysedig, dyrys, &c.; brawychedig, brawychus; ar goll mewn dyrysleoedd.

**Bewilderedness**, } *s.* (o *bewildered*) dyryswch,
**Bewilderment**, } nidrolrwydd, methlusrwydd, ymddyryswch, dyrysoldeb.

**Bewinter**,† *v. a.* (*be* a *winter*) gauafoli, gauafu.

**Bewitch**, *v. a.* (*be* a *witch*) swyno, hudo, llygattynu, rheibio, ystrempio, rhempio, swynogli; denu, llithio, hudoliaethu; tynu *neu* ennill serch; dwyn, denu, hudo, *neu* lithio serch; caethiwo, maglu, *neu* rwydo serchiadau.

Who hath bewitched you?—pwy a'ch llygattynodd chwi?

He had bewitched them with sorceries—efe a'u hudasai hwynt â swynion.

She bewitched him with her charms and address—hi a'i hudodd ef â'i swynion a'i mwynion eiriau; hi a'i swynodd ef â'i haml eiriau teg.

She is bewitched—y mae hi wedi ei swyno *neu* reibio; mae hi yn rhemp.

They are bewitched with the love of this world—y mae bydgarwch wedi eu llygattynu; hwy a faglwyd gân eu bydolrwydd; y mae trachwant i'r byd [illegible] eu maglu; hwy a rwydwyd gân cybydd-dod; hwy a faglwyd gàn chwant i'r byd hwn.

She bewitched all men with her beau[ty]—ei thegwch a dynodd y byd ar ei [ôl]; hudodd y byd â'i thegwch.

He bewitched me with his tongue—a'm denodd â'i dafod teg; fe 'm [h]udodd â'i hyawdledd; e'm daliodd rhwyd ei hyawdledd.

**Bewitchedness**, *s.* (o *bewitch*) swynedigrw[ydd], hudoledigrwydd, hudolusrwydd, swynold[eb], rheibioldeb.

**Bewitcher**, *s.* (o *bewitch*) swynwr, swyny[dd], hudwr, hudolydd, rheibiwr, rheibydd, ll[ygad]attynwr, ystrempiwr.

**Bewitchery**, *s.* (o *bewitch*) hudoliaeth, sw[yn], hud, swynoliaeth, hudolrwydd.

**Bewitchful**, *a.* (o *bewitch* a *full*) hudla[wn], swynlawn, hudolus, swynol, hudoliaethus.

**Bewitching**, *a.* (o *bewitch*) hudolaidd, swyn[ol], hudol, denol; llygattynol; yn tynu y byd ei ol; yn dallu y byd.

**Bewitchingness**, } *s.* (o *bewitch*) hudoliae[th],
**Bewitchment**, } swynoliaeth, hudolrwyd[d], hudoldeb, swynolrwydd; llygattyniad, rhei[b]iant, swyniad, hudiad, rhempiad.

The bewitchingness of riches—hudoliae[th] golud.

**Bewrap**, *v. a.* (*be* a *wrap*) goblygu, amblyg[u], plygu i fyny.

**Bewray**, *v. a.* (*be* a S. *wrecan*) bradychu, brad[u], cyhuddo, dadguddio, dangos.

Thy speech bewrayeth thee—y mae d[y] leferydd yn dy gyhuddo.

He heareth cursing, and bewrayeth it no[t]—efe a wrendy ar felldith, ac ni[s] mynega.

Thy own knavery will bewray thee—d[y] ddyhirwch dy hun a wna dy frad.

**Bewrayer**, *s.* (o *bewray*) bradychwr, bradwr, dadguddiwr, mynegwr.

He is a bewrayer of secrets—dadguddiw[r] cyfrinach yw efe.

**Bewrayment**, *s.* (o *bewray*) bradychiad, cyhuddiad; amlygiad cyfrinach.

**Bewreck**,† *v. a.* (*be* a *wreck*) dystrywio, dinystrio.

**Bey**, } *s.* (Tyrc. *begh, bek*) = { *Beg.*
**Beg**, } { *Bey.*

**Beyond**, *prep.* (S. *begeond*) tu hwnt, hwnt, tu draw, tros, dros, tra; tu hwnt i, hwnt i, tu draw i, o'r tu hwnt, y tu hwnt i, o'r tu hwnt i, o'r tu draw i, y tu draw i; uwch law, uch law; yn mhellach na; rhy, trag, alltra, traw, draw.

From beyond—o'r tu hwnt i; o'r tu draw i.

To go beyond—myned tu hwnt i; myned dros; myned heibio i; rhagori *neu* flaenori ar; twyllo, hudo, somi; *gorthrymu*, gwasgu; troseddu; rhyseddu; träu; maeddu.

That no man go beyond his brother—na byddo i neb orthrymu ei frawd.

Seek not things beyond your reach—na cheisiwch bethau i maes o'ch cyrhaedd.

Beyond belief—anghredadwy, anghoeladwy, anhygoel, anhygred; tu hwnt i gred *neu* goel.

Beyond measure—tu hwnt i fesur; allan

o fesur; dros ben mesur; yn ddirfawr; mwy na mwy.
They were astonished beyond measure—synasant yn ddirfawr; synu a wnaethant yn anfeidrol; synodd arnynt tu hwnt i fesur; synasant fwy na mwy.
Beyond dispute—yn ddiddadl; tu hwnt i ddadl.
Beyond recovery—ar ddifancoll, ar gyfrgoll; yn gyfrgolledig; wedi ei gyfrgolli; wedi darfod am dano.
Beyond the sea, } tramor, tra môr; tu hwnt
Beyond sea, } *neu* tu draw i'r môr; tros y môr; trag y môr.
The countries beyond the sea—y gwledydd tramor, y gwledydd pell, y gwledydd pellenig.
Beyond thy back—tra dy gefn; y tu cefn iti; tu ol i'th gefn; hwnt i'th gefn.
Beyond, *ad.* draw, acw, oco.
Bezan, *s.* cotwm Bengal.
Bezant, } *s.* (o *Byzantium*, Caercystenyn) Bes-
Byzant, } ant, Bysant=darn aur bathedig yn Nghaercystenyn.
Besant (in heraldry)—Besant, cylch, cantell.
Bezantler, *s.* (o *antler*) eilgainc, adgainc=ail gangen corn carw, y nesaf uwch y dalgainc.
Bezel, } *s.* (Cal. *bezal?* Sw. *betzel?*) maenfan,
Bezil, } boglyn modrwy.
Bezoar, *s.* (Pers. *badzar*, *pazahar*) besoar, cyllagai; dadwenwyn=math o gareg neu gyttwf hynod â geir yn nghylla rhai anifeiliaid, yr hwn a gyfansoddir o amryw haenau, a thybir ei fod yn dda rhag gwenwyn. Y Besoar dwyreiniol a geir yn Persia a'r India Ddwyreiniol; a'r un gorllewinol, yn yr Orllewinol India.
Bezoardic, } *a.* (o *bezoar*) besoarig, besoar-
Bezoardical, } aidd; cyllageiol.
Bezzle, † *v. a.* (Norm. *beseler*) gwastraffu, afradu.
Biangular, } *a.* (Ll. *bis*, dwywaith, ac *an-*
Biangulate, } *gulus*, ongl neu gongl) dwy-
Biangulated, } onglog, dwyonglaidd, dwyelin-
Biangulous, } og, dwygonglog, deugornelog.
Biarseniate, *s.* (*bis* ac *arseniate*) deuarsenaint, dyarsenaint.
Biarticulate, *a.* (Ll. *bis* ac *articulatus*) deureddog, deugymmalaidd, deugymmal.
Biarchy, *s.* (Ll. *bis*, a Gr. *archê*) deubenaeth, deubendodaeth, deubendod, llywodraeth dau.
Bias, *s.* (Ff. *biais*) tuedd, gogwydd, gogwyddiad, tueddiad, gwyredd; tueddfryd, rhael, rhediad, göen; pwysiad, gobwysiad; lledochriad; rhagfarn.
To put one out of his bias—gyru un allan o'i amcan; gwthio un allan o'i amcan, tuedd, *neu* ogwydd; troi un allan o'i lwybr cynnefinol; troi un allan o'r ffordd arferol; bwrw un ymaith o'i arfer *neu* gynnefod; trathynu un oddi wrth ei arfer *neu* gynnefod.
To set a bias upon — gogwyddo, tueddu; gwyro bryd.
Contrary bias—gwrthogwydd, gwrthduedd.
Mutual bias—cyttuedd, cydogwydd.
Wrong bias—camduedd, camogwydd.
Bias, *v. a.* tueddu, gogwyddo, gwyro, lledochri; pwyso at; peri rhagfarn.
To be biased to a party—pleidgaru; bod yn bleidgar *neu* bleidiol; bod wedi ymrwymo wrth blaid; bodi wedi ymroddi i blaid; bod wedi ei ddallu gân serch at blaid; gogwyddo, tueddu, *neu* wyro at blaid.
Bias-drawing, † *s.* pleidgarwch.
Biasness, *s.* (o *bias*) gogwyddolrwydd, tueddoldeb, pleidgarwch.
Biauriculate, *a.* (Ll. *bis* ac *auricula*) deuglustenol; â dwy glusten iddo.
Bib, *s.* (Ff. *bavette*) bronlïan, bronlïain.
Bib-apron—bronffedog.
Bib, *s.* bronwyn=math o bysgodyn.
Bib, *v. a.* (Ll. *bibo*) llymeitan, llymeitio, llymeita, dïota, dyfoli ar, potio, yfetri, llyna, yfed, mynych yfed, ymyfed.
Bibacious, *a.* (Ll. *bibax*) yfgar, dïodgar, gwingar; chwannog i lymeitan.
Bibacity, *s.* (Ll. *bibacitas*) yfgarwch, dïodgarwch, yfetri, ymyfed, yfedgarwch, yfogrwydd, gwingarwch.
Bibasic, *a.* (*bis* a *basic*) deusodig, deuwaelodol, deuwaelodig.
Bibber, } *s.* (o *bib*) llymeitwr, yfwr, dïotwr,
Bibler, } potiwr, ymyfwr; dyn yfgar *neu* wingar; meddwyn.
Wine-bibber—yfwr gwin, gwin-yfwr.
Bibbs, *s. pl.* (o *bib?*) llwyfystanciau.
Bibio, *s.* (o *bib*) gwingleren; *pl.* gwingler, gwinglyr.
Bibitory, *a.* (o *bib*) yfedol, llymeitiol; perthynol i yfed.
Bible, *s.* (Gr. *biblos*, *biblion*) Bibl, Beibl, yr Ysgrythyr, y Llyfr.
The Holy Bible—y Bibl Santaidd, y Beibl Cyssegrlan; yr Ysgrythyr Lân.
The Bible should be the standard of language as well as of faith—dylai y Bibl fod yn safon iaith yn gystal ag yn safon ffydd.
Bible-Society — Bibl-Gymdeithas, Cymdeithas y Beiblau.
The British and Foreign Bible-Society—y Feibl-Gymdeithas Brydeinig a Thramor; y Fibl-Gymdeithas Frytanaidd a Thramor; y Gymdeithas Fiblaidd Brydeinaidd a Thramor.
Biblical, *a.* (o *bible*) ysgrythyrol, beiblig, biblaidd, beiblaidd, biblig.
Biblical criticism — beirniadaeth ysgrythyrol.
Biblical literature — llenoriaeth ysgrythyrol, llenyddiaeth ysgrythyrol, llenyddiaeth Feiblig, llenoriaeth y Beibl.
Biblical antiquities—henafion ysgrythyrol, hynafiaethau Beiblaidd.
Biblical cyclopædia — gwyddoniadur ysgrythyrol.
Biblical dictionary, } geiriadur ys-
Dictionary of the Bible, } grythyrol, geirlyfr ysgrythyrol.
Biblicists, *s. pl.* (o *bible*) Beibligion, Bibligiaid =doethoriaid yn y 12fed canrif à elwid felly.
Bibliognosy, *s.* (Gr. *biblion* a *gnôsis*) llyfrwybodaeth, llyfrwybyddiaeth.
Bibliographer, *s.* (Gr. *biblion* a *graphô*) llyfronydd, llyfronwr, llyfrofydd, llenofydd=un hyddysg yn hanes llyfrau a llenoriaeth: llyfrysgrifydd, adysgrifwr.
Bibliographic, } *a.* llyfronol, llyfrofyddol,
Bibliographical, } llenofyddol, llyfronyddol.
Bibliography, *s.* (Gr. *bibliographia*) llyfron-

iaeth, llyfrofyddiaeth, llenofyddiaeth=hanes llyfrau a llenoriaeth.
Bibliolatry, *s.* (Gr. *biblion* a *latreia*) llyfraddoliaeth, llyfraddoliad, addoliad llyfrau.
Biliolite, *s.* (Gr. *biblion* a *lithos*) llyfrfaen.
Bibliomancy, *s.* (Gr. *biblion* a *manteia*) beiblarmes, beiblddewiniaeth ; llyfrarmes.
Bibliomania, Bibliomany, *s.* (Gr. *biblion* a *mania*) llyfrorphwylledd, llyfrwallgofrwydd, llyfrorphwyll, llyfrynfydrwydd.
Bibliomaniac, *s.* (o *bibliomania*) llyfrorphwyllog, llyfrorphwyllwr, llyfrwallgofwr: *pl.* llyfrwallgofiaid, llyfrorphwylliaid, llyfranmhwyllwyr.
Bibliomaniacal, *a.* llyfrorphwyllog, llyfrorphwyllus, llyfrwallgofus, llyfrynfyd.
Bibliopegic, *a.* (o *bibliopegy*) llyfr-rwymol, llyfr-amrwymol, llyfrgloriol ; perthynol i rwymo llyfrau.
Bibliopegy, *s.* (Gr. *biblion* a *pēgnuō*) llyfr-rwymiadaeth, llyfr-rwymyddiaeth, celfyddyd rhwymo llyfrau.
Bibliopole, Bibliopolist, *s.* (Gr. *bibliopōlēs*; Ll. *bibliopola*) llyfrwerthydd, llyfrwerthwr, gwerthwr llyfrau.
Bibliopolic, *a.* (o *bibliopole*) llyfrwerthyddol, llyfrwerthiadol, llyfrwerthol.
Bibliotheca, Bibliotheke, *s.* (Ll. a Gr.) llyfrgell, llyfrfa, llyfrdy, llyfyrgell.
Bibliothecal, *a.* (o *bibliotheca*) llyfrgellol, llyfrfaol ; perthynol i lyfrgell.
Bibliothecary, Bibliothecarian, *s.* (Ll. *bibliothecarius*) llyfrgellydd, llyfrgellwr, ceidwad llyfrgell, ceidwad llyfrau.
Biblist, *s.* (o *bible*) beiblydd, beiblwr, biblwr, ysgrythyrydd=un â gymmer yr ysgrythyr yn unig reol ffydd; ac un â fo yn hyddysg ynddi.
Bibracteate, *a.* (*bis* a *bracteate*) deugilddeiliog, deugoesddeiliog, deudradeiliog.
Bibulous, *a.* (Ll. *bibulus*) ysbyngaidd ; sugnol.
Bicalcarate, *a.* (Ll. *bis* a *calcar*) deusbardunog, deusbardunol ; â dau ysbardun iddo.
Bicapitated, *a.* (Ll. *bis* a *caput*) deubenog, deuben, deubenedig.
Bicapsular, *a.* (Ll. *bis* a *capsula*) deugistog, deugistanog, deugibellog, deuhadgellog.
  Bicapsular pericarp—plisg deugistog.
Bice, Bise, *s.* (?) lliw glas o'r gareg Armeniaidd.
  Green bice—gwyrddliw, glaswyrdd, gwanwyrdd.
  Blue bice—lliw glas, gwanlas.
Bicephalous, *a.* (Ll. *bis*, a Gr. *cephalē*) deubenog, deupenog, deuben, deupen ; â dau ben iddo.
Bicipital, Bicipitous, *a.* (Ll. *bis* a *caput*) deupen, deuben, deupenog, deubenog ; â dau ben iddo *neu* ganddo.
Bicker, *v. n.* (C. *bicra*, *bicre* ; Ysg. *bicker*) ymgiprys, ymryson, ymrafael, ymrafaelio, ymgynhenu, bicra, ymgecru, ymeirio, ymserthu, belu, cadhewrach, catewrach, ymdynu, ymwrial, cernial, ysgarmesu, cittrachu, ymgeintach; bwhwman, hofian, crychneidio, dygyfor.
  The bickering flame—y fflam yn bwhwman.
  The bickering stream—y ffrwd yn crychneidio.
Bicker, *s.* (Al. *becher*) dïodlestr, meilen, cogan.
Bickerer, *s.* (o *bicker*) ymrysonwr, ymgynhenwr, cnifiwr, ysgarmesydd, &c.
Bickering, *s.* (o *bicker*) ymgiprys, ymrafael, ciprys, cynhen, ymryson, bicre, cittrach, ceintach, &c. ; ymgynheniad, ymrysoniad, &c.
Bickerment, *s.* (o *bicker*) ymryson, cynhen, ymgiprys, ymrafael, bicre, ciprys.
Bickern, *s.* (o'r C. *pig*) pigarn.
Bicolligate, *a.* (Ll. *bis* a *colligo*) deugydrwymol.
Bicolour, *a.* (*bis* a *colour*) deuliwiog, deuliw.
Bicorn, *s.* (Ll. *bicornis*, o *bis* a *cornu*) deugorn, deugornog, blodeuyn deugorn.
Bicorn, Bicornous, *a.* deugorn, deugorniog, deugornog, deugornaidd.
Bicorporal, *a.* (Ll. *bicorpor*) deugorff, deugorffol, deugorffog.
Bicorporate, Bicorporated, *a.* (Ll. *bis* a *corpus*) deugorffog, deugorffol, deugorff.
Bicrural, *a.* (Ll. *bis* a *crus*) dwygoes, dwygoesog, dwygoesol, dwyesgeiriog.
Bicuspid, Bicuspidate, *a.* (Ll. *bis* a *cuspis*) deuflaen, deubig, dwybig, deubigol.
Bid, *v. a.* (S. *biddan*, *beodan*) gorchymyn, erchi, peri, peru ; gwahodd, cynnyg, ceisio, dymuno ar ; cyhoeddi ; rhoi gorchymyn ; dweyd wrth un am.
  To bid farewell, To bid adieu, canu yn iach ; ymadael ; ymiachäu â.
  Bid me come to thee—arch i mi ddyfod atat.
  Bid her cease—pera iddi beidio.
  Neither bid him God speed—na ddywedwch, Duw yn rhwydd, wrtho.
  We will do all that thou shalt bid us—yr hyn oll a ddywedych di wrthym a wnawn ni.
  Bid him ask—arch iddo ofyn ; cais ganddo ofyn.
  What do you bid for it ?—beth a gynnygwch am dano ? pa beth yr ydych yn ei gynnyg am dano ?
  To bid up for a thing—cynnyg mwy am beth ; codi y cynnyg.
  To bid one welcome—croesawi un ; rhoi croesaw i un ; derbyn un yn groesawgar ; arfolli un ; derbyn yn roesawus.
  To bid good day—rhoi dydd da ; erchi *neu* ddymuno dydd da ; cyfarch â dydd da ; canu yn iach ; ymadaw.
  To bid good night—rhoi nos dda ; dymuno *neu* erchi nos dda ; cyfarch â nos dda ; canu yn iach ; ymadael.
  To bid beads—annog i bader ; erchi pader ; annog i weddi ; annog i weddïo ; gweddïo â phaderau.
  To bid fair—bod i *neu* gàn un gynnyg teg ; bod yn debygol i gael *neu* gyrhaedd ; bod yn debygol i ddyfod i ; bod yn debyg i ddyfod o hyd i ; bod yn sefyll yn deg ; ymddangos yn deg *neu* yn dda ; bod yn debyg *neu* debygol.
  To bid defiance—rhoi her, herio, herfeiddio, rhoi hew, hewian ; gofyn gwaethaf ; gofyn gwaethaf dannedd un ; ymherio âg un ; erchi i un wneuthur ei waethaf ; annog, herio, beiddio, arfeiddio, cynhyrfu, *neu* gyffroi un i ymladd ; galw un allan os baidd efe.
  Bid him come in—cais ganddo ddyfod i mewn ; arch iddo ddyfod i mewn ; pera iddo ddyfod i mewn.
Bid, *s.* cynnyg, cynnygiad.
Bidale, *s.* (*bid* ac *ale*) cwrw cymhorth, cwrw gwahodd.

**Blossom**, *s.* (S. *blosm*, *blosma*, *blosan*) blodeuyn, blodyn, bloden, blodon, gwull, fflur, blöen, blöyn, blaguren: *pl.* blodau, blodion, gwullion, ffluroedd, ffluron, blagur.
Blossoms and flowers—gwull a blodau.
The flowerets of the vale and the blossoms of the wood—gwull dolau a blodau gwŷdd.
Second blossoms—adflodau.
Blossom horse—march gwineuwyn, march broc, ceffyl broc.

**Blossom**, *v. n.* blodeuo, blaguro, gwullio, ffluro, blodio; dwyn blodau; bod mewn blodau; bod yn dirf; blottarddu, blaendarddu, bloenu; peinio; ffynu, llwyddo.
The desert shall blossom as the rose—y diffaethwch a flodeua fel rhosyn.

**Blossoming**, **Blossomy**, *a.* (o *blossom*) blodeuog, blodeuol, blodeulawn; llawn blodau; yn dwyn blodau; blagurog, fflurog, gwulliog.

**Blossoming**, *s.* blodeuad; blagurad.

**Blot**, *v.a.* (Goth. *blauthjan;* Sw. *plottra*) dufànu, ardduo, duo, mânu, ysmotio, diwyno, ystaenio; anurddo, difwyno, anafu, gwarthruddo, gwarthâu, anurddasu, dwyn anghlod; dilëu, diddymu.
To blot out—dilëu; crafu, croesi, bwrw, tynu, *neu* olchi ymaith *neu* allan; diddymu, dïelwi, difuddio, difodi; dystrywio.
To blot out of a book—dilëu allan o lyfr; dilyfru.
He blotted his letter oll over—dufànodd ei lythyr drosto i gyd; efe a fànodd ei holl lythyr drosto.
You have blotted the paper with ink—difwynasoch *neu* diwynasoch y papyr â du; dufanasoch y papyr; diwynasoch y papyr âg inc.
My paper has been blotted—dufanwyd fy mhapyr.
My paper blots—y mae fy mhapyr yn sugno y du; sugna fy mhapyr yr inc; sugn *neu* sugnedd fy mhapyr a bair i'r du redeg.
I blotted it with my tears—diwynais ef â'm dagrau; fy nagrau a barasant y llygrau sydd ynddo.
He blotted his character by this very thing—efe a anurddodd *neu* a ddifwynodd ei air da trwy yr un peth hwn; efe a dynodd waradwydd arno ei hun trwy hyn o beth yn unig.
To be praised by the base blots a man's reputation—anghlod yw i ddyn ei glodfori *neu* gael clodforedd gàn ddyhiryn.
To blot out one's own track—ymddïoli.
Blotting paper—tarnbapyr, sugnbapyr.

**Blot**, *s.* dufan, màn, màn du, ol du, ardduad, ysmotyn, dunod, ystaen; difwyniad, diwyniad; anair, anghlod, drygair, anaf, nam, anurddas, gwarth, gwaradwydd, gwarthrudd, mefl; dilead, diddymiad, dïoliad.
My tears caused the blots in my letter—fy nagrau a barasant y manau *neu* y llygrau yn fy llythyr.
If any blot hath cleaved to my hands—os glynodd dim aflan wrth fy nwylaw.
This will leave an indelible blot upon him—pair hyn anair iddo tra y byddo efe byw; bydd hyn yn anghlod iddo tra y byddo yn fyw; fe ad hyn ei ol arno tra byddo efe byw yn y byd; e lŷn hyn wrtho tra y bo efe byw yn y byd.
A lie is a foul blot in a man—anaf mawr ar ddyn yw celwydd.
Lest he bring upon thee a perpetual blot—rhag iddo roddi arnat ti anaf byth.
He that rebuketh the wicked getteth himself a blot—yr hwn a feio ar y drygionus a gaiff anaf.

**Blotch**, *s.* (S. *blæctha*) crugdardd, cornwyd, llynoryn, ploryn.

**Blotch**, *v. a.* duo, ardduo.

**Blote**, *v. a.* (D. *blöder*, Sw. *blöta ?*) mygsychu; sychu â mygu.
To blote herrings—sychu ysgadan *neu* benweig yn y mwg; mygsychu ysgadan.

**Blotter**, *s.* (o *blot*) goreslyfr.

**Blow**, *s.* (Is. *blowe*) ergyd, dyrnod, cnoc, llach, llab, chwap, chwepyn, ffat, dul, paff, panc, wab, cur, curfa, clap, cis, ffonod; cernod, bonclust, cernhep, palfod, ysmacht.
Blow on the cheek—cernod, cernhep. [awd.
Blow on the ear—bonclust, cernod, cern-
Blow on the head, Blow on the cheek, cernhep.
Blow with the fist—dyrnod, dyrnawd.
Blow with the palm of the hand—palfod, palfawd.
Blow with a stick—llach, ffonod, ffonawd; llach â ffon.
They went from words to blows—aethant o ymdaeru i ymdaro; aethant o eiriau i arfau.
I am consumed by the blow of thy hand—gàn ddyrnod dy law y darfum i.
He gave him a blow with his fist—rhoddes iddo ddyrnod.
She gave him a blow on the ear—hi roddes iddo gernod; hi a'i cernodiodd; hi a'i bonclustiodd ef.
Gentle blow—cnith, cis, prad, gogis, ffat, ergyd ysgafn.
Side blow—dyrnod llettraws; ergyd yn ngwrthwyneb llaw.
At a blow—ar un ergyd; ar un dyrnod; ar unwaith.
Without striking a blow—heb daro ergyd; heb ymladd; yn ddïymladd.
To come to handy blows—ymladd lawlaw; dyfod i ymladd lawlaw; ymladd *neu* ddyfod i ymladd ddwrn tra dwrn *neu* law dra llaw.
A word and a blow—gair a chernod.
To give a blow—bwrw ergyd, rhoi ergyd, taro ergyd.
With a very grievous blow—â phla tost iawn (*Jer.* xiv. 17).
To deal blows—rhoi aml ddyrnodiau, ergydion, *neu* ffonodiau; amlhau dyrnodiau *neu* ergydion; dyblygu *neu* ddyblu dyrnodiau *neu* ergydion; rhoi dyrnodiau yn fân ac yn aml; llachio, ymarfodi, paffio.
Fly-blow—chwyth cylion.

**Blow**, *v.* (S. *blawen*, *blowan*, chwythu; *blowan*, blodeuo) chwythu, awelu; pwffio, pyffio, pyffian; anadlu, analu; blodeuo, blaguro, ymagor; canu, seinio, udganu; chwyddo.
It blows a pleasant gale—y mae yn chwythu yn hyfryd.
To blow away—chwalu, gwasgaru; chwythu ar wasgar; chwythu ymaith;

chwythu ar gerdded *neu* ar led; gwasgaru â chwyth.
They shall be blown away by the wind—hwy a chwelir gàn y gwynt.
He blew away their armies with a puff of his breath—gwasgarodd eu lluoedd hwynt â chwyth ei anadl.
To blow upon—chwythu *neu* anadlu ar; peri diflasdod; dïystyru, bychanu, dirmygu; rhedeg ar; lladd ar; dyweyd yn ddïystyrus am.
To blow against—chwythu yn erbyn; gwrthwyntio, gwrthchwythu; chwythu yn groes.
To blow down—chwythu i lawr; dadymchwelyd â chwyth; taflu *neu* fwrw i lawr â chwyth.
To blow off—chwythu ymaith; chwythu ffwrdd; chwythu, siglo, *neu* ysgwyd i lawr.
To blow out—chwythu allan; diffodd, diffoddi.
To blow up—chwythu i fyny; chwyddo; chwythu; llenwi o chwyth *neu* wynt; pyffio; pyffio i fyny; llanw i fyny; cynneu, megino; chwythu i gynneu; ffrwydro, dryllio, darnio; dadymchwelyd; gwasgaru, diddymu.
To blow up one's cheeks--chwyddo ei fochau.
To blow up the fire—chwythu y tân; chwythu y tân i gynneu; bwäu y tân.
To blow up with gunpowder—ffrwydro â phylor gŵn; chwythu i'r awyr â phylor gŵn; chwilfriwio â phylor saethu.
To puff and blow—erthychain, dychwythu, pyffial, pyffian, pyffio, pwffial, ymchwythu, dyhëu, tarthain, peuo, lluddedu.
He came in puffing and blowing—daeth i mewn dàn byffial; daeth i mewn dàn luddedu *neu* ddychwythu; daeth i mewn dàn chwythu a phwffial.
Sweating and blowing—yn chwys ac yn lludded; dàn chwysu a phyffian; gàn chwysu ac erthychain.
With the same breath he blows hot and cold — y mae efe yn dywedyd ac yn gwrthddywedyd â'r un anadl; y mae yn chwythu twym ac oer ar unwaith.
To blow gently—gochwythu; chwythu yn dirion; chwythu yn chwarian.
To blow vehemently — trachwythu, gorchwythu; chwythu yn angerddol, yn ddig, yn derig, yn danbaid, yn chwyrn, yn chwerw, *neu* yn afrywiog.
To blow over—tawelu, gostegu, dystewi; peidio; gwasgaru.
The storm is blown over—tawelodd y dymhestl; aeth y gawod heibio *neu* drosodd.
It blows—y mae hi yn chwythu; y mae hi yn wynt; y mae gwynt ganddi.
It blows a storm—y mae hi yn chwythu yn dymhestlog; y mae yn wynt ystormus; y mae hi yn ysgrech o wynt; y mae y gwynt yn ystormi; y mae yn ystormi *neu* ystormio.
It blew a terrible storm—hi wnaeth dymhestl ofnadwy; y gwyntoedd a ryferthwyasant yn ofnadwy; ystormiodd yn ddychrynllyd.
It begins to blow—y mae hi yn dechreu chwythu; y mae yn dechreu afrywiogi.
To blow a horn—canu corn; chwythu mewn corn; canu *neu* leisio â chorn; gwyntio corn.
To blow a trumpet—udganu; canu udgorn; chwythu mewn udgorn; canu âg *neu* mewn udgorn; udganu udgorn.
Do not blow a trumpet before thee—nac udgana o'th flaen.
The priests blew with the trumpets—yr offeiriaid a leisiasant â'r udgyrn; yr offeiriaid a chwythasant yn yr udgyrn.
He blew a trumpet—efe a udganodd mewn udgorn; chwythodd mewn udgorn; udganodd.
Blow ye the cornet in Gibeah—cenwch y corn yn Gibeah.
Blow ye the trumpet in Zion—cenwch yr udgorn yn Sïon.
Blow the trumpet in Tekoah—yn Tecoa udgenwch udgorn.
Blow an alarm with trumpets—cenwch alarm mewn udgyrn.
They come together when the trumpet bloweth—deuant yn nghyd wrth sain yr udgorn; deuant yn nghyd pan seinio *neu* pan gano yr udgorn.
The rose blows—y mae y rhosyn yn ymagor; y mae y rhosyn yn blodeuo.
To blow by puffs—pyffio, chwawio, cythynu, cythymu.
One might have blown them at a blast—gallasai un eu chwythu â'i anadl; gallasai un eu taflu i lawr â'i anadl.
Their iniquities are full blown—y mae eu hanwireddau yn gwbl addfed; y mae eu hanwireddau yn eu llawn flodau.
Blow, *s.* blodeuyn, gwull, fflur; blodau, blagur; chwyth.
Blow-ball, *s.* blodeuyn dant y llew.
Blower, *s.* (o *blow*) chwythiedydd, chwythwr; chwythydd, chwythai.
Blower of a horn—canwr corn, cornganwr, chwythwr mewn corn.
Blowing, *s.* (o *blow*) chwythad, chwythiad.
Blowing machine—chwyth-ermig, peiriant chwythu, ermig chwythu.
Blowing lands — chwythdiroedd, chwythwerydau.
Blowpipe, *s.* (*blow* a *pipe*) chwythbib, chwythbibell, chwabibell.
Blowth, *s.* (Al. *blüthe;* Gw. *bluth*) blodau; blodeuyn, fflur, blagur, gwull.
Blowze, *s.* (Is. *bloozen*, gwrido) gwebruddes, llafnes fochgoch, llafnen fochgoch, dynes dew fochgoch; cap.
Blowzy, *a.* (o *blowze*) gwebrudd, gwynebrudd, gwynebgoch, bochgoch; tew a bochgoch; rhyliwiog.
Blub,† *v. a.* (Gw. a Gael. *blob*) chwyddo.
Blubber, *s.* (Gw. *blob*) brasder morfilod: morddanaden=math o filod môr: bwrlwm.
Blubber, *v.* igwylo; wylo nes chwyddo y bochau; chwyddo y bochau gàn wylo.
Blubbered cheeks — bochau chwyddedig gàn wylo; clugfochau.
Blubbered-cheeked—bochdew, bochglug.
Bludgeon, *s.* (Goth. *blyggwan*) cwlbren, clwpa, pastwn.
Blue, *a.* (S. *bleo, bleoh, bleow;* Al. *blau;* Is. *blaauw;* Ff. *bleu*) glas.
Sky blue — asur, nefliw, glasar, llasar, balasar, glas goleu, glas yr wybren.
Dark blue—dulas, glasddu, glas dwfn, glas tywyll.

Darkish blue—llai, goddulas, dulasaidd.
Blackish blue—dulas.
Black and blue—dulas, llur; du a glas; cleisiog.
Reddish blue—cochlas.
Blue red—glasgoch.
Crimson blue—rhuddlas.
Greyish blue—llwydlas; blawrlas, blorlas.
Yellowish blue — melynlas, glasfelyn, (*f.* glasfelen).
Yellow blue—melynlas, glasfelyn.
Pale blue, } golas, gwynlas, goleulas, glas-
Faint blue, } welw, gwelwlas, glaswyn, (*f.* glaswen), blawrwyn, gwynwelw, plymliw, marwlas.
Brownish blue—llwydlas, gwineulas.
Whitish blue—gwynlas, glaswyn.
Greenish blue—gwyrddlas, gwerddlas.
Dusky blue—erchlas, gwawrlas, blawr.
Mountain blue—glas y mynydd.
Light blue—goleulas, golas, glas goleu.
Variegated blue—brithlas, glas amrywiog.
Of a blue colour—lliwlas, glas, glasliw.
Enamelled with blue—calchlasar.
Fine blue—gorlas.
Fine blue enamel—gorlasar. [glasnen.
Blue sky—wybren las, wybr las, awyr glas,
The dark blue wave—y ddulas dòn, y dulas li, y waneg ddulas.
Blue-tipt—arlas, arlesin; briglas, glasfrig.
Thorough blue—trylasar.
Blue stone, } glasfaen; copras glas; hal
Blue vitriol, } efydd.
Indigo blue—glas yr India, Indigo, lliw glas.
Prussian blue—glas Prwssia, glas Prwssiaidd.
Reds and Blues—Cochiaid a Glasiaid.
Blue stocking — hosan las; dynes goegddysgedig, coeglenores; llenores.
Admiral of the blue—llyngesydd y faner las; penllywydd y llynges las; llyngesor y llynges a'r faner las; penswyddog y llynges a'r faniar las.
True blue will never stain—y gwir las ni chyll mo'i liw.
To look blue upon a thing — edrych yn ddiflasar beth; edrych yn biglwyd ar beth.
Blue devils—ellyllon gleision, glas-ellyllon; duegwst, pruddineb.
Blue eyes—llygaid gleision, glas-lygaid.
To become blue—glasu, myned yn las, ymlasu.

**Blue**, *s.* glas, lliw glas; llallas.
**Blue**, *v. a.* glasu, glasliwio, lliwlasu; lliwio yn las; cleisio.
**Blue-bell**, *s.* clychlys amryddail, clychlys glas.
**Blue-bird**, *s.* aderyn glas, glasednog: *pl.* glasadar, glasednod=aderyn bychan cyffredin iawn yn Nhaleithiau Cyfunol America.
**Blue-book**, *s.* llyfr glas, glaslyfr.
**Blue-bottle**, } *s.* cramenog yr yd, penlas yr yd,
**Blue-bonnet**, } penlas wèn.
Corn blue-bottle—cramenog yr yd, penlas yr yd, penlas wèn.
**Blue-bottle**, *s.* torlas=math o gleren foliog.
**Blue-breast**, *s.* y bronlas, y rhonellgoch bronlas=enw aderyn.
**Bluecap**, *s.* (*blue* a *cap*) y caplas=math o bysg.
**Blue-eyed**, *a.* llygadlas.
The blue-eyed goddess—y dduwies lygadlas.
**Bluefish**, *s.* (*blue* a *fish*) glasbysg=pysg à geir ar ororau Cuba, ac Ynysoedd Bahama.



**Blue-haired**, *a.* gwalltlas, penlas, glaswallt.
**Blueing**, *s.* (o *blue*) glasiad.
**Blue-mantle**, *s.* glasfantellog, glas ei fantell= herodr yn gwisgo mantell las.
**Blueness**, *s.* (o *blue*) glesni, glesid, glasder, glaswg, glasliw.
Greyish blueness—llwydlesni.
Reddish blueness—cochlesni.
Blackish blueness—dulesni.
Greenish blueness—gwyrddlesni.
Pale blueness—gwynlesni.
**Blue-ointment**, *s.* glasenaint.
**Blue-peter**, *s.* arwydd i hwylio, hwyl-amnaid.
**Blue-pill**, *s.* glasbelen, pelen las.
**Blue-throat**, *s.* y ceglas=aderyn à gyfannedda ogleddion Ewrop ac Asia.
**Blue-veined**, *a.* gwythenlas, glaswythenog; glaslinellog.
**Bluey**, *a.* (o *blue*) glasaidd, lledlas, golas.
**Bluff**, *a.* (C. *llwff?*) tren, gerwin, blwng, tryn, brochus, ffyrnig; chwyddedig, trawsfalch, tordyn, uchelgest, cestuchel, sythfalch; trystfawr.
See how bluff he looks—gwelwch mòr dren y mae yn edrych; gwelwch mòr drawsfalch y mae yn chwyddo ei fochau; gwelwch mòr dordyn ydyw.
**Bluff**, *s.* trenfa, brochlan=craig neu esgyndir uchel yn ymysgwyddo allan i'r môr.
**Bluffness**, *s.* (o *bluff*) blyngder, blyngedd, trenigrwydd; ymchwydd, blythni; sarigrwydd, afrywiogrwydd, trawsfalchedd.
**Bluffy**, *a.* (o *bluff*) trenfaog, brochlanog, sythgreigiog.
**Bluish**, *a.* (o *blue*) glasaidd, golas, lledlas.
Bluish red—glasgoch.
Bluish black—glasddu.
Bluish brown—glaslwyd.
Bluish yellow—glasfelyn; *f.* glasfelen.
Bluish grey—glaslwyd, glasflawr.
Bluish crimson—glasrudd.
Bluish green—glaswyrdd; *f.* glaswerdd.
Bluish bright—glasloew.
Bluish white—glaswyn; *f.* glaswen.
**Bluishness**, *s.* (o *bluish*) golesni, lledlesni, glaseiddrwydd.
**Blunder**, *v.n.* (Is. *blunderen*, yn ol *Johnson*) camsynied, camsynio, camgymmeryd, camddywedyd, amryfuso, amryfuseddu, cyfeiliorni, methu; camsynied *neu* gyfeiliorni yn chwithig; tramgwyddo, tripio; taro wrth *neu* yn erbyn peth; dywedyd methair; methu yn ei ymadrodd; bod yn drwsgl, afrugl, anhyfedr, *neu* drwstan.
The mole sometimes blunders into light—daw y wadd weithiau i oleuni heb wybod iddi.
**Blunder**, *s.* camsyniad, camgymmeriad, amryfusedd, cyfeiliornad, tramgwydd; coll, meth, cammethiad, methwaith, methymadrodd, camddywediad; camsyniad *neu* gamgymeriad chwithig *neu* warthus; chwithrwydd, cuallder.
**Blunderbuss**, *s.* (*blunder*, ac Is. *bus*) rhythwn= math o wn byr â cheuedd mawr iddo.
**Blunderer**, *s.* (o *blunder*) camsyniwr, camgymmerydd, camddywedwr, camwedydd, amryfuswr; dyn camsyniol *neu* ddiofal; camsyniwr chwithig; cuall.
**Blunderhead**, *s.* (*blunder* a *head*) cadafael, penbwl, penllorcan, cuall.
**Blunt**, *a.* (Al. *plump?* Gr. *amblunô?*) pwl,

(*f.* pol), aflym, difin, dïawchus, dïawch, ambylus; difoes, trwsgl, (*f.* trosgl), trwstan, blwng, (*f.* blong), iang, dwl, (*f.* dòl), anfoneddigaidd, taiog, dreng, lledarw, anghymhen, gwladaidd, aflednais; byrbwyll, swrth; anhydraidd.

A blunt fellow—dyn difoes *neu* drwsgl, &c.; delff, drel, drelyn, cuall, dengyn.

Blunt-edged—minbwl; pwl, difin, aflym.

Blunt-headed—penbwl, penbylaidd.

Blunt, *v. a.* pylu, arbylu, erbylu, aflymu, ambylu; tori awch *neu* lymder; gwneuthur yn bwl; dïawchu, difinio; llaesu, llinaru.

Blunt not my affection—na phylwch fy serch; na thorwch ar fy serch.

To blunt the edge of love—pylu awch cariad; pylu min serch.

To blunt the stings of pain—pylu colynau poen; tori llymder poen.

Blunting, *s.* (o *blunt*) rhwystr, attaliad, attalfa.

Bluntness, *s.* (o *blunt*) pylni, pyledd, pylder, pylrwydd, arbyledd, aflymder, ambyledd, dïawchedd, difinedd; difoesedd, anfoesogrwydd, trysgledd, taiogrwydd, iangedd, dylni, anfoneddigrwydd, trwstanwch, anfoes, garwedd, afledneisrwydd.

Bluntwitted, *a.* (*blunt* a *wit*) synwyrbwl; penfeddal, penfas, penfasw, penblydd, penbylaidd, hurt, dwl, (*f.* dòl), siol-wag.

Blur, *s.* (Ysp. *borra*, yn ol *Skinner;* C. *llur*, Ll. *luridus?*) dunod, dufan, màn, màn du, ystaen; magl, brycheuyn; nam, anaf, gwall, mefl.

Blur, *v. a.* diwyno, ystaenio, mànu, dufanu, duo, brycheuo, ysbrychu; anafu, meflu.

To blur a person's reputation—llygru, diwyno, andwyo, anafu, *neu* anurddo cymmeriad dyn; diwyno gair da un; gwaradwyddo un; dwyn gwaradwydd *neu* anair ar un; peri anaf i nodweddiad un; duo enw da un.

Blurt, *v. a.* (S. *fleardian?* C. *ffladr?*) dywedyd yn fflадr *neu* chwidr; dywedyd cyn *neu* heb ystyried; siarad yn fyrbwyll; llolian, gwagsiarad, ffladru; bwrw geiriau allan.

Blush, *v. n.* (Is. *bloozen;* Sw. *blyas*) gwrido, cochi, gwridgochi, gwridogi, gruddgochi; dygochi, dargochi, yswilio; cywilyddio, gwladeiddio; bod cywilydd, gorchwyledd, *neu* wylder ar un.

I blush to lift up my face to thee—y mae arnaf orchwyledd codi fy wyneb atat ti.

They could not blush—ni fedrent wrido.

Blushing rose—rhosyn gwridog.

He is ashamed to blush—y mae arno gywilydd gwrido.

He blushed as red as fire—cochodd fel y tân; cochodd hyd ei ddwyglust.

He made them blush—parodd iddynt wrido *neu* gochi; parodd arnynt gywilydd wyneb; cywilyddiodd hwynt; perodd i'w gwaed godi yn eu gwynebau.

Blush, *s.* gwrid, gorne, gwridgochni, cochni.

He could not behold her without a blush—nis gallai efe edrych arni heb gochi.

At first blush—ar yr olwg gyntaf; ar y drem gyntaf; ar y gipolwg gyntaf.

To get a blush of a thing—cael cipolwg ar beth; cael lledolwg ar beth; cael tremyn ar beth; cael cildremyn ar beth.

He put the ladies to the blush—efe a barodd i'r rhianod gochi; parodd i'r boneddesau wrido, wynebgochi, *neu* gywilyddio; parodd gywilydd wyneb ar y rhianod; parodd orchwyledd ary rhianod.

The rosy blush of love—rhosliwiog wrid cariad; gwrid rhosliwiog serch.

Blush-colour—rhosliw, lliw rhos cochion, lliw gwrid, gwridliw.

Blushet,† *s.* (o *blush*) gwriden, gwridoges, merch ieuanc wylaidd.

Blushful, *a.* (o *blush* a *full*) gwridlawn.

Blushing, *p. a.* (o *blush*) gwridog, gwridgoch, rhosliwiog; gwylaidd, gŵyl, yswil, cywilyddgar.

Blushing-red—gwridgoch; coch gàn gywilydd.

Blushless, *a.* (*blush* a *less*) diwrid; digywilydd, haerllug; na fedr wrido.

Blushy, *a.* (o *blush*) gwridog; rhosliwiog, gwridliwiog.

Bluster, *v. n.* (S. *blæstan?*) dwndro, trystio, trybestu, dadyrddu, dadwrdd, tyrddu; gwneuthur twrdd *neu* gyffro; damdyrddu, tyrddain, bygylu, rhuo, ystormi, gorddyar; gwagfwgwth, gwagsynio, brochi.

Bluster, *s.* dwndwr, trwst, twrdd, swn, terfysg, twrw, twrf, dadwrdd, damdwrdd, dwndwrdd, gwestledd, godwrdd, cyffro, ffwndwr, cynhwrf, ffrwst; bròl, broch, bocsach, gwagfolach, boloch; rhu, rhuad, rhyferthwy, ystorm, tymhestl.

Blusterer, *s.* (o *bluster*) dwndrwr, tyrddwr, bocsachwr, broliwr, trystiwr, dadyrddwr, bygylwr, brochwr, damdyrddwr; gwagfostiwr, gwagfygythiwr, ymgecrwr; dyn mawr ei roch; ysgrechwr.

Blustering, Blusterous, Blustrous, } *a.* (o *bluster*) dadyrddus, dadyrddol, trystfawr, trystiog; yn cadw mawr swn; brochus, damdyrddus, bloeddfawr, bloeddgar, terfysgus, afreolus, cynhyrfus; bocsachus, ffrostfawr; tymhestlog, ystormus, rhuadus, rhuadol, gwyntog.

Blustering aspect—brochwel.

He makes a blustering noise and stir—y mae efe yn fawr ei swn a'i ddwndwr.

Blustering wind—gwynt ystormus *neu* dymhestlog; gwynt ysgrechog *neu* gryf.

Bo, *in.* (C.) bo! bw!

Boa, *s.* (Ll.) dosbarth o seirff dwyelfenog perthynol i Ddeheudir America.

Boa constrictor—yr alsarff, gwasgsarff=y fwyaf o'r holl seirff, weithiau o 30 i 40 troedfedd o hyd.

Boar, *s.* (S. *bar;* Al. *eber*) baedd.

Wild boar — baedd gwyllt, baedd coed, gwyddfochyn, gwyddfaedd, carog.

Tame boar—baedd gwâr, baedd dof.

Boar set apart for breed—baedd cenfaint.

Splayed boar—twrch, baedd dysbaddedig.

Apt to follow the boar—baeddredog.

Boar spear—baedd-waew, hych-waew.

Boar, *v. n.* tremynu.

Board, *s.* (S. *bord;* Celt. *bord*, *bwrdd*) astell, estyllen, astyllen; astellan, ystyllen, estellan, llifwydden; bwrdd, bord; ymborth, bwyd; bwrdd llong; eisteddfod, cyfeisteddfod, cyfeisteddle, cynghor: *pl.* estyll, estyllod, ystyllod, llifwydd.

Board of agriculture — bwrdd diwyllodraeth, cyfeisteddfod amaethyddiaeth.

Board of control—swyddfa ardwy, bwrdd ardwy.

Board of trade—swyddfa trafnid, bwrdd trafnid.
Board of commissioners—bwrdd prwyaduron, eisteddfod dirprwywyr, eisteddfod prwyaduron.
Board of treasury—bwrdd y trysorlys.
Tea-board—te-ford, te-fwrdd, bwrdd te, bord de, heilyr te.
Board of health—bwrdd iechyd, cymmanfa iechyd, cyfeisteddfod iechyd.
To summon a board — cydwysio eisteddfod; galw eisteddfod yn nghyd; cynnull cyfeisteddfod *neu* gyfeisteddwyr.
Board of a ship—bwrdd llong.
On board—mewn llong; yn y llong; ar y bwrdd; ar fwrdd llong; ar fwrdd; i'r bwrdd; i long.
To go on board—esgyn i long; dringo i long; llongi; myned i long; myned i fwrdd llong.
On board the admiral—yn llong y llyngeswr; ar fwrdd llong y llyngesydd.
Board to board—yn ochr yn ochr; yn gyfystlys.
To fall over-board—syrthio *neu* gwympo dros y bwrdd.
To heave *or* cast over-board—taflu dros y bwrdd; bwrw dros y bwrdd; bwrw allan i'r môr.
To slip by the board—syrthio dros ochr llong; llithro dros yr ochr.
Weather board—yr ochr nesaf i'r gwynt; yr ystlys tua'r gwynt; ochr y tywydd.
Board and board—ochr yn ochr; cyfystlys, cyfarystlys.
To make a good board—hwylio yn uniongyrch.
To make short boards—hwyldroi yn aml; mynych wyrhyntio.
Float boards of a water-wheel — llwyau rhod ddwr.
Board yard — astellfa, estyllfa, astyllfa, estyllodfa, clos estyll.
Split boards—ais, ysgyr, fflochenau, estyll.
A thin board—clawd, astell deneu.
Deal boards — byrddau ffawydd; estyll ffawydd.
Cedar boards — estyllod cedrwydd, estyll cedr, byrddau cedrwydd.
To slit into boards—estyllodi, astellodi; hollti yn estyll.
Mould board, } Earth board, } chwelydr, dymchwelydr.
Chess-board—tawlfwrdd, tawlbwrdd, clawr y wyddbwll.
Sound board, } Sounding board, } seinfwrdd, seinglawr.
Side-board—ystlysfwrdd, ystlysford.
A book in boards—llyfr mewn byrddau; llyfr rhwym mewn byrddau.
Paste-board — sythbapyr, gludlen, sythfwrdd, gludfwrdd, papyrfwrdd.
Pressing board—gwasgfwrdd.
Board and lodgings—bwyd a lletty; bwrdd a lletty.
To pay for one's board—talu am ei fwrdd; talu am ei ford; talu am ei fwyd; talu am ei gymmaeth; talu am ei gynnaliaeth; talwestu.
At bed and board—ar fwrdd ac ar wely.
Above board—ar gyhoedd, yn yr amlwg, mewn goleuni, yn y goleuni, yn ddigudd; yn ddidwyll, yn ddihoced, yn ddiduedd, yn ddiragrith, yn ddiddichell; yn uniawn ac yn onest; yn deg, yn glau, yn bur; uwch law bwrdd.

Board, *v.* byrddio, byrddu, bordio; astellodi, astellu, estyllodi, toniaru, cyfastellu, llofftio; goresgyn llong, treislongi; talwestu, cymmaethu.
Boarded floor—llawr estyllod, llawr estyll, llawr cyfastell, hurtyr, llofft, taflod.
To board in—cau âg estyll *neu* astellod.
To board over—byrddu, byrddio, astellodi; toi âg estyll.
To board a ship—myned i mewn i long; neidio i long; goresgyn llong.
To board the enemy — goresgyn llong y gelyn.
To board students — byrddio myfyrwyr; talwestu myfyrwyr; cymmeryd myfyrwyr ar eu bwrdd; cymmaethu myfyrwyr; gwestlettya myfyrwyr.
To board with one—byrddio, talwestu, *neu* gymmaethu âg *neu* gydag un; cydfucheddu *neu* gydfwyta ac yfed âg un; bod yn westai i un.
It is there he boards—yno y mae efe yn byrddio *neu* dalwestu; yno y mae yn byw ac yn bod; yno y mae yn cymmaethu; yno y mae ei westle ef.

Boarder, *s.* byrddiwr, talwestwr, talwestydd, gwestlettywr, cymmaethwr, cytteuluwr; esgynwr llong, llongesgynwr, treislongydd.
Boarder of a ship in action — byrddiwr llong mewn cad; treislongydd mewn ymgyrch.

Boarding-house, *s.* talwestty, gwestle, cydwestle, gwestletty.
Boarding-pike, *s.* byrddwaew, byrddlost, ysbar fyrddio.
Boarding-school, *s.* gwestysgol, ysgol gydwest.
Board-wages, *s. pl.* bwyttal, bwydgyflog.
Boarish, *a.* (o *boar*) baeddaidd, baeddol, baeddog; mochaidd; anifeilaidd, creulawn.
Boast, *v.* (*C. bostio*) bostio, ffrostio, ymffrostio, bragio, brolio, brolian, amryfu, ymfawrygu, ymogoni, ymogoneddu, ymglodfori, bocsachu, ymfolachu, rhodresu, ymorfoleddu; gwneuthur ffrost, bost, *neu* ymffrost; ymhoni.
He boasted proudly—efe a ymffrostiodd yn ei falchder.
Boasting himself to be somebody — gàn ddywedyd ei fod ef yn rhyw un.
To boast great things—ffrostio pethau mawrion.
Boast not thyself of to-morrow — nac ymffrostia o'r dydd efory.
In their glory shall ye boast yourself—yn eu gogoniant hwy yr ymddyrchefwch.

Boast, *s.* (*C. bost*) bost, ffrost, ymffrost, gwagfost, brol, bocsach, brawl, broled, rhodres, molach, gorfoledd.
To make one's boast=*Boast, v.*
Great boast, small roast—addaw mawr a rhodd fechan.
Of him will I make my boast—ynddo ef yr ymogoneddaf; ynddo ef yr ymffrostiaf.

Boaster, *s.* (o *boast*) bostiwr, ffrostiwr, ymffrostiwr, broliwr, bocsachwr, bragiwr, &c.
A mere boaster—llew yn ei araeth, a llo yn ei arfau.

**Boastful,** } *a.* (o *boast*) ffrostus, bostfawr,
**Boasting,** } ffrostfawr, ffrostiol, bostus, ymffrostgar, bocsachus, rhodresgar, ymfolachus, gwagorfoleddus, bragiol, broled, coegfostus.
Boasting words—bosteiriau, ffrosteiriau, geiriau chwyddedig, geiriau gorwagedd.
**Boastfulness,** *s.* (o *boastful*) ffrostusrwydd, bostusrwydd, ffrostgarwch, bostforedd, bocsachusrwydd.
**Boasting,** *s.* (o *boast*) ffrostiad, ymffrostiad, bostiad, ymffrost, bost.
Vain boasting—coeg ymffrost, gwagfolach, gwag ymffrost, oferfost.
Great boasting—gorymffrost, mawr ymffrost, ffrost mawr.
Where is boasting then?—pa le gàn hyny y mae gorfoledd?
**Boastive,** *a.* (o *boast*) rhyfygus, amryfygus, cymmyreddus.
**Boastless,** *a.* (*boast* a *less*) difost, diffrost, diymffrost; heb fost *neu* ymffrost; difrawl.
**Boat,** *s.* (S. *bat*; Sw. *bat*; D. *baad*; C. a Gw. *bad*; Is. *boot*) bad, cwch; ysgraff, cafn.
Life-boat—bywydfad, diogelfad.
Advice boat—ysbeifad, peithas, peithfad, hysbysfad, peithlong, bad ysbeiana.
Long boat—cwch mawr, y cwch mwyaf; hirfad, hirgwch.
Jolly boat—iolfad, ysgwyddfad.
Ferry-boat—ysgraff, ceubal, trosglwyddfad.
Fishing boat—cwch pysgota, bad pysgota, pysgfad, pysgodfad.
Flat-bottomed boat—garfwch, cafn enlli, ysletan, cwch gwaelod-wastad.
Steam-boat—agerfad, agerddfad, agerlong.
Fly-boat—hedfad, ehedfad, ysgafnfad, badlong ysgafn.
Passage-boat—trosfad, trosglwyddfad, tramwyfad.
Packet-boat—llythyrfad, llythyrlong, llong lythyrddwyn.
Pleasure-boat—difyrfad.
Tilt-boat—gwasgodfad, pabellfad, gorthofad.
Open boat—cwch penagored, bad agored.
Horse-boat—marchfad.
Boat-ful—badaid, cychaid; llonaid cwch *neu* fad.
The rowers' seats in a boat—trawstlathau.
To go by boat—myned mewn bad; mordwyo mewn bad; myned ar hyd y dwr; mordwyo.
**Boat,** *v. a.* badu, cychu; trosi *neu* drosglwyddo mewn bad.
**Boatable,** *a.* (o *boat*) badadwy; nofiadwy i fadau *neu* gychod: arferedig yn y Taleithiau Cyfunol.
**Boat-bill,** *s.* badbig, badylfin=rhywogaeth o adar.
**Boat-fly,** } *s.* badrilionen, badgleren; *pl.*
**Boat-insect,** } badrilion, badgler.
**Boat-hook,** *s.* badfach, bach cwch.
**Boating,** *s.* (o *boat*) badiad, cychiad; badhwyliad.
**Boation,**† *s.* (Ll. *boo*) rhuad, rhu, gwaedd, swn.
**Boatman,** } *s.* (*boat* a *man*) badwr, cychwr,
**Boatsman,** } ysgraffwr.
**Boat-rope,** } *s.* badraff, rhaff cwch, rhaff
**Boat-painter,** } bad.
**Boat-shaped,** *a.* cychaidd, badaidd; badwedd, badluniaidd; ar wedd bad *neu* gwch.
**Boatswain,** *s.* (S. *batswein*) penbadwr, prifgychwr; meistr y cwch mawr.
**Bob,** *s.* (anhysbys) diblyn, bagedyn, crogaddurn, dibyndlws, tegan, clustdlws; pelen; gair cyrch, gair llusg, llusgair; cnith, ergyd ysgafn; ysgydiad, gwth, ysgwt, lledwth; abwyd; gwawdair, gwawd; cyrchganiad; penguwch cwta.
**Bob,** *v.* cnithio, taro, baeddu; taro, pwyo, curo, *neu* gnithio yn erbyn; siglo, hongian; chwareu yn ol ac yn mlaen; ysgwyd, siglo, ysgytio, ysgytian, gwthio; twyllo, hocedu; gwawdio, hudo; cellwair; cytio, tori yn fyr; llyswena, dàl llyswod; dala llyswod â genwair.
Her birthday jewels bobbling at her ears—ei thlysau gwerthfawrocaf yn nibyn wrth ei chlust.
While cherries ever bobbed against her lip—a'r ceirios hwythau yn taro gàn mwyaf wrth ei min.
**Bob,** *a.* byr, cwta; *f.* bèr, cota: arferedig mewn cyfansoddiad.
**Bobance,**† *s.* (o *bob*) ymffrost, ffrost, bostiad.
**Bobbero,** *s.* (Ysp.) math o ddawns neu chwareu.
**Bobbin,** *s.* (Ff. *bobine*) plethbin, plethwaell; cronbleth, pinbleth, plethlinyn; gwerthyd.
Bobbin net—plethrwyd.
**Bobbinwork,** *s.* (*bobbin* a *work*) plethbinwaith.
**Bobcherry,** *s.* (*bob* a *cherry*) crogsurian=math o chware plant.
**Bobstays,** *s.* (*bob* a *stay*) osgraffau.
**Bobtail,** *s.* (*bob* a *tail*) cynffon gota, cynffon fèr, cwtog; y werinos, ciwed, y gwreng.
**Bobtailed,** *a.* (o *bobtail*) cwta, (*f.* cota), byr, (*f.* bèr), cynffon-gwta, (*f.* cynffon-gota,) cynffonfyr, (*f.* cynffonfer), cwtog
**Bobwig,** *s.* (*bob* a *wig*) penguwch cwta, rhithwallt cwta.
**Bocal,** *s.* (Ff.) cronwydrel.
**Bocaque,** } *s.* (?) milyn, tebyg i gwningen, à
**Bocake,** } geir ar lanau yr afon Nieper.
**Bocasine,** *s.* (Ff. *boucassin*) math ar sythlïan teg.
**Boce,** *s.* (?) math o bysgodyn, y sparus.
**Bockelet,** } *s.* (?) math o walch hir-aden.
**Bockeret,** }
**Bocking,** *s.* (?) math o frethyn cedenog.
**Bockland,** *s.*=*Bookland.*
**Bode,** *v.* (S. *bodian*) darogan, rhagarwyddo, rhagddangos, argoeli, brudio, darmain, argoeli, rhagargoelio.
To bode evil—argoelio *neu* argoeli yn ddrwg; bod yn argoel ddrwg; darogan drygau; darogan drwg.
To bode good—argoelio *neu* argoeli yn dda; bod yn argoel dda; darogan da.
To bode well—argoelio yn dda; argoeli yn dda; darogan yn dda.
This bodes well to you—y mae hyn yn argoelio yn dda i chwi; argoel dda i chwi yw hyn; coel dda yw hyn i chwi.
Ill boding words—geiriau yn darogan dryg-au; geiriau drwg eu hargoel; geiriau dryg-ramant.
**Bode,** *s.* argoel, darogan, rhagarwydd; arosiad, arosfa.
**Bodement,**† *s.* (o *bode*) argoel, daroganiad, rhagargoel, argoeliad, rhagarwydd, rhagddangosiad.
**Bodge,**† *v. n.* (C. *bwgwl*?) petruso, rhuso; ffugio; aros.
**Bodge,**† *s.* clytwaith, bonglerwaith.

Bodice, s. (o *body*) gwasgrwym, gwasg, gwast, gwasgai; corff.
Bodied, a. (o *body*) corffog, corfforol, corffol; âg iddo gorff.
Slender-bodied—archfain, mein-gorff.
Big-bodied — corffol, corffog; â chorff mawr iddo.
Able-bodied man, } dyn cydnerth, dyn
Strong-bodied man, } corffog, dyn cadarn-gryf.
Strong-bodied wines—gwinoedd trachadarn, gwinoedd trachryfion; gwinoedd cadarn-gryf, nerthol, *neu* nerthog.
Bodiless, a. (*body* a *less*) digorff, anghorfforol; heb gorff iddo.
Bodily, a. (o *body*) corfforol; gweithredol, gwirioneddol.
Bodily act—gweithred wirioneddol.
Bodily, *ad.* yn gorfforol; yn ei gorffolaeth.
Boding, s. (o *bode*) darogan; daroganiad, argoel, rhagarwydd.
Bodkin, s. (Gw. *bod*, llost, a'r terfyniad bychanig *kin*) gwaell, gwniwaell, gwalltwaell; pwyntyr, mynawyd.
Body, s. (S. *bodig*) corff; corf, corffor; cyff; dynsawd, ansawd, un, dyn; crynodeb, crynoad, swm, casgl, deseb; byddin, llu; corfforaeth; cryfder.
Body of divinity—corff o dduwinyddiaeth, corff dwyfyddiaeth.
Body of men—corff o ddynion; llu o ddynion.
The main body of a thing—rhanau cyfanol peth; y corff cyfan.
Dead body—corff marw, celain, celan, un marw; burgun, llurgun.
Behold, they were dead bodies—wele hwynt yn gelaneddau meirwon.
Solid body—trygorff, corff tryfaint.
Round body—corff crwn, clwch.
Hollow body—corff gwag, corff ceuol, cofft.
Little body — corffyn, corffilyn, corff bychan.
What can a body do?—beth a wnai dyn? pa beth a wnai un? beth a wnai un?
Any body—rhywun, rhyw un, unrhyw un; neb, nebun, un, yr un, rhyw; y neb *neu* y sawl a fynoch; un dyn pwy bynag.
Every body without exception—pob rhyw un heb adael un; pob rhyw ddyn heb adaw un; pob rhyw ddyn heb eithro un; pawb yn ddïeithrad.
Every body knows—gŵyr pawb; pawb a wyddant; nid oes dyn nas gŵyr.
What will every body say?—beth a ddywed pawb? beth a ddywed dynion yn gyffredinol.
It is in every body's mouth—y mae yn gorn cân; y mae ar dafod pawb; y mae rhwng dannedd pawb.
No-body—neb, nebun, neb un, neb rhyw ddyn; nid neb, nid un, nid nebun; nebawd, neb dyn.
Every body—pob un, pob dyn; pob rhyw ddyn; pob rhyw un; pawb, pawb oll; y cwbl i gyd, y cwbl oll, i gyd oll.
Some-body — rhywun, rhyw un, rhyw ddyn.
No body understands me—nid oes neb a'm deall; nid oes dyn a'm deall; nid oes neb yn fy neall; nid oes un yn fy neall; nid oes nebun yn fy neall.
That no body do hurt any body—na bo i neb ddrygu neb.
Let any body be judge between us—bydded y sawl a fynoch yn farnwr rhyngom.
The body of a tree—corff, cyff, paladr, cippill, *neu* gyrfyll pren.
The body of a church—corff eglwys, corf eglwys.
Body of foot—byddin *neu* fyntai o wŷr traed; corff o bedwys.
Body of horse—myntai *neu* fyddin o wŷr meirch; corff o farchwys; marchoglu.
The main body of an army—corff byddin; y fyddin ganol; y dromgad; canolrenc byddin; rhes ganol byddin.
Busy-body—ymyrwr, rhodreswr; prysurheb ddiolch; prysurwas, dyn cymmyreddus, dyn ymyrgar; un â'i fys yn mhotes pawb.
To come in a body upon one—heidio *neu* dwysgo am ben un; dyfod yn haid am ben un.
Bigness of body—cofforoldeb, corffolaeth.
Trunk *or* chest of the body—corf, arch, cyff.
Wine of a good body—gwin cryf; gwin nerthol *neu* nerthog; gwin cadarn.
From the body of the country—o gorff y wlad; o ganol y wlad; o galon y wlad.
The whole body of the law opposes it—y mae holl gorff y gyfraith yn ei erbyn; y mae y gyfraith yn hollol yn ei wrthwynebu; y mae holl ddefnydd *neu* sylwedd y gyfraith yn ei erbyn.
The body of the clergy—y corff offeiriadol, y corff o offeiriaid, corff yr offeiriaid, y corff o glerigion.
Body politic—corff gwladol, corff gwleidiadol, corff gwladwriaethol.
Body corporate — corff cynghorfforedig, corff cyfunol, corff cyfunedig.
Body, v. a. corffoli, corffori, corffi, llunio, ardumio, rhithio.
Bodyclothes, s. *pl.* (*body* a *clothes*) dillad corff; corffwisgoedd; marchwisgoedd.
Bodyguard, s. (*body* a *guard*) corffosgordd, diffyngor, diffynwys, gosgorddlu; llysfilwyr; diogelwch.
Bog, s. (Gw. a Gael. *bog*, *bogach*; S. *bugan*) cors, mignen, siglen, mign, migyn, gwern, corsle.
Reed bog—corslwyn.
Quaking bog, } pydwern, siglen.
Quaggy bog, }
Bog, v. a. migno, siglenu, corso.
Bogbean, s. (*bog* a *bean*) ffäen y gors, meillionen y gors, maill y gors.
Bogberry, s. (*bog* a *berry*) llygaeren, ceiriosen y waen, llygeirinen, llygad aeron: *pl.* llygaeron, llygaid aeron, llyged aeron, llyged eirian, llygeirin, llyged eirin, ceirios y waen.
Bog-earth, s. corswerydd, corsddaiar.
Boggle, v. (C. *bwgwl*, *bygylu*) petruso, rhuso, arbetruso, ammheu; cilio yn ol rhag ofn; ysgöi, osgöi, gwrthdynu; ffugio, lledrithio; ymragrithio; cydragrithio â; chwareu llaw wên; dyrysu, rhwystro, nidro; dwyn i gyfyng gynghor.
It was time for him to boggle with the world—yr oedd yn bryd iddo ymragrithio â'r byd.
Boggler, s. (o *boggle*) petruswr, rhuswr, ammheuwr, anwadalwr; dyn anwastad, anwadal, *neu* ofnog; ffugiwr.

Bogglish,† *a.* (o *boggle*) ammheuol, ammhëus.

Boggy, *a.* (o *bog*) corsog, siglenog, mignog, corsol, corslyd, mignol; llawn corsydd *neu* siglenydd.

Boggy meadow — migwern, mignwern, corswaen, migwaen.

Boggy place—corsle, corsfa; lle corsog *neu* siglenog.

Boghouse, *s.* (*bog* a *house*) geudy, ysgothdy, ysgothfa, coddyn, ty bach, rheitty.

Bogland, *s.* (*bog* a *land*) corsdir.

Bogland, *a.* corsdirol, corsdirog.

Bogle, } *s.* (C. *bwg*, *bwgan*, *bwgwl*) bwgan,
Boggle, } bwbach, bwg, hudwg, hwdwg, bolol, drychiolaeth, bo, bw, bwcai, bwci.

Bogmoss, *s.* (*bog* a *moss*) corsfwswg, corsfwswn, corsfwswgl.

White bogmoss—migwyn, migin, migyn; corsfwswg gwŷn.

Bog-ore, *s.* corsfwn, corsfwyn, corsfwn haiarn.

Bogrush, *s.* (*bog* a *rush*) corsfrwynen, brwynwellt: *pl.* corsfrwyn.

Black bogrush—corsfrwynen ddu, brwynwellt du.

White-headed bogrush—brwynwellt gwŷn, corsfrwynen wèn.

Prickly bogrush—pibfrwynen, llymddreiniog.

· Black bogrush—corsfrwynen ddu.

Brown bogrush—corsfrwynen rudd.

Bogspavin, *s.* (*bog* a *spavin*) boglyncoes, corslyncoes.

Bogtrotter, *s.* (*bog* a *trotter*) corsduthiwr, corsogwr, corsdrig, corsred, corsdrotiwr.

Bogwhort, *s.* (*bog* a *whort*) corslusen, corslusen ddu fach, llusen ddu fach y gors, corsfwyaren y brain: *pl.* corslus, corslusi, llus duon bach y gors, corsfwyar y brain.

Bohea, *s.* (o *Vu-ee*, *Vou-y*, neu *Voo-y*, enw y mynyddoedd lle ei cynnyrchir yn China) Bohea, Bohe, math o de du.

Boiar, } *s.* (R.) pendefig neu arglwydd yn
Boyar, } Rwssia, Transylvania, Moldavia, a Walachia; milwr.

Boiarin, *s.* (R.) boneddig, boneddwr; penteulu.

Boil, *v.* (Ff. *bouillir*; Ll. *bullio*) berwi.

To boil over—gorferwi; berwi drosodd.

To boil together—cymmerwi, cydferwi; berwi yn nghyd.

To boil bubblingly—berwi yn grychias; berwi yn grych; berwi yn glychau; berwi yn grychias glochog; berwi yn grych glochog; crychiasu, crychferwi.

To boil away—treulio, treio, cilio, *neu* ddarfod wrth ferwi; myned dàn y berw; myned dàn ei ferw; berwi ymaith.

To boil till half the liquor be consumed—berwi i'r hanner.

To boil with rage *or* anger—berwi o lid; gwyniasu gàn ddigofaint; poethi gàn lid; llidio, digio, angerddu, ymangerddu, dyfrydio; bod mewn angerdd o ddig; dyferwi gàn ddig.

The blood boils within me—y mae y gwaed yn berwi *neu* yn brydio ynof; y mae y gwaed yn dyfrydio ynof.

To boil as the sea—morgymmlawdd; codi yn forgymmlawdd *neu* yn donau; berwi *neu* angerddu fel y môr.

Neither boiled nor raw—na brwd nac anmrwd; na brwd nac of.

Under boiled—heb ferwi digon; tàn ferw; heb fod yn ddigon.

Over boiled — rhyferw, rhyddigon; wedi berwi gormod.

Boiled meat—cig berw, cig berwedig; bwyd berw *neu* ferwedig.

Boil, *s.* (Is. *buil*; Al. *beule*; S. *bile*) cornwyd, crugdardd, penddüyn, ploryn; chwydd.

Boiler, *s.* (o *boil*) berwedydd, berwadyr; callor, pair, crochan; berwydd, berwr.

Hand-boiler—llawgallor.

Boilery, *s.* (o *boiler*) berwadfa, berwadle; berwolion.

Boiling, *s.* (o *boil*) berwad, berwedd, berw, crychias, crychferw, dyferwad, berwyd, brydiant, crychiant.

Boiling hot—brwd ferw; yn frwd ferw.

Boiling springs—ffynnonau berw, tarddellau berw.

Boisterous, *a.* (Is. *byster*; D. *puster*, *pust*, *bister*) tymhestlog, ystormus, terfysglyd, terfysgus, ysgethrog, cyffrous, cyffroawl, ffrowys, aflonydd, rhuadol, rhuol, rhuain, rhochfawr, bloeddfawr, rhuadus, ysgrechog, croch, trystiog, dadyrddus, trystfawr, brochus, cynhyrfus, afreolus, brythus, ffrochus, molochain, gwythlawn, angerddol, ffyrnig, ffromwyllt, brochwyllt, afrywiog.

Boisterous weather—tywydd tymhestlog, &c.; dryghinedd, dryghin, rhyferthwy, ystorm.

Boisterous wind — gwynt ystormus *neu* ysgethrog; gwynt croch, &c.; gyrwynt, hyrddwynt, toredwynt, ysgrechwynt.

When he saw the wind boisterous—pan welodd efe y gwynt yn gryf.

Boisterousness, *s.* (o *boisterous*) tymhestlogrwydd, ystormusrwydd; terfysg, cynhwrf; tryblawdd, brochusrwydd, ffromwylltedd, brythwch, angerddoldeb, angerdd; bloeddgarwch, ysgrechogrwydd; aflonyddwch, afreoledd; ffrochusrwydd, afrywiogrwydd, &c.

Bolary, *a.* (o *bole*) lleionol, cleiol.

Bold, *a.* (S. *bald*, *beald*) hy, hyf, eon, eofn; anturiol, anturus, hyfaidd, hydr, glew, dewr, dïarswyd, dïofn, drud, calonog, gwrdd, hyderus, dewrwych, ewn, rhull, arlyfasol, erfain, beiddiol, ehud, dihafarch, llyfasus, dilwfr, dïarchar, gwychr, blaengar; rhyfygus, haerllug, digywilydd; penrydd, trahäus; uchel, serth, syth; yn ysgwyddo allan; amlwg, hywel; tarawiadol.

As bold as a lion—môr hyf a llew.

It is a bold part of him—cymmer arno orchwyl anhydrin.

He is a bold fellow—y mae iddo galon llew; dewrwas yw gwas; gwych ydyw; dewryn ydyw; un hy, tra hy, eofn, tra eon, *neu* ddigywilydd yw.

I have been so bold as to write to you—bum môr hy, hyf, *neu* eofn ag ysgrifenu atoch; cymmerais fy hyfder i ysgrifenu atoch.

I was bold—bum hyf, buais hy, bum eon.

You are not more bold than welcome—nid ych chwi ddim yn eonach *neu* hyfach na'ch croesaw; nid ydych yn eofnach nag y mae i chwi groesaw; nid ych eonach na'ch croesaw.

These are bold words—geiriau penryddion *neu* drahäus yw y rhai hyn; geiriau hyfion yw y rhai hyn; eon yw y geiriau hyn.

Bold coast—arfordir serth, swta, *neu* ledsyth.
To be bold, } beiddio, arfeiddio, llyfasu,
To make bold, } anturio, hyderu, rhyfygu; bod yn hy *neu* eofn; gwneyd yn hy.
I dare be bold to say—beiddiaf ddywedyd; mi a ryfygaf ddywedyd; byddaf môr eon a dywedyd; byddaf eofned a dywedyd.
He was bold to call him a traitor—beiddiodd ei alw ef yn fradychwr.
The slaves have been bold to come down against us—y caethweision a feiddiasant ddyfod i waered yn ein herbyn.
We may make bold to imitate such great examples—gallwn arfeiddio dylyn y cyfryw fawrion anghreifftiau.
He will be bold over thy servants—efe a fydd hyf ar dy weision.
I durst not make bold with Ovid—ni feiddiais fod yn hyf ar Ofydd.
To grow bold, } ymhyfhau, ymhyfu, ym-
To wax bold, } eofni, ymeoni, ymlewhau, ymhyderu; myned yn hyf, eon, *neu* hyderus.
Esaias grows bold, } y mae Esaias yn ym-
Esaias is very bold, } hyfhau.
They grew bold in wickedness—ymeofnasant mewn drygioni.
The apostles waxed bold—yr apostolion a aethant yn hy.
To make bold—hyfhau, eofni, eoni, llewhau; gwneuthur yn hy *neu* eofn.
To make bold with one—bod yn hy *neu* eofn ar un; arferu hyder *neu* hyfder tuag at un; ymddyddan *neu* ymddywedyd yn rhydd âg un; dywedyd ei feddwl yn hy, yn eon, yn eofn, yn ddigryd, yn rhydd, *neu* yn ddïarbed wrth un; gwneyd yn hyf ar un.
Make not too bold with men of authority—na fydd ry hyf ar wŷr o awdurdod.
Bold face—gwyneb digywilydd; wyneb pres; talcen pres; haerllugrwydd, digywilydd-dra, talgryfder; sarigrwydd.
*Bold*-faced—talgryf, haerllug, digywilydd, talog, hyfwyneb, hyweb, wynebgaled.
Bold-faced and hard-hearted are they—talgryfion a chaled-galon ydynt hwy.
To put on a bold face—myned yn wynebgaled *neu* yn ddigywilydd; myned yn haerllug *neu* dalgryf; caledu ei wyneb; ymhyfhau, ymeofni.
To speak boldly—llafaru yn hyf, yn eofn, yn ddigryd, yn ddïarswyd, yn ddifyngial, yn ddifyngus, *neu* ar gyhoedd.
Extremely bold—tra hyf, tra hy, tra eon, anturus iawn, &c.
*Bold*,† *v. a.* gwneuthur yn hyf; hyfhau.
Bolden, *v. a.* hyfhau, eofni, hyderu.
Boldness, *s.* (o *bold*) hyfder, hyfdra, hyder, hydeb, eonder, eofnder, eondra, dewredd, dewrder, gwroldeb, gwrolder, calondid, glewder, glewdid; gwychder; tradewredd, antur, ehudrwydd, llyfasedd, dihafarchedd, rhullder; haerllugrwydd, digywilydd-dra, anfoesgarwch; taeredd, taerder; penrhyddid, tragrhyddid, gormod rhyddid, traha, rhyfyg, afn.
They spake the word of God with boldness—llafarasant air Duw yn hyderus.
The boldness of his face shall be changed—nerth ei wyneb ef a newidir.
Great is my boldness of speech toward you—y mae hyfder fy ymadrodd yn fawr wrthych.
Boldness is a child of ignorance—un o blant anwybod yw haerllugrwydd.
Bole, *s.* (Sw. *bol*; D. *bul*; Gr. *bôlos*) paladr, cyff, bonyn; bwl, chwellestraid.
Bole, *s.* lleion=math o glai teg.
Armenian bole—lleion Armenia, lleion Armeniaidd.
Lemnian bole—lleion Lemnos, lleion Lemnaidd.
Boletic, *a.* (o *boletus*) madarchig; perthynol i fadarchen.
Boletic acid—sur madarchig, sur madarchen.
Boletus, *s.* (Ll.) madarchen=math o ffwng, neu fwyd y barcud.
Bolis, *s.* (Gr. a Ll.) tanwyden, goruchionell, goruchionen, tanwydyn, lluchbelen, lluchedbel.
Boll, *s.* (C. *bul*; S. *bolla*, cawg) bul, paisg, peisgen, hadgell, hadgib, hadlestr, plisg; bolltad, (*pl.* bollteidiau), bâl, corsen.
A boll of flax—bâl o lin, bolltad llin, llyweth o lin; balwg.
Boll, *v. n.* corsenu, bollteidio, paladru; hodi, bulio, balio, hadu.
The flax was bolled—yr oedd y llin wedi hadu.
Bollings, *s. pl.* (o *boll*) toccoed, coed toc, tocbrenau, prenau tociedig, tocwydd.
Bolster, *s.* (S. a Sw.; Al. *polster*) gobenydd, clustog; gob.
Bolster of a saddle—clustog cyfrwy, panel cyfrwy.
Bolster for a wound—clustog gweli.
Bolster, *v. a.* gobenyddu, gobenyddio, clustogi, gobellu; attegu, cynnal, dàl i fyny, cynnal i fyny.
Bolsterer, *s.* (o *bolster*) cynnalydd, attegydd.
Bolstering, *s.* (o *bolster*) atteg, cynnaliad.
Bolt, *s.* (D. a R.; Al. *bolzen*; Is. *bout*) bollt, (*pl.* bolltau, byllt), bàr; trosol, saeth, picell, chwarel, pilwrn, gaflach: 28 llathell o sachlïan.
Bolt of a door—bollt drws, trosol drws, bàr drws, bollten dor, pâr drws.
Thunder bolt—taranfollt, mellten, llucheden; maen y daran, maen cawod, tân mellt.
A fool's bolt is soon shot—ni chel ynfyd ei feddwl.
He has shot his bolt—deryw ei chware; darfu ei chwareu.
Bolt, *v.* bolltio, bàrio; saethu; ymsaethu, chwarelu; rhwystro, attal, ystwyo, nadael, llyffetheirio; sicrhau, diogelu.
To bolt a door—bolltio, bario, *neu* gloi drws; rhoi y bàr ar y drws; rhoi pâr ar ddrws.
To bolt in—ymsaethu i mewn; saethu i mewn; bolltio i mewn; cau i mewn.
To bolt out—ymsaethu allan; saethu allan fel bollt; bolltio allan; cau allan; bolltio i maes.
To bolt out of the house—bolltio allan o'r ty; ymsaethu allan o'r ty; tasgu allan o'r ty.
To bolt out a rash expression—llafaru yn fyrbwyll; dywedyd yn chwidr yr hyn ni ddylid; bolltio *neu* saethu allan ymadrodd byrbwyll.

Bolt upright—mòr uniawn a'r saeth; fel y saeth.

Bolt, *v. a.* (Norm. *bulter*) gogrynu, gogryn, gwegryn, gwegrynu, rhuchioni, peillio, cânu; dadlu, ymresymu; chwilio *neu* fynu allan.

To bolt a coney—tarfu *neu* yru cwningen allan o'i thwll; tarfu ffiogen.

To bolt a case—gogryn achos, pwnc, *neu* fater; ymddadleu yn nghylch rhyw beth; dadleu ar ryw destyn.

Bolt-auger, *s.* taradr byllt, bollttaradr.

Bolt-boat, *s.* bolltgwch, bolltfad.

Bolter, *s.* (o *bolt*) peillogr, gogr rhuwch, gogr paill, gogr peillio; peillrwyd.

Bolter,† *v. a.* dwbio, iro, edlynu.

Bolthead, *s.* (*bolt* a *head*) gwagell=math o lestr dystyllu, arferedig mewn fferylliaeth.

Bolting, *s.* (o *bolt*) bolltiad, bariad; gogryniad, gwegryniad; dadleuad, dadliad, chwiliad, arholiad.

Bolting cloth — peillgarthen, peill-lïan, rhuwchlïan.

Bolting house—peilldy, gwegryndy.

Bolting hutch—peillgist.

Bolting mill—peillfelin, peill-ermig, melin beillied; melin beillio *neu* ogryn.

Bolting tub—peilldwba, trwpa gogryn.

Bolt-rope, *s.* bolltraff, ymylraff, rhimpraff.

Bolts, *s. pl.* (o *bolt*) bolltau, barau; gefynau, troedogau, llyffetheiriau.

Boltsprit, *s.* (*bolt* a *sprit*) osghwylbren, osghwyliar, yr hwylbren gogwyddedig.

Bolus, *s.* (Ll.; Gr. *bôlos*) masbel, masbelen, cyfferbel; pelen fasw *neu* wagsaw.

Bomb, *s.* (Ll. *bombus;* Gr. *bombos*) llosbel, llosbeled, llosbelen, llosgbelen, llosgeubel, tanbel=ceubelen o dân gwyllt â daflir yn erbyn tref neu gastell i'w dinystrio: bwmp, bwm, bwmbwr.

Bomb,† *v. a.*=*Bombard.*

Bomb, *v. n.* swnio, bwmpio.

Bombard, *s.* (o *bomb*, a S. *ard;* Ff. *bombarde*) llosbeladyr, llosbelwn, algonon; llosbelgyrch, llosbeliad, llosgbeliad.

Bombard, *v. a.* llosbelu, tanbelu, llosgbelenu; llosgbelgyrchu, llosbelruthro; ergydio tânbelau yn erbyn.

Bombardier, *s.* (o *bombard*) llosbelwr, tanbelwr, llosgbelydd; triniwr gŷnau *neu* offer tân gwyllt.

Bombardment, *s.* (o *bombard*) llosbelgyrch, llosbeliad, llosgbeliad, tanbeliad.

Bombardo, *s.* (It.) goddwnbib=math ar offeryn cerdd chwyth.

Bombasin, } *s.* (Ff. *bombasin*) gosidanwe,
Bombazine, } sidanwe cotymog, ffillwe.

Bombast, *s.* (enw math o gotymwe) chwyddiaith, bostiaith, ffrostiaith.

Bombast, } *a.* chwyddedig, bostieithol, ffrost-
Bombastic, } ieithol; sonfawr.

Bombastry, *s.* (o *bombast*) chwyddiaith, chwyddiaeth; ymadrodd uchelsain disylwedd; chwyddeiriau.

Bombax, *s.* (Gr.) cotymwydden, pren cotwm: *pl.* cotymwydd.

Bombazette, *s.* (Al. *bombasette*) math o frethyn, bombasett.

Bombazine, *s.*=*Bombasin.*

Bombchest, *s.* (*bomb* a *chest*) llosbelgist, llosgist=cist lawn o losbelau, neu o bylor yn unig, à roir yn y ddaiar i ddystrywio wrth ffrwydro.

Bombic, *a.* (Ll. *bombyx*) sidanbryfig, sidanbryfol; perthynol i'r sidanbryf.

Bombic acid—sur sidanbryf, sur sirig; sur surig.

Bombilation, *s.* (Ll. *bombilo*) swn, sain, trwst.

Bomb-ketch, } *s.* llosglong, lloslongan, llosbel-
Bomb-vessel, } long, llong losgbel.

Bomb-proof, *a.* anhydraidd i losbel; nas gall llosbel fenu arno; â allo ddàl llosbelau.

Bombus, *s.* (Ll.) y gwenyn gwylltion.

Bombycinous, *a.* (Ll. *bombycinus*) sidanaidd, sidanol; o liw y sidanbryf; melynloew, tryloew melynaidd.

Bombyx, *s.* (Ll.) sidanbryf, pryf y sidan, y pryf sidan.

Bon, *s.* enw Aifftig y pren coffi.

Bonair,† *a.* (It. *bonario;* Ll. *bonus*) moesgar, boneddigaidd, hyfoes, hynaws, moddus.

Bona-roba, *s.* (It.=gŵn gwych) nwyfoges, anllades, puten.

Bonasus, *s.* (Ll.) ych gwyllt â mwng hir iddo; bual, gofual.

Bon-chretien, *s.* (Ff. = cristion da) math ar beren.

Bond, *s.* (S. *bond;* Al. *band*) rhwymyn, rhwym, cyfrwym, amrwymyn; rhwymeb, ymrwymeb, ysgrifrwym, machysgrif, machysgrifen, llythyr ymrwym; rhwymiant, achrwym, rhwymedigaeth, rhwymiad, achrwym, cwlwm, achlwm, cadwyn; caethiwed, carchar; undeb; rhaghawlyddiaeth.

Bond of peace—rhwymyn tangnefedd.

Worthy of bonds — teilwng o rwymau, cadwynau, *neu* garchar.

Post-obit bond—trengrwymeb.

To engage by bond—diffleisio; ymrwymo ar ysgrifrwym.

He engaged to the sheriff by bond to prosecute the action—diffleisiodd y sirydd ar ganlyn yr hawl.

To enter into bond for appearance—ymrwymo *neu* ymwystlo ar ateb; ymrwymo ar ddyfod ger bron.

To put in bonds—rhwymo; dodi *neu* roi mewn rhwymau; rhoi mewn cadwynau.

Bond, *a.* rhwym, caeth.

Bond and free—caeth a rhydd; rhwym a rhydd; caeth ac anghaeth.

Bond, *v. a.* rhwymo, ysgrifrwymo, rhwymebu; nwyddrwymo; ymrwymo ar; rhoi rhwymeb dros *neu* ar.

Bonded goods — nwyddau rhwymedig, nwyddau ymrwymedig, rhwymnwyddau.

Bondage, *s.* (o *bond*) caethiwed; caethwasaeth, caethwasanaeth; caethglud, caethfyd, ceithiwedd, caethrawd; carchariad; rhwymiad, rhwymedigaeth.

House of bondage—ty caethiwed; ty y caethiwed.

To bring into bondage—caethiwo, caethgludo; dwyn yn gaeth; dwyn i gaethiwed; gwarogi.

To free *or* deliver from bondage—rhyddhau *neu* ollwng o gaethiwed; rhyddhau caeth; adferu caeth i'w ryddid; esgaethu.

Bonding, *s.* (o *bond*) nwyddrwymiad.

Bondmaid, *s.* (*bond* a *maid*) caethes, caethforwyn, caethferch, cystoges.

Bondman, *s.* (*bond* a *man*) caeth, caethwas, caethwr, caethfab, berrwyog, gwr caeth, caethddyn; aillt, mab aillt.

To free a bondman—gollwng o gaethiwed; rhyddhau caeth; gwneuthur yn wr rhydd *neu* freiniol; breintioli; breintio caeth.

**Bondservant**, *s.* (o *bond* a *servant*) caethwas, caethwr, caeth, caethfab, gwas caeth.

**Bondservice**, *s.* (*bond* a *service*) caethwasaeth, caethwasanaeth, caethweiniad, caethwarogaeth, caethiwed.

**Bondslave**, *s.* (*bond* a *slave*) caethwas, caeth, caethwr, caethyn, caethweinydd, berrwyog, gwr caeth.

**Bondsman**, *s.* (*bond* a *man*) mach cynnogn, mach talu; mach, meichnïwr, ymrwymwr;† caethwas, caethddyn.

**Bondstone**, *s.* (*bond* a *stone*) clymfaen, maen clymu, rhwymfaen.

**Bondswoman,** } **Bondwoman,** } *s.* (*bond* a *woman*) caethes, caethferch, caethforwyn, caethddynes, caethwraig, benyw gaeth, cystoges.

**Bondtimber**, *s.* (*bond* a *timber*) clymgoed, clymwydd.

**Bone**, *s.* (S. *ban*; Sw. *ben*; Is. *been*) asgwrn; *pl.* esgyrn.

Rhif ac Enwau esgyrn y corff dynol ydynt y canlynol:

I. Esgyrn y Pen—55.

| | |
|---|---|
| Frontal bone — asgwrn y talcen, y tal-asgwrn, | 1 |
| Occipital bone — asgwrn y gwegil, asgwrn yr uchgreuan, | 1 |
| Parietal bones—esgyrn y greuan, | 2 |
| Temporal bones—esgyrn yr arlais, | 2 |
| Sphenoid bone—asgwrn bon iad, | 1 |
| Ethmoid bone—yr asgwrn rhidyllog, | 1 |
| Nasal bones—pont y trwyn, esgyrn y trwyn, | 2 |
| Cheek bones—esgyrn y rudd, eilgyrth, grânau, | 2 |
| Lachrymal bones — y deigr-esgyrn, esgyrn y dagrau, esgyrn deigron, | 2 |
| Upper jaw—y gorfant, y mant uchaf, asgwrn yr en uchaf, | 2 |
| Lower jawbone—yr isfant, y mant isaf, asgwrn yr en isaf, càr yr en isaf, | 1 |
| Palatine bones—esgyrn y gorchyfant, esgyrn yr orcharfan, esgyrn y gorcharfanedd, | 2 |
| Turbinated bones—yr esgyrn cogyrnog, yr esgyrn trogyrnog | 2 |
| Tongue bone—asgwrn y tafod, | 1 |
| Teeth—y dannedd, daint, | 32 |

II. Esgyrn y Cyff neu y Corff—56.

| | |
|---|---|
| Spine bones—esgyrn y cefn, gleiniau y cefn, | 24 |
| The ribs—yr ais, | 24 |
| Breast bone—asgwrn y ddwyfron, clwyd *neu* gledr y ddwyfron, | 1 |
| Hip bones—esgyrn pen clun, esgyrn y glun, bylau pen clun, | 2 |
| Rump bone—asgwrn y gloren, asgwrn y cwman, | 1 |
| Coccygeal bones—esgyrn cogylfin, | 4 |

III. Esgyrn yr Eithafion neu y Blaenau—132.

| | |
|---|---|
| Collar bones—pont yr ysgwyddau, trybedd yr ysgwyddau, | 2 |
| Blade bones—ysbodau, esgyrn y palfeisiau, crafell yr ysgwyddau, | 2 |
| Arm bones—esgyrn y breichiau, | 2 |
| Fore-arm bones—esgyrn yr iselin, esgyrn y gynfraich, | 4 |
| Wrist bones—esgyrn yr arddyrnau, | 16 |
| Hand bones—esgyrn y dwylaw | 8 |
| Finger bones—esgyrn y bysedd, | 24 |
| Thumb bones—esgyrn y bodiau, | 6 |
| Sesamoid bones—yr esgyrn ithionaidd, | 4 |
| Thigh bones—esgyrn y morddwydydd, | 2 |
| Knee pans—y pedyll pen lin, padell y penliniau, | 2 |
| Shin bones—llorfau, llorp-esgyrn, esgyrn y crimogau, ysberyglau, | 2 |
| Small leg bone—esgyrn y meilynau, | 2 |
| Tarsal bones—esgyrn gwadn y troed, | 14 |
| Metatarsal bones—esgyrn gwâr y troed, esgyrn y mwnwgl, | 10 |
| Toe bones—esgyrn bysedd y traed, | 28 |
| Sesamoid bones—yr esgyrn ithionaidd, | 4 |

Articulations of bones — pencnawiau yr esgyrn, pencnawiadau yr esgyrn.

What is bred in the bone will never be out of the flesh—hysbys y dengys y dyn o ba radd y bo ci wreiddyn; à wreiddio mewn drygioni, anhawdd fydd ei gynghori; anhawdd cynghori à wraidd mewn drygioni.

He is all skin and bones—nid yw efe ddim ond croen ac esgyrn; nid oes ond ei lun ef.

He made no bones of it—ni phetrusodd yn ei gylch; ni phetrusodd fawr o beutu iddo; ni wnaeth efe nemawr o orchest o hono.

I gave him a bone to pick—mi berais iddo beth rhwystr; mi a wnaethym iddo betruso ychydig; rhoddais iddo asgwrn i bilio; rhois beth iddo i gnoi ei gil arno; rhoddais beth iddo i'w gilgnoi.

To fall upon one's bones, } To be upon one's bones, } rhoi maeddgen, curfa, *neu* gosfa i un; ymosod *neu* ruthro ar un.

Bone of contention — achlysur cynhen, achos ymryson; asgwrn ymgiprys.

Bone by bone — bob yn asgwrn; bob yn asgwrn ac asgwrn; asgwrn ac asgwrn.

To take out the bones—dïesgyrnu.

I tremble every bone of me—yr wyf yn crynu bob asgwrn o honof; yr wyf yn crynu bob modfedd o honof.

Whale-bone—asgwrn y morfarch; asgwrn gorfant morfil.

Full of bones — llawn esgyrn; llawn o esgyrn; esgyrnog, asgyrnog, asgyrniog, esgyrniog.

Broken bone—asgwrn twn, asgwrn briw, briw-asgwrn.

Small bones—mân esgyrn, esgyrn mân.

Little bone — asgyrnyn, asgwrn bychan, asgwrn bach, asgwrn bychan.

**Bone**, *v.* esgyrnu; dïesgyrnu.

**Bone-ace**, *s.* asgyrnas=math o chwareu ar gardiau neu sethleni.

**Bone-ache**, *s.* esgyrnwst; poen yn yr esgyrn.

**Bone-ash**, *s.* lludw esgyrn.

**Bone-black**, *s.* dulosg esgyrn, golosg esgyrn, golosged esgyrn.

**Boned**, *a.* (o *bone*) esgyrnog, asgyrnog, asgyrnedig: arferedig mewn cyfansoddiad.

**Bone-dust**, *s.* llwch esgyrn, esgyrnlwch, ffylor esgyrn.

**Bone-earth,** *s.* esgyrnddaiar, daiar esgyrn, esgyrndir.
**Bone-house,** *s.* esgyrndy, ty esgyrn, esgyrnle.
**Bonelace,** *s.* (*bone* a *lace*) ysnoden lin, llinwe.
**Boneless,** *a.* (*bone* a *less*) dïesgyrn, dïasgwrn.
**Bonelike,** *a.* (*bone* a *like*) esgyrnaidd, esgyrnllyd, esgyrnol.
**Bone-manure,** *s.* gwrtaeth esgyrn.
**Bone-mill,** *s.* melin esgyrn.
**Boneset,** *v. a.* (*bone* a *set*) esgyrnosod, esgyrnsodi; gosod *neu* gyfosod esgyrn; gosod esgyrn yn eu lle.
**Bonesetter,** *s.* (o *boneset*) esgyrnsodwr, esgyrnosodydd; cyssodydd *neu* gydosodydd esgyrn.
**Bonesetting,** *s.* (o *boneset*) esgyrnsodiad, cyssodiad esgyrn, esgyrnosod.
**Bone-spavin,** *s.* llyncoes caled, esgyrn-lyncoes.
**Bonfire,** *s.* (Ff. *bon*, da, a *fire*) coelcerth, banffagl, cynneu, gwenfflam.
**Bongrace,** † *s.* (Ff. *bonne* a *grace*) talguwch, talwisg, math ar orchudd talcen.
**Boniform,** *a.* (Ll. *bonus* a *forma*) tloswedd, tlyswedd, lluniaidd.
**Bonify,** † *v. a.* (Ll. *bonus* a *facio*) troi *neu* wneyd yn dda; däeiddio.
**Bonity,** † *s.* (Ll. *bonitas*) daioni.
**Bon-mot,** *s.* (Ff. *bon*, da, a *mot*, gair) ffraetheb, ffraethair, perteb, tlysair; cellwair.
**Bonnet,** *s.* (Ff.; Gw. *boinead;* Gael. *boineid;* Llyd. *boned*) hodell, bunet, buned, bunhet; cap, penwisg, argap, penguwch.
  Bonnet à prêtre, / Bonnet de prêtre, } capan offeiriad.
  Bonnets—hwylenau, adhwyliau=hwyliau byrion i'w cydio wrth hwyliau ereill.
**Bonneted,** *a.* (o *bonnet*) hodellog; yn gwisgo hodell *neu* benguwch.
**Bonnibel,** *s.* (Ff. *bonne* a *belle*) tlosferch, tloseneth, tegeneth, rhian dlos.
**Bonnilass,** *s.* (*bonny* a *lass*) teglances, teglodes.
**Bonniness,** *s.* (o *bonny*) dillynder, dillynedd, destlusrwydd, tlysni, clysni, harddwch, hoewedd, hoewder, hoenusrwydd, glwysder, llyfnder gwedd.
**Bonny,** *a.* (Ff. *bon*, *bonne*) dillyn, destlus, tlws, (*f.* tlos), clws, (*f.* clos), hardd, glandeg, prydferth, hoewych, mirain; hoew, gwych, hoenus; difyr, llawen, llon, hylon, gorawenus, nwyfus, chwareus; llyfn, llyfndeg, llyfnwedd.
**Bonny,** *s.* mwnwalas.
**Bonny-clabber,** *s.* (Gw. *baine* neu *bainne*, llaeth, a *clab* neu *claba*, tew ?) llaeth enwyn sur; enwyn sur, llaeth sur.
**Bon-ton,** *s.* (Ff) arddullwedd, uchel ddullwedd, arddefod, dullwedd.
**Bon-vivant,** *s.* (Ff.) glân gydymaith, llawen gyfaill; cydymaith difyr *neu* lawen.
**Bonum-magnum,** *s.* (Ll.) math ar beren.
**Bonus,** *s.* (Ll.) madoseb, madobrwy, madobr, breintobrwy=gwobr à roddir am fenthyg, am freintlen, neu am ryw fraint arall, à ganiatëir i gymdeithas neu frawdoliaeth.
**Bony,** *a.* (o *bone*) esgyrnog, asgyrnog, esgyrnig, esgyrnol; esgyrnfawr; cryf, cadarn, nerthog.
**Bonze,** *s.* offeiriad yn Iapan, China, ac India.
**Booby,** *s* (Ysp. *bobo*) hurtyn, hurthgen, delff, penbwl, penbwla, penwan, penfeddal, drelyn, drelwas; llabwst, lleban, symlyn, cuall, cadafel, cadafael.
**Boodh,** / **Budh,** } *s.* Bwdh, Bwdd=y Duwdod, yn nhyb trigolion Asia Ddwyreiniol.

**Boodhism,** / **Budhism,** / **Buddhism,** / **Boudhism,** } *s.* (o *Boodh* neu *Budh*) **Bwdhiaeth,** Bwddiaeth=crefydd y Bwdhiaid, un o dair prif blaid grefyddol India, ac ereill o wledydd y dwyrain.
**Boodhists,** / **Budhists,** / **Boudhists,** / **Buddhists,** } *s. pl.* (o *Boodh*) Bwdhiaid, Bwddiaid: *sing.* Bwddiad, Bwdhiad, un o'r Bwdhiaid.
**Book,** *s.* (S. *boc;* Is. *boek;* Al. *buch;* Sw. *bok*) llyfr; cwrach.
  Little book—llyfryn, llyfran, llyfr bach.
  Contents of a book — cynnwysiad llyfr, banau llyfr, cynnwyseb llyfr.
  Hand-book, / Manual, } llaw-lyfr, llawiadur.
  Manuscript book—ysgriflyfr.
  Note-book—nodlyfr.
  Text-book—testynlyfr, testlyfr, llyfr testyn.
  Reading book—darlleniadur, llyfr darllen.
  Account-book, / Book of accounts, } cyfriflyfr, llyfr cyfrifon.
  Common-place book—nodachlyfr, coflyfr, argoflyfr.
  Day-book—dyddlyfr, dyddiadur.
  Memorandum-book — cofnodlyfr, coflyfr, cofnodur, llyfr cofnodau, llyfr coffadwriaeth.
  Red book—llyfr coch.
  Blue book—llyfr glas.
  Church-book — llyfr eglwys, llyfr plwyf, y llyfr gwyn.
  Book of Common Prayer — Llyfr Gweddi [Gyffredin.
  Pocket-book — codlyfr, llyfr llogell, llyfr llawgod; llogellgod.
  School-book—llyfr ysgol.
  Cash-book—coflyfr arian, mwneilyfr, llyfr arian.
  Invoice-book—nwyddreslyfr, llyfr nwydd- [res.
  Bill-book — dyleblyfr, dylebiadur, llyfr dylebion.
  Receipt-book—derbyniadur, taleblyfr, llyfr derbynion.
  Book of receipts and disbursements—llyfr derbynion a thalion.
  Letter-book—llythyrlyfr, llythyrgloer.
  Book-account—llyfrgyfrif.
  Book-debt—llyfrddyled.
  Waste-book—goreslyfr, llyfr gores.
  Blank book—llyfr gwyn.
  Book depository — llyfrdy, llyfrfa, llyfrystordy, llyfrystorfa; ystordy *neu* ystorfa llyfrau.
  A book in folio—llyfr unplyg.
  Book-trade—masnach llyfrau, trafnid llyfrau, llyfr-fasnach.
  In books—mewn parch, mewn bri, mewn ewyllys da; mewn parchus gof; mewn llyfrau.
  I was so much in his books—yr oeddwn mor bell yn ei lyfrau; yr oeddwn mewn cymmaint bri ganddo; meddwn gymmaint o'i ewyllys da.
  To get into one's books—ennill cariad *neu* ewyllys da un; tynu *neu* ddenu serch un; myned mewn parch gydag un; ennill parch gydag un.
  Without book—ar gof; ar dafodleferydd; ar dafod; heb lyfr, heb y llyfr, i maes o lyfr; heb ddarllen; heb awdurdod.
  To run into one's books—rhedeg yn llyfrau un; rhedeg mewn dyled i un.

To get out of one's book—myned allan o lyfrau un; colli parch gydag un; colli ewyllys da *neu* serch un.
Mind your book—ymröwch i'ch llyfr; rhowch eich bryd ar eich llyfr; ystigwch wrth eich llyfr; gofalwch am eich llyfr.
The best record is the record of book—goreu cof, cof llyfr.
Book, *v. a.* llyfru, coflyfru.
To book a thing down—ysgrifenu peth mewn llyfr; dodi i lawr mewn llyfr; dodi mewn llyfr; llyfru.
Bookbinder, *s.* (o *book* a *bind*) llyfr-rwymwr, llyfr-rwymydd, llyfrgloriwr; rhwymwr, cyfrwymwr, *neu* gloriwr llyfrau.
Bookbinding, *s* (o *book* a *bind*) llyfr-rwymiaeth, llyfr-rwymiadaeth, llyfr-rwymyddiaeth, llyfrgloriadaeth, celfyddyd rhwymo llyfrau.
Bookcase, *s.* (*book* a *case*) llyfrgloer, llyfrgaes, cloer llyfrau.
Bookful, *a.* (*book* a *full*) llyfrlawn; llawn o ddysg annhrefnus.
Bookish, *a.* (o *book*) llyfrgar, myfyrgar, darllengar, llyfreugar; chwannog i ddarllen; hoff o fyfyrio; mwy nabyddus â llyfrau nag â dynion.
A bookish person—llyfrgarwr, darllengarwr; dyn llyfrgar; llyfrbryf, llyfrlwth; darllenydd diwala.
Bookishness, *s.* (o *bookish*) llyfrgarwch, myfyrgarwch, darllengarwch.
Book-keeper, *s.* llyfriedydd, llyfriadur; cyfrifiadur; golygydd *neu* geidwad cyfrifon.
Book-keeping, *s.* llyfriadaeth, llyfryddiaeth; cyfrifiadaeth, ceidwad cyfrifon.
Bookland, Bocland, Bockland, *s.* (*book* a *land*) breiniordir, breintlendir.
Booklearned, *a.* (o *book* a *learn*) llyfrddysgedig, llyfrddoeth; hyddysg ar lyfrau.
Booklearning, *s.* (*book* a *learning*) llyfrddysg, llyfrwybodaeth.
Bookless, *a.* (*book* a *less*) dilyfr, annysgedig.
Booklouse, *s.* (*book* a *louse*) llyfrwyfyn.
Bookmadness, *s.* (*book* a *madness*) llyfrorphwylledd, llyfrwallgofrwydd, llyfrorphwyll, llyfr-ynfydrwydd, llyfr-ynfydedd.
Bookmaking, *s.* (o *book* a *make*) llyfrwneuthuriaeth, llyfrysgrifeniaeth.
Bookman, *s.* (o *book* a *man*) llyfrwr, llyfrydd, llyfrfyfyriwr, llyfrefrydydd.
Bookmate, *s.* (o *book* a *mate*) cyfysgolwr, cyfysgolor, cydysgoläig.
Bookmindedness, *s.* (o *book* a *mind*) llyfrgarwch, llyfrhoffder, llyfroldeb.
Bookoath, *s.* (*book* ac *oath*) llyfrlw, llw ar y Bibl.
Bookseller, *s.* (o *book* a *sell*) llyfrwerthydd, llyfrwerthwr; gwerthydd *neu* werthwr llyfrau, llyfrwr.
Bookseller's shop—llyfrwerthfa, llyfrwerthdy, masnachfa llyfrau.
Bookseller and stationer—llyfrwerthydd a safwerthydd; llyfr- a saf-werthwr.
Bookshop, Bookstore, *s.* llyfrwerthfa, llyfrwerthdy, llyfrdy, llyfrystorfa; masnachdy *neu* ystordy llyfrau.
Bookstone, *s.* (*book* a *stone*) llyfrfaen.
Bookworm, *s.* (*book* a *worm*) llyfrbryf, llyfrysydd, llyfrwyfyn, pryf y llyfrau; llyfrgarwr, darllenydd diflin.
Booley, *s.* gair ar arfer yn yr Iwerddon am grwydryn, gwibiad, annhrefog, neu un heb un cartref sefydlog.
Boom, *s.* (Is; Al. *baum*) hwylbawl, hwyldrostan, trostlath; nod-drostan; porthfar, trawst porthladd, bargadwyn.
Boom, *v. n.* (Is. *bommen*; C. *bwmp*) rhuthro, trystio; hwylio yn rhychwyllt; chwyddo, gwanegu; rhuo; bwmpio, cadw bwmbwr, bwmbro; lleisio fel aderyn y bwn.
The hoarse waves booming to the ocean shore—y tònau croch fwmbwr yn rholian i'r làn; y tònau dàn ddwndro yn ymlithro i'r làn; y tònau cryg eu bwmbwr yn rhuo ar y làn.
Boomerang, *s.* taflofferyn arferedig gàn gynfrodorion Awstralia.
Boon, *s.* (Ll. *bonus*; Ff. *bon*; Norm. *boon*) rhodd, anrheg, goseb; cymmwynas, ced, llad, tro da; dawn.
Boon, *s.* (D. a Sw. *bön*) cais, deisyfiad, erfyniad, arch.
Boon, *a.* (Ll. *bonus*; Ff. *bon*) llon, llawen, difyr, hylon, dyddan, mwyn; hael, caredig; gwiwlan.
Boon companion—glân gydymaith, cydymaith glân, cyfeddachwr, cyfddïotwr.
Boon, *s.* mwlwg llin, llinfwlwch.
Boops, *s.* y morfarch trwynbig.
Boor, *s.* (S. *gebur*; Is. *boer*; Al. *bauer*) taiogddyn, delff, taiog, ystelff, cuall; dyn o'r wlad, un o'r wlad; dyn gwladaidd *neu* wledig; dyn mynyddig; gwerinwr, buach, cabrotai, gwaer, iangwr, gwreng, cabrotyn, gwladeiddyn, drel, delffyn, lleban, gwrengyn.
The boors of such place—gwaer *neu* wreng y fàn a'r fàn.
Boorish, *a.* (o *boor*) taiogaidd, gwladaidd, gwledig, mynyddig; delffaidd, buachaidd, gwaer, gwaerol, gwaeraidd, gwrengaidd, drelaidd, gwerinaidd, gwerinol, iangaidd, trwsgl, annysgedig, anwaraidd, anfoesgar, cartrefaidd, cuall.
Boorishness, *s.* (o *boorish*) taiogrwydd, delffedd, gwladeiddrwydd, gwledigrwydd, gwrengeiddrwydd, cabrawd, delffeiddrwydd, gwerineiddrwydd, anfoesgarwch, difoesedd, &c.
Boose, Bouse, *s.* (S. *bosig*, *bosg*) preseb, côr.
Boose, Bouse, *v.* (C. *boddi*; Llyd. *beuzi*; hen Is. *buysen*) meddwi, yfed, dyfolio, dyfoli, abrwysgo, dïota, cofftio.
Boosy, Bousy, *a.* (o *boose*, *bouse*) meddw, abrwysg, gofrwysg, lledfeddw, mewn dïod.
Boot, *v. a.* (S. *bot*, *bote*; Is. *boete*; Sw. *böt*) elwa, ennill, ynnill, buddio, lleshau, manteisio.
What boots it?—pa leshad, pa fantais, *neu* pa ennill yw? beth a dâl? beth a fuddia? beth a dâl i?
It boots not—ni thâl ddim; nid yw fuddiol; ni lesha; ofer yw; diles *neu* anfuddiol yw.
Boot, *s.* budd, ennill, ynnill, elw, mantais, mael, lles, elwant; gwarthal, gorthal, mantol; anrhaith, ysbail.
To boot—yn warthal, yn orthal; yn heblaw; heb law, dros ben, yn chwaneg, gyda, mewn chwanegiad, yn ychwaneg.
What will you give me to boot—beth a roddwch i mi yn warthal? pa warthal *neu* orthal a roddwch i mi? beth a rowch imi yn warthal? beth a roddwch i mi rhyngddynt?

You will be instructed to boot in several sciences—addysgir chwi heb law hyn mewn llawer o wyddorion.

**Boot**, *s.* (Ff. *botte*; C. *botas*; Gw. *butais*, *botis*) botas, botasen, bwtas, bwtasen, cwran.

Jack-boots—coesarnau, coeswisgoedd.

The boot of a coach—botas cerbyd, lledrgist cerbyd, botgist cerbyd.

A pair of boots—pâr o fotasau, bwtias.

To liquor boots—gwrteithio botasau *neu* gwranau; cyffeithio botasau.

**Boot**, *v. a.* gwisgo botasau, botasu, ymfotasu.

**Boot-catcher**, *s.* (*boot* a *catch*) tynwr botasau.

**Booted**, *a.* (o *boot*) botasog, bwtasog, cwranog; gwisgo botasau.

**Bootee**, *s.* (o *boot*) corfotas, hanner botas.

**Bootes**, *s.* (Gr. *boôtês*) cydser gogleddol, yn cynnwys, yn ol Fflamsteed, 54 seren.

**Booth**, *s.* (Celt. *bwth*, *buth*, *bothag*, *bothan*, *both*, *boith*) bwth, (*pl.* bythod), bwthyn, caban, pabell, lluest, lluestty, llendy, toniardy.

**Boot-hose**, *s.* socas; hoslodrau.

**Boot-jack**, *s.* botasyr; offeryn i dynu botasau.

**Boot-leg**, *s.* (*boot* a *leg*) coes botas, botasgoes.

**Bootless**, *a.* (*boot* a *less*) anfuddiol, diles, difudd, ofer, difantais, anolo, dilwydd.

**Bootlessness**, *s.* (o *bootless*) anfuddioldeb, aflesoldeb, dilesoldeb.

**Bootmaker**, *s.* (*boot* a *maker*) botaswr, cwranwr, bwtaswr, cwranydd.

**Boots**, *s.* (o *boot*) esgidwas, botaswas, bwtwas.

**Boottopping**, *s.* (o *boot* a *top*) bottopiad.

**Boot-tree**, } *s.* botasbren, botasweddyg, botweddyg; gweddyg *neu* bren botas.
**Boot-last**, }

**Booty**, *s.* (Sw. *byte*; D. *bytte*: Is. *buit*) anrhaith, ysbail, ysglyfaeth, ysglyf, ysbleddach, ysgafael, esgafaeth, caffaeliad; praidd, preiddin.

Thou shalt be for a booty unto them—ti a fyddi yn wasarn iddynt (*Hab.* ii. 7).

To play booty—chwareu twyll; chwareu llaw wèn; chwareu y ffon ddwybig; hocedu; gwneuthur hoced; gwneuthur lliw o beth; chwareu yn dwyllodrus; chwareu gyda bwriad i golli.

To get booty—ysbeilio, anrheithio, ysglyfio, ysglyfaethu, ysglyfu, ysglyfied, preiddio.

**Bopeep**, *s.* (*bo* a *peep*) migymgudd, migymguddiad, micymguddiad.

To play bopeep—migymguddio, micymguddio, mig ymguddio, mic ymguddio, chwareu mig ymguddio, chwareu mic ymguddio, gwareu salltu, chware mig, chwareu cudd ac ymddangos.

**Borable**, *a.* (o *bore*) tylladwy, ebilladwy.

**Boquet**, *s.*=*Bouquet*.

**Borachio**, *s.* (Ysp. *borracho*) meddwyn: †costrel, potel, baril.

**Boracic**, *a.* (o *borax*) borasig, halasig; perthynol i halas *neu* boracs.

Boracic acid — sur borasig, sur halasig, sur halas, sur boracs.

**Borage**, *s.* (Ll. *borago*, cyfnewidiad *cor* ac *ago*) bronwerth, llawenlys, tafod yr ych, glesyn, tafod y fuwch.

Common borage—bronwerth, tafod yr ych, llawenlys, glesyn cyffredin, glesyn, tafod y fuwch.

**Borate**, *s.* (o *borax*) hal, blawr, *neu* halan boras.

**Borax**, *s.* (Ar. *boracon*) halas, boras, boracs= math o ddelid neu ddefnydd fferyllaidd, arferedig yn benaf i asio metteloedd.

**Bordage**, (S. *bord*) bordaeth, borttal; tir bord.

**Bordel**, } *s.* (Ff. *bordel*; It. *bordello*) puteindy, trythylldy, trythyllfa.
**Bordello**, }

**Bordeller**, *s.* (o *bordel*) ceidwad trythylldy *neu* buteindy.

**Border**, *s.* (Ff. a Llyd. *bord*; Al. *borde*) ymyl, cyffin, ffin, goror, terfyn, cyffinid, min, cwr; min, bargod; ymylgylch, ymylwaith, cant, cantel, cylch, cylchwy, hem, hemiant, amaerwy, eirionyn, or, gorwy, gororwy, emyl, miniog, cymminiog, ael, godre, (*pl.* godreon, godrau), dibl, gorddibed, carddagl; gwely.

Borders of a country—cyffiniau, terfynau, *neu* ororau gwlad; eithafoedd, eithafion, minion, blaenau, ardaloedd, *neu* dueddau gwlad; cyfrwng deudir; cynghyd deudir; cydiad dau dir.

Land on the borders—amminiogdir, amminioctir, miniogdir, cyffindir, ymyldir; tiroedd cytterfyn; tiroedd wrth *neu* am y terfyn; tir amminiog, tir cyffiniol.

Border of a garment—ymyl, ael, eirionyn, cylch, hem, ymylgylch, rhimp, gwrym, godre, *neu* amaerwy gwisg *neu* ddilledyn.

They make broad their phylacteries, and enlarge the borders of their garments—y maent yn gwneuthur yn llydain eu cadwadogion, ac yn gwneuthur ymylwaith eu gwisgoedd yn helaeth.

Ornamented, worked, *or* laced border of a garment—ymylgylch, ymylwaith, hemwaith, amaerwy, gwregys, eirionynau, *neu* dlysau dilledyn; llafn *neu* lain yn nghylch gordreon.

The utmost borders—y cyrau eithaf; eithafion, eithafoedd, eithaf, y terfynau eithaf.

**Border**, *v.* cyffinio, ffinio, ymylu, terfynu; hemio, cyriogi; eirionynu, terfynu ar; ffinio *neu* gyffinio â.

To border together—cyffinio â'u gilydd; bod yn gytterfynol â'u gilydd; cytterfynu â; bod am y terfyn â'u gilydd; bod yn unffin â'u gilydd; bod yn ffinio; bod yn nghyfer *neu* ar gyfer eu gilydd; cyffinio, cydffinio.

Bordering together—terfyn yn nherfyn; ar gyfer, yn nghyfer; yn ffinio *neu* yn cydffinio; cyffiniol, cydffiniol.

To border upon—terfynu *neu* ymylu ar; ffinio *neu* gyffinio â; bod derfyn yn nherfyn â; bod ffin yn ffin *neu* yn gydffin â; bod yn gytterfynol *neu* am y terfyn â; ffinio, cyffinio, cydffinio, *neu* gydymylu âg; ymylu *neu* ffinio ar.

Falsehood borders upon truth—y mae y gau a'r gwir derfyn yn nherfyn.

Bordering near *or* upon—cytterfynol, terfynol, cyffiniol, cydffin, unffin, amminiog; ugos i *neu* at; cyfagos; nesaf at; ar *neu* am y terfyn; cyfnesaf; yn cyffwrdd; yn cyrhaedd at; o'r gymmydogaeth; ar fin *neu* ymyl.

To border a garment—ymylu, eirionynu, *neu* hemio dilledyn.

**Bordered**, *p. a.* (o *border*) ymylog, eirionynog, amaerwyog, godreol, godreog, cyriog, gwrymiog; âg iddo ymylwaith, ymylgylch, *neu* amaerwy.

**Borderer**, *s.* (o *border*) cyffiniwr, cyffinydd, cymmydog: *pl.* amminogion, cyttirogion, cyffinwyr, cyffinyddion, cymmydogion, eithafigion, bargodiaid.

**Bord-halfpenny,** *s.* (S. *bord*) tir bwrdd, tir bord, tir y ford, borttir; maenor *neu* randir cynnaliaeth.
**Bord-load,** } *s.* bordlwyth, bordglud.
**Bord-lode,** }
**Bord-man,** *s.* deiliad borttir, bord-ddeiliad.
**Bord-service,** *s.* bordwasanaeth, byrddwasanaeth, bord-ddaliad.
**Bordure,** } *s.* (Ff.) rhimgylch, ymylgylch.
**Border,** }
**Bore,** *v.* (S. *borian;* Is. *booren;* Ab. *bohren*) tyllu, ebillio, taradu, taradru, träu, trulio, trydyllu.
To bore through—trydyllu; tyllu trwy, tyllu trwodd.
Bored through—trydwll, (*f.* trydoll), trydyllog, tyllog, tylledig.
Bored through the head—pendwll, (*f.* pendoll), pendyllog.
The horse bores—y mae y ceffyl yn cario ei drwyn tua'r llawr; mae y ceffyl yn tyllu.
**Bore,** *s.* twll, trydwll, ceuedd, mantor, trwydd, trydd, ceudwll, treudwll, ceudod; tyllydd, trwyddyr, trwyddew, ebill, taradr, treiddew, cethrol, tryddew.
The bore of a gun—ceudwll dryll, ceudod dryll, ceuedd dryll, mantor gŵn, gyndwll.
The bore of a pipe—ceudwll pibell, cau pibell, ceuedd pib, trydwll pib.
The bore of a lock—twll clo.
**Bore,** *s.* hygre, tonrwyg, gorlif=ymdywalltiad sydyn y morlif neu y gorllanw i mewn i afon neu i gulfor cyfyng; llanw ar lanw.
The bore of the Severn—hygre Hafren, tonrwyg Hafren.
**Bore-cole,** *s.* tyllfresych.
**Boreal,** *a.* (Ll. *borealis*) gogleddol, gogleddig; perthynol i'r gogledd *neu* i'r gogleddwynt.
**Boreas,** *s.* (Ll. a Gr.) gogleddwynt, gwynt y gogledd, oerwynt y gogledd.
**Boree,** *s.* (Ff.) math ar ddawns neu gorelw.
**Borer,** *s.* (o *bore*) tyllydd, tyllwr, tylliedydd; taradr, tarad, ebill, trwyddew, treiddew, tryddew, trul, rhwmp: treubryf, tyllbryf, tyllydd=math o forbryf.
**Boring,** *s.* (o *bore*) tylliad, treiddiad, ebilliad, treuad, treiddiad, traidd, truliad; twll.
Boring machines—tyllermigion, ermigion tyllu.
Boring bits—treubillion.
**Born,** *p. p.* (o *bear*) ganedig, genedig; à anwyd, à aned; gwedi ei eni; hanedig; yn hanu; anianol, naturiol, genedigol, cynnwynol, cynhenid.
To be born—geni, cael genedigaeth, cael ei eni; hanu.
Alas that ever I was born!—gwae fi erioed fy ngeni!
They go astray as soon as they are born—o'r bru y cyfeiliornant.
To be born again—adeni, aileni, ail eni, geni drachefn.
Born again—adanedig, adenedig, ailanedig, adenedigol; wedi ei ail eni; gwedi ei ail- *neu* ad-eni.
To be born of, } geni, hanu, tarddu, *neu* ddisgyn o;
To be descended from, }
dyfod o lwynau *neu* o gorff.
He was born of good parents—ganwyd ef o rieni da.
Thou art born of kings—o freninoedd y'th hanwyd; henaist o freninoedd.
And such as are born of them—a'u plant; a'r sawl a enir o honynt.
He also was born to the giant—efe hefyd oedd fab i'r cawr.
Man that is born of woman—dyn à aned o [wraig.
Man is born unto trouble—dyn a aned i flinder.
He was born under an evil planet—ar awr ddrwg y ganwyd ef; dàn blaned ddrwg ei ganwyd ef; dàn blaned drom y ganwyd ef.
Before I was born—cyn fy ngeni.
Since I was born—er pan ym ganwyd; er pan y'm ganwyd; er pan ym ganed; er ym oed.
I was born thirty years ago—ganwyd fi drideg mlynedd yn ol; cefais fy ngeni ddeng mlynedd ar ugain yn ol; ganed fi er ys trideg mlynedd.
Nobleman born—pendefig cynnwynol; pendefig o waedogaeth; pendefig diledryw *neu* ddiledach.
They that are *or* shall be born after—olafiaid, oliaid; y to *neu* yr oes à ddel; y rhai à ddeuant; yr oes *neu* y to à ddel ar ol; y byd à ddel ar ol; y rhai a ddoant ar ol; y to nesaf; hiliogaeth, hil, epil, epiledd, essill, essillydd, essillyd; plant ac ŵyrion.
Bred and born—gwedi ei eni a'i fagu; wedi ei eni a'i ddwyn i fyny.
He was bred and born in Cardiganshire—ganwyd a magwyd ef yn Ngheredigion; cafodd ei eni a'i ddwyn i fyny yn Ngheredigion; yn Ngheredigion y ganwyd ac y meithrinwyd ef.
He was born and brought up in England—ganwyd a magwyd ef yn Lloegr.
Well-born—boneddig; boneddig cynnwynol; boneddig o waed; yn dyfod o dylwyth *neu* deulu da; diledach, diledryw, urddasol.
Born of mean parentage—à lledach *neu* ledryw ynddo; iselwaed, o waed isel, iselradd, lledachog, lledrywiog; yn dyfod o dylwyth *neu* deulu iselradd.
First-born—cyntafanedig, cyn-anedig, cynanedig, cynblentyn; cynfab, cynferch.
Elder-born—hynaf-anedig, hyn-anedig, hynaf.
New-born—newydd-eni, newydd-anedig.
Only-born—unig-anedig, unigenid.
Born before the time—erthyl, annhymmig; à esgorwyd arno cyn tymp; un genedig cyn tymp.
Still born—marw-enedig, marw geni; à anwyd yn farw; à enir yn farw.
Still-born child—plentyn marw-anedig; plentyn à anwyd yn farw; plentyn marw; erthyl.
Born together—cydanedig, cydenedig.
Born at a birth, } gefeilliaid, gefellod.
Born at one birth, }
Born of such a stock—gwedi tyfu, hanu, *neu* ei eni o ryw ach; yn dyfod, disgyn, *neu* hanfod o ryw garennydd, teulu, tylwyth, *neu* welygordd.
Born to a thing—genedig i beth, wedi ei eni i beth; wrth enedigaeth, *neu* wrth dreftadaeth; dyfod i beth wrth etifeddiaeth.
We are not born of fornication—nid drwy buteindra y cenedlwyd ni.

Borne, *p. p.* (o *bear*) dygiedig, cludedig, godd-efedig, &c.
Borne, *s.*=*Bourn.*
Boron, *s.* un o'r defnyddiau neu sylweddau elfenol; sawd elfenol sur borasig.
Borough, *s.* (S. *burg, burh, beorh, beorg;* Is. ac Al. *burg, berg*) bwrdeisdref, breindref, tref freiniol, tref fwrdeisiol.
Borough, *s.* (S. *borhoe*) gwaesafas; bwrdais.
Borough-head, Borough-holder, } *s.* penbwrdais, pen bwrdeisdref, maer, penfaenorydd.
Borough-master, *s.* treflywydd, treflyw, dinasfaer, maer, penswyddog bwrdeisdref, pencais tref.
Borrachio, *s.* twythygl, twythruglydd, twythrwbyr, rhwbiedydd yr India.
Borrel, *a.* (S. *bure*) difoes, trwsgl, (*f.* trosgl), trwstan, gwladaidd, garw.
Borrow, *v. a.* (S. *borgian;* Al. ac Is. *borgen*) echwyna, benthyca, benthycio, banddygio, benthygio, echwyno, llogi; ceisio benthyg; ceisio yn fenthyg; ceisio yn echwyn; cymmeryd echwyn.
To borrow at interest—llogi; echwyna *neu* fenthyca ar log; cymmeryd *neu* gael yn llog; cymmeryd ar log.
Borrow not without cause—na chymmer echwyn heb achos.
To borrow of one to pay another—benthyca gàn un i dalu arall; treiglo y geiniog; agor un bwlch i gau y llall.
Man that borrowed his own spirit—dyn yr hwn nid oes ganddo ond benthyg ysbryd.
Borrow, † *s.* benthyg, echwyn; benthyciad, echwyniad.
Borrowed, *a.* (o *borrow*) benthyg, echwyn; echwynol, benthyciol; echwynedig, benthyciedig, llogedig.
Borrowed money—arian benthyg, arian echwyn.
It was borrowed—benthyg oedd.
Borrowed clothes have no warmth—nid cynhes dillad benthyg.
Borrower, *s.* (o *borrow*) benthyciwr, echwynwr, echwynydd, benthygiwr, llogwr; derbynydd echwyn *neu* fenthyg.
It shall be, as with the lender, so with the borrower—bydd yr un ffunud i'r hwn a roddo ac i'r hwn a gymmero echwyn.
Borrowing, *s.* (o *borrow*) echwyniad, benthyciad, benthygiad, banddygiad, cymmeriad echwyn.
Borsholder, *s.* (o'r S. *buhr* ac *ealdor*) penbwrdais, pen maerdref, maer, penfaeronydd, pen treddegwm.
Boscage, *s.* (hen Ff.; yn awr *bocage;* It. *bosco;* Al. *busch*) coed, prysgoed, prysgwydd, gwig, coedwig, tewgoed, prysg, brycini; coettir, tir coedog; prysgwaent, prysgwerydre.
Boschas, *s.* (Ll. *boscas*) hwyad wyllt.
Bosket, Bosquet, Busket, } *s.* (It. *boschetto*, bychanig o *bosco*) llwyn, coedlwyn, prysglwyn, pryslwyn; llwyn mewn gardd.
Bosky, *a.* (o *boscage*) coedog, coediog, llawn coed, prysgoedog, prysgol, prysgog, prysain, prysol.
Bosom, *s.* (S. *bosm, bosum;* Is. *boezem*) monwes, mynwes; bron, calon; cofl, afell, asgre, cesail, llofres, brocen, bronwedd; cilfach.
Bosom friend—cyfaill monwesol, cyfaill calon, cyfaill anwylaf, cyfaill monwes.
He is one of my bosom friends—un o'm cyfeillion mynwésol ydyw; cyfaill calon i mi ydyw; un o'm cuaf gyfeillion yw efe.
The wife of thy bosom—gwraig dy fonwes; dy wraig fonwesol; dy wraig anwylaf *neu* anwylgu.
Bosom enemy—gelyn monwesol; cyfaill twyllodrus *neu* fradwrus; twyll ei gydymaith; cyfaill gau, geu-gyfaill.
Bosom of a shirt—cryslain; mynwes crys; agoriad crys.
The bosom of the earth—monwes *neu* galon y ddaiar.
The bosom of the deep—monwes y dyfnder; eigion y môr; monwes y môr.
With his books in his bosom—â'i lyfrau yn ei lofres.
To put into one 's bosom—monwesu, mynwesu; rhoi, rhoddi, *neu* osod yn ei fonwes; cofleidio.
Bosom, *v. a.* monwesu, mynwesu; cofleidio, coleddu, dodi, rhoi, *neu* osod yn y fonwes; celu, cuddio.
Bosom up my counsel—trysora ym cynghor yn dy fynwes; rho fy nghynghor i gadw yn dy fonwes.
Boson, *s.* (llygriad o *boatswain*)=*Boatswain.*
Bosporian, Bosphorian, } *a.* (o *Bosporus* neu *Bosphorus*) balaog, morfalaog; perthynol i gulfor rhwng deufor.
Boss, *s.* (Ff. *bosse*) boglyn, boglwm; bolglwm, bogeilglwm, pwmpl, cnap, clob, clop, clopa, oddf, oddfyn, cnwc, hwrwg, cnwb, pothon, pothan, botwm, clöen, clöyn; tor; twdd, twddf.
Boss of the navel—bogeilglwm.
Boss of a shield—boglyn, boglwm, *neu* foth tarian.
Upon the thick bosses of his bucklers—trwy dewdwr torau ei darianau.
Bossed, *a.* (o *boss*)=*Bossy.*
Bossage, *s.* (o *boss;* Ff. *bossage*) corbed, tyddfaen; tyddwaith.
Bossive, *a.* (Ff. *bosse*) cam, crwca; afluniaidd, anferth.
Bossy, Bossed, } *a.* (o *boss*) boglynog, boglymog, botymog, bolglymog, cymhibog, bogeiliog, cnapog, clopog; oddfog, tyddfog, pwmplog, cnycog; chwyddedig allan.
Bostrychite, *s.* (Gr. *bostruchos*) llofnem; gem ar ddull cudyn o wallt.
Botanic, Botanical, } *a.* (Gr. *botanicos*) llysieuol, llysieuaidd, llysonol, llysonig, llyseuol, llyseuaidd, planigol.
Botanic garden—gardd blanigion, llysieuardd, llyseuardd, gardd lysiau, gardd lyseuol, llyseufa, llysieufa.
Botanist, *s.* (o *botany*) llysieuwr, llysieuydd, llyseuwr, llyseuydd, llysonydd, planigydd, planiadur.
Botanize, *v. n.* llyseua, llyseuo, llysieua; astudio planigion *neu* lysiau.
Botanology, *s.* (Gr. *botanê* a *logos*) llysieuaeth, llyseueg, llysieudraith, llysdraith.
Botanomancy, *s.* (Gr. *botanê* a *manteia*) llysarmes, llysddewiniaeth, dewiniaeth â llysiau.
Botany, *s.* (Gr. *botanê*) llysieuaeth, llysieueg, llyseuaeth, llysoneg, llysoniaeth, planigaeth.
Botargo, *s.* (Ysp.) math o selsig Italaidd, â wneir o ronell y pysg mingrwn.

**Botch**, *s.* (It. *bozza*) llynoryn, cornwyd, ploryn, llwg, chwaren, crachen, penddüyn, oddf, oddfyn; gweli crawnllyd; brasglwt, brasglwtyn; braswaith, clytwaith, bonglerwaith, trwstanwaith.

**Botch**, *v. a.* brasglytio, brasdaclu, clytio, brasgyweirio; cyweirio yn drwsgl; anharddu, anurddo; llynori, cornwydo, plorynu, gwelïo.

**Botcher**, *s.* (o *botch*) brasglytiwr, brasdrwsiwr; brasbwythwr, brasdaclwr; clytiwr, bongler, bwngler, cyweiriwr trwsgl, gweithiwr anghelfydd.

**Botcherly**, *a.* (o *botcher*) trwsgl, trwstan, brasglytiol, brasweithiol, anghelfydd, bwngleraidd.

**Botchery**, *s.* (o *botcher*) clytwaith, brasglytwaith, braswaith, trwsglwaith, bonglerwaith.

**Botchy**, *a.* (o *botch*) llynorog, plorynog, cornwydlyd, cornwydog, gwelïog, penddüynog, chwarenog, crachog.

**Bote**, *s.* (Ff. *botte*) iawn, daffar, dadolwch; tâl; pethau anghenrheidiol, rheidiau.

**Boteless**, *a.* (*bote* a *less*)=*Bootless.*

**Both**, *a.* (S. *butu, butwu; batwa;* Is. ac Al. *beide*) y ddau, dau, y ddwy, dwy, deuoedd, dwyoedd; pob un o'r ddau; y naill a'r llall.

Both of us, / We both, } ni ein dau; y naill a'r llall o honom; ein dau; ein deuoedd; ni ein deuoedd; ni ein dwy; ein dwy; ein dwyoedd; ni ein dwyoedd.

Both of you, / You both, } chwi eich dau; eich dau; eich deuoedd; chwi eich deuoedd; chwi eich dwy; eich dwy; eich dwyoedd; chwi eich dwyoedd; y naill a'r llall o honoch.

Both of them, / They both, } hwy eill dau; hwy ill dau; hwy eu dau; eu dau; ill *neu* eill dau; eu deuoedd; hwy eu deuoedd; y naill a'r llall o honynt.

Both of us are here—yr ydym ni ein dau *neu* ein deuoedd yma; yr ym yma ein dau; yr ym yma ein dwy.

Why should I be deprived of you both in one day?—pa ham y byddwn yn amddifad o honoch eich dau mewn un dydd?

They went both of them together—hwy a aethant ill dau yn nghyd.

Both of them made a covenant—hwy a wnaethant gynghrair ill dau.

He made both one—efe a wnaeth y ddau yn un.

The land shall be forsaken of both her kings—gwrthodir y wlad gàn ei dau frenin.

Both came thither—y ddau a ddaethant yno; daeth y ddau yno; daethant yno eu dau *neu* eu deuoedd.

Both the women were there—yr oedd y ddwy wraig yno.

Both were seen together—gwelwyd y ddau yn nghyd.

The Pharisees confess both—y mae y Phariseaid yn addef pob un o'r ddau.

Both of them were thieves—lladron oedd y naill a'r llall o honynt; lladron oeddent eill dau.

Both parties—y ddwy blaid, y ddwy ochr, y ddwyblaid, y ddeuliw, y ddwyliw, y ddau, y ddeutu, y ddeuddyn.

They were both females—dwy fenyw oeddent; benywod oedd y ddwy.

On both sides—o'r ddeutu, o bob tu, o bob ochr, o'r ddeuparth, o bob parth; wyneb a gwrthwyneb; wyneb a chefn.

Jack of both sides—Siôn bob ochr; à chwareuo y ffon ddwybig; à fedr chwareu y ffon ddwybig; deuochrog; deuwynebog.

Many were slain on both sides—llawer o bob tu a laddwyd.

The tables were written on both their sides—y llechau a ysgrifenasid o'u dau du.

Both the Indies—y ddwy India.

The archbishops of both provinces—archesgobion y ddwy dalaeth.

Both ways—yn y ddwy ffordd; yn y ddwyffordd; pob un o'r ddwy ffordd; yn mhob un o'r ddwy ffordd.

Both-handed—deheuig o bob llaw; dwylawdde, dwylawddeog.

**Both**, *c.* yn gystal, cystal; hefyd.

Both morning and evening—yn gystal bore a hwyr; bore a hwyr.

Both now and ever—yr awr hon a phob amser; nan a byth.

Both the quick and the dead—y byw a'r meirw; yn gystal y byw a'r meirw; y byw yn gystal a'r meirw.

A great multitude both of the Jews and also of the Greeks—lluaws mawr o'r Iuddewon ac o'r Groegwyr hefyd.

Both by sea and land—ar fôr ac ar dir; ar fôr a thir.

**Bother**, *v. a.* (Gw. a Gael. *bodhair; C. byddaru;* Cern. *bothur*) syfrdanu; dyrysu, dwndro, dadwrdd, trybestu.

**Bother**, *s.* syfrdandod, baldordd, dwndwr; dyryswch.

**Bothrodendron**, *s.* (Gr. *bothros* a *dendron*) pydwydden; *pl.* pydwydd.

**Botrychium**, *s.* (o'r Gr. *botrus*) lloerlys, lloerredynen.

**Botryllarians**, / **Botryllariæ**, } *s. pl.* (Gr. *botrus*, swp grawnwin) grabogion=enw teulu o'r Dibenogion noeth.

**Botryoid**, / **Botryoidal**, } *a.* (Gr. *botrus* ac *eidos*) grawnsypiol, grawnsypiaidd, grawnsypynaidd; grabaidd, gronynaidd, gronynol, gronynog; ar ddull sypiau grawnwin.

**Botryolite**, *s.* (Gr. *botrus* a *lithos*) grawnfaen, grabfaen.

**Bots**, *s. pl.* (Ff. *bout*) euddon, gwyrn; pryfigedd; pryfed y perfedd: *sing.* euddonyn, gwyrnyn.

**Bottle**, *s.* (Ff. *bouteille;* Ysp. *botella*) potel, costrel; potelaid, costrelaid.

A bottle of wine—potelaid *neu* gostrelaid o win; costrel *neu* botel o win.

She opened a bottle of milk—hi a agorodd gunnog o laeth (*Barn.* iv. 19).

A small bottle—costrelig, costrelan, potel fechan.

Glass bottle—costrel wydr, potel wydr.

Leather bottle—costrel groen, potel ledr.

Sucking bottle—sugnbotel, sugn-gostrel, costrel sugno, potel sugno.

Bottle-ful—costrelaid, potelaid; llonaid potel *neu* gostrel.

Bottle of hay—sopen, sypyn, bwrn, *neu* drwsa o wair; sopen wair.

Bottle ale, / Bottled ale, } cwrw potel; cwrw poteledig *neu* gostreledig; cwrw o'r botel.

Bottle case—potelgaes, potelgist, costrelgist.

Bottle companion, } cydyfwr, cydbotiwr,
Bottle friend, } cyfddïotwr, cyfeddachwr; cyfaill wrth y botel.
Bottle flower, } cramenog yr yd, penlas yr
Blue bottle, } yd, penlas wèn.
Bottle-nosed — trwynbwt, trwynbant, trwynfawr, trwynbotel.
Bottle skrew—sidrwy potel, asgrwy costrel; corcyll, corcasgrwy, corcysgrwy.

Bottle, *v. a.* potelu, costrelu, potelo; rhoddi *neu* ddodi mewn costrel *neu* botel.

Bottling, *s.* (o *bottle*) poteliad, costreliad.

Bottom, *s.* (S. *botm*; Is. *bodem*) gwaelod; sail, sylfaen, sylfon, sylfan, gwadn, llawr; godre, troed; gwraidd, sawdd, sawd, gwys; gwaddod, gwaelodion, llorion, rhytion; pant, dyffryn, ystrad, allmor, glyn, cwm; tin, cwt, ysgwt; llong, llestr.
Bottoms—gwaelodion, gwaddod, gwaddodion, llorion, rhytion.
Bottom of beer—gwaddod *neu* waelodion cwrw.
To sink into the bottom—gwaelodi, gwaddodi; disgyn i'r gwaelod; suddo i'r gwaelod.
In the bottom—yn y gwaelod.
It stands upon a good bottom—y mae yn sefyll ar sail dda; y mae yn esmwyth, yn glyd, *neu* yn gynhes yn y byd; y mae mewn amgylchiadau esmwyth yn y byd; y mae efe mewn sefyllfa dda yn y byd.
From the bottom—o'r gwaelod; o'r sail, o'r gwadn, o'r gwraidd; yn llwyr.
He made its bottom of gold—ei lawr a wnaeth efe o aur.
To sift an affair to the bottom—chwilio mater i'r eithaf; chwilio peth i'r gwaelod; chwalu mater yn drwyadl; gogrynu peth i'r gwaelod.
I would see the bottom of it—mynwn weled ei eithaf.
The bottom of the story — sylfaen *neu* wreiddyn y chwedl; gwaelod y chwedl.
At the bottom of the altar—wrth droed yr allor.
I went down to the bottom of the mountain—disgynais i odre y mynydd.
The bottom of the hill—troed y bryn; troed yr allt; troed y fron.
The bottom of the cliff—troed y rhiw.
The myrtle-trees that were in the bottom —y myrtwydd y rhai oeddent yn y pant.
The veil of the temple was rent from the top to the bottom—llèn y deml a rwygwyd oddi fyny hyd i waered.
To the very bottom—i'r eigion; i'r eigion eithaf; i'r gwaelod eithaf; i'r dyfnder eithaf.
The bottom of the sea—gwaelod y môr: eigion y môr; gwaelod y dyfnder; y dyfnfor.
In the bottom of the sea—yn ngwaelod, yn eigion, *neu* yn nyfnder y môr.
From the bottom of my heart—o eigion fy nghalon; o waelod fy nghalon.
Bottom land—panttir, pant, dyffryn, ystrad, cwm, doldir, dol, pantle, llawnt.
A little bottom—cwmarch, pannwl, gobant.
There is no bottom in his voluptuousness—nid oes terfyn i'w lythineb; nid oes gwaelod i'w loddest.
To fix one's bottom—ymsefydlu; gwneuthur ei sefyllfa yn dda *neu* sicr.
At the bottom of the street—yn ngodre yr heol; yn mhen isaf yr heol.
Bottom of thread—pellen o edafedd; pelen o edafedd.
They embarked on the same bottom—ymunasant yn y perygl; ymunasant yn y gorchwyl.
Better spare at the brim than at the bottom—wrth ddechreu *neu* yn nechreu y dorth y mae tolio; yn ngeneu y cwd y mae cynnilo.
A horse of good bottom—ceffyl o ruddin da; march mettelus.

Bottom, *v.* dirwyn, gwaelodi; seilio, sylfaenu; gorphwys ar; pellenu.
To bottom a chair—gwaelodi cader; rhoi gwaelod i gader.

Bottomed, *a.* (o *bottom*) â gwaelod iddo; gwaelodol: arferedig mewn cyfansoddiad.
Flat-bottomed—gwaelod-lydan; gwaelodwastad; gwastad ei waelod; âg iddo waelod llydan; llydan ei waelod; digrwn ei waelod; gwastad-waelod.
Broad-bottomed—gwaelod-lydan; llydan ei waelod; â gwaelod llydan iddo; âg iddo waelod llydan; engwaelod; llydan-waelod; llydansail.

Bottomless, *a.* (*bottom* a *less*) diwaelod; heb waelod.
Bottomless pit—pwll diwaelod; affwys, annwn, annwfn, anoddyn, llynclyn, caddugl yn, caddugfa, noddyn.

Bottomry, *s.* (o *bottom*) llongwystl=arian echwyn ar long.

Bottoned, } *a.* (Ff. *boutou*; C. *botwm*) bal-
Botoned, } groesedig, boglymgroes.

Bottony, }
Botone, } *s.* (Ff. *bouton*; C. *botwm*) boglym-
Bottone, } groes, balgroes.

Bouchet, *s.* (Ff.) math o beren.

Boud, *s.* (Ff. *bout*) ydys, ydysydd, bragys, ydbryf, ydysbryf.

Boudoir, *s.* (Ff.) neilltugell, cuddigl, cuddgell; tlysgellan.

Bouge, *v. n.* (Ff.) chwyddo allan; cestu.

Bouge, † *s.* arlwy, ymborth, darmerth.

Bough, *s.* (S. *bog*, *bogh*, *boh*) cangen, cainc, cang, caing, clofen, gwrysgen, osgl, osglen, brigyn: *pl.* cangenau, cangau, ceinciau, ceingiau, gwrysg, clofenau, osglau, brig, brigau.
A little bough—cangenig, cangenan, brigyn.
Large boughs—bras geinciau, bras gangau, praff geinciau.
Thick boughs—tewfrig, cauadfrig, caeadfrig.
Green bough—cangen ir, irlas, *neu* werdd.
Dead bough—cangen grin.
Full of boughs—cangog, cangenog, ceinciog, brigog, osglog, clofenog, tewfrig, cauadfrig; llawn brigau.
Top-boughs—brig, brigau.
Two or three berries in the top of the uppermost bough—dau neu dri o rawn yn mlaen y brig.
When the boughs thereof are withered—pan wywo ei brig hi.

Bought, *p. p.* (o *buy*) prynedig, prŷn; â brynwyd.

**Bought**, *s.* (Is. *bogt*) camedd, plyg, plygiad, ystum, ystumiad; tro, troad, nydd-dro, trofa; dolen, tresddolen; cwlwm, clwm.
**Boughty**, *a.* (o *bought*) cam, plygol, troawl.
**Bougie**, *s.* (Ff.; Ysp. *bugia*) taeniadyr, truddiadyr = math ar offeryn llawfeddygol neu brofiadyr.
**Bouille**, *s.* (Ff.) sic-lysgig; cig wedi ei fallferwi gyda llysiau.
**Bouillon**, *s.* (Ff. *bouillir*) cawl, isgell, potes, cigdrwyth.
**Boulder**, } *s.* (o *bowl*) crynfaen, caregan, gro-
**Bowlder**, } faen; *pl.* crynfain, crynfeini, caregos, grofeini, creigarnau.
Boulder stones, } creigarnau, talpau gwib-
Boulders, } iog, treiglarnau.
Boulder-wall—mur crynfain, grofeinwal; mur *neu* wàl o geryg crynion.
**Boulet**, } *s.* (Ff.) rhagblyg egwyd, swrn-
**Boulette**, } ogwydd.
**Boult**, *s.*=*Bolt*.
**Bounce**, *v. n.* (Is. *bouzen*) neidio, ysboncio, cyrneidio, cyrchneidio; ysgortio, trystio, toncio, tloncian; ysboncio allan dàn drystio *neu* glindarddach; taro nes neidio yn ol; curo, ysbancio, pancio, pwmpio; bostio, bocsachu, ymffrostio; bygylu.
To bounce at a door—ysbancio drws; pwyo drws â sawdl.
**Bounce**, *s.* naid, ysbonc, cyrnaid; cyrchnaid; ysgort; pwmp, panc, ergyd, clap, tonc, trwst; ffrost, ymffrost, bwgwl: ysbancydd=math o forgi.
**Bouncer**, *s.* (o *bounce*) ffrostiwr, bocsachwr, rhodreswr; bygylwr.
**Bouncing**, *a.* (o *bounce*) cryf, ffyrf, grymus, cydnerth, pybyr, hoenus, bywiog, glew, gwych; mawr a thrwm; cyrchneidiol, cyrneidiol.
A bouncing lass—llach o lodes, cloben o lodes, llafnen o eneth, tolffen o eneth, crotes.
A bouncing child—plentyn gwrygiannus, hoenus, eidiog, bywiog, *neu* gnodig; plentyn grymus a gweisgi.
A bouncing lad—gwas gwych, llanc pybyr, dyn dewrwych, ymladdwr pybyr, llach o lanc.
**Bound**, *s.* (o *bind*; Norm. *bonne*, *boune*, *bond*) terfyn, ffin, cyffin, ffinedd, cyffinid; eithaf; goror: rhimp, cylched.
He made the sea the bounds of his kingdom—efe a wnaeth y môr yn derfynau i'w deyrnas.
There are no bounds to his generosity—nid oes terfyn ar ei haelioni; nid oes dyben i'w haelioni ef.
To keep within bounds—cadw o fewn terfynau; cadw rhag myned dros y llestri; attal, cyfattal, ffrwyno, rhagod, rhwystro.
Bound-stone, } careg chware, maen
Bounding stone, } chwareu.
To set bounds—gosod terfynau; terfynu.
The meeting of bounds—cytterfynau, cyffiniau, cydiad terfynau.
**Bound**, *s.* (Ff. *bondir*) naid, llam, cyrchnaid, cyrnaid, crychnaid, ysbonc, cyrchlam, crychlam, adlam.
**Bound**, *v. a.* terfynu, ffinio, cyffinio; gosod terfynau; ffrwyno, attal, caethiwo.
Bounded by—terfynedig *neu* derfynol gàn; â derfynir gàn; yn gytterfyn *neu* gytterfynol âg; terfyn yn nherfyn â; am y terfyn âg.
Wales is bounded by the sea — terfynir Cymru gàn y môr.
The Welsh language is bounded within narrow limits—cynnwysir y Gymraeg o fewn terfynau cyfyng.
We must bound our wishes—rhaid i ni gadw ein dymuniadau o fewn terfynau; rhaid i ni ffrwyno, attal, *neu* gaethiwo ein dymuniadau; rhaid rhoi attalfa ar ein dymuniadau.
**Bound**, *v. n.* (Ff. *bondir*) neidio, llamu, ysboncio, cyrchneidio, crychneidio, cyrneidio, crychlamu, cyrchlamu; adlamu, llemain, arlamu, dychlamu, gwrthneidio.
**Bound**, *p. a.* (o *bind*) rhwym, rhwymedig; dàn rwymau, dàn rwymedigaeth; dyledus; caeth, caethedig; clymedig.
Whither are you bound?—i ba le yr ydych yn rhwym? i ba le yr ych chwi yn myned? i ba le yr ydych yn hwylio? pa le yr ych yn myned? i ba le yr ewch?
We are bound to thank God — dïolch a ddylem i Dduw; y mae arnom rwymau dïolch i Dduw; yr ydym yn rhwym i ddïolch i Dduw.
Thou mayest be bound up—fel y'th iachäer.
His life is bound up in the lad's life—y mae ei hoedl ef yn nglŷn wrth hoedl y llanc.
A ship bound from Liverpool to Dublin—llong yn rhwym o Lynlleifiad i Ddulyn; llong rwym o Lynlleifiad i Ddulyn.
We are bound to *or* for Swansea — yr ydym yn rhwym i *neu* am Abertawy.
Bound bailiff, } ceisbwl, gwysiwr, gafael-
Bum bailiff, } wr, isgeisiad; cynffon y gyfraith.
**Boundary**, *s.* (o *bound*) terfyn, ffin, cyffin, ffinfa, terfynfa, cyffinid, ffinedd, cylched.
Boundary stone—ffinfaen, maen ffin, careg ffin, maen terfyn, orfaen, terfynfaen, tirfaen.
**Bounden**, *a.* (o *bind*) rhwym, rhwymedig; dyledus, iawn, cyfiawn.
It is our bounden duty—ein rhwymedig ddyled yw; mae yn ddyledswydd rwymedig arnom.
Of bounden duty—o rwym *neu* rwymedig ddyled.
Our bounden service—ein dyledus wasanaeth.
**Bounder**, *s.* (o *bound*) terfynydd; terfyn, cyffin.
**Boundless**, *a.* (*bound* a *less*) diderfyn, annherfynol; anfesurol, anfesuredig, annherfynedig, difesur, anfesuradwy; diddiwedd; didran; heb ddiwedd, heb derfyn.
Boundless power—gallu anfeidrol, gallu diderfyn, &c.
**Boundlessness**, *s.* (o *boundless*) annherfynoldeb, annherfynolrwydd, anfesuroldeb, anfesuri.
**Bounteous**, *a.* (o *bounty*)=*Bountiful*: arferedig yn benaf mewn prydyddiaeth.
**Bounteousness**, } *s.* haeledd, haelionusrwydd,
**Bountifulness**, } haelioni, haelwychedd, haelgarwch, rhoddgarwch, haelder, haelusrwydd, elusendod, cirioldeb, cirwn, hygedrwydd, daioni, cedolrwydd, cymmwynasgarwch, haelionedd, madedd, syberwyd.
**Bountiful**, *a.* (*bounty* a *full*) hael, haelionus,

haelwych, rhoddgar, haelgar, clusenol, elusengar, hyged, cedol, daionus, cymmwynasgar, hyrodd, heilin, bronheilin, hyddawn, doniog, hyddoniog, llawegor, ciriol, cedrwys, lladol, darladol, madiain, mad, digyrrith, rhwyddged, dibrin, helaeth, helaethwych, rhywiog, rhwyddgalon.
  Deal bountifully with thy servant—bydd dda wrth dy was.
  He that soweth bountifully, shall reap also bountifully—yr hwn sydd yn hau yn helaeth, a fed hefyd yn helaeth.
  To be bountiful—bod yn hael *neu* haelionus; dangos haelioni *neu* haeledd.
  To become bountiful — haeluso, haelu; dyfod *neu* fyned yn hael.

Bountihede, Bountihead, Bountihood, † *s.* daioni, haelioni, haeledd, rhinwedd.

Bounty, *s.* (Ff. *bonté;* It. *bonta;* Ll. *bonitas*) haelioni, haeledd, haelder, daioni, dawn, rhodd, cedrodd, haelrodd, ceinrodd, llad, bendith, madedd, mad, haelged, cir, ciried.
  Make up beforehand your bounty—rhagddarparwch eich bendith.
  Queen Anne's bounty—rhodd y frenines Ann; haelioni y frenines Ann; cedrodd y frenines Ann; arian-rodd y frenines Ann.
  All this he gave her of his royal bounty—hyn oll a roddodd efe iddi o'i freninol haelioni.
  Bounty money—arian rhodd, rhodd arian; alafrodd, arian-rodd.
  Excessive bounty — rhyhaeledd, gorhaeledd.
  Bounties of providence — lladau rhagluniaeth; hael roddion rhagluniaeth; haelioni *neu* haelderau rhagluniaeth.

Bouquet, *s.* (Ff.) blodeuas, blodeuglwm, blodas.

Bourd, † *s.* (Ff. *bourde*) cellwair.

Bourgeois, *s.* (Ff.) math o argraff-lythyren.

Bourgeon, *v. n.* (Ff. *bourgeonner*) tarddu, tarddu allan, baldarddu, blaendarddu, blaguro, egino, impio.

Bourn, Bourne, *s.* (Ff. *borne*) terfyn, cyffin, goror.

Bourn, Bourne, † *s.* (S. *burn;* Al. *brunnen*) nant, cornant, afonig, carog.

Bouse, Boose, *v. n.* (Llyd. *beuzi;* C. *boddi;* hen Is. *buysen*) meddwi, yfed, ymyfed, dyfolio, dyfoli, abrwysgo, dïota, cofftio.

Boustrophedon, *s.* (Gr. *bous* a *strephô*) budroad, ychdro, ychdroad, buchdroad=dull o ysgrifenu, yn mhlith y Groegiaid boreol, o'r dde i'r chwith, ac o'r chwith i'r dde, bob yn ail, fâl ych yn y wedd.

Bousy, Boosy, *a.* (o *bouse*) meddw, abrwysg, gofrwysg, lledfeddw; mewn dïod; dïodgar.

Bout, *s.* (Ff.; It. *botta*) tro, chwyl, siâs, ysias; cais, cynnyg, praw; ffrwgwd.
  This bout—y tro hwn; y siâs hon; y waith hon; y chwyl hon; y chwel hon; ar hyn o chwyl *neu* dro.
  At one bout—ar un waith; ar unwaith.
  Shall we have a bout at it?—a gawn ni wneuthur prawf, ymbrawf, cais, *neu* gynnyg arno? a gawn ni dro *neu* siâs arall arno *neu* arni.
  A drinking bout — cyfeddach, cydyfed, term, term cyfeddach.
  A merry bout—awrddifyr, noswaith lawen, gŵyl mabsant.
  Let us have a merry bout of it to-day—gadëwch i ni gynnal *neu* gadw gŵyl mabsant heddyw; gwnawn ŵyl mabsant o honi heddyw; cadwn heddyw yn ŵyl mabsant.

Boutade, *s.* (Ff.) chwim, nwyth, nwythas, asbri, pranc.

Boutant, *s.* (Ff.) cromwanas, crymwanas.

Boutefeu, *s.* (Ff.) ffaglydd, ffaglwr, ffleimiad, tylosgwr, banffaglwr; terfysgwr, aflonyddwr; cynhenwr.

Boutisale, *s.* (*booty-sale?*) iselwerth, iselbris, iselwerthiad.

Bovate, *s.* (Ll. *bovata*) ychgyfar, cyfar ych= 28 erw yn ol Cowel; cymmaint o dir ag a ardda ych mewn blwyddyn.

Bovid, *a.* (Ll. *bos*, ych) buchol, buchin, buol, biwol.

Bovidæ, *s. pl.* (Ll. *bos*) bufilod, ychfilod, buogion, bucholion, ycholion=milod o'r un rhywogaeth a'r ych.

Bovine, *a.* (Ll. *bovinus*, o *bos*) buchol, buchin, buwchol, buol, ychol, ychaidd; perthynol i'r ych.
  The bovine genus—y buchryw, yr ychryw, rhyw yr ych.
  This animal is the strongest of the bovine genus—yr anifel hwn yw y cryfaf o ryw yr ych; yr anifel hwn yw y cryfaf o'r bufilod, y bucholion, *neu* y buogion.
  The bovine ark—yr ychol arch.

Bow, *v.* (S. *bugan, bygan;* C. *bwäu;* Al. *biegen*) plygu, crymu, camu, ymgrymu, ymostwng, gostwng, gestwng, iselu, darostwng; dolenu, doli; gogwyddo, tueddu; bwäu.
  To bow down—gostwng, gestwng, crymu; gostwng i lawr; plygu i lawr; tynu i lawr.
  They bow down together—cydgrymant.
  They shall bow themselves down together—cydymgrymant.
  Bow down thy ear—gostwng dy glust; gogwydda dy glust.
  To bow one's self—ymgrymu, ymostwng, ymblygu, &c.
  It is better to bow than to break—gwell yw plygu na thori; gwell plygu na thori.
  He bowed the heart of all the men of Judah—efe a drodd galon holl wŷr Iudah.
  To bow the head—gostwng pen, crymu pen, gostwng y pen; ymgrymu.
  They bowed down their heads—ymgrymasant; crymasant eu penau.
  Bow down your heads to the dust—gogwyddwch *neu* gostyngwch eich penau i'r llwch.
  Bow thy head to a great man—gostwng dy ben i wr mawr.
  The people bowed down to their gods—y bobl a addolasant eu duwiau hwynt.
  He would not bow to a proud man—nid anrhydeddai efe ddyn balch; nid ymgrymai i ddyn balch.
  To bow the knee—plygu glin; plygu gâr; ymgrymu i un.
  To me every knee shall bow—i mi y plyga pob glin.
  I was bowed down at the hearing of it—syrthiais wrth ei glywed.
  To bow together—cydgrymu, cydblygu.

To bow into a hook—bachu; plygu yn fach.
To bow round—amgrymu, amblygu, amgylchu, cylchu.
Bowed like an arched roof—nen-grwm, bwaog; gogrwm fel bwa maen.

**Bow**, *s.* bwa; bwa saeth; crymiad, ymgrymiad, pengrymiad; crwcad; gostwng, ymostwng; gwyrag, gwragen, dolen, dol; magl.
Bent bow—bwa annelog, bwa ar annel.
To bend a bow—annelu bwa.
To unbend a bow—dadannelu bwa, dadennylu bwa.
Bow and arrow—bwa a saeth.
Steel bow—bwa dur.
Battle bow—bwa rhyfel.
To draw a bow—annelu bwa; gosod bwa ar annel.
Well-drawn bow—bwa annelog, annelog fwa.
Bow case—cod bwa, caes bwa.
Cross bow—albrys, bwa croes, croesfwa, blif.
Long bow—bwa hir, hirfwa.
The use of the bow—saethyddiaeth, saethiadaeth, bwäyddiaeth.
Rain-bow—enfys, enfysg, yr enfys; bwa yr arch, bwa y Trindod, bwa y gwlaw, bwa y wrach.
Bow of a violin—bwa crwth.
Ox-bow—dôl, dolen, gwragen, dôl iau, gwary.
Bow-knot—cwlwm dolen, clwm dolen.
Bow-pin—gwarllost, gwarbin, gwarog.
Bow of a ship—fflureg, pen blaen llong.
Lean bow—fflureg gul.
Bold bow, Bluff bow, } fflureg lydan, fflureg dren.
Bow of a saddle—cambren cyfrwy, bwa cyfrwy, camedd blaen cyfrwy.
Bow instruments—bwa-offer, offer bwa; offer tannau â chwareuir â bwa.
Running-bow—byddag, byddagl, tagfagl, tagfyddag.
As swift as an arrow out of a bow—cynted a'r gwynt; càn gynted a'r gwynt; cynted a'r awel; mòr gyflym a'r awel; cynted a'r saeth oddi ar y bwa.

**Bowable**, *a.* (o *bow*) plygadwy, camadwy, hyblyg.

**Bowbearer**, *s.* (*bow* a *bear*) gwigfanagwr=isswyddog y goedwig.

**Bowbent**, *a.* (*bow* a *bent*) cam, crwca, (*f.* croca), bwaog, bwaol.

**Bowcompasses**, *s. pl.* (*bow* a *compass*) crymgwmpas, camgwmpas.

**Bowdye**, *s.* (*Bow*, lle ger Llundain, a *dye*) math o ysgarlad; airos Bow, lliw Bow.

**Bowhand**, *s.* (*bow* a *hand*) y llaw â drinia y bwa; llaw y bwa.

**Bowel**, *v. a.* (gwel *Bowels*) diberfeddu; tynu allan yr ymysgaroedd.

**Bowel**, *s.* perfeddyn, coluddyn.

**Bowelless**, *a.* (*bowel* a *less*) dïymysgaroedd; didosturi, dideimlad.

**Bowels**, *s. pl.* (Ff. *boyau*; Al. *bauch*) ymysgaroedd, amysgaroedd; perfedd, coluddion, coludd; tosturi: *sing.* amysgar, ymysgar, coluddyn.
Bowels of compassion—ymysgaroedd tosturi; tosturi, trugaredd, gresyndod, gresyni.
The bowels of the earth—ymysgaroedd *neu* berfedd y ddaiar; dirgelion y ddaiar; bru y ddaiar.
It came into his bowels like water—daeth fel dwfr i'w fewn.
Two manner of people shall be separated from thy bowels—dau fath ar bobl a wahenir o'th fru di.
Where is the sounding of thy bowels toward me?—mae lluosogrwydd dy dosturiaethau tuag ataf fi?
From the bowels of his mercy—o eigion ei drugaredd.
My bowels yearn after him—cynhyrfir fy nghalon gàn dosturi tuag ato.
Pain of the bowels—coluddwst, poen y coluddion.

**Bower**, *s.* (S. *bur*; o *bow?*) deildy, cysgotty, gwasgotty, gwasgodfa, celli, llwyn, gwasgodlwyn, gwasgodwydd, celydd; mwd; cuddigl, cilgell; cotty, gwlatty.
Lady's bower—cudd y coed, dringiedydd, barf y gwr hen.

**Bower**, *v.* celyddu, gwasgodi, cysgodi; amgau; llettya.

**Bower**, *s.* (o *bow*, fflureg) blaenangor, angor blaen, angor y fflureg, angor blaen llong.

**Bowers**, **Bowrs**, } *s. pl.* (o *bow*, plygu) plygyrion, plygorion=y cyhyrau à blygant y cymmalau.

**Bowery**, *a.* (o *bower*) celyddog, celyddig, deildyog, gwasgodog, gwasgodaidd, cysgodaidd, cysgodog, cysgodig, llwynaidd, mydaidd.

**Bowet**, **Bowess**, } *s.* (?) hebogan, hebog ieuanc.

**Bowge**, *v. n.* (Ff. *bouge*) chwyddo allan, cestu, ymchwyddo.

**Bowge**, *v. a.* trydyllu, tyllu, trywanu.

**Bowgrace**, *s.* (*bow* a *grace*) blaenddiffyn=peth i gadw pen blaen llong rhag niwed gàn ia, yn y moroedd rhewllyd.

**Bowing**, *s.* (o *bow*) bwad.

**Bowl**, *s.* (S. *bolla*; C. *buelin*) cawg, mail, cogan, cawgen, ffiol, cwpan, meilen; basarn.
Large bowl—trwca; cogan fawr.
Small bowl—meilen, meilan, cogan, cawgen.
The bowl of a spoon—pen llwy.
Bowl-ful—cogaid, meilaid, cawgaid; llonaid mail *neu* gawg.

**Bowl**, *s.* (Is. *bol*; Ff. *boule*; Ysp. *bola*) cnapan, cnapen, cwnell, pelan, pel, bwl, pel dreigl, treiglen.
To play at bowl—chwareu cnapan; chware pel dreigl.

**Bowl**, *v.* bwlio, bylio, pelu, peldreiglo, treiglo; chwareu cnapan; cnapluchio; taflu.

**Bowlder**, **Boulder**, } *s.*= { *Boulder*. *Bowlder*.

**Bowleg**, *s.* (*bow* a *leg*) coes gam, bèr gam, camgoes.

**Bowlegged**, *a.* (o *bow* a *leg*) coesgam, gargam, bergam.

**Bowless**, *a.* (*bow* a *less*) difwa, heb fwa.

**Bowler**, *s.* (o *bowl*) bwliwr, byliedydd; chwareuwr cnapan, chwarëydd pel dreigl.

**Bowline**, *s.* (Ysp. a Port. *bolina*) hwylraff, hwylreffyn.

**Bowling**, *s.* (o *bowl*) chware cnapan, bwliad, byliad.

**Bowling-green**, **Bowling-ground**, } *s.* pelgadlas, treiglesin, cnaplas.

**Bowman**, *s.* (*bow* a *man*) saethydd, saethwr, bwäwr, bwëydd, bwedydd; blaenrwyfwr.

**Bowman of a boat**—blaenrwyfwr bad, blaenrwyfydd cwch.
**Bownet**, *s.* (*bow* a *net*) cryw, crowyn, perced, balleg, ballegrwyd.
**Bowpiece**, *s.* (*bow* a *piece*) blaen-gyflegr; cyflegr à gàrir ar ben blaen llong.
**Bowsaw**, *s.* (*bow* a *saw*) plyglif, cromlif.
**Bowse**, *v. a.* (?) tynu, llusgo, cyttynu.
**Bowssen**,† *v. a.* (o *bouse* ?)=*Bouse, Boose.*
**Bowshot**, *s.* (*bow* a *shot*) ergyd bwa.
**Bowsprit**, *s.* (*bow* a *sprit*; Is. *boegspriet*) osghwyliar, osghwylbren, yr hwylbren gogwyddedig.
**Bowstring**, *s.* (*bow* a *string*) llinyn bwa, cordyn bwa, carai bwa.
**Bow-window**, *s.* cromffenestr, ffenestr grom.
**Bowyer**, *s.* (o *bow*) saethydd, saethwr, bwëydd.
**Box**, *s.* (S.; Ll. *buxus, pyxus*) blwch, blochas, golwrch, coffr, cist, prenial, cloer, byle, prenfol; llogawd, llawgist; hawg; bwl; blychaid, golyrchaid, coffraid.
  Box, Box-tree, } ysbeinwydd, bocys, coed bocys, bocs, bocyswydd: *sing.* ysbeinwydden, bocysen, boden, pren bocys, bocs.
  Box-wood—ysbeinwydd, coed bocys.
  Box-thorn—bocysddraen, bocysddraenen, bocys pigoglym.
  Box-grove—llwyn bocys, bocys-lwyn.
  Full of box—bocysog; llawn o focys *neu* ysbeinwydd.
  As pale as box—mòr las a'r angeu; cyn *neu* càn lased a'r angeu.
  Little box—blychyn, byle, goflwch.
  Poor box—cyff elusen, elusen-gist; coffr *neu* flwch elusen.
  Garden box—hawg gardd; hafdy.
  Christmas box—calenig, rhodd Nadolig.
  Dice box—ffristiol, ffristial, blwch disiau, disflwch.
  Ballot box, Balloting box, } tugelgist, blwch y tugel.
  Letter box — llythyrgell, llythyrgist, llythyrgloer.
  Box of a skrew—gwain asgrwy, gwain sidrwy, trowain.
  A box of ointment—blwch o enaint; blychaid o enaint.
  Spice box— perflwch, blwch peroglau.
  Spitting-box—poerflwch, blwch poeri.
  Salt box—crwth halen, cist halen.
  Coal box—hawg glo, ysgutell glo, ysgudell lo, crwth glo.
  A box of tea—blychaid o de.
  Coach box — cerbydgist, cludgist, cludseddfa, eisteddle gyrwr cerbyd.
  Wooden box — prenfol, prenial; blwch coed, blwch pren.
  Box and needle—compawd; blwch a nydwydd.
  Box-maker—blychwr, blychydd, golyrchwr; saer blychau, &c.
  Boxes in a play-house—côrau chwareudy, seddau chwareudy; cuddiglau *neu* logodau mewn chwareufa.
  Box of a wheel—both olwyn; bwl troell.
  Box-ful — blychaid, golyrchaid, llonaid blwch.
  You are in the wrong box—yr ydych maes o'ch amcan; yr ych chwi wedi colli y ffwyl; yr ych chwi allan o'ch lle; yr ych yn camgymmeryd.
**Box**, *v. a.* blychu; rhoi mewn blwch; bothi.
  To box a tree—tyllu coeden; trychu coeden i gael ei sudd; gollwng sudd pren.
  To box the compass—cyfrif pwyntiau y cwmpas; pwyntrifo y compawd.
**Box**, *v. a.* (Ysp. *boxar*) amhwylio, hwyliaw o amgylch, cylch-hwylio.
**Box**, *s.* (C. *boch*) dyrnod, cernod, bonclust, cernhep, llach, chwap, palfod.
  Box on the ear—bonclust, cernod, cernhep; dyrnod yn mon clust.
  To give a box on the ear—bonclustio.
  He gives himself a shrewd box on the ear —y mae yn poeri i'w fonwes ei hun.
**Box**, *v.* dyrnodio, bonclustio, cernodio, cernhepio; paffio, llachio, cobio, chwapio, ymbaffio.
  To box on the ear—bonclustio, cernodio, cernhepio; dyrnodio yn mon clust.
  To box together—ymddyrnodio, ymfonclustio, ymgernodio, ymbaffio, ymgobio; ymladd â dyrnau.
**Boxcoat**, *s.* (*box* a *coat*) trosgoban, troshugan cerbydwr.
**Boxen**, *a.* (o *box*) bocysaidd, ysbeinwyddain; o bren bocys; perthynol i'r ysbeinwydd *neu* y bocys.
  Boxen wood—ysbeinwydd, coed bocys, bocyswydd.
  Boxen pipe—pib focys, pibell focys.
  Boxen hue—bocysliw, lliw y bocys, lliw bocys.
  Her cheeks of boxen hue—ei gruddiau o liw 'r bocys.
**Boxer**, *s.* (o *box*) dyrnodiwr, paffiwr, paffiedydd, cysbwywr, ymladdwr, ymbaffiwr, dyrnymladdwr, ymladdwr â dyrnau.
**Box-haul**, *v. a.* pwynt-hwylio.
**Box-hauling**, *s.* pwynt-hwyliad.
**Boxing**, *s.* (o *box*) dyrnodiad, paffiad; paffiadaeth, dyrnodiaeth, dyrn-ornest.
  Boxing bout, Boxing match, } dyrnodfa, dyrnodwaith, dyrn-ornest; ymladdfa, ffustfa; ymdrech *neu* ymornest â dyrnau.
  Boxings of a window—cloeriadau ffenestr.
**Boy**, *s.* (anhysbys) bachgen; llanc, llencyn, mab, herlod, hogyn, bachgenyn, hoglanc, glaslanc, macwy; rhocyn, crwt, crwtyn.
  A little boy—bachgenyn, herlotyn, bachgen bach, gwesyn: *pl.* bechgynos.
  Little boys—bechgynos; bechgynach.
  A rustic boy—crwt, crwtyn, rhocyn: *pl.* crytiaid, hogiau gwledig.
  Errand-boy—negeswas, negeslanc.
  Cabin-boy—cellwesyn, cabanwas.
  Servant-boy—gwesyn; ymlyniad; gwas.
  A soldier's boy—macwy, milwrwas.
  Post boy—llythyrwas.
  School boy—bachgen mewn ysgol; bachgen ysgol; ysgoläig.
  Boys and girls — bechgyn a genethod; meibion a merched.
  A son while he is a boy—mab cyd bo mab.
  He is past a boy—y mae wedi gadael ei febyd; aeth allan o'i faboed; nid bachgen mo hono mwyach.
  Boys' play — chwareu plant; chwareu bachgenaidd *neu* blentynaidd.
  He has left boy's plays — gadawodd ei deganau; gadodd ei chwareuon plentynaidd; rhoes heibio ei bethau bachgenaidd.

I was then but a boy—nid oeddwn y pryd hwnw ond bachgen *neu* hogyn.
**Boy,** *v. a.* bachgenu; trin fel plentyn; ymddwyn fel plentyn.
**Boyar,** } *s.*= { *Boiar.*
**Boiar,** } { *Boyar.*
**Boyau,** *pl.* **Boyaux,** *s.* (Ff.) rhyngwyth.
**Boyer,** *s.* math o long Fflemig.
**Boyhood,** *s.* (*boy* a *hood*) bachgendod; mebyd, maboed, plentyndod, llencyndod, hogyndod.
**Boyish,** *a.* (o *boy*) bachgenaidd, bachgenol, llencynaidd, plentynaidd, llancaidd, hogynaidd, mabaidd, mebinaidd.
A boyish swain—bugeilwas llencynaidd.
**Boyishness,** *s.* (o *boyish*) bachgendod, bachgenrwydd, bachgeneiddrwydd, llencyndod, plentyndod, plentyneiddwch, mabanrwydd.
**Boyism,** *s.* (o *boy*) bachgendod, bachgenrwydd, plentyndod, plentyndra, mabanrwydd; mebinedd, mabolaeth.
**Boy's-play,** *s.* chwareu plant, difyrwch bachgenaidd, chwareu bachgenaidd; chware hogiau *neu* lanciau.
**Brabble,**† *s.* (Is. *brabbelen*) ymgiprys, ymgecraeth, cecraeth, ymddadwrdd, crintach, ymryson, ffrwgwd, terfysg, cynhwrf.
**Brabble,**† *v. n.* ymgiprys, ymgecru, ymgegu, ymeirio, cecru, ymddadyrddu, &c.
**Brabbler,**† *s.* ymgecrwr, ymgegwr, cecryn, cecrwr, cynhenwr, ymdaerwr, &c.
**Braccate,** *a.* (Ll. *braccatus*, o *bracca*) llodrog.
**Brace,** *s.* (Ff. *bras;* Ysp. *brazo*) creffyn, craff, rhwymyn, rhwym; lleg; pâr, cwpl, cwplws; cydnod; tyndra, tynder; dalgarai; seirch, trec.
Braces (in typography)—cydnodau, cyplysnodau, cyfreion=fel hyn { }
Braces — cyfreion; cyplysau, craffau, clymeion.
A brace of ducks—pâr o hwyaid, cwpl o hwyaid.
A brace of dogs—cwpl o gŵn.
Braces of a drum—craffau tabwrdd; tynrwymau tabwrdd.
Braces of a coach—cyfreion cerbyd, dalgareion cerbyd, crogledrau cerbyd.
Brace of pistols—dau lawddryll.
In warlike brace—mewn trec rhyfelgar.
It has lost its brace—collodd ei graff; collodd ei dyndra.
Braces of a ship—dalraffau llong, llegraffau llong.
Braces for pantaloons—cyfreion llodrau.
**Brace,** *v. a.* creffynu, rhwymo, cydio, cyfrwymo, cydrwymo, cydglymu, clymu, cyplysu; gwregysu; tynhau, cryfhau, grymusu; cydio â chraffau; tynrwymo; tynu yn dyn.
Bracing girdle—gorwregys.
**Bracelet,** *s.* (Ff. *bracelet, brasselet*) breichled, breichrwy, breichwisg, breichdlws, breichledr; arddyrnas, arddyrndlws.
Wearing a bracelet—breichrwyog, breichledog, breichdlysog.
**Bracer,** *s.* (o *brace*) cyfrwymydd, cyfrac, cyfrwymyn, creffyn, rhwymyn, clymai; breichwisg, breichrwy; rhwymai, dirglymai: *pl.* cyfreion, cyfrwymau, dirglymolion, argaeolion, rhwymolion, &c.
**Brack,** *s.* (Ff. *braque;* Is. *brak*) huadast, bytheuadast.
**Brachelytra,** *s. pl.* (Gr. *brachus* ac *elutron*) byrweinogion=dosbarth o drychfilod caesadeiniol.
**Brachial,** *a.* (Ll. *brachialis*, o *brachium*, braich) breichiol, breichus, breichaidd; perthynol i'r fraich.
The brachial artery—rhydweli y fraich.
**Brachiate,** *a.* (Ll. *brachiatus*) breichiog; parosglog.
**Brachiopoda,** } *s. pl.* (Gr. *brachiôn*, braich, a
**Brachiopods,** } *pous*, troed, ped) breichbedogion = math o fywiaid dwygragenog â'u breichiau yn gwasanaethu yn lle traed a choesau.
**Brachiopod,** } *s.* breichbedog, breichbedogyn;
**Brachiopode,** } un o'r breichbedogion.
**Brachiopodous,** *a.* (Gr. *brachion* a *pous*) breichbedogol, breichbedogaidd; perthynol i'r breichbedogion.
**Brachman,** } *s.* (San.) un o athronyddion, llen-
**Brahman,** } orion, neu offeiriaid yr Hindw-
**Brahmin,** } aid: *pl.* Brachmaniaid, Brah-
**Bramin,** } maniaid, Brahminiaid, Braminiaid, Braminwys.
**Brachycatalectic,** *a.* (Gr. *brachus* a *catalecticos*) byrgoll; â fo ddwy sill yn rhy fyr.
**Brachycatalectic,** *s.* byrgoll, mydr byrgoll; pennill rhy fyr o ddwy sill.
**Brachygrapher,** *s.* (Gr. *brachus* a *graphô*) byrysgrifydd, byrysgrifenydd, byrysgrifwr, byrysgrifiwr, byrysgrifenwr.
**Brachygraphy,** *s.* (Gr. *brachus* a *graphê*) berysgrifiaeth, byrysgrifiaeth, bersgrifiaeth, berysgrifen, llaw fèr.
**Brachylogy,** *s.* (Gr. *brachus* a *logos*) beriaith, byriaith, byrdraith, byrebiaeth.
**Brachypodinæ,** *s. pl.* (Gr. *brachus* a *pous*) byrbedogion, tresglod troedfyr.
**Brachyptera,** *s. pl.* (*brachus* a *pteron*) byrednogion, byradenogion, adar byradeiniog.
**Brachypterous,** *a.* byradeiniog, adeinfyr.
**Brachypus,** *s.* (Gr. *brachus* a *pous*) byrbedog; y fronfraith droedfer.
**Brachytypous,** *a.* (Gr. *brachus* a *tupos*) byrddulliog.
**Brachyurous,** *a.* (Gr. *brachus* ac *oura*) byrlostog, byrgynffonog, cynffonfyr.
**Bracing,** *a.* (o *brace*) rhwymol, dirglymol, cryfhaol; tynhaol.
Bracing medicines — rhwymolion, dirglymolion, argaeolion, cryfhaolion.
A bracing air—awyr cryfhaol.
**Bracing,** *s.* cyfrwymiad, cydrwymiad, cydglymiad, creffyniad, craffad; tynhad, cryfhad.
**Brack,** *s.* (Al. *bracke, bruch;* Norm. *brek*) breg, agen, toriad, briw, twn; llwgr.
**Bracken,** *s.* (Al. *breche*) rhedyn.
**Bracket,** *s.* (Ff. *braquer;* Ll. *brachium*) ysgwyddyn, ystanc, gobenyddiad, cynnalbren; crymfach, camfach.
Brackets — crymfachau, 'camfachau = fel hyn [ ].
**Brackish,** *a.* (Is. *brak*) halltaidd, hallt, helïaidd, lled hallt, halenaidd, hallaidd.
**Brackishness,** *s.* (o *brackish*) halltrwydd, helltni, halltedd, halltineb, gohalltedd.
**Bracky,**† *a.* (Is. *brak*)=*Brackish.*
**Bract,** } *s.* (Ll. *bractea*) deiligen, blodeilen.
**Bractea,** }
**Bracteate,** } *a.* (Ll. *bracteatus*) blodeilog,
**Bracted,** } deiligol.
**Bracteolate,** *a.* (o *bracteole*) blodeiligol.
**Bracteole,** *s.* (Ll. *bracteola*) blodeiligen.

**Brad**, *s.* (Gw. *braid, brod;* D. *braad;* Llyd. *broud*) llorhoel, hoel ddiglop, hoelen lorio, hoelen foel.
Brad-awl—mynawyd llorhoel, mynawyd llorio.
**Bradypoda,** } *s. pl.* (Gr. *bradus*, araf, a *pous*,
**Bradypods,** } troed) musgrellogion, arafolion.
**Bradypterus**, *s.* (Gr. *bradus* a *pteron*) arafednog; *pl.* arafednogion.
**Bradypus**, *s.* (Gr. *bradus* a *pous*) arafbed, musgrellog.
**Brae,** } *s.* (C. *bre*) bron, llechwedd, llethr;
**Bray,** } glàn, torlan afon; bryn, bre, banttir: arferedig yn yr Alban.
**Brag**, *v. n.* (o'r C.) ffrostio, ymffrostio, bragio, brolio, bostio, bocsachu, brolian, rhydresu, gwagfostio, bragal.
**Brag**, *s.* bost, ymffrost, ffrost, broled, brawl, brol, bocsach, gwagfost, rhodres.
He makes grievous brags—y mae yn ofid calon i un ei glywed yn bragio; y mae yn flinder calon ei glywed yn ffrostio *neu* rodresu.
**Brag**, *s.* chwareu ar gardiau.
**Braggadocio**, *s.* (o *brag*, o'r hwn y ffurfiodd Spenser ei farchog *Braggadocchio*) broliwr, ffrostiwr, bostiwr, ymffrostiwr, bocsachwr, bragiwr.
**Braggart,** } *s.* (o *brag*) ffrostiwr, ymffrostiwr,
**Bragger,** } broliwr, bostiwr, bocsachwr, rhodreswr, ymfolachwr, bragiwr.
**Braggart**, *s.* ffrostus, bostfawr, ffrostfawr, bostus, ffrostiol; rhodresgar.
**Bragget**, *s.* (o'r C.) bragod, bragawd, bragodlyn.
**Bragging**, *s.* (o *brag*) ffrostiad, ymffrostiad, bostiad; bost, ffrost, ymffrost.
**Bragless**, *a.* (*brag* a *less*) diffrost, difost, dïymffrost.
**Brahmin**, *s.*=*Brachman*, &c.
**Brahmanic,** } *a.* (o *Brahman*, &c.) Brahminig,
**Brahminic,** } Brahmanig, Brahminaidd; perthynol i Frahminiaid yr India.
**Braid**, *v. a.* (S. *bredan;* hen Seisoneg *brede*) plethu, brwydo, crychu, modrwyo.
Braiding machines — pleth-ermigion, ermigion plethu.
**Braid**, *s.* pleth, rhwymbleth.
Braids of a loom—brwyd, brwydau, peithynau.
A braid of hair—cudyn, llofn, llyweth, *neu* fodrwy o wallt; pleth o wallt; cudyn modrwyog.
**Braided**, *p. a.* (o *braid*) plethedig; cymhleth; crych.
**Brail**, *s.* (Ff. *brayer*) crychraff, plygraff, hwylraff; hebogrwym.
Brails—crychraffau, plygraffau, hwylraffau.
**Brail**, *v. a.* codi i'r crychraffau; crychreffynu, crychraffu.
**Brain**, *s.* (S. *brægan, bregen;* Is. *brein*) ymenydd, emenydd, menydd.
Brains—ymenydd; synwyr, deall.
The external membrane of the brain (*dura mater*) — y crefadyr; pilen allanol yr ymenydd; arbilen yr emenydd.
The middle membrane of the brain (*arachnoid membrane*)—y gopwebilen; breithell yr ymenydd; pilen ganol yr ymenydd.
The innermost membrane of the brain (*pia mater*)—yr isgrefadyr; isbilen yr ymenydd; pilen isaf yr emenydd.
The hinder part of the brain (*cerebellum*) —olymenydd, gorymenydd, gormenydd, yr emenydd bychan.
The tunicle *or* membrane involving the brain—pilen *neu* bilionen yr ymenydd; croenen y menydd.
Had I had my brains—pe buasai synwyr dyn ynof.
His brains are addle—y mae wedi pendroni; y mae penwendid arno; nid oes ynddo synwyr gŵydd; y mae ei fenydd yn glaf *neu* yn glwc.
To dash out the brains—difenyddio, dïymenyddio; taro *neu* guro yr emenydd allan.
To beat one's brains about a thing—curo, dirbwyo, *neu* ddirboeni yr emenydd yn nghylch peth.
**Brain**, *v. a.* dïymenyddio, difenyddio; dïemenyddio; dïenyddio; taro yr ymenydd allan.
**Brainish**, *a.* (o *brain*) penboeth, pendwym, nawswyllt, gorwyllt; ffyrnig, angerddol.
**Brainless**, *a.* (*brain* a *less*) dïymenydd, dïemenydd, difenydd; disynwyr, penffol, penwan, anghall, ffol, ynfyd, ehud, anystyriol, chwidr, byrbwyll.
**Brainpan**, *s.* (*brain* a *pan*) creuan, y greuan, padell yr ymenydd, penglog; iad, siâd, siòl.
**Brainsick**, *a.* (*brain* a *sick*) penglwc, penwan, penfeddal, pensyfrdan, lledfrydig, penysgafn, penchwiban, penddarus, gorphwyllus, gwallgof, anmhwyllog, disynwyr, ffol, ehud, anystyriol, chwidr, byrbwyll, difeddwl; âg ymenydd claf *neu* glwc iddo.
**Brainsickness**, *s.* (*brain* a *sickness*) penwendid, pensyfrdandod, syfrdandod, lledfrydedd, penfeddaledd, gwallgof, gorphwyll, penfrag, penddaredd; ffolineb, ansynwyr, chwidredd, byrbwylledd.
**Brainthrob**, *s.* (*brain* a *throb*) dychlam yr ymenydd.
**Braird**, *s.* (S. *brord*) cynegin, cynfalant.
**Brait**, *s.* (?) graenem, celltem arw, adamant garw.
**Brake**, *s.* (C. *brwg;* Gw. *fraoch;* Al. *breche*) dyryslwyn, gwyddelwern, prysglwyn, prysgle, prys, prysg, gwyddle, brwg, brycell, brycini, clyn, preselyn, cardden, gwyddwal, cadberth, tewlwyn, llwyn, perth; preseldir, prysel, pryseldir, prysgyll, clynog; ffyllog: *pl.* gwyddeli, prysgoed, prysglwyni, ffyllon.
Brakes — adeinredyn, rhedyn eryraidd: *sing.* adeinredynen, rhedynen eryraidd.
Common brakes—adeinredyn eryraidd.
Rock brakes—adeinredyn y chwarelau.
Thorn brake — draenllwyn, dreinllwyn, dreinberth.
Furze brake—clŷn o eithyn, eithinog.
Fern brake—clŷn o redyn, rhedynog.
Land overgrown with fern brakes—rhedyndir.
Bramble brake—mïerinllwyn, dyryslwyn, mïerog, dyrysïog, clŷn mïeri.
It is one brake of furze—y mae yn un clŷn o eithin.
A place over-run with brake—clynog, prysain, pryseldir.
Either a brake or a bush—naill ai llwynog ai llwyn rhedyn.
**Brake**, *s.* (S. *bræcan;* C. *breg*) heisyllt,

beislan, breuan lliu, llinfreuan; braich sugnell; cafn tylino, noe bobi; genfa ffrwyn, genfa.

**Brakeman**, *s.* (*brake* a *man*) carluddiwr; attaliwr ceir ar reilffordd *neu* dramrawd.

**Braky**, *a.* (o *brake*) gwyddelain, prysglwynaidd, clynog, prysain, prysgaidd, ffylliog, preselog, dreiniog, eithinog; perthlawn, perthog; garw; llawn o ddyryslwyni, &c.

**Brama, Bream,** } *s.* (Ff. *breme;* Ysp. *brema*) y merfog, math o bysg.

**Brama, Brahma, Bruma,** } *s.* (San.) duw penaf yr Indiaid: Brama y creawdydd, Vishnw y cynnalydd, a Siva y dinystrydd, a ffurfiant Drindod yn ol duwinyddiaeth yr Hindŵaid.

**Bramble**, *s.* (S. *brembel, bremel*) mïeren, mïaren, mïar, dyrysïen, mïerïen; mwyarllwyn, mïarllwyn, dyryslwyn: *pl.* mïeri, mwyar, dyrysi, mwyeri.

Bramble bush—mwyarllwyn, mïarllwyn, mïerinllwyn, dyryslwyn; llwyn mïeri *neu* ddyrysi; mïerïenllwyn; perth fïeri; perth.

Mountain bramble—mwyaren Berwyn, mïaren Dwywan, mwyaren Dwywon, mïaren y brenin.

Hazel-leaved bramble—mwyarllwyn cyllddail; mïaren gyllddail.

Common bramble, Blackberry bramble, } mwyaren ddu, mwyarllwyn du, mïarllwyn.

Stone bramble—corfwyaren; mwyaren y ceryg.

Sooner will the oak fall than the bramble before the wind—cynt y cwymp dâr no mïaren o flaen y gwynt.

Bramble net—dyrysrwyd; rhwyd i ddàl adar.

Bramble bonds—tyrch dyrysi, tyrch mïeri.

Of a bramble bush men do not gather grapes—oddi ar y berth ni heliant rawnwin.

**Brambled**, *a.* (o *bramble*) dyrysïog, mïerïog; llawn mïeri *neu* ddyrysi.

**Brambling, Bramble,** } *s.* bonrhuddyn y mynydd=aderyn o'r enw.

The greater brambling—golfan yr eira.

The lesser brambling—golfan leiaf, yr olfan leiaf.

**Brambly**, *ad.* o (*bramble*) yn llawn o ddyrysi *neu* fïeri.

**Bramin, Brahmin,** } *s.* (San.) Bramin, Brahmin, Braminiad: *pl.* Braminiaid, Brahminiaid=*Brackman*, &c.

**Braminess, Brahminess, Braminee,** } *s.* (o *bramin* neu *brahmin*) Bramines, Brahmines, gwraig Brahmin.

**Braminical**, *a.* (o *bramin*) Braminig, Braminaidd, Brahminig; perthynol i'r Braminiaid.

The braminical system—y ddeseb Framinig; y gyfundraith Framinaidd; deseb y Braminiaid.

**Braminism**, *s.* (o *bramin*) Braminiaeth, Brahminiaeth; athrawiaeth y Braminwys.

**Bran**, *s.* (C., Gw., Gael., a Ff. *bran;* Llyd. *brenn*) bràn, eisin, rhuddion, rhuchion.

Full of bran—brànog, eisinog, rhuddionog, rhuchionog, eisinllyd, branllyd, rhuchionllyd; llawn bràn.

**Brancard**,† *s.* (Ff.) elor feirch, meirchelor; elor.

**Branch**, *s.* (Ff. *branche;* Llyd. *brancg*) cangen, cainc, caing, cang, clofen, osgl, osglen, gwrysgen, ysbag, ysbagen, colfen, braich, bàr, bàren, brigyn, pingyn, pincyn; rhan, adran; canwyllyr, ceinciadyr: *pl.* cangenau, gwrysg, ysbagau, pingau, brigau, &c.

Branch of the sea—cainc o fôr, cangen o fôr, morgainc, gwythen môr.

Young branches—ysgewyll, mabgeinciau, blagur.

Little branch—cangenig, ceincen, cangenan, planigyn; cangen fechan.

Branch of a pedigree—cainc cenedl, caing o genedl, gradd carennydd, tras, ach.

Every branch of it—pob cangen, rhan, *neu* aelod o hono.

Collateral branch—cainc ystlysol, cainc gyfarystlys; cainc ystlysol o ach; gradd gyfarystlys o genedl.

Two olive branches—dau bincyn olewydden; dwy gainc olewydden.

Branches of a bridle—cangau *neu* geinciau ffrwyn.

Branches of a stag's horn—ceinciau *neu* gangau corn carw; cornosglau *neu* gorngangau carw.

His branch shooteth forth in his garden—yn ei ardd y daw ei frig allan.

**Branch**, *v.* ceincio, cangenu; osgli, colfenu, clofenu, ysbago; tyfu yn gangenau; ymranu yn gangenau; adranu, dosranu, dosbarthu, ymranu, rhanu; tori allan, tarddu allan, ymhelaethu, helaethu.

To branch out upon a subject—ymhelaethu ar beth; llefaru yn helaeth ar ryw destyn; ymadroddi, llefaru, *neu* areithio yn faith ac yn fanol.

**Branched**, *a.* (o *branch*) ceinciog, cangog, cangenog, osglog, brigog.

**Brancher**, *s.* (o *branch*) ceinciedydd, cangenydd; canghebog, hebog ieuanc.

Large branched—llydanfrig, briglydan.

Branched with gold—eurgeinciog, eurgangenog, eurosglog.

Branched candlestick—canwyllbren ceinciog, canwyllarn cangog.

Branched work—ceincwaith, ceingwaith.

**Branchery**, *s.* (o *branch*) ceinciadau, cangeniadau; canglestri.

**Branchia, Branchiæ,** } *s. pl.* (Gr. *bragchia;* Ll. *branchiæ*) tagellau, tegyll, crogenau.

**Branchiness**, *s.* (o *branchy*) cangogrwydd, ceinciogrwydd, cangenogrwydd, brigogrwydd, osglogrwydd.

**Branching**, *a.* (o *branch*) ceinciol, cangol, cangenol, ysbagol, brigol, colfenol.

**Branchiopoda, Branchiopods,** } *s. pl.* (Gr. *bragchia* a *pous*) tagellbedogion, crogenbediaid, crogenbedogion.

**Branchiopode, Branchiopod,** } *s.* tagellbedog, crogenbedog; un o'r crogenbediaid.

**Branchiopodous**, *a.* (Gr. *bragchia* a *pous*) tagellbed, crogenbedog, crogendroed.

**Branchiostegans, Branchiostegi,** } *s. pl.* (Gr. *bragchia* a *stegos*) hulgrogeniaid, huldagellogion=math o bysgod.

**Branchiostegous, Branchiostegeous,** } *a.* (Gr. *bragchia* a *stegos*) cuddgrogenog, hulgrogenol, tagellgudd.

**Branchireme**, *s.* (Gr. *bragchia*, a Ll. *rhemus*) crogenrwyf=math o filyn.

**Branchleaf**, *s.* (*branch* a *leaf*) cangddalen, ceincddalen, cangddeilen.
**Branchless**, *a.* (*branch* a *less*) digainc, difrig, digangau, digangenau; noeth, moel, diffrwyth, noethlwm.
**Branchlet**, *s.* (o *branch*) ysbrigyn, cangenig, cangenau, ysbagen, ysbrigen.
**Branchy**, *a.* (o *branch*) ceinciog, cangenog, cangog, brigog, osglog, clofenog, colfenog, ysbagog, colfog; ymdaenol.
**Brand**, *s.* (S., Is., Al., a Sw.) tewyn, pentewyn, etewyn; llosnod, haiarnnod; dunod, gwarthnod, gwarthrudd, gwaradwydd; bollt, taranfollt; † cleddyf.
He set the brands on fire—cynneuodd dân yn y ffaglau.
**Brand**, *v. a.* llosnodi, llosgnodi, haiarnnodi; nodi â haiarn poeth; gwarthnodi, gwarthruddo, drygnodi.
To brand with infamy—gwarthnodi; nodi â gwarth, cywilydd, *neu* waradwydd.
**Brand, Burnt,** *s.* llosg=math o haint ar dyfolion.
**Brand-goose**, *s.* yr ŵydd wendorch, gŵydd wyllt, brent-ŵydd.
**Brand-iron, Branding-iron,** *s.* trybedd, trybed, tribed; llosnodyr, llosghaiarn, haiarn nodi.
**Brandish**, *v. a.* (Ff. a Port. *brandir*) ysgwyd, chwyfio, chwyfo, chwyrnellu, gnisio, dysbeilio, dysbelio, ffrowyllu, gwringellu, ewybro; ysgydwyd dân fwgwth; chwareu; cymhenu.
When I shall brandish my sword before them—pan wnelwyf i'm cleddyf ddysgleirio o flaen eu hwynebau hwynt.
To brandish syllogisms—chwareu â chyfresymau; cymhenu cyfresymau; bragio cyfresymau; brolio rhesymeg.
**Brandish**, *s.* ysgwyd, ysgydwad, gnis, dysbeliad.
**Brandisher**, *s.* (o *brandish*) ysgwydwr, ysgwydydd, ysgydwydd, chwyrnellydd, &c.
**Brandle**, † *v. a.* (Ff. *brandiller*) ysgwyd, siglo.
**Brandling**, *s.* pryf y gwlith, gwlithbryf, pryfyn y gwlith.
**Brand-new**, *a.* newydd tanlliw, newydd tanlli, newydd danlliw, newydd grai; tanllachar.
**Brandrette, Brandrith,** *s.* (o'r Ff. *brandir?*) perging, achwre=canllaw neu gledr o amgylch geneu ffynnon.
**Brandy**, *s.* (o *brande-wine*, neu *burnt-wine*; Al. *branntwein*=burnt-wine; Is. *branden*) lloswin, llosgwin, poethwin, dystyllwin, brandi.
Brandy-wine=*Brandy*.
**Brangle**, *s.* (o *wrangle?* C. *bragaldian?* Gael. *brangach?*) cecr, cecraeth, ymgiprys, harl, harlach, ymryson, ymrafael, cynhen, ceintach, ymeiriad, ymdaeniad, cynheniad, ymgecriad.
**Brangle**, *v. n.* cecru, ymgecru, ymgiprysu, ymdafodi, tafodi, harlu, ymryson, ymrafaelio, ymgynhenu, ymgeintach, ymdaeru, cynhenu, ymsenu, ymserthu, ymremial, ymddanneddu.
**Branglement**, *s.* (o *brangle*) cecraeth, ymgecraeth, ymgiprys, harlach, ymryson, ymdafodiad, &c.
**Brangler**, *s.* (o *brangle*) ymgecrwr, cecrydd, ymdafodwr, &c.
**Brangling**, *s.* (o *brangle*)=*Brangle*.
**Brank**, *s.* (*brance*, yn iaith y Galiaid gynt: 'quod illic *brance* vocant:' *Plinius*, xviii. 7.) gwenith yr hydd, gwenith y bwch.
**Brankursine**, *s.* (*brank*, a Ll. *ursus*, arth) llaw yr arth, ellddrain.
**Branlin**, *s.* byseog, bysogyn: *pl.* bysogiaid: math o eog neu faran.
**Branny**, *a.* (o *bran*) brànog, eisinog, rhuddionog, rhuchionog; branllyd, eisinllyd, rhuchionllyd, rhuddionllyd, brànaidd, eisinaidd, rhuchionaidd, rhuddionaidd.
**Bransle**, † *s.* (Ff. *branle*) dawns, corelw, cylrysddawns.
**Brant, Brent,** *s.* (*brant* = burnt?) yr ŵydd wendorch, brent-ŵydd, gŵydd wyllt.
**Brant, Brent,** *a.* (C. *bryn*) uchel, ban, bant; serth.
**Brasen, Brazen,** *a.* (o *brass*)= { *Brazen*. *Brasen*.
**Brash**, *a.* (Gw. a Gael. *bras*; C. *brys*, *brysiog*, *pres*) nawswyllt, poethnaws; byrbwyll, ehud, ffrom, rhull; tanbaid, angerddol, rhuthrwyllt; brau; pres.
**Brasier, Brazier,** *s.* (o *brass*; Ff. *braser*) presof, gof pres, efyddof, gof efydd, presweithydd; ysgutell, hawg glo, crwth glo.
**Brasil**, *s.*=*Brazil*.
**Brass**, *s.* (S. *bræs*; C. *pres*; Gw. *pras*) pres, elydr, elydn, efydd; haerllugrwydd.
Brass pan—padell efydd, efydden, padell bres.
Brass kettle—callor pres, calloran pres.
Brass cauldron—pair pres, callor pres.
Brass pot—efyddyn, crochan pres.
Greaves of brass—botasau pres; coesarnau o bres.
Brass-work — preswaith, efyddwaith, gwaith pres, gwaith efydd.
To cover with brass—presu, efyddu; gorchuddio â phres *neu* efydd.
Sounding like brass—efyddlais, preslais; fel efydd yn seinio.
Brass-paved—presgaled; mòr galed a phres.
Brass-visaged—preswynebog; â gwyneb pres; presweb; haerllug, talgryf, digywilydd.
Brass-colour—presliw, lliw pres, lliw efydd.
Fine brass—pres coeth.
Brasses—preslechau, presluniau, presgofluniau, presgoflechau, coflechau pres, cofluniau pres.
**Brassage**, *s.* (o *brass*) bathged, bathdoll, presdoll.
**Brassarts**, *s. pl.* (Ff. *brassard*) breicharnau, breichwisg, breichwisgoedd.
**Brasse**, *s.* (Al. *brassen*) brasbysg, graenbysg mànog.
**Brasset**, *s.* (o *brass*) penial, penffestin, helm, penor.
**Brassica**, *s.* (Ll.) bresych.
**Brassiness**, *s.* (o *brassy*) presogrwydd, preseiddrwydd, presinrwydd; haerllugrwydd, talgryfder.
**Brassy**, *a.* (o *brass*) presaidd, presin, presog, efyddaidd, efyddog, efyddin; haerllug, talgryf, digywilydd, afnaws.
**Brast**, † *a.* (S. *byrstan*; Is. *barsten*) ymddrylliedig, toredig, holltedig.
**Brat**, *s.* (C.; Al. *brut*) brat, bretyn, gwrengyn; plentyn, hil, hiliogaeth.
**Bravado**, *s.* (Ysp. ac It. *bravata*; Ff. *bravade*) bost, ffrost, ymffrost, bocsach, brol, gwagymffrost, gwagfwgwl.
**Brave**, *a.* (Ff.; Ysp., Port., ac It. *bravo*; Al. *brav*) dewr, glew, calonog, gwych, (*f.* gwech),

drud, eon, eofn, mawrfrydig, gwychr, dewrwych, hy, hyf, hyderus; gwronaidd, gwronol; mawreddog, uchelwych, mawrwych, mawryddig, ardderchog, godidog, rhagorol; taclus, harddwych, hoew, telediw, hoew-wych, destlus; galawnt.

Extremely brave—trylew, tryddewr, gorwych, gorhoew; tra dewr, &c.

As brave a man as ever lived—cyn ddewred gwr ag a aned erioed; càn wyched dyn ag a anwyd erioed i'r byd.

This is a brave palace—llys gwych yw hwn; palas mawrwych *neu* ardderchog yw hwn.

Iron is a brave commodity—nwydd gwych *neu* odidog yw haiarn.

A brave scholar—ysgoläig rhagorol; ysgolor gwych; dyn tra dysgedig.

Here is an exceedingly brave fire—dyma dân da dros ben.

A brave musician—cerddor cyfarwydd; perorydd gwych; un celfydd i dynu ar dannau.

A brave young soldier—milwr ieuanc esgudlym; dewr filwr ieuanc; milwr ieuanc calonog.

**Brave**, *s.* dewrwas, bygylwr, rhodreswr, heriwr, heron; bost, ymffrost, her, hew, baidd, beiddiad.

**Brave**, *v. a.* herio, arfeiddio, beiddio; rhoi her, rhoi hew; llyfasu, bygylu; gofyn gwaethaf; ymwroli *neu* ymsythu yn erbyn; gwynebu; gwynebu yn ddigryn *neu* ddigryd; dewr-wynebu; gwychfostio.

Seeing he braves me to it—gàn ei fod yn fy annog i hyny.

To brave the tempest—herio *neu* feiddio y dymhestl; rhoi hew i'r ystorm; gwynebu y dymhestl yn ddigryn; gwynebu y dymhestl; gofyn gwaethaf y rhyferthwy.

**Bravery**, *s.* (o *brave*) dewredd, dewrder, glewder, gwroldeb, dewrdra, gwrolder, glewdid, gwychder, mawrfrydigrwydd, calondid, arwredd, glewineb, gwronedd, gwroniaeth, gwriolaeth, heroniaeth; gorwychder, mawrwychedd, godidogrwydd, rhagoriaeth, harddwychder; taclusrwydd, harddwch; harddwisgoedd, dillad gwychion, pethau teg, addurnau; golwg, ymddangosiad; gwag ymddangosiad; rhodres, ymffrost, bost, ffrost.

Women's bravery—addurnau *neu* ddillynion gwragedd; harddwisgoedd menywod; dillad gwychion benywod; addurndrec merched a gwragedd; gwychderau dynesau.

**Bravo**, *s.* (It. ac Ysp.) lloglofrudd, llogleiddiad, hurlofrudd, carnlofrudd, glewddyhiryn; ysbeilydd; crogyn o ddyn, crogddyn.

**Bravo**, *in.* purion! puriawn! rhagorol! gwych iawn! da iawn! o'r goreu!

**Bravoura**, } *s.* (It. ac Ysp. *bravura*) glewddy-
**Bravura**, } gan; glewgan.

**Bravura**, *a.* (It.) ysbrydlawn, arialus, claerwych; anhawdd, afrwydd.

**Brawl**, *v.* (Al. *brüllen*; Is. *brullen*; Ff. *brailler*) cecru, ymgecru, ymgiprys, ymdaeru, ymdafodi, ymddanneddu, ymeirio, ymrafaelio, ymrafael, ymryson, ymddeintio, ymserthu, ymregu, clewtian, cwerylu; rhuo, swnio, cadw swn; cilgwthio, burthio; gyru *neu* guro ymaith.

A brawling woman—gwraig anynad; hellgre, ysgolpen, ymgecren.

**Brawl**, *s.* cecr, cecraeth, ymgecraeth, cynhen, ymryson, ymrafael, ffrwgwd, ciprys, ymgiprys, ymsen, ymdafodiad, ymdaeriad; twrdd, dadwrdd, terfysg, rhu, swn, cythrwfl;† math o ddawns.

**Brawler**, *s.* (o *brawl*) cecrwr, cecryn, cynhenwr, dwndrwr, tyrddwr, ymdaerydd, &c.

**Brawling**, *s.* (o *brawl*) cecraeth, ymgecraeth, cynhen, amryson, &c.

**Brawn**, *s.* (C. *brawn*; Ll. *aprugna*) baeddgig, cig baedd; baedd; cyhyrgig; cyhyrog; y cyhyrog, cig llywethog, brawn; y fraich; grym, nerth, cryfder.

Brawn of the arm—tewder y fraich, brawn y fraich; cyhyrog, cyhyrgig, *neu* gyhyr y fraich.

**Brawned**, *a.* (o *brawn*) cyhyrog; braisg; cryf, grymus, cadarn.

**Brawner**, *s.* (o *brawn*) baedd wedi ei ladd at ymborth; baedd at wasanaeth y bwrdd.

**Brawniness**, *s.* (o *brawny*) cyhyrogrwydd, cyhyrwch, cyhyredd, llywethogrwydd; cryfder, grym, nerth, grymusrwydd, caledrwydd; breisgedd.

**Brawny**, *a.* (o *brawn*) cyhyrog, gewynog, llywethog, brawnog; cigog, cnodig, cnawdog; braisg, ffurf, praff; cryf, grymus, nerthog; caled.

**Braxy**, *s.* (S. *breac*) gwaedlif defaid, dafadre.

**Bray**, *v.* (S. *bracan*; Ff. *broyer*) briwo, briwio, pwyo, malurio, malu, cymhwyo, breuanu, cymriwo; malu yn fân; briwo yn fân; talchu.

**Bray**, *v. n.* (Ff. *braire*) brefu, rhuo, drygnadu, brëu; brefu *neu* weryru fel asyn; brefweryru; ysgarmain.

Doth the wild ass bray when he hath grass? —a rua asyn gwyllt uwch ben glaswellt?

Among the bushes they brayed—rhuent yn mhlith y perthi.

**Bray**, *s.* bref, rhu, *neu* lais asyn.

**Bray**, *s.* (C. *bre*) esgyndir, twyn; bre; caer, amddiffynfa, breglawdd; llechwedd, llethr.

**Brayer**, *s.* (o *bray*) brefwr, brefor, brefydd, rhuwr, drygnadwr; brefydd fel asyn; pwyan, pwyordd.

**Braying**, *s.* (o *bray*) brefiad, rhuad; rhuad *neu* frefiad asyn; banllef, bloedd, garm.

**Brayle**, *s.*=*Brail.*

**Braze**, *v. a.* (Ff. *braser*) efyddu, presu; sawdrio *neu* sawdurio â phres; asio *neu* gydio â phres; haerllugo, ymgaledu.

**Brazed**, *a.* (o *brace*) ymgraffedig, amglymol.

**Brazen**, } *a.* (o *brass*) pres, presaidd, efyddaidd,
**Brasen**, } o bres, o'r pres; talgryf, haerllug, digywilydd, wynebsyth.

Brasen vessels—llestri pres.

Brazen shield—tarian bres, tarian o bres.

Brazen age, } oes bres, yr oes bres, pres-
Age of brass, } fyd=mewn chwedloniaeth, yr oes nesaf ar ol yr oes arian.

Brazen sea—môr pres.

Brazen pan—padell bres, padell efydd, efydden.

Brazen-footed—presdroed, troed efydd, efyddbed, efydd-droed.

Brazen-nose—presryn, presdrwyn, trwyn pres.

Brazen-nose College, } Coleg Presryn, Col-
Brasenose College, } eg Presdrwyn, Coleg y Presryn.
Brazen face—gwyneb pres, presweb, talcen pres; haerllugwr, preswepwr, preswebydd; un digywilydd *neu* haerllug; un â phres ar ei dalcen.
Brazen-faced—haerllug, digywilydd, talgryf, gwynebsyth, gwynebgaled; presdalog, preswynebog; â gwyneb pres iddo.
To put on a brazen face—gwisgo haerllugrwydd; ymwisgo â digywilydd-dra; myned yn ddigywilydd; taflu cywilydd *neu* orchwyledd i'w ol; sathru cywilyddgarwch dân draed; gwisgo talgryfder.
With a brazen face—âg wyneb digywilydd; â gwyneb haerllug.
Brazen-browed — presaelog; talgryf, digywilydd; haerllug ddigywilydd; â haerllugrwydd ar ei ael.
The brazen din of the trumpet—pres ddyar yr udgorn; sain bres yr udgorn.
Brazen-coated — presgaen, presgaenog, presgobawg, preslurigog, preswisgedig.
The brazen-coated Greeks—y Groegiaid presgobawg, y Groegiaid presarfog, y Groegwyr preslurig, y Groegiaid presgaenog; y Grywiaid preslurigog.
Brazen, *v. n.* haerllugo; haeru *neu* daeru yn haerllug *neu* ddigywilydd; bygylu; bod yn dalgryf, haerllug, *neu* ddigywilydd.
Brazenness, *s.* (o *brazen*) presogrwydd, preseiddrwydd; haerllugrwydd, talgryfder, digywilydd-dra.
Brazier, } *s.* = { *Brasier.*
Brasier, } { *Brazier.*
Brazil, } *s.* (o *Brazil*, gwlad yn America
Brazil-wood, } Ddeheuol) brasil, brasilwydd,
Brasil, } coed brasil=math o bren tramor â'r hwn y lliwir yn goch.
Brazil nut—cneuen brasil, cneuen Brasil.
Braziletto, *s.* (o *brazil*) gofrasil, brasil, brasiletto.
Brazing, *s.* (o *braze*) sawdriad, sawduriad, efyddiad, delasiad.
Breach, *s.* (Ff. *brèche*; Al. *bruch*) adwy, breg, toriad, tor, rhwyg, rhwygiad, bwlch, agen, bradwy, gwahaniad, drylliad, twn, gorthoriant, ffosp, briw, adfail; anghydfod, anghytundeb, cweryl, anysgymmod.
Breach of promise—tor addewid, toriad addewid, toriad gair.
Breach of friendship—tor cyfeillach; toriad *neu* ddattodiad cyfeillach.
Breach of the peace—toriad yr heddwch, toriad heddwch, tor heddwch.
To make a breach between men—peri anghydfod, ymrafael, ymryson, cynhen, anghytundeb, *neu* anysgymmod rhwng dynion; tori yr heddwch rhwng dynion; hau amryson rhwng dynion.
To make a breach in a wall—gwneuthur adwy, rhwyg, rhwygiad, breg, *neu* fwlch mewn mur; peri adfeilio; dryllio, gwahanu, adwyo, bregu, adfeilio.
To enter the breach—rhuthro i mewn i adwy *neu* rwyg.
To make a breach upon kingly power—tori ar allu breninol; gwneyd ymgyrch ar freninol allu.
Breach of trust—tor ymddiried, toriad ymddiried, tor hyder.
He stood in the breach—safodd ar yr adwy.
It shall be called the plain of breaches—maes y gwahaniadau y gelwir ef.
Breach, *v.* adwyo, bylchu, tori, bregu; gwneyd adwy, rhwyg, *neu* fwlch.
Bread, *s.* (S. *breod*; Al. a Sw. *brod*; Is. *brood*; D. *bröd*) bara.
Wheaten bread—bara gwenith, bara càn, bara peillied.
Barley bread—bara haidd, bara barlys.
Oaten bread, } bara ceirch, bara cerch.
Oat bread, }
Rye bread—bara rhyg.
Brown bread—bara canryg, bara coch, bara eilflawd, bara trwyddo, bara amyd.
White bread—bara càn, bara gwenith, bara peillied, bara gwŷn, bara man-gan, bara man-gant.
White bread of fine flour—bara gwŷn manbaill.
Household bread—bara tylwyth, bara gwenith trwyddo, bara amyd, bara eilflawd, bara planc, bara greidell.
Cocket bread—bara manbaill.
Manchet bread—bara coesed, bara mïod.
Biscuit bread — bara deugras, bara llongau, cresdais.
Leavened bread—bara surdoes, bara eples, bara llefeinllyd.
Meslin bread—bara brithyd, bara amyd.
Unleavened bread—bara croew, bara cri, bara crai, bara teneu, bara diheples.
Unfermented bread—bara llechwen.
Ammunition bread—bara gwersyll.
Cake bread — bara teisod, bara teision, bara teisen, bara calan, bara mïod, bara melus, calan-fara.
Ship bread—bara llong, bara deugras.
Baked bread—bara pob, bara crasedig.
Broken bread—bara briw, bara twn, briwfara, briwfwyd.
Griddle bread—bara greidell, bara cradell, bara llech, bara planc.
Show bread—bara gosod, bara dangos.
Bread of grace—afrllad, arllad.
Eucharist bread—bara offeren, bara cymun.
Dough breap—bara toeslyd, bara anghras, bara digras.
Light bread—bara ysgafn, bara masw, bara gwagsaw, bara chwysigog.
Mouldy bread—bara llwyd, bara mws.
Ginger bread—bara sinsir, bara sinsirog, bara perboeth.
Laver bread—bara llafan, bara llawr, bara yslafan.
Bee bread—bara gwenyn, blodeubaill.
Sow bread—egel, bara yr hwch, llysiau y ddidol, moch-wraidd.
Swine bread—ffwng y moch, clôr y moch, bara y moch.
St. John's bread—bara Sant Ioan, y pren Carob.
Sweet bread—cefndedyn.
Sugar bread—bara sugr, bara sugrog.
Bread and butter—bara ac ymenyn; brechdan.
A slice of bread—tafell o fara.
A slice of bread and butter—brechdan, brechdaen; tafell *neu* glem o fara ac ymenyn; tafell o frechdan.
The soft part of bread—mwydion bara.

Daily bread—bara beunyddiol, bara peunyddiol.
Bread corn—yd bara, amyd.
Bread stuff—defnydd bara, yd bara; bara, yd, blawd, *neu* beillied.
Bread chipper—pobwas, gwas pobydd; isdrulliad.
Bread tree, } barawydden, y pren
Bread-fruit tree, } bara: *pl.* barawydd=pren à dyf yn ynysoedd y Mor Tawel.
Bread-room—cell bara, cell y bara.
To know on which side one's bread is buttered—gwybod ar ba wyneb i'r bara y mae yr ymenyn.
Bread,† *v. a.* (S. *brædan*) taenu.
Breaden, *a.* (o *bread*) o fara; à wnaed o fara.
Breadless, *a.* (*bread* a *less*) difara, heb fara.
Breadth, *s.* (S. *bræd*) lled, llydander, lledander; eangder, helaethrwydd, helaethder.
Hand-breadth—dyrnfedd, lled llaw, moelddyrnfedd, dyrnfedd foel=4 modfedd.
Hair breadth—trwch blewyn, lled blewyn, trwch y blewyn.
Every one of them could sling stones at a hair breadth—pob un o honynt a ergydiai â chareg at y blewyn.
Of equal breadth—cyfled.
Of one breadth—gogyfled, unlled.
Palm breadth—lled palf.
Main breadth—lled mwyaf.
Breadthless, *a.* (*breadth* a *less*) diled, heb led.
Break, *v.* (S. *bræcan*, *brecan*; Is. *braaken*, *breeken*) tori; dryllio, bregu, briwo, darnio, gorthori; dofi, hyweddu; agenu, hollti; ymhollti, ymdori, ymddryllio.
To break in—hyweddu, dofi, tori i mewn.
To break with age—tori gàn henaint *neu* oedran; tori gàn oed; methu gàn oedran *neu* henaint; amdrymu gàn henaint; colli ei flodau, ei wawr, *neu* ei degwch; gwanhau, gwanychu, edwi, dihoeni.
To break asunder—gwahanu, dadgyssylltu, ysgaru, esgaru; tori yn ddrylliau; rhwygo, darnio; gwasgaru.
To break down—tori i lawr; tynu, bwrw, *neu* gymmynu i lawr; dystrywio, dinystrio, dryllio, rhwygo; dadymchwelyd, dadymchwel, dattod.
He will break down their altars—efe a dyr i lawr eu halloran.
Then let him break down the house—yna tyned y ty i lawr.
There is a time to break down—y mae amser i fwrw i lawr.
That which I have built will I break down—myfi a ddystrywiaf yr hyn a adeiledais.
I will break down this tower—mi a ddystrywiaf y tŵr yma.
You shall break down their altars—dryllìwch *neu* dinystriwch eu halloran hwynt.
Thou shalt quite break down their images—dryllia eu delwau hwynt yn gandryll.
He hath broken down the middle wall of partition—efe a ddattododd ganolfur y gwahaniaeth.
They break down the carved work thereof—y maent yn dryllio ei cherfiadau hi; dryllìant ei cherfwaith hi.
To break down a fence—dadgau; tori y cae i lawr; gwasgaru cae; dryllio cae; tynu clawdd i lawr.
Whoso breaketh a hedge—y neb a wasgaro gae.
To break down the walls of a city—difurio caer; difurio dinas.
To break forth—tori allan; tarddu allan; pistyllo, tarddu, tarddellu, boglynu, goferu.
Waters shall break forth in the wilderness—dyfroedd a dorant allan yn yr anialwch.
Then shall thy light break forth as the morning—yna y tyr dy oleuni allan fel y wawr.
To break forth into laughter—crechwenu; tori allan yn grechwen; chwerthin yn grechwen; tori allan i chwerthin.
To break forth into joy—tori allan o lawenydd; bloeddiaw o lawenydd.
To break forth into singing—canu o lawenydd; bloeddio canu; tori allan i ganu.
To break away—tori ymaith; dattod, dadrwymo; rhyddhau oddi wrth; gwasgaru, chwalu, dadgaddugo, hinoni, cynnyllu; myned *neu* fod yn hinon.
To break from—tori ymaith; tori oddi wrth; ymryddhau oddi wrth; tori yn swta.
To break in—tori i mewn; rhuthro i mewn; gwthio i mewn; ymwthio i fewn; tori am ben; tori ar draws; tori i; gwneuthur adwy.
No breaking in, nor going out—na rhuthro i mewn, na myned allan.
He will break into the house—efe a dyr i'r ty.
The plague broke in upon them—tarawodd pla yn eu mysg.
To break in upon a man's property—anrheithio *neu* dreisio un o'i eiddo; treisfeddiannu, treisgipio, *neu* gamoresgyn eiddo arall; tori am ben eiddo dyn arall.
To break loose—tori yn rhydd; myned yn rhydd; ymryddhau; dianc; tori allan; tynu pen yn rhydd; dïanc *neu* ymryddhau o fagl; ymddirwydo, ymddirwyllo, ymddirwystro.
To break off—tori ymaith; rhwygo ymaith; peidio â; dibarhau; tori ar; lluddio, gwahanu; tynu oddi wrth *neu* ymaith.
Break off thy sins—tor ymaith dy bechodau.
Break his yoke from off thy neck—tor ei iau oddi am dy wddf.
My purposes are broken off — tynwyd ymaith fy amcanion; fy amcanion a dynwyd ymaith; diddymwyd fy amcanion.
Break off the golden ear-rings—tynwch y clustdlysau aur.
He broke off all commerce with her for the future — nid ymgystlynodd efe â hi mwyach; torodd ymaith bob ymgyfathrach â hi mwyach.
He broke off very abruptly—diweddodd *neu* darfu yn ddirybudd iawn; torodd ymaith yn fyr *neu* swta iawn; efe a ddybenodd yn sydyn iawn.
To break off for a time—peidio dros amser; peidio dros ennyd, encyd, *neu* dro; peidiaw orig, ennyd, encyd, *neu* ysbaid; gadael heibio dros ennyd *neu* ysbaid; gorphwyso yn y canol; llaesu dros ysbaid *neu* ennyd; dysbeidio.

To break out—tori allan; rhuthro, neidio, dïanc, dyfod, *neu* saethu allan; tarddu allan, blaendarddu, tyfu allan; myned yn rhugl, myned ar led; tyfu, codi, cyfodi; ennyn, cynneu; ymdori allan; tori i maes; llifo *neu* fyned trosodd; myned yn rhyferthwy.
A fire broke out in his house—torodd tân allan yn ei dy ef.
The plague broke out among them—torodd y pla allan yn eu mysg.
The man broke out—neidiodd *neu* rhuthrodd y dyn allan, &c.
If the leprosy break out in the skin—os y gwahanglwyf a dardda yn y croen.
A war broke out among them—cyfododd rhyfel yn eu plith; torodd rhyfel allan yn eu plith.
To break out into pimples—crugdarddu, llynori; tarddu allan o blorynod.
To break out (as a rash)—llyfritho, tarddu, tarddain, tori allan, brido, llygu, ffleisio.
To break out into singing—canu o lawenydd; canu gàn lawenydd; tori allan i ganu; bloeddio canu.
To break out into a passion—ennynu gàn lid; ennyn o lid; poethi gàn ddigofaint; tanio, ymdanio; rhoi y ffrwyn i'r drwg nwydau; tori allan mewn nwydau; brochi.
To break out into tears—tori allan i wylo; wylo yn hidl; wylo yn hidlaidd.
To break to pieces—chwilfriwo, briwioni, briwsioni; briwo, briwio, malurio; tori yn dipiau; tori yn deilchion; tori yn dipiau mân.
To break up—ymadael, ymadaw, ymado; myned ymaith; tori i fyny; dattod, gwahanu, ymwasgaru, ymwahanu; diweddu, terfynu; parthu, ysgaru; symmud gwersyll; dadfyddino; cleirio, hinoni; agoryd, egori.
It is high time to break up—madws yw ymadaw; y mae yn bryd ymadael; y mae yn llawn bryd tori i fyny.
To break up ground—braenaru tir; tori tir; arddu tir.
Break up your fallow ground—braenarwch i chwi fraenar.
To break up house-keeping—rhoi heibio gadw ty; rhoi i fyny gadw ty.
To break up an army—difyddino, dadfyddino, dattod byddin, diswyddo byddin.
To break up company—tori cyfeillach i fyny; ymadael o gymdeithion; ymwahanu o ymgyfarfod; gwahanu cymdeithas.
To break up a bed of earth—agor gwely yn y ddaiar.
To break up school—tori yr ysgol.
All the fountains of the great deep were broken up—rhwygwyd holl ffynnonau y dyfnder mawr.
To break up trade—rhoi crefft i fyny; rhoi crefft, celfyddyd, *neu* alwad heibio; ymadael â masnach; codi crefft i'r glwyd.
To break open—tori yn agored; tori yn egored; tori trwy drais; rhwygo; gwthio yn agored; agor o drais; treisagor.
To break open a letter—dadselio llythyr; dattod, agor, *neu* dori sel llythyr; tori yr hyn a seliwyd; tori sel.
To break open the bars—dryllio y barau.
To break through—tori trwy; tori *neu* gloddio trwodd; trydori, cythrychu.
The thieves broke through—cloddiodd y lladron trwodd.
Hunger will break through stone walls—newyn a dyr *neu* a dylla trwy y gareg.
To break through difficulties—tori drwy anhawsderau; gorchfygu anhawsderau.
To break through old customs—tori trwy hen ddefodau; diddymu, dibrisio, dïystyru, *neu* esgeuluso hen ddefodau.
He took with him seven hundred men to break through into the king—cymmerodd saith cant o wŷr gydag ef i ruthro ar y brenin.
Let not the people break through into the Lord—na ruthred y bobl at yr Arglwydd.
To break with—tori â; tori i fyny â; dybenu âg; peidio â bod yn gyfeillion; tori cyfeillach; cwympo allan; darfod *neu* ymddarfod âg; ymrafaelio, ymryson, *neu* anghytuno â.
I broke the friendship between them—mi a dorais y gyfeillach rhyngddynt.
To break the back—tori y cefn; tori asgwrn y cefn.
To break bulk—dechreu dadlwytho, dilwytho.
To break a deer—tori carw, bwyttori hydd.
To break fast—boreubrydio, borebrydio, bregwesta, bwyta boreufwyd, tori ympryd.
To break ground — arddu, aru, aredig; troi *neu* dori tir; cloddio, rhigoli, cleisio, agor ffosydd.
To break a jest—cellwair, cydgam, cymmwedd; dywedyd digrifair; gollwng allan air o gellwair; dywedyd gair o gellwair *neu* arabedd.
To break the heart—tori calon.
To break the neck — tori gwddf, tori gwddwg, torfynyglu.
Thou shalt break his neck — torfynygla ef; tora ei wddf ef; tor ei wddwg; tor ei fwnwgl ef.
To break the neck of an ill custom—torfynyglu arfer ddrwg; ymwrthod *neu* lwyr ymwrthod â drwg arfer.
To break a horse—tori, dofi, *neu* hyweddu ceffyl *neu* farch; hyweddu, gwarhau, *neu* ddarostwng march *neu* geffyl; tori ceffyl at waith.
To break, } gwawrio, dyddhau, dyddio;
To dawn, } cyfodi *neu* dori o'r wawr; cyfodi *neu* dori o'r dydd; goleuo, tywynu, cleisio; myned yn ddydd; rhaciaw o'r wawr *neu* y dydd; goleuannu.
Until the day break—hyd oni wawrio y dydd.
The day breaks—y mae y dydd yn tori; mae y wawr yn tori, yn codi, *neu* yn rhacio; y mae y dydd yn cleisio.
Let me go, for the day breaketh—gollwng fi ymaith, o blegid y wawr a gyfododd.
As the day was breaking—a hi yn dyddhau; a hi yn goleuo; gyda thoriad y dydd; gyda rhaciad y wawr; gyda'r dydd; gyda'r wawr; gyda thoriad y wawr.
My soul breaketh for longing to thy judg-

ments—drylliwyd fy enaid gàn awydd i'th farnedigaethau.
To break the ice—tori yr ia; agor y ffordd; rhaglwybro; hyrwyddo, rhwyddhau, parotöi, *neu* balmantu y ffordd; agor pen y ffordd; agor y llwybr; dechreu.
To break an officer—diswyddo un; tori un allan o'i swydd; diraddio swyddog; talu *neu* dori swyddog ymaith.
To break a law—tori cyfraith, troseddu cyfraith, halogi cyfraith.
Break thy league with the king—tor, tora, *neu* diddyma dy gyfammod â'r brenin.
I will not break my covenant with them—ni thoraf *neu* ni ddiddymaf fy nghyfammod â hwynt.
Let him not break his word—na thored ei air; na haloged ei air.
To break one's mind—dangos, dadguddio, *neu* ddadgan ei feddwl; dweyd ei feddwl; treithu ei feddwl; mynegu ei ofeg; tori at.
I broke my mind to him—dangosais fy meddwl iddo; torais ato.
To break sleep—tori cwsg; tori ar gwsg; peri anhunedd; peri i gwsg gilio; tori ar esmwythder; rhwystro cysgu.
To break the sides with laughing—hollti gàn chwerthin; ymhollti gàn chwerthin.
To break with sorrow—tori gan ofid; heneiddio gàn ofid; gwywo, dihoeni, edwino, edwi, *neu* grino gàn ofid.
To break on the wheel—tori ar yr olwyn; dirdynu ar yr olwyn; troelldynu; tori ar y rhod.
To break, } tori; methdalu;
To make bankrupt, } gwneuthur yn dorged *neu* fethdalwr.
To break one of ill habits — peri *neu* wneuthur i un ymadael âg arferion drwg; tori un oddi wrth ei ddrwg arferion; gwneyd i un ymddiwygio oddi wrth ei ddrwg arferion; diddyfnu un oddi wrth ei arferion drwg.
He was broken of his wicked tricks—gwnaethpwyd iddo adael ei branciau drwg.
To break wind—bramu, bremian.
To break one's wind—tori ei wynt; gwynthollti; ymsafnrythu.
To break the spirits—tori yr ysbrydoedd; soddi *neu* suddo yr ysbrydoedd; llesghau yr ysbrydoedd.
My heart is ready to break—y mae fy nghalon ar dori.
I will break this custom of yours—diddymaf y ddefod hon o'r eiddoch.
He will break the bones—efe a dyr *neu* a ddryllia yr esgyrn.
It will not break thy bones—ni thyr mo'th ben.
He breaks his brains with studying—y mae efe yn pwnio ei ymenydd wrth fyfyrio *neu* astudio.
To break, } tori; methdalu;
To become bankrupt, } torgedu; methu mewn masnach; myned yn ol llaw yn y byd.
To break the surface—briwdòni; tori y dònen *neu* y gwyneb.
To break a design—tori amcan; rhwystro, somi, diddymu, *neu* seithugio amcan *neu* fwriad.
To break rank—tori rhenc *neu* res; annhrefnu rhenc *neu* reng; gŵyro *neu* droi oddi ar y llwybr.
To break one — tori un; difa, llwyranrheithio, dinystrio, difrodi, *neu* anafu un.
To break silence—tori ar daw; tori taw; tori ar y dystawrwydd; tori ar osteg; tori gosteg; dechreu siarad; dywedyd y gair cyntaf; dechreu cynanu *neu* lefaru.
To break small—tori yn fân; malurio, briwio, chwilfriwio, manddarnio, talchu.
To break the dispute—tori y ddadl; tori yr amrafael *neu* ymrafael; dosbarthu cynhen.

Break, *s.* toriad, tor, breg, twn, bwlch, agoriad, agen, hollt, ageniad; saib, cyfrwng, gorphwysfa, gorphwys; rhwystr; gwagle; cil, cilfa.
Break of day, } toriad y dydd, gwawriad y
Day-break, } dydd, glasiad y dydd; clais y dydd, llug y dydd; y wawr, y wawrddydd, pylgain, plygain, cyfddydd, glaswawr, boreddydd, boreuddydd, glasddydd; toriad y wawr; y goleu cyntaf.
A little before day-break—ar y pylgain, &c.; ychydig cyn toriad y dydd.
Break in a furrow—balc, malc, bryncyn.

Breakage, *s.* (o *break*) toriad; tordal, tordaliad, torgoll.

Breaker, *s.* (o *break*) torwr, torydd; drylliwr, drylliedydd; troseddwr; dinystrydd, rhwygwr, rhwygydd; beisdon; torglawdd, morfur, gwrthglawdd; torgraig.
Breakers—beisdonau, mordònau, tonieri, morgesyg, ewyngaint.
Breaker of the law—torwr *neu* droseddwr y gyfraith.
Breaker of the Sabbath—torwr, halogwr, *neu* anmharchwr y Sabbath.
Breaker down of walls—difuriwr, adfeiliwr; torwr *neu* ddinystrydd caerau; bwriwr caerau i lawr.
Breaker of horses, } torwr ceffylau; dofwr,
Horse-breaker, } dofydd, *neu* dorwr meirch; gwarhäwr ceffylau.
Breaker up of ground—arddwr, braenarydd, braenarwr, amaeth, amaeth aradr.
Heart-breakers—serchgudynau, serchlofnau, cudynau cariad, cudynau tor calon.

Breakfast, *s.* (*break* a *fast*) boreufwyd, borefwyd, boreubryd, borebryd, bregwest, cynbryd, torympryd.

Breakfast, *v.* boreubrydio, borebrydio, bregwesta, bregwestu, torymprydio, cymmeryd borefwyd.

Breakfasting, *s.* (o *breakfast*) bregwestwyr, bregwestiaid.

Breaking, *s.* (o *break*) toriad, &c.; toriad *neu* ruthrad i mewn; torgedaeth, methdaliad; dofiad, hyweddiad.
Breaking in—toriad i mewn; rhuthrad *neu* ymwthiad i fewn; cyrch, ymgyrch, rhuthrad.
As a wide breaking of waters — megys dwfr trwy adwy lydan.
Breaking-joint—torgymmal.
The place of the breaking forth of children—yr esgoreddfa; esgoreddfa y plant (*Hos.* xiii. 13).

Heart-breaking—torgalonus.
A breaking off—toriad ymaith; tor, toriad.
A breaking in the middle—canoldrychiad, canoldoriad, toriad yn y canol.
A breaking off for a time—dysbaid, dysbeidiad, dysbeidiant, seibiant, hamdden, gorphwys; cymmeriad anadl; toliad.
A breaking out in the head—pendandde, tarddiant pen, pengrachedd, pengrechni, pendarddiad, pendarddiant.
A breaking out into pimples—crugdarddiad, crugdarddiant.
A breaking out of waters—tarddiad, tarddelliad, pistylliad, boglyniad, *neu* ferwad dyfroedd allan; bryched; rhaiadr.
Breaking up of ground—braenariad, braenariad tir.
A breaking up of school—toriad ysgol i fyny.
A breaking up *or* away of the weather—hinoniad, hinoniad y tywydd, dadgaddugad y tywydd, cleiriad i fyny.
A short breaking up of the weather—llygedyn, godywyn.
A breaking up of a will—agoriad ewyllys; agoriad llythyr cymmyn.
A breaking up of parliament—dattodiad *neu* ymddattodiad y senedd; dadgyssoddiad y senedd; gollyngiad y senedd ymaith; toriad y senedd i fyny.
A breaking asunder—gwahaniad, ysgariad, dadgyssylltiad, rhwygiad, ysgariaeth.
Breakneck, *s.* (*break* a *neck*) clogwyn, diffwys, dibyn, serthle, serthfa; lle dibyn *neu* serth.
Breakpromise, *s.* (*break* a *promise*) torwr addewid, addaw-dorwr.
Breakvow,† *s.* (*break* a *vow*) torwr adduned, addundorwr.
Breakwater, *s.* (*break* a *water*) torglawdd, barglawdd, gwrthglawdd, noddfur, morfur.
Bream, *s.* (Ff. *breme;* Ysp. *brema*) y merfog, math o bysg.
Bream, *v. a.* llosgi bryntion *neu* ysgarthion gwaelod llong; ysgarthlosgi.
Breast, *s.* (S.; Sw. a D. *bröst;* Al. *brust;* Is. *borst*) bron, dwyfron; afell, monwes, brocen, asgre, calon; cydwybod; †arwest: *pl.* bronau.
The two breasts—y ddwyfron.
The breast of an animal — parwyden anifail, hydgyllen anifel.
A little breast—bronig.
Having breasts—bronog; â bronau iddi.
The nipple of a woman's breast—pen bron, penig bron, diden, titen.
Grief-oppressed breast—tromfron.
Breast-apples—bron-afalau, teth-afalau; aeron ar lun tethau.
Pain in the breast—bronwst; poen yn y ddwyfron.
To give breast to, } rhoi bron i; rhoi
To nurse at the breast, } sugn i; brona, bronhau; magu ar y fron.
Heave of the breast—argwll, argyllaeth, argyllwch; peuad y fron.
It lies in his breast—y mae yn gorwedd yn ei fynwes ef; mae yn gorwedd *neu* yn gorphwys ar ei law ef.
Let every man weigh it in his own breast—pwysed pob dyn ef yn ei gydwybod *neu* ei fynwes ei hun.
The law was written in man's breast—ysgrifenwyd y gyfraith yn nghalon dyn.
To keep in one's own breast—cadw yn mynwes un ei hun.
Wisdom grew in my breast—daeth doethineb i'm dwyfron.
They pluck the fatherless from the breast—tynant yr amddifad oddi ar y fron.
To swell out the breast — bronrheinio, bronchwyddo.
The breast of a hill—bron, (*pl.* bronydd); llechwedd *neu* ochr bryn.
Red-breast—bronrhuddyn, bronrhuddog, brongoch, y frongoch, y goch gam.
Breast, *v. a.* gwynebu; cyfarfod yn ngwyneb; gwrthwynebu wyneb yn wyneb; cyfwynebu, cyfarwynebu.
To breast up a hedge—bronysgythru; tori y naill wyneb i wrych.
Breastbone, *s.* (*breast* a *bone*) asgwrn y ddwyfron, cledr y ddwyfron, clwyd y ddwyfron.
Breastcasket, *s.* (*breast* a *casket*) brondennyn.
Breastcloth, *s.* (*breast* a *cloth*) bronlïan.
Breast-deep, *a.* hyd y bronau; cyfuwch a'r ddwyfron.
Breasted, *a.* (o *breast*) bronog, bronlydan, broneang; arwestog, lleisber, hyfrydlais.
Broad-breasted — bronlydan, bronllydan, llydanfron; llydan ei fron.
High-breasted, } bronog, broneang, bron-
Full-breasted, } fawr, bronrain, bronlawn, bronuchel.
Narrow-breasted—brongul; cul ei bron *neu* ei fron; culfron.
Flat-breasted, } bronisel, iselfron; isel ei
Low-breasted, } fron.
White-breasted—bronwyn; *f.* bronwen.
Black-breasted—bronddu.
Red-breasted—brongoch.
Motley-breasted—bronfrith; *f.* bronfraith.
Well-breasted—bronwych.
Breastfast, *s.* (*breast* a *fast*) bronddal; *pl.* bronddalion.
Breast-high, *a.* cyfuwch a'r ddwyfron; hyd y bronau, hyd y ddwyfron.
Breast-hook, *s.* bronfach.
Breasting, *s.* (o *breast*) bronysgythrad; toriad un wyneb i wrych.
Breastknot, *s.* (*breast* a *knot*) bronglwm, brongwlwm.
Breastpin, *s.* (*breast* a *pin*) bronbin, pin bron, crysbin.
Breastplate, *s.* (*breast* a *plate*) dwyfroneg, brondor, broneg, bronfoll.
The breastplate of righteousness—llurig iawnder (*Eph.* xvi. 14).
He put on righteousness as a breastplate—gwisgodd gyfiawnder fel llurig (*Esa.* lix. 17).
Wearing a breastplate—bronfollog, llungog, bronegog; yn gwisgo dwyfroneg.
Breastplate, } *s.* brongengl, brondengl.
Breast-leather, }
Breastplough, *s.* (*breast* a *plough*) gwtharadr, gwtharad; bronarad.
Breastrail, *s.* *breast* a *rail*) bronrail, bronreil-n.
Breastrope, *s.* (*breast* a *rope*) bronraff, bron-reffyn.
Breast-summer, *s.*=*Brest-summer.*
Breastwall, *s.* (*breast* a *wall*) bronfur, bron-wal.
Breast-wheel, *s.* bronolwyn, bronrod.

**Breastwork,** *s.* (*breast*a *work*) bronglawdd, bronwaith.

**Breath,** *s.* (S. *brœth*) anadl, anal, chwyth, ffun, alan, adyl, ffwn; awel, chwa, mygdarth, mygydarth, mygod-darth, mygottarth; anadliad; chwythad; anadlyn; saib; cythrym.

Breath of life—anadl einioes; ffun anadl einioes (*Gen.* vii. 22).
Shortness of breath—diffyg anadl, byrder anadl, cyfyngder anal; y fogfa; erthwch.
A person affected by shortness of breath—dyn byr ei anadl; un anadlfyr, byranadlog, dyn erthychlyd; un yn chwythu yn fyr; un â dyhead arno.
By the breath of God frost is given—â'i wynt y rhydd Duw rew.
By the breath of his mouth—trwy ysbryd ei enau ef.
Wisdom is the breath of the power of God—angerdd gallu Duw yw doethineb.
No man regards his breath less than I do—nid oes dyn ar y ddaiar yn gofalu llai am ei einioes *neu* ei fywyd na myfi.
There is not a breath of wind stirring—nid oes awel o wynt yn ysgog *neu* ysgogi; nid oes awelan *neu* awelyn o wynt yn syflyd; nid oes anadl o wynt yn ysgogi.
To spend one's breath to no purpose—llafaru yn ofer, yn ddïeffaith, yn ddiles, *neu* yn seithug; llefaru i ddim dyben.
Stinking breath—dryg-anadl, dryg-anal, anadl ddrewedig, anadl fws; anal ddrewllyd *neu* ddrewlled.
Sweet breath—anadl ber, anadl beraidd, per anal, per anadl.
Having a sweet *or* fragrant breath—anadlber, analber; per ei anadl, chweg ei anal; âg anadl ber iddo *neu* iddi.
While yet there was breath in him—ac efe eto yn fyw; ac efe eto âg anal ynddo.
In a breath, / All in a breath, } ar un anadl; ar yr un mynyd; ar yr un mynydyn; ar un pryd; ar yr un cythrym; heb orphwys.
To gasp for breath—tynu anadl dàn ddyhëu, dàn beuo, *neu* dàn luddedu; agor y geneu mewn lludded *neu* dàn luddedu am anadl; terthain, oriain.
To the last breath—hyd y diwedd; tra bo chwyth; i'r anadl ddiweddaf *neu* olaf; tra parhao bywyd; nes chwythu yr anal olaf maes; i'r anadliad olaf; tra bo anal yn ei ffroenau.
Out of breath—allan o anadl; maes o anadl; maes o anal; yn mron colli ei anadl; gwedi colli ei anadl; yn dyhëu, yn peuo, yn lluddedu; allan o wynt.
My breath fails me—mae fy anadl yn pallu; mae fy anal yn pallu *neu* fethu.
A breath can make them, as a breath has made—geill chwyth eu gwneuthur, fel eu gwnaed â chwyth; gall gair eu gwneuthur, fâl eu gwnaed â gair; gall chwyth eu gwneyd a'u hedwi yn y fàn.
A little breath—anadlyn; awelyn, awelan.
To hold one's breath—dàl ei anadl.
To take breath—cymmeryd anadl; seibio, gorphwys; bwrw blinder; bwrw blino; cymmeryd hamdden *neu* seibiant; gorphwyso tra cyrcher anal; ymddadflino.
Let me take breath—gadwch i mi gymmeryd fy anadl; gadëwch i mi gymmeryd anal.
I am scarce in breath—prin y mae anadl ynof; yr wyf bron bod allan o anal.
He dares not fetch his breath—ni feiddia dynu ei anadl ato; ni faidd anadlu; mae arno ofn cyrchu ei anadl.
The least breath of commotion—y cyffroad lleiaf.
Every thing that has breath—pob perchen anadl; pob peth â chwyth ynddo.
To draw, fetch, *or* take breath—anadlu, chwythu, gwyntio; cymmeryd anadl; cyrchu, cyrhaedd, *neu* hercyd anadl.

**Breathable,** *a.* (o *breathe*) anadladwy, &c.

**Breathe,** *v.* (o *breath*) anadlu; chwythu; analu, alanu; cymmeryd, hercyd, *neu* gyrchu anadl; tynu anadl; byw; gorphwys; dyhëu.

To breathe after—awyddu, hiraethu, *neu* sychedu am; puchio, rhybuchio, rhybuchu; bod â mawr chwant *neu* awydd am; chwennychu, gorawyddu, traserchu; dyhëu *neu* beuo am.
To breathe out one's last—anadlu ei anadliad olaf; anadlu ei anadl olaf; marw, trengu; ymadael â'r ysbryd; rhoi i fyny yr ysbryd; darfod am dano; cyrchu yr ochenaid; cyrchu yr anadl ddiweddaf.
There he breathed his last—yno yr anadlodd efe ei anadl olaf; yno y bu efe farw.
To breathe out—anadlu *neu* chwythu allan; gwehynu anadl; tarthain, tarthu, terthu, terthain.
To breathe short, / To breathe with difficulty, } erthychain, erthychu; peuo, dyhëu, lluddedu, dyheued, dyheuo.
To breathe threatenings and slaughter—chwythu bygythion a chelanedd.
Such as breathe out cruelty—y rhai a chwythant greulonedd.
They breathed out fiery vapours—anadlasant darth tanllyd.
He breathed out fire in his rage—anadlodd allan dân yn ei ddig.
His altar breathes ambrosial odours—anadla ei allor aroglau ammrwysol; anadla ei allor amfrwysol beroglau; ei allor a enfyn allan bereiddiaf aroglau; ei allor arogla yn beraidd dros ben; ei allor arogla amfrwysol aroglau.
If he breathes—os oes anadl ynddo; os byw yw efe; od yw y chwyth ynddo.
To breathe a vein—agor gwythen, agoryd gwythïen; brathu gwythen.
He breathes the same spirit—y mae yn anadlu yr un ysbryd; dengys *neu* amlyga yr un ysbryd.
To breathe, / To keep in breath, } ennill anadl; estyn anal; estyn *neu* hwyhau anadl drwy ymarfer.
He breathed into his nostrils—anadlodd yn ei ffroenau.
To breathe the flute—chwythu y chwibanogl; chwythu yn y chwibanogl.
To breathe a vow—anadlu adduned; ochaddunedu, ochweddïo; tywallt allan mewn adduned; trosglwyddo adduned mewn uchenaid; dirgel addunedu.
Short-breathed—erthychlyd, byranadlog, anadlfyr; byr ei anadl; â'r fogfa arno.
The perfumes of Arabia breathe from her lips—peraroglau Arabia a anadlant o'i

gwefusau; o'i gwefus anadla peroglau Arabia.

Breather, *s.* (o *breathe*) anadlwr, anadlydd, analydd, chwythydd; perchen anadl; dyn byw; bywiogydd, ysbrydolwr.

The breather of all life—bywiawdwr, bywhäwr, *neu* fywhëydd pob peth; anadlydd pob peth byw; â rydd anal i bob peth byw.

Breathful, *a.* (*breath* a *full*) anadlog, llawn anadl; aroglus, arogleuog.

Breathing, *a.* (o *breathe*) anadlog; anadlus; i'r bywyd; dàn *neu* yn anadlu.

Breathing, *s.* anadliad, chwythad, analiad, analedd; dyheueg, gweddi ddirgel; awydd, chwennychiad; ffyned, ffynell, agerfa; chwyrnseiniad, chwernsain, acan, anadleb.

Breathing place—gorphwysle; saib, seibiant; ffynell, ffynel, agerfa, awyrdwll.

Breathing time—saib, seibiant, hamdden; amser i gymmeryd anadl; amser anadlu.

Breathing hole—awyrdwll, ffynell, ffynel, agerfa; twll yr awel *neu* yr ager.

Breathing pores—analdyllau=mân dyllau, anweladwy i'r llygad noeth, yn nglasgroen llysiau.

Breathing sweat—chwys cymmedrol; chwys mwyn *neu* naturiol; lluchwys, llugwys.

Hide not thine ear at my breathing—na chudd dy glust oddi wrth fy uchenaid.

Breathless, *a.* (*breath* a *less*) dïanadl, dïanal; maes *neu* allan o anadl; yn dyhëu; marw.

A breathless body—corff marw, celain.

Breathlessness, *s.* (o *breathless*) dïanadledd, dïanaledd.

Breccia, *s.* (It.) bregionos, creigronos, briwgraig.

Brecciated, *a.* (o *breccia*) briwgreigiog, bregionog, creigronog.

Brede, † *s.* *Braid.*

Bred, *p. p.* (o *breed*) magedig, meithrinedig; methedig; gwedi ei fagu *neu* ei feithrin; wedi ei ddwyn i fyny; â fagwyd; â feithrinwyd; cenedledig.

Thorough-bred—tryryw, tryrywiol, tryrywiog.

Half-bred—lledryw, cymmysgryw.

Well-bred—moesog, moesgar, moddus, moddgar; dygiadus, hyfforddedig, gwiwfoes, moeswych, boneddigaidd; da ei foes, ei ddygiad, ei ymddygiad, *neu* ei ddiwygiad; dillynwych; boneddigfoes.

Ill-bred—anfoesog, anfoesgar, drygfoesog, drygfoesol; drwg ei foes, ei ddygiad, *neu* ei ymddygiad; taiog, taiogaidd, trwsgl; mawr ei anfoes; annillynwych.

Breech, *s.* (S. *bræc*, *bræccæ*; It. *brachesse*, *brace*; Ll. *bracca*, gair Galig) cyfeistedd, bon, tin, bontin, llafr, pen ol, parth ol; y ffolenau; clos.

Breech of a gun—bon gŵn, bon dryll, arlost gŵn.

Breech-pin of a gun—bonbin gŵn, bonbin dryll, cethr bon gŵn.

Breech-galling—pildin, y bildin.

Breech-mouldings—bonrigaddurnau.

Breech-band—bondres, tindres.

Breech, *v.* llodri, closi, llafru; gwisgo mewn clos; gwisgo â llodrau; gwisgo *neu* roi clos am; ffrewyllio, fflangellu.

He makes a rod for his own breech—efe a ddarpara wialen i'w gefn ei hun.

Breeches, *s. pl.* (o *breech*) clos, llawdr, llodrau, llafrog.

Breech-maker—llodrydd, llodrwr, closwr; teiliwr llodrau *neu* glosau.

A pair of breeches—clos, closyn, llawdr.

Breeches and leggins—clos ac amgoesau; clos a choesarnau.

The flap of the breeches—balog, balog clos.

She wears the breeches—hi sy'n gwisgo y clos; hi bïau y clos; hi sy ben; hi a bïau y ffon; hi sy feistres; hi sy benaf.

Bear's breech—llawdr yr arth; ellddrain.

Breeching, *s.* (o *breech*) bondres, tindres; bondrec; ffrewylliad, fflangelliad.

Breechings—bonddalion, bonraffau.

Breed, *v.* (S. *bredan*, *brædan*; Is. *broeden*) hilio, epilio, magu, planta, cenedlu; ennill plant, hil, *neu* epil; planta; essillio; silio; rhialu; ymddwyn; dwyn allan; peri, peru, creu, achlysuro; cynnyrchu; deor; maethu, meithrin, dwyn i fyny, meithrino, deifnio.

Christendom never bred a worthier divine—ni fagodd Cred erioed ragorach duwinydd; ni chododd Cred erioed fwy gwiw duwinydd.

To breed worms—magu pryfed, pryfedu.

To breed teeth—magu dannedd, danneddu.

The pond breeds fish—mag y llyn bysgod; mae y llyn yn hilio pysg; hilia pysg yn y llyn; mae y llyn yn magu pysg.

To breed mites—gwiddoni, magu gwiddon.

Fish breed in rivers—hilia pysg mewn afonydd; mewn afonydd y silia pysg.

Their cattle breed abundantly—eu hanifeiliaid a lydnant yn aml.

They may breed abundantly in the earth—epiliant hwythau yn y ddaiar.

It breeds mischief to me—mag flinder i mi; ymddwg ar flinder i mi; pâr ddrwg i mi.

Had he a heart to breed in—pe buasai ganddo galon i'w ddeor ynddi; pe buasai calon ganddo i ddeor *neu* ori arno ynddi.

To breed children—magu plant; meithrin *neu* facthu plant; dwyn plant i fyny.

He bred his eldest son to literature—dug ei fab hynaf i fyny i *neu* at lenoriaeth *neu* ddysgeidiaeth; efe a ddygodd ei fab hynaf i fyny mewn dysgeidiaeth *neu* lenoriaeth; meithrinodd *neu* addysgodd ei fab hynaf mewn llenyddiaeth.

He was bred to nothing—ni ddygwyd ef i fyny at ddim; ni chafodd ddygiad i fyny at ddim; ni chafodd efe addygiad i ddim.

He was bred at a university—dygwyd ef i fyny mewn prifysgol; cafodd addysg mewn prifysgol; derbyniodd ei ddysgeidiaeth mewn prifysgol; addygwyd *neu* addysgwyd ef mewn prifysgol.

The neglect of duties will breed repentance—esgeuluso dyledswyddau a bair, a grea, *neu* a ddwg edifeirwch.

Intemperance breeds infirmities—anghymmedroldeb a bâr *neu* a ddyga wendidau; anghymmedroldeb a esgor ar wendidau.

To breed cattle—magu, codi, cwnu, *neu* borthi anifeiliaid *neu* anifeilod.

Beasts are bred for the sake of man—

anifeiliaid a grëwyd er mwyn dyn; magir anifeiliaid er mwyn dyn.
What is bred in the bone will never be out of the flesh—hysbys y dengys y dyn o ba radd y bo ei wreiddyn; à wreiddio mewn drygioni, anhawdd fydd ei gynghori; anhawdd cynghori à wraidd mewn drygioni.
Their malice is bred in them—y mae eu drygioni yn anianol, yn naturiol, yn gynnwynol, yn gynhenid, yn reddfol, yn enedigol, *neu* wrth naturiaeth ynddynt.
To be bred of—geni, tyfu, tarddu, magu, codi, dyfod, hanu, hanfodi, dechreu, *neu* ddwyre o *neu* oddi wrth; cael ei ddechreu, ei haniad, *neu* ei ddechreuad oddi wrth *neu* o.

Breed, *s.* epil, hil, hiliogaeth, rhyw, rhywogaeth, rhywiogaeth, essill, rhial, enrhial, ystrain, ach, âl; bragad, essillyd; torlwyth.
Rams of the breed of Bashan—hyrddod o rywogaeth Basan.
One of the breed of the giants in former times—un o hil y cewri gynt; un o fragad y cewri gynt.
They are of good breed—y maent yn dda eu rhyw; y maent o rywogaeth dda.
Horses of the best breed in the north—meirch o'r rhyw goreu yn y gogledd; ceffylau o rywogaeth oreu y gogledd.
Half breed—lledryw; cymmysgryw, gohil, lledrïal.
Mixed breed—cymmysgryw, mysgryw.
Beware of the breed—gochel y gethern; gochel y giwed; ymswyna rhag y giwed; gwilia rhag yr ystrain; gochel yr ystrain.
A horse for breed—ystalwyn, amws, march.

Breedbate, *s.* (*breed* a *bate*) pwt y gynhen, parwr anghydfod; ffaglwr; cecryn, cecrusyn.

Breeder, *s.* (o *breed*) maethydd, magydd, meithrinydd, megidydd, magwr, magiawdwr; mam, mammaeth, magai, mag-wraig, epiles, hilioges, rhiales, magyddes, megides; epiliwr, hiliwr, perydd, cenedlydd.
Female breeder—mam, mammaeth, magwraig, magai, megides, epiles, hilioges, magyddes, magiodres.
Time is the nurse and breeder of all good—amser yw mam a mammaeth pob da.
Breeder of horses—magydd meirch; megidydd ceffylau.

Breeding, *s.* (o *breed*) epiliad, hiliad, cenedliad; magiad, magwraeth, meithrindod, meithriniad, meithriniaeth; dygiad i fyny, addygiad, dysg, addysg, deifnogaeth, addysgiant; moes, moesau, moesgarwch, moesogrwydd, moddgarwch, moddusrwydd, boneddigrwydd, boneddigeiddrwydd, moesau da; ymddygiad; harddwch ymddygiad; medrusrwydd, addwyndeb, *neu* addwynder ymarweddiad.
Good breeding—moesau da, hyfoesedd, moesogrwydd, moesgarwch, moddusrwydd, &c.
Of blood and breeding—o waed a bonedd; o waed ac o fonedd; o waedogaeth a moes.
Land for breeding sheep—defeittir.
Land for breeding oxen—ycheindir.
Land for breeding horses—ceffyldir, marchdir, meirchdir, tir marchfag.
Furze-breeding land—eithindir, tir eithinog, tir eithinfag.
Nettle-breeding land—danadldir, danattir, tir danadfag, danaldir.
Breeding place for cattle—maethle *neu* faethfa anifeiliaid; megidle *neu* fegidfa anifeiliaid.

Breese, } *s.* (S. *briosa*) cacynen y meirch,
Breeze, } marchgacynen: *pl.* cacwn y meirch, marchgacwn.

Breeze, *s.* (It. *brezza;* Ysp. *brisa*) awel, awelan, awelen, chwa; ffun o wynt.
Sea breeze—môrawel, awel y môr, awel o'r môr.
Land breeze—tirawel, awel y tir, awel o'r tir, awel dros y tir.
Gentle breeze—awel dirion, awelen leddf; awel fwyn, araf, wâr, *neu* esmwyth.

Breeze, *v. n.* awelu; chwythu yn dirion, yn araf, yn lleddf, *neu* yn fwyn.

Breezeless, *a.* (*breeze* a *less*) dïawel, heb awel; digyffro, llonydd, disymmud.

Breezy, *a* (o *breeze*) awelog, awelaidd, chwaog; oeraidd.

Brehon, *s.* (Gw.) barnwr, brawdwr.
Brehon laws—barnreithiau; cyfreithiau y barnwyr; cyfreithiau cyffredin y wlad, yn yr Iwerddon gynt.

Breme, † *a.* (S. *bremman*) creulawn, llym gerwin.

Bren, † *v.* (S. *brennan*) llosgi.

Brennage, *s.* (o *bran;* Ll. drosgl, *brenagium*) brandreth, brandal, branged.

Brent, } *a.* (C. *bryn;* Gael. *bret*) uchel, ban,
Brant, } bant; serth.
Brent, } *s.*= { *Brant.*
Brant, } { *Brent.*

Brephotrophy, *s.* (Gr. *brephos* a *trephô*) m eithriniaeth amddifaid.

Brest, } *s.* (S. *breast*) sylgylch, seilgylch
Breast, } colofn.

Brest-summer, } *s.* (*brest* neu *breast* a *summer*)
Breast-summer, } gwarswmer, gwardrawst,
Bressummer, } llorswddyn, gwarddrws.

Bret, } *s.* (?) torbwt, lleden y môr, gwymell.
Burt, }

Bretful, † *a.* (?) llawn hyd yr ymyl; llawn.

Brethren, *s. pl.* (S. *brether, brother*) brodyr.
United Brethren—Brodyr Cyfunol, Brodyr Unol, Cyfrodyr; y Morafiaid.

Brettices, *s. pl.* (?) haenwenys, haenddalion.

Breve, *s.* (It.; Ll. *brevis;* Ff. *bref*) gwyslythyr, gwyseb, gwarant; banig, banig hir; byrnod.
Breve (in music)—banig, banig hir.
Breve (˘)—byrnod.

Brevet, *s.* (Ff.) breintwyseb, breintwarant= gradd i swyddog milwraidd uch law ei dâl: trwydded; rhagorfraint; breintlythyr.
Bookseller's brevet—trwydded llyfrwerthwr, trwyddeb llyfrwerthydd.
Inventor's brevet—breintlythyr dyfeisiwr.

Brevet, *a.* breintwysol, breintwarantol, rhagorfreiniog, breintraddog.
Brevet colonel—milwriad breintradd; milwriad breintwysog, breintraddog, *neu* ragorfreiniog = milwriad o ran gradd, ond rhagfilwriad o ran tâl.
Brevet rank—breintradd.

Breviary, *s.* (Ll. *breviarium;* Ff. *breviaire*) talfyriad, crynodeb, crynoad, byr gasgliad; byriadur, byrlyfr, crynoadur.

The breviary of the Romish church—byriadur *neu* fyrlyfr Eglwys Rhufain; crynodeb Eglwys Rhufain = llyfr yn cynnwys gwasanaeth beunyddiol Eglwys Rhufain.

**Breviat**, *s.* (o'r Ll. *brevis*) byriad, talfyriad, crynodeb, byrgasgl; dewisran.

**Breviate**, † *v. a.*=*Abbreviate.*

**Breviature**, *s.* (o'r Ll. *brevis, abbreviatura*) talfyriad, byriad, cwtogiad, byrhad; geirdoriad; talfyrnod.

**Brevier**, *s.* (Ff. *breviaire*, herwydd mai â hi, meddir, yr argraffid y *breviary*) math o argraff-lythyren led fechan.

**Breviloquence**, *s.* (Ll. *brevis* a *loquor*) byreiriad, byrieithad.

**Breviped**, *a.* (Ll. *brevis* a *pes*) coesfyr, byrgoes, byrgoesog, byrbed.

**Breviped**, *s.* byrgoes, byrgoesog, byrbed, aderyn coesfyr: *pl.* byrbedogion, byrgoesion.

**Brevipen**, *s.* (Ll. *brevis* a *penna*) beradeiniog, byrblufenog.

**Brevipennes**, *s. pl.* (Ff. o'r Ll. *brevis* a *penna*) byradeinion, byradenogion, adenfyrion, adar adenfyr.

**Brevity**, *s.* (Ll. *brevitas*) byrder, byrdeb, byrdra, cwtogrwydd.

Brevity is the soul of wit—byrder yw enaid ffraethder.

The brevity of human life—byrder einioes dyn.

**Brevirostris**, *s.* (Ll. *brevis* a *rostrum*) byrylfinog; aderyn byrbig *neu* bigfyr: *pl.* byrbigiaid, byrylfinogion.

**Brew**, *v.* (S. *briwan;* Is. *brouwen*) darllaw; mysgu; berweddu; cydfradu, dyfeisio.

To brew a plot—llunio cydfrad; darllaw bradwriaeth.

To brew ale—darllaw cwrw.

To brew wines—mysgu gwinoedd; gwaethygu *neu* lygru gwinoedd.

The storm brews—mae yr ystorm yn brochi *neu* yn ymgasglu; mae yr ystorm yn dechreu cynnull; mae y dymhestl yn darllaw.

He is brewing mischief — mae efe yn dychymygu *neu* yn llunio drygioni.

As you have brewed, so you must drink—fel y gwnaethoch y cawl, cymmerwch.

**Brew**, *s.* darllaw, y darllaw.

**Brewage**, *s.* (o *brew*) darllaw, cymmysgedd; dïodlyn, cwrw.

**Brewer**, *s.* (o *brew*) darllawydd, berwydydd.

Brewer of mead, / Mead brewer, } meddydd, darllawydd medd.

The trade *or* profession of a brewer—darllawyddiaeth.

**Brewery**, *s.* (o *brewer*) darllawfa, darllawdy, berwyddfa.

**Brewhouse**, *s.* (o *brew* a *house*) darllawdy, darllawfa, berwyddfa.

**Brewing**, *s.* (o *brew*) darllawiad; mysgad.

A brewing of ale—darllawiad o gwrw; brwd o gwrw *neu* ddïod.

There is a storm brewing—y mae ystorm yn ymgasglu, yn ymgynnull, *neu* yn ymgrynöi; y mae tymhestl yn darllaw.

Brewing tub—cwman, twba darllaw.

**Brewis**,† *s.* (S.) brywes, micas, mican; potes.

**Briar**, *s.*=*Brier.*

**Bribable**, *a.* (o *bribe*) dobradwy, &c.

**Bribe**, *s.* (Ff.; Gw. *brib, bread;* Gael. *briob*) gobr, dobr, gobrwy, gwobrwy, dobrwy, gwobr; hudwobr, namwobr, hudobrwy, celwobr, llygrwobr, brib.

Of whose hand have I received any bribe?—o law pwy y cymmerais wobr?

Their right hand is full of bribes—y mae eu deheulaw yn llawn gwobrau.

Bribe-devouring—gwobr-ysol, dobr-wancus; chwannog, trachwantus, *neu* awyddus i ddobrau.

Bribe-worthy — teilwng o ddobr *neu* wobrwy; gobrwiw, dobrwiw, gobrwywiw, gobrwiw.

Receiver of bribes—derbynydd, derbyniwr, *neu* gymmerwr gwobrau; gwr gwobr a gwerth; â lygrwyd â gwobrau.

**Bribe**, *v. a.* gobri, gwobri, dobri, gwobrwyo, dobrwyo; hudobri, hudobrwyo, namwobri, llygrwobrwyo, celwobrwyo, bribio; rhoi gwobr; tueddu, gwyro, denu, *neu* ennill trwy wobrau.

He is bribed not to speak—gobrwyd ef i dewi; gobrwywyd ef i beidio â dywedyd; dobrwyd ef i ddàl ei dafod; rhoddwyd ariandag arno i dewi; poerwyd yn ei eneu er iddo dewi.

To bribe for an office — swydd-ymgeisio drwy obrwyo, *neu* drwy roddi gwobrau; swydd-obri, swydd-obrwyo; bribio *neu* ddobrwyo am swydd.

**Bribeless**, *a.* (*bribe* a *less*) diwobr, dïobrwy, diwobrwy.

**Briber**, *s.* (o *bribe*) gwobrwywr, gobrwywr, dobrwywr, dobrydd, gobrwr, dobrwr, celwobrwr, llygrwobrwr, hudobrwr, bribiwr; rhoddwr gwobrau; llygrwr â gwobrwyon.

**Bribery**, *s.* (o *briber*) celwobraeth, celwobrwyaeth, celobrwyaeth, llygrobraeth, namwobrwyaeth, ariandag, afarn; gobrfasnach; rhoddiad *neu* dderbyniad gwobrau er gwyro barn.

Fire shall consume the tabernacles of bribery — tân a ysa luesttai gwobrwyr.

All bribery and injustice shall be blotted out—pob derbyn gwobr ac anghyfiawnder a ddilëir.

**Brick**, *s.* (Ff. *brique;* Llyd. *brigen*) priddfaen, priddlech, priddell, peithyn; crasfaen.

A little brick—priddfeinan, priddlechen, priddellan, priddellig.

Brick-burner—llosgwr priddfeini.

Brick-colour — rhuddgoch, cochliw, lliw priddfeini.

Flooring bricks — llawrbeithynau, llawrbriddlechau, priddfain llorio.

Brick-tile—peithyndo, peithynlech, priddlechen, tobriddfaen.

Buttress-bricks—priddfain gwanas, priddfeini atteg.

**Brick**, *v. a.* priddfaenu, priddlechu; llorio *neu* balmantu â phriddfeini.

To brick a floor—llorio â phriddfeini.

**Brickbat**, *s.* (*brick* a *bat*) darn, dernyn, *neu* ddryll o briddfaen: *pl.* darnau *neu* ddrylliau priddfeini.

**Brickbuilt**, *a.* (*brick* a *build*) priddfeinig, priddfeinin.

Brickbuilt house—ty priddfeinig, ty priddfeini; ty priddfaen, ty o briddfain.

**Brickclay**, *s.* (*brick* a *clay*) priddfein-glai, priddellglai, clai priddfeini.

**Brickdust**, *s.* (*brick* a *dust*) priddfeinlwch, llwch priddfeini.
**Brickearth**, *s.* (*brick* ac *earth*) priddfeindir, priddelldir, priddlechdir; daiar *neu* glai i wneuthur priddfeini.
**Brickfield**, *s.* (*brick* a *field*) priddfeinfaes, priddellfaes, priddlechfaes, priddlechgae; maes lle y gwneir priddfeini.
**Brick-kiln**, *s.* odyn briddfeini, cylyn priddlechan.
**Bricklayer**, *s.* (o *brick* a *lay*) saer priddfaen, peithynsaer, saer priddlechau, adeiladydd priddfeini.
**Brickle**,† *a.* (o *break*) brau, breuol, bregus, hydor.
**Brickleness**,† *s.* (o *brickle*) breuder, breuolder, breuedd.
**Brickmaker**, *s.* (o *brick* a *make*) priddfeinydd, priddfeinwr, priddellwr, priddellydd, gwneuthurwr priddfeini.
**Brick-nogging**, *s.* cyflenwad priddfeinwaith.
**Bricklaying**, *s.* (o *brick* a *lay*) priddfeinwaith; adeiladiad â phriddfeini; saernïaeth priddfeini.
**Brickmaking**, *s.* (o *brick* a *make*) priddfeinyddiaeth, priddellyddiaeth, gwneuthuriad priddfeini.
**Bricktrimmer**, *s.* (*brick*, a S. *trimman*) pentan priddfaen.
**Brickwall**, *s.* (*brick* a *wall*) priddfeinfur, priddlechfur, mur priddfaen, peithynfur.
**Brickwork**, *s.* (*brick* a *work*) priddfeinwaith, priddellwaith, peithynwaith.
**Bricky**, *a.* (o *brick*) priddfaenog, priddfeiniog, priddlechog; llawn o briddfeini.
**Bridal**, *a.* (o *bride*) priodasol, neithiorol, neithioraidd, awysol, dyweddïol; perthynol i briodasferch, *neu* i neithior.
Bridal bed—gwely priodas, gwely priodasol, priod-wely.
Bridal ornaments — addurnau priodferch, addurnau priodasol.
Bridal song — priodasgan, priodasgerdd; cân *neu* gerdd briodas.
Bridal attire—gwisg priodas, gwisg briodas, priodwisg, priodaswisg, gwisg neithior, harddwisg priodas.
Bridal guests — gwahoddedigion neithior, gwesteion neithior, gwesteion priodas.
**Bridal**, *s.* neithior, awys, priodas.
**Bridality**, } † *s.* (o *bridal*) cadwad neithior,
**Bridalty**, } neithiorad.
**Bride**, *s.* (S. *bryd*; Sw. a D. *brud*; Is. *bruid*; Al. *braut*; C. *priod*-ferch; Gw. *brideach*) priodferch, priodasferch; y ferch, merch newydd-weddog, y wraig ieuanc; gwraig bwys, gwraig ysbwys; dyweddi.
**Bridebed**, *s.* (*bride* a *bed*) gwely priodas, gwely priodasol, priod-wely.
**Bridecake**, *s.* (*bride* a *cake*) teisen briodas, teisen weddog, priottais, priotteisen.
**Bridechamber**, *s.* (*bride* a *chamber*) ystafell briodas, priodstafell.
The children of the bridechamber—plant yr ystafell briodas.
**Brided**, *a.* (o *bride*) dyweddïog; â wnaed yn briodferch.
**Bridegroom**, *s.* (S. *brydguma*, o *bryd*=bride, a *gum* neu *guma*, gwr) priodfab, priodasfab; ysbinglairch, gwr pwys; y mab ieuanc, y gwr ieuanc, y mab.
As a bridegroom coming out of his chamber—fel gwr priod yn dyfod allan o'i ystafell.
The bridegroom has come—daeth y priodfab.
**Bridemaid**, *s.* (*bride* a *maid*) llawforwyn, morwyn priodas; llawforwyn *neu* arweinyddes y briodferch.
**Brideman**, *s.* (*bride* a *man*) gwas priodas; cyfaill y priodfab, gwas y priodfab.
Bridemen—plant *neu* feibion yr ystafell briodas.
**Bridestake**, *s.* (*bride* a *stake*) dawnsbolyn, dawnsbawl; pawl dawnsio mewn priodas.
**Bridewell**, *s.* (oddi wrth *St. Bride's*, neu *Bridget's well*, yn Llundain) cospweithdy, gweithgarchar, cyweirdy, cystwyfa, carchar-weithdy, carchar.
**Bridge**, *s.* (S. *brigg*, *bricg*, *bric*, *brycg*; Is. *brug*; Al. *brücke*) pont; *pl.* pontydd, pontau, pynt.
Skew-bridge — gŵyrbont, pont ŵyr, osgbont, pont oleddf, pont addwyr.
Draw-bridge—ysgrogell, pont godi.
Pendent *or* hanging bridge—crogbont, pont grog, pont grogedig, pont grogi.
Stone bridge—pont faen, pont feinin, pont gareg.
Wooden bridge—pont goed, pont o goed; gwddor.
Foot-bridge—pontbren, pont droed, troedbont, pont unpren, pedbont.
Flying bridge—nofbont, pont nawf.
Little bridge—pontig, ponten, pontan.
Bridge of boats—pont fadau, badbont.
Bridge-building—pontyddiaeth, pontadeiliaeth.
Bridge-builder—pontydd, pontwr, pontadeilydd, adeiladydd pontau.
Bridge of a musical instrument—pont offeryn cerdd; crib offeryn cerdd; brân, seingrib.
Bridge of a violin—crib crwth, brân crwth, seingrib crwth.
Bridge of an organ—crib *neu* frân organ; seinfwrdd organ.
Bridge of the nose—pont y trwyn, crymedd y trwyn, asgwrn y trwyn.
Bridge-over—trosbont, trosbren.
Bridge-board—pontastell, rhigfwrdd.
Bridge-gutter—pontgafn; pontrewyn.
Bridge-head—pen y bont, tâl y bont; amddiffynfa ar ben pont.
Bridge-stone—pontfaen, careg pont.
**Bridge**, *v. a.* pontio; gwneyd pont ar; adeiladu, rhoddi, *neu* osod pont ar; taflu pont dros.
To bridge a river—pontio afon; taflu pont dros afon; gwneuthur, adeiladu, gosod, *neu* roddi pont ar *neu* dros afon.
**Bridgeless**, *a.* (*bridge* a *less*) dibont, heb bont.
**Bridgings**, *s. pl.* (o *bridge*) pontarnau.
**Bridgy**,† *a.* (o *bridge*) pontog; llawn o bontydd.
**Bridle**, *s.* (S. *bridl*, *bridel*; Is. *breidel*) ffrwyn; genfa.
Bridle-rein—awyn, awen, *neu* afwyn ffrwyn.
Head-stall *or* head-piece of a bridle—penffrwyn, penffestr ffrwyn, penlle ffrwyn, penffest ffrwyn; penfar *neu* benwar ffrwyn.
Fillet, frontlet, *or* front-stall of a bridle—talffrwyn, talrc ffrwyn; talaith march.
Nose-band of a bridle—trwynffrwyn.

Throat-band of a bridle, } genffrwyn.
Chin-stay of a bridle, }
Curb of a bridle—genddal ffrwyn, gwenfa ffrwyn.
To give the bridle to—rhoi *neu* ollwng y ffrwyn i; rhoi rhyddid *neu* rydd-did i; gollwng yn benrydd; ymollwng gyda.
He lets them have the bridle—rhydd y ffrwyn iddynt; rhydd ormod o'r ffrwyn iddynt; gollwng hwynt yn benrydd.
I will keep my mouth with a bridle—cadwaf ffrwyn yn fy ngeneu.
Put a bridle on thy tongue—ffrwyna dy dafod.

Bridle, *v.* ffrwyno; attal, nadael, cyfattal, rheoli, llywodraethu, arafu, rhwystro; cadw i mewn; dàl yn dyn; dàl yn ol; ymffrwyno, ymdagellu.
How the fool bridles!—O! fel mae 'r ffwl yn ymffrwyno!
To bridle the tongue—attal *neu* ffrwyno y tafod.
He bridled his tongue with much difficulty—ffrwynodd *neu* attaliodd ei dafod drwy fawrwaith; bu cryn drafferth arno i attal ei dafod.
He is able to bridle the whole body—mae yn gallu ffrwyno yr holl gorff.
I will bridle my tongue—daliaf fy nhafod; ffrwynaf *neu* attaliaf fy nhafod.
He knows how to bridle his passions—efe a fedr ffrwyno *neu* reoli ei wyniau *neu* nwydau.
To bridle a horse—ffrwyno march; gwisgo ffrwyn march; rhoi ffrwyn yn mhen march *neu* geffyl.
Capable of being bridled—ffrwynadwy, hyffrwyn.
Not to be bridled—anffrwynadwy, anhyffrwyn.

Bridlehand, *s.* (*bridle* a *hand*) ffrwynlaw, llaw y ffrwyn; y llaw à ddeil y ffrwyn.

Bridler, *s.* (o *bridle*) ffrwynwr, ffrwynydd; attaliwr.

Brief, *a.* (Ff. *bref;* Ll. *brevis;* It., Ysp., a Port. *breve*) byr (*f.* bèr); cryno, cwta, talfyr, cynnwys.
A little brief authority—awdurdod byr bach.
Brief sentence—berwers, gwers fèr, synwyrwers, ymadrodd byr.
Brief memoir—cofiant byr, byrgofiant.
To be brief—yn fyr, mewn gair, ar fyr eiriau, ar ychydig eiriau; i gau ar y cwbl; i fod yn fyr; i dori yn fyr; i gael bod yn fyr; er mwyn bod yn fyr.
Very brief—gorfyr, tra byr, byr iawn.
Somewhat brief—lled fyr, go fyr, lledfyr.

Brief, *s.* gwyslythyr, gwyseb, gwarant, ysgrifwys, gwŷs; byrlythyr; llythyr casgl, llythyr gofyn, ceislythyr; cynghawseb; breintlythyr, insel agored; crynodeb; ysgrifen.
Brief (in music)=*Breve*.
Apostolical brief—byrlythyr apostolig, byrlythyr y Pab.

Briefless, *a.* (*brief* a *less*) digynghaws, digyssyl.
Briefless barrister — cynghawswr digynghaws, cynghawsydd diswydd; dadleuwr heb achos i'w ddadleu.

Briefly, *ad.* (o *brief*) yn fyr, yn gwta, yn gryno; ar fyr eiriau; ar ychydig eiriau; ar air; mewn gair.
I have written briefly — ysgrifenais ar ychydig eiriau; ysgrifais yn fyr.
It is briefly comprehended in this saying—y mae wedi ei gynnwys yn gryno yn yr ymadrodd hwn.

Briefness, *s.* (o *brief*) byrder, byrdra, byrdeb, crynoder, cwtogrwydd.

Brier, *s.* (S. *brær;* Gw. *briar*) mïeren, mïaren, dyrysïen, mwyaren, mïerïen, miar: *pl.* mïeri, dyrysi, mwyar.
Sweet brier—rhoslwyn per, mïeren Mair, mïaren Mair, dyrysïen ber.
Wild brier — ciros, egroeswydd, ogfaenllwyn, marchfïaren, rhosyn y cwn, rhosyn gwyllt, merddraenen.
Sweet brier berries—aeron mïeri Mair.
Wild brier berries—egroes, ogfaen, aeron y ciros.
Brier plat — mïerinllwyn, mïarllwyn, mïerinlle, dyryslwyn, llwyn dyrysi, perth fïeri.
Dog brier—merddraenen; *pl.* merddrain.
White brier — marchfïaren, marchfïeren, marchddyrysïen.
Thorns and briers—drain a mïeri; drain a dyrysi.

Briered, *a.* (o *brier*) dyrysïog, mïerïog.

Briery, *a.* (o *brier*) dyrysïog, mïerïog, mïarog; dreiniog, pigog; garw, gerwin; llawn o fïeri *neu* ddyrysi.

Brieve, *s.*=*Brief:* arferedig yn nghyfreithiau yr Alban.

Brig, *s.* (o *brigantine*) llong ddeuhwyliar, briglong, esgaflong.

Brigade, *s.* (Ff. ac Al.; It. *brigata;* Ysp. *brigada*) brigad, torfas; myntai, byddindorf byddin.
Brigade-Major—isfrigadog, isfrigadwr.

Brigade, *v. a.* brigadu, torfasu; myntcio.

Brigadier, *s.* (Ff. o *brigade*) brigadfridog, brigadog, brigedydd, torfasog; cadfridog *neu* benaeth brigad.
Brigadier General=*Brigadier*.

Brigand, *s.* (Ff.; C. *brigant*) carnleidr, ysbeiliwr, ysbeilydd, brigantiad.

Brigandage, *s.* (o *brigand*) lladrad, lledrad, ysbeiliad, anrhaith.

Brigandine, *s.* (?) llurig, curas, cadbais, pais ddur, durbais.

Brigantine, *s.* (Ff. *brigantin;* It. *brigantino;* o *brigand*) brigantlong, briganten, esgaflong.

Bright, *a.* (S. *beorht, briht, byrht,*) dysglaer, gloew, claer, canaid, ysblenydd, llachar, eirian, llathraid, llathr, ffloew, goleu, eglur, amlwg, tanbaid, càn, cabol, cain, llewychedig, gwymp, efflan, ysblan, glain, arwynig, dysgleiriol; enwog, godidog, ardderchog, clodfawr, rhagorol, gogoneddus; dysgywen, dysgleirwych, dysgleirwyn, (*f.* dysgleirwen); teg, mirain.
Very bright—tra gloew, gloew iawn, tra dysglaer, &c.; canloew, arysblenydd, gorlachar.
Bright through—tryloew, trylachar; dysglaer *neu* loew drwyddo; hyloew, hyglaer.
Bright colour—lliw dysglaer, gloew, canaid, goleu, *neu* glaer; goleuliw, claerliw.
Bright brass—pres gloew.
Bright sword—cleddyf dysglaer, gloew, llachar, claer, *neu* lathr.
Bright apparel — gwisg glaerwen; gwisg

ddysgleirwen *neu* ganaid; gwisg ddysglaer; dysgleirwisg, claerwisg.
Bright cloud—cwmwl goleu *neu* ddysglaer; cwmwl goleuwawr; cwmwl dysgleirwyn.
Bright fire—tân dysglaer, goleu, *neu* lachar.
Bright flame—gwenfflam; fflam oleu *neu* ddysglaer.
Bright sunshine—tes ysblenydd, canaid, llathr, *neu* lachar; heulwen oleu.
Star bright—serloew, serlachar; gloew *neu* ddysglaer fàl y ser; seirian.
The bright flames of the stars could not endure to lighten that horrible night—nis gallai dysglaer lewyrch y ser oleuo y nos erchyll hono.
Bright light—goleu *neu* oleuni dysglaer; goleuni canaid, goleu, tanbaid, claer, *neu* ysblenydd.
Bright as the sun—dysglaer fel yr haul; mòr ddysglaer a'r haul; gloewed a'r haul; mòr llachar a'r haul; mòr oleu a'r haul.
Bright spot—màn dysglaer.
The bright and morning star, } y seren
The bright morning star, } foreu eglur (*Dad.* xxii. 16).
A bright one—airon, aeron, claerwen.
The bright shining of a candle—llewyrch *neu* lewych canwyll.
Bright crystal—crisial tryloew, crisial gloew, crisiant dysglaer.
Bright evidence—tystiolaeth eglur, oleu, amlwg, *neu* hywel.
A man of bright parts—dyn dysglaer ei ddoniau; gwr o ddoniau dysglaer; dyn enwog o ran doniau; gwr hynod ei ddoniau; dyn o ddoniau *neu* gynneddfau ysblenydd.
A person of bright character—un dysglaer ei nodwedd; dyn gloew ei nodweddiad; un â gair rhagorol iddo; dyn â gair da dros ben iddo; dyn â gair difan iddo; un o gymmeriad gloew, dïanaf, *neu* ddysglaer.
A bright genius—dyn o athrylith ysblenydd, ardderchog, *neu* odidog; gwr ardderchog, hyglod, godidog, *neu* hynod ei athrylith; athrylith dysglaer *neu* ysblenydd.
This was a bright reign—teyrnasiad hyglod, clodfawr, hyson, *neu* enwog ydoedd hwn; teyrnasiad dysgleirwych, dysglaer, *neu* loew oedd hwn.
Bright sky—wybr ddigwmwl, eglur, glaer-*neu* eglur-loew; hin deg, hinon.
Somewhat bright — goloew, goddysglaer, lledloew, lled ddysglaer, lledoleu, lled glaer, &c.
To make bright=*Brighten, v. a.*
To grow bright=*Brighten, v. n.*
Light bay—claerwineu, gwineugoch.
Bright eyes — llygaid gloewon; llygaid dysglaer, claer, *neu* lachar; llygaid bywiog, terwyn, *neu* danbaid.
It grows bright with wearing—y mae yn gloewi wrth ei dreulio; mae yn gloewi yn ei draul; mae yn gloewi wrth ei wisgo.
Bright wine—gwin gloew, gwin tryloew.
Bright-haired — gwallt-oleu, goleu-wallt, claerwallt; âg iddo wallt goleu, &c.
Bright-eyed—claerlygad, llygadloew; eiriandrem; gloew, claer, llachar, *neu* fywiog ei lygad; â llygad gloew ganddo, &c.
Bright-hued—goleuliw, claerliw, eirianliw; o liw gloew, &c.
Bright-harnessed — arfloew, gloew-arfog, arflachar, claerarfog, trecloew.
Thou goddess heavenly bright!—ti nefol dduwies glaer! ti eirian dduwies nef! ti dduwies nefol eirian wawr!
Bright-burning — goleulosg, fflamoleu, gwenfflamiol.
To shine bright—llewyrchu, llewychu, dysgleirio, goleuo, lleuferu, lleueru.

Brighten, *v.* (o *bright*) dysgleirio, gloewi, llewyrchu, eirianu, llewychu, tywynu, tywynygu, echdywynu, goleuo, llathru, lluganu, llugeinio, caboli, cleirio, claeru, tryloewi; yslipanu, pefru, ysblenyddu, gleinio; diwyllu; enwogi, hynodi; sirioli, lloni; ymddysgleirio, ymloewi, &c.; peri dysgleirio, *neu* loewi; edlymu.
Brighten the arrows—gloewa y saethau.
To brighten a character—gloewi, enwogi, *neu* hynodi nodweddiad *neu* enw; gwneyd enw yn hynod, yn hyglod, yn glodfawr, &c.
To brighten, } teghau, tegychu, hinoni;
To brighten up, } cleirio i fyny; ymagor; gwasgaru, chwalu; gyru ymaith; ymsirioli, ymloni; lloni, sirioli, hoewi.
The news brightened her sorrow — y newydd a wasgarodd ei thristwch; chwalodd y newydd ei gofid.
Our prospects brighten—y mae yn goleuo arnom; y mae ein rhagolygon yn goleuo *neu* yn ymsirioli.

Brightness, *s.* (o *bright*) dysgleirdeb, dysgleirder, gloewder, gloewedd, ysblander, ysblanedd, claerder, llewych, llewyrch, eiriander eirianedd, eirianwch, caneidrwydd, ysblandra, goleuder, goleudeb, llewychiant, eglurdeb, eglurder, lleuer, lleufer, pefriant, gleinder, gwyndra, air; godidogrwydd, rhagoroldeb, enwogrwydd; edlymder, glewder, craffusrwydd.
Radiant brightness — llachar ddysgleirdeb.

Brigose,† *a.* (o *brigue*) cynhenllyd, cecrus, ymrysongar, amrafaelgar.

Brigue, *s.* (Ff.; It. *briga*) cydgyfrinach; dichell, dichelliaeth, brad, cydfrad, cydblaid; cynhen, amrafael, ymryson.

Brigue, *v. a.* ceisio, pleidgeisio, erfyn.

Brillante, *a.* (It.) hoew.

Brilliancy, } *s.* (o *brilliant*) dysgleirdeb,
Brilliantness, } dysgleirder, ysblander, ysblanedd, ysblandra, ysblandeb, eiriander, caneidrwydd, gorwychder, gorddysgleirdeb, gorysblander, teryllder, serigledd, dywyndeb.

Brilliant, *a.* (Al.; Ff. *brillant;* It. *brillante*) gloew, dysglaer, ysblenydd, claer, tryloew, dysgleiriol, llachar, claerwych, rhagorwych, gleiniog; ardderchog; lluchedenol, yn serenu, gwreichionog, terwynol.
Brilliant achievements — gorchestion ysblenydd, gorchestion rhagorgamp.

Brilliant, *s.* claerem, gleinem = cellt neu adamant o'r toriad goreu: esgudfarch.

Brills, *s. pl.* (?) aeliau ceffyl, blew amrantau ceffyl.

Brim, *s.* (S. *brymm;* Sw. *bräm*) ymyl, min, cwr, byl, ôr; ochr, ael, cwr eithaf; cyfor.

Full to the brim—llawn hyd y byl; llawn hyd yr ymyl; hyd y gib; cyforiog, cyfor.
To fill up to the brim—cyforio; llanw hyd y byl *neu* ymyl.
Up to the brim—hyd y byl, hyd yr ymyl, hyd y gib.
In the brim of the water—yn nghwr y dyfroedd.
Having a brim—ymylog; âg ymyl iddo *neu* iddi.

**Brim,†** *a.* (S. *bryme*) cyhoeddus, cyhoedd; adnabyddus, enwog.

**Brim,** *v.* cyforio; ymylu; ¶lenwi hyd y byl; llanw hyd yr ymyl; llanw hyd y gib *neu* y top; bod yn gyfor *neu* gyforiog; bod hyd y byl *neu* ymyl: llodi, bod yn llodig, gofyn baedd.
Narrow-brimmed hat—het ymylgul; het gul ei hymyl.

**Brimful,** *a.* (*brim* a *ful*) cyforiog, cyfor; llawn hyd y byl *neu* ymyl; llawn hyd y gib; yn barod i redeg *neu* lifo drosodd; trylawn, gorlawn.

**Brimfulness,** *s.* (o *brimful*) cyforiogrwydd, cyfordeb; llawnder hyd y byl; trylawnder.

**Brimless,** *a.* (*brim* a *less*) dïymyl, dïor; heb ymyl *neu* fyl.
A heart brimful of tears—calon gyforiog o ddagrau; calon drylawn *neu* orlawn o ddagrau; calon lawn o ddagrau hyd y byl.
Our legions are brimful — gorlawn ein llengoedd.

**Brimmer,** *s.* (o *brim*) cyforgib, cwpan cyforiog, cwpan llawn; cyforaid, cwpanaid.

**Brimming,** *a.* (o *brim*) cyforiog, cyfor; gorlawn, trylawn; llawn hyd y byl *neu* ymyl: llodig.
Brimming sow—hwch lodig, hwch faedd-redog.

**Brimstône,** *s.* (S. *bryne*, llosg, a *stone*,=burnstone) llosfaen, llosgfaen, mygfaen, melynfaen, ufeliar, brwmstan.
Fire and brimstone—tân ac ufeliar, tân a brwmstan.
Acid of brimstone, Sulphuric acid, } sur ufelig, sur llosfeinig.
Brimstone wort—pyglys.

**Brimstony,** *a.* (o *brimstone*) llosfeinin, llosgfeinin, llosfeinig, mygfeinin, ufelierin, brwmstanaidd; o losgfaen *neu* frwmstan.

**Brinded, Brindled,** } *a.* (It. *brinato*) brych (*f.* brech), brith (*f.* braith), mànog, brychog, arfrych, brychedig, ysmotiog, cymmysgliw, amryliw, brychliwiog; crych (*f.* crech).
Brinded cow—buwch frech.
Brinded ox—eidion brych.
Brinded mane—mwng crych.
Brindled bay—brychwineu.
Brindled white—brychwyn, brithwyn; *f.* brechwen, breithwen, brithwen.
Brindled brown—brychlwyd.

**Brindle,** *s.* brychni, brychogrwydd, arfrychni, brithedd, mànogrwydd.

**Brine,** *s.* (S. *bryne*) heli, dwfr hallt, dwr hallt, halwyn; dagrau, deigrau; y môr heli.
To season with brine—helïo, halu, halenu.

**Brine,** *v. a.* helïo, halenu, halu; cymmysgu halen â.

**Brinepan,** *s.* (*brine* a *pan*) heledd, helifa, pwll heli.

**Brinepit,** *s.* (*brine* a *pit*) pwll heli, heledd, pwll halen.

**Brinespring,** *s.* (*brine* a *spring*) ffynnon heli, ffynnon hallt, halffynnon, halffwnt.

**Bring,** *v. a.* (S. *bringan;* Al. *bringen;* Sw. *bringa;* D. *bringer*) dwyn, dygyd, cyrchu, arwain; cludo, cario, hol, nol, cywain, arwedd; tywyso, tywys; cynnyrchu, peru, peri; dyfod âg.
To bring about—dwyn i ben; peri, peru; peri bod; cyflawnu, cwblhau, gorphen, dybenu, effeithio, gwneuthur, gweithredu; cylcharwain; cylcharwain chwedl; llefaru yn amgylchiadol; dwyn *neu* ddygyd oddi amgylch *neu* o gwmpas.
To bring away—dwyn *neu* gludo ymaith; tywyso ymaith.
To bring abroad—dwyn, arwain, cywain, *neu* ddygyd allan *neu* i'r goleuni.
To bring to an end—dwyn i ben; gorphen, cyflawnu, cwblhau, dybenu, diweddu, perffeithio, talmu; dwyn i ddiwedd.
To bring again — eilgyrchu, adgyrchu, eilddwyn, dwyn drachefn, dychwelyd.
To bring aside—dwyn, tywys, tywyso, *neu* dynu o'r neilltu; twyllo, denu, *neu* hudo allan o'r ffordd; camdywys, camarwain, cildywys.
To bring back—dwyn yn ol; dwyn adref; attwyn, atddwyn, atddygyd, adgywain, edfryd, dychwelyd, attychwelyd; troi, troi yn ol.
To bring down—dwyn i lawr; lleihau, iselu; dwyn yn is; dwyn i waered; disgyn; tynu i lawr; peri disgyn.
To bring down, To bring under, } darostwng, goresgyn, gorchfygu, trechu, gorfod ar; gostwng; dwyn dân *neu* danodd; dwyn, gwthio, gosod, dodi, bwrw, *neu* dynu i lawr; disgyn.
To bring by force—dwyn trwy drais *neu* orthrech; cymhell, gwthio, *neu* lusgo trwy drais; llusgo, gwthio, gorfodi.
To bring forth—dwyn, tynu, tywys, *neu* arwain allan; gosod ger bron; tynu o; dangos allan; gosod allan; dynoethi, dadguddio; esgor, esgori, dwyn, ymddwyn, ymddwyn ar, esgor ar, geni; dyfod â; bwrw; alu; heigio; cynnyrchu.
To bring forth abundantly—heigio; dwyn *neu* fwrw allan yn fflwch.
To bring forth before the time—erthylu; esgor cyn tymp; ymddwyn ar *neu* ddwyn cyn tymp; esgor cyn yr amser.
To bring forth fruit — dwyn ffrwyth; ffrwytho.
To bring forth flowers — dwyn blodau; blodeuo, blaguro, ffluro.
To bring forward—dwyn yn mlaen; hebrwng yn mlaen; hyfforddi, hyrwyddo, hylwybro, hylwyddo, llwybreiddio, rhwyddhau, rhwyddino, hwyluso, hwylusu; dwyn i'r golwg.
To bring forward on a journey—hebrwng, canhebrwng, hebryngu, canymdaith, canymdeithio, canymdöi; anfon, danfon.
To bring from—dwyn o *neu* ymaith; dwyn *neu* gludo oddi wrth; cludo *neu* gywain ymaith; diddyfnu.
To bring in—dwyn i mewn, dygyd i fewn; arwain, tywys, cludo, *neu* gywain i

mewn; cyfarwain, rhagarwain, atarwain.
To bring in place of another—dwyn, dodi, *neu* osod yn lle un arall.
To bring in guilty—euogfarnu, collfarnu; bwrw *neu* farnu i'w golli; bwrw i farwolaeth; dwyn i mewn yn euog; cael yn euog; barnu *neu* fwrw yn euog; dyfarnu.
To bring in not guilty—dwyn i mewn *neu* gael yn ddïeuog; dïeuogi, rhyddhau, diheuro; barnu *neu* fwrw yn ddïeuog.
To bring into fashion—dwyn i arferiad; dwyn ar arfer; dyfod â pheth i ddefod ac arfer; peri mewn arfer; dwyn i gymmeriad; peri arferyd yn gyffredin.
To bring into a fool's paradise—hudo â theg eiriau; denu *neu* litho â gau addewidion; addaw yn dda i wneyd ffwl yn llawen; tywys *neu* arwain i wag obaith; somi, siomi; dwyn i wynfa yr ynfyd.
To bring one's hand in—cyweirio, cynnefino, *neu* arferyd ei law; dwyn ei law i mewn *neu* i gywair; dyfod â'i law i mewn *neu* i gywair.
To bring into an office—derchafu i swydd; dodi *neu* roddi mewn swydd.
To bring into danger—dwyn *neu* arwain i berygl.
To bring into debt—dwyn i ddyled; rhoi mewn dyled; dwyn *neu* dynu dyled ar.
To bring into question—dwyn dàn holiad *neu* holedigaeth; holi.
To bring into subjection—dwyn yn gaeth; dwyn i gaethiwed; dwyn dàn lywodraeth; darostwng.
To bring low—darostwng, gostwng, iselu, iselhau; dwyn yn isel; tynu, taflu, *neu* fwrw i lawr; lleihau, culhau, prinhau, gwanychu, gwanhau, gwaethu, gwaethygu.
To bring matters to bear—peri tycio; peri llwyddo; gosod ar droed; dwyn yn mlaen yn hyrwydd; dwyn pethau i ben; dwyn pethau i gael effaith; peri i bethau dycio.
To bring off—dwyn ymaith; rhyddhau; tynu yn rhydd; tynu allan; gwaredu, diddyrysu, dirwystro; dwyn *neu* dynu oddi wrth; peri i un beidio â; darbwyllo un i beidio âg.
To bring on—dwyn yn mlaen; hyrwyddo, hylwybro; cychwyn; hebrwng yn mlaen.
To bring one on his way—hebrwng, hebryngu, canhebrwng, canymdeithio, canymdöi; anfon, danfon.
To bring to nothing—diddymu, dilëu, dyfetha, dinystrio, difanu, difa, difwyno, ysu, anrheithio, dïelwi, peri difanu; dwyn i ddim *neu* ddiddymdra.
To bring to perfection—dwyn i ben; dwyn i berffeithrwydd; perffeithio, cwblhau, dybenu, gorphen, cyflawnu, cwpl orphen.
To bring over—dwyn drosodd; dwyn dros; dygyd trosodd; trosglwyddo; trosi; troi, gwyro, plygu, denu, trathynu.
To bring out—dwyn allan *neu* i maes; adrodd, dadgan; dywedyd *neu* dreithu allan; cyhoeddi, digelu, dïargelu, dadguddio; dyfod â pheth allan.
To bring to pass—dwyn i ben; cyflawnu, gorphen, gorphenu, perffeithio, effeithio, gwneuthur, gwneyd, cwblhau, dybenu, talmu, cwpla.
To bring to remembrance—dwyn ar gof; galw i gof; coffa, coffhau, cofio, adgofio, adgoffa, adgoffhau; galw *neu* osod mewn cof; dwyn cof am; dwyn adgof o.
To bring one to his trial—dwyn un i'w brawf; dwyn un ger bron; dwyn un i ateb i gyfraith; gosod, galw, dwyn, dygyd, *neu* lusgo un ger bron brawdle *neu* frawdlys; gosod un ar ei brawf.
To bring into a snare—dwyn, tynu, *neu* litho un i'r rhwyd *neu* i fagl; dwyn llathlud; rhwydo, maglu.
To bring into one's hand—dwyn *neu* ddygyd i law un.
To bring word, } mynegu, dadgan,
To bring tidings, } dangos, hysbysu; dwyn cenadwri, dwyn newydd, dwyn newyddion, dwyn gair, adrodd, dywedyd; rhybuddiaw o beth.
To bring word again—dwyn ateb; dwyn gair yn ol; dwyn gair eilchwyl.
To bring together—dwyn, casglu, cynnull, *neu* grynöi yn nghyd, at eu gilydd, *neu* i'r un fàn; cyssylltu, dodi, *neu* osod yn nghyd.
To bring under—darostwng; dwyn yn gaeth; dwyn i gaethiwed; dwyn dàn lywodraeth; dwyn *neu* 'yru tàn *neu* danodd.
To bring up—dwyn i fyny; magu, meithrin, meithrino, maethu; codi i fyny; codi, cyfodi, cwnu; deifnio, deifnogi; dwyn i arferiad; codi i arfer gyffredin.
To bring up the rear—dwyn *neu* dywys yr oliaid yn mlaen; dwyn yn mlaen fon y gad; dwyn y gwŷr ol yn mlaen.
To bring up children—magu plant; dwyn plant i fyny.
To bring up, } cyfogi; chwydu; chwydu
To vomit up, } allan; bwrw, codi, *neu* ddwyn i fyny; gloesi.
To bring up an evil report—dwyn anair *neu* anghlod ar; dwyn enw drwg ar; rhoi allan anghlod am; llygru gair da.
To bring upon—dwyn ar; dwyn ar warthaf.
To bring envy upon one—peri cenfigen i, wrth, *neu* at un; peri cenfigenu wrth un.
To bring upon the carpet—gosod *neu* roi yn destyn siarad; gosod ger bron *neu* o flaen eisteddfod; rhoi testyn *neu* yn destyn i ymddadleu *neu* ymholi yn ei gylch; dwyn i'r carped; rhoi *neu* osod ar y carped.
To bring mischief upon one's own pate—dwyn *neu* dynu drwg ar ei ben ei hun; dwyn *neu* dynu drwg ar ei gopa ei hun.
To bring the ship to—gosod *neu* roi y llong i orwedd wrthi; rhwystro hwyliad llong.
She brought him wine—hi a ddug iddo win; dygodd win iddo.
Bring me a sword—dwg i mi gleddyf; rho imi gledddyf.
That he may bring thee into the place which I have prepared—fel y'th arweinio i'r fàn à barotoais.
Bring her to me—cyrchwch *neu* dygwch hi ataf fi.

Them also I must bring — y rhai hyny hefyd sy raid i mi eu cyrchu.
Bringing his sheaves with him—dàn gludo ei ysgubau.
It was this that brought it about—dyma yr hyn a'i parodd; hyn a'i dygodd i ben.
He brought it happily about — efe a'i dygodd i ben da.
To give one as good as he brings—talu y pwyth.
To bring an action against one—rhoi cwyn yn erbyn un; cyffröi hawl yn erbyn un; rhoi cwyn ar ddyn; cychwyn hawl *neu* gynghaws yn erbyn un; cwyno ar un; rhoi cyfraith ar un.
He will bring you again unto the land of your fathers—efe a'ch dychwel i dir eich tadau; efe a'ch dwg yn ol i dir eich tadau.
You will be brought back *or* again to your God—troir chwi at eich Duw; dychwelir chwi at eich Duw.
To bring to bed—colwyno; derbyn etifedd *neu* blentyn i'r byd; hebrwng gwraig i'w gwely; dwyn i'r gwely.
To bring into bondage—caethiwo, caethgludo; dwyn i gaethiwed; dwyn yn gaeth; gwarogi.
He brought them down—tynodd hwynt i lawr; darostyngodd hwynt.
Thou shalt bring them down into the pit of destruction—disgyni hwynt i bydew dinystr.
That thou mayst bring them down—fel y darostyngot hwynt.
I will bring down their strength to the earth—eu cadernid a ddisgynaf i'r llawr.
Bring them down from the hill — dwg hwynt i waered o'r bryn.
Thence will I bring thee down—mi a'th ddisgynaf oddi yno; gwnaf i ti ddisgyn oddi yno.
Who shall bring me down to the ground? —pwy a'm tyn i'r llawr?
To bring forth young—esgor ar; dwyn i'r byd; dwyn newyddian i'r byd; ymddwyn, ymddwyn ar; geni; bwrw.
She brought forth a son—hi a esgorodd ar fab; hi a ymddug fab; ymddygodd ar fab.
That night she brought forth her firstborn—y nos hòno y dygodd hi ei chyntaf-anedig i'r byd.
About this time she brought forth her second son—yn nghylch y pryd hwn yr ymddygodd hi ar ei hail fab.
Let the earth bring forth grass—dyged y ddaiar egin; egined y ddaiar egin; dyged y ddaiar laswellt.
Let the waters bring forth abundantly—heigied y dyfroedd.
The river shall bring forth frogs abundantly —yr afon a heigia lyffaint.
Thou knowest not what it may bring forth —nis gwyddost ti ar ba beth yr esgora.
The labour of virtue brings forth pleasure —gorchwyl rhinwedd a rydd hyfrydwch.
Ye have sown much, and brought in little —hauasoch lawer, a chludasoch ychydig.
Bring me in before the king—dwg fi o flaen y brenin.
He went with them to bring them on the way—aeth gyda hwynt i'w hanfon *neu* i'w hebrwng hwynt.
He brought them over to his own party—trodd hwynt i'w blaid ei hun; dug *neu* dygodd hwynt drosodd i'w blaid ei hun.
I will bring it to pass—mi a'i gwnaf; dygaf e i ben.
Into whose hands God bringeth abundantly—y rhai y cyfoethoga Duw eu dwylaw.
He brought her up from her childhood—dygodd hi i fyny o'i mebyd; efe a'i dygodd hi i fyny o'i hieuenctyd.
He shall bring upon them their own iniquity—efe a dâl iddynt eu hanwiredd.
Bring me word again—dwg imi air eilchwyl; dwg eilchwyl *neu* eilwaith air i mi; dwg imi air drachefn; dwg air *neu* ateb yn ol i mi.
To bring glad tidings—dwyn newyddion da; efengylu.
To bring one to his wits—dwyn un ato ei hun; dwyn un i'w bwyll; dwyn un i'w iawn bwyll.
Bringing to—gorweddiad wrthi; gorwedd wrthi.
Bringing forth—cynnyrch, cynnyrchiad; esgoriad, esgor, esgorfa, dygiad i'r byd, esgoredigaeth, ganedigaeth; ystarddiad.
To draw near the time of bringing forth—dywyddu; dychwyddu, dychwyddo.
To bring to light—dwyn i'r goleu; dwyn i'r golwg; dwyn i'r amlwg; dygyd i'r goleuni; dwyn i glawr.

**Bringer**, *s.* (o *bring*) dygydd, dygwr, dygiedydd, arweinydd, arweiniwr, arweddawdwr; cludydd, cludwr, cariwr, cyweiniwr.
Bringer in—dygwr i mewn; cyfarweinydd, cyfarweiniwr, cyarweinydd, arweinydd, atarweinydd.
Bringer up—maethydd, magwr, magydd, meithrinydd, meithrinwr, megidydd; addysgydd, addysgwr; dygydd i fyny; olfilwr, gorddinydd.
Bringer of tidings — dygwr newyddion; mynegydd, mynegwr, adroddwr; cenad.
Bringer of good tidings—dygwr newyddion da; un à ddygo newyddion da; efengylydd, efengylwr, coelfeinydd.
Bringer on one's way—hebryngydd, hebryngwr, canymdeithydd, canhebryngydd, canymdöydd, hebryngiad.

**Brinish**, *a.* (o *brine*) helïaidd, hallt, halltaidd, halltin; lled hallt, go hallt.

**Brinishness**, *s.* (o *brinish*) halltrwydd, helltni, halltedd, halltciddrwydd, halltineb; lledhalltrwydd, gohalltedd.

**Brink**, *s.* (D. a Sw.; C. *bryncyn*) min, glàn, ymyl, ceulan, torlan, cwr, gwàr, dibyn, arlan, dib, ael.
He is on the brink of destruction—y mae efe ar fin dystryw; y mae efe ar derfynau dïenydd; y mae yn ymyl dinystr; y mae mewn dirfawr berygl.
When you have come to the brink of the waters—pan ddelych hyd gwr y dyfroedd.
On the brink of the pit—ar làn y pwll; ar wàr y pwll.
On the brink of the precipice—ar ddibyn y clogwyn; ar ael y dibyn; ar ael y clogwyn.
From Severn's brink—o fin Hafren; o ymyl *neu* làn Hafren.

**Briny**, *a.* (o *brine*) hallt, helïog, helïaidd, hall.
The sun drinks of the briny deep—yf yr haul o fôr heli.
The briny waves — tònau y môr heli; tònau heli; gwenyg hallt, tònau heilltion.
Briny tears — dagrau heilltion, deigron hallt, dagrau heli.
To shed briny tears—wylo yr heli; tywallt dagrau heilltion.

**Briony**, *s.*=*Bryony*.

**Brisk**, *a.* (Gael. a Gw. *brisg, briosg*; C. *brysg*) bywiog, hoenus, heinif, heini, gweisgi, gwisgi, esgud, esgudlym, eidiog, gorhoenus, brysg, hoew, cyflym, buan, sionc, chwai, chwimmwth, mwth, chwyrn, gwaisg, chwim, pabl, esgaidd, esgeiddig, blawdd, clau, hawntus, arialus, calonog, brywiog, brywus, pybyr, glew, gwych, llon, llawen, gorawenus, nwyfus; tirf, gwyrenig; ymgynhyrfus, cynhyrfus, llawn bywyd, ewynog.
A brisk gale of wind—awel ffraw, chwern, *neu* chwai o wynt.
Brisk cider—osai ewynog, gwreichionog, byrlymog, gorisgellog, *neu* ymgynhyrfus.
To give the enemy a brisk charge — rhuthro yn esgudlym ar y gelyn; ymosod yn bybyr, yn ddewrwych, yn daerddrud, *neu* yn frysg ar y gelyn.
Brisk fire—tân bywiog, tân brysg, tân gwych, tân brywus.
Brisk demand—gofyn brysg, gofyn mawr, gofyn bywiog, gofyn brywus.
Very brisk, Extremely brisk, } tra bywiog, gorhoenus, gornwyfus, gorhoeni, tra heinif, tra gwisgi, &c.

**Brisket**, *s.* (Ff. *brechet*) parwyden, y barwyden, hydgyllen.

**Briskness**, *s.* (o *brisk*) bywiogrwydd, hoenusrwydd, hoen, gorhoen, hoenusder, gweisgrwydd, esgudrwydd, hawnt, llonder, heinifder, nwyf, gorawen, eidiogrwydd, sioncrwydd, sioncusrwydd, sioncedd, hoewder, buander, buandra, cyflymder, chwimmythder, mythder, chweider, parodrwydd, gwrygiant, brywusder, bywiogder, brysgedd, hawnid, hoewedd, pybyrwch, glewder, calondid, gwychder, dewrder, arial, yni, gwychder, egni; ewynogrwydd, cynhyrfusder.

**Brisk**, *v.* bywiogi, bywiocäu, bywioli, arialu, lloni, sirioli, llawenhau, llawenu; ymloni, ymgaloni, ymlawenu, ymsirioli; brysio, prysuro, gorffullio, chweio, cyflymu; brysio yn mlaen yn orhoenus; brysgo; ymsythu.
To brisk up=*Brisk, v.*
To brisk one's self up—ymloni, ymfywiogi, ymsirioli, ymlawenu.

**Bristle**, *s.* (S. *bristl*) gwrychyn; rhawnyn mochyn: *pl.* gwrych, rhawn moch.

**Bristle**, *v.* gwrychu, gwrychio; codi gwrych; codi gwrychyn; codi yn wrych; codi yn ei wrych; codi ar ei wrych; sythu, ymsythu; gosod gwrychyn.
To bristle a shoemaker's thread—gwrychio edaf crydd.
To bristle at one—gwrychio wrth *neu* at un; neshau at un dàn godi ei wrych; gosod ar un dàn godi ei wrych; dyfod at un â'i wrych yn y gwrthwyneb.
To bristle the crest—gwrychio y gribell.
Bristle-armed—gwrycharfog, gwrycharfedig; arfog o wrych.
Bristle-like—mòr syth a gwrych; gwrychaidd.
Bristle-shaped—gwrychluniaidd, gwrychlun; ar ddull *neu* wedd gwrych; gwrychfal; o hyd a lled gwrychyn.
Bristle-bearing — gwrychddwyn, gwrychfag, gwrychddygol, gwrychog, gwrychiog.

**Bristled**, *p. a.* (o *bristle*) gwrychedig.

**Bristly**, *a.* (o *bristle*) gwrychog, gwrychol, gwrychiog; garw, gerwin, graenol; llawn gwrych.

**Bristol-flower**—blodyn Caerodor=math o luglys, neu flodeuyn rhudd.

**Bristol-stone**, **Bristol-diamond**, } *s.* creigrisial, crisfaen Caerodor, Crisial Caerodor = math o faen crisial à geir mewn craig ger Caerodor.

**Bristol-water**, *s.* dwfr Caerodor, dwr Odor= dwr ffynnonau twym ger dinas Caerodor, o dymmeredd 74°.

**Brisure**, *s.* (Ff.) osgragfur.

**Brit**, *s.* torbwt, lleden y môr.

**Brite**, **Bright**, } *v. n.* (?) goraddfedu; dyfod *neu* fod yn rhy addfed.

**Britksa**, **Britchka**, **Britzska**, } *s.* (Al. *britsche*) math o rythglud, neu gerbyd penagored, â phedrolwyn iddo.

**Brittle**, *a.* (S. *brittan, brytan*) brau, breuol, bregus, hydor, hyfriw, hydwn, bradw, athor; crin.
Brittle-edged—breufin, breulif, minfrau; brau ei fin.
As brittle as glass—càn freued a'r gwydr; fel y gwêr gwỳn.

**Brittleness**, *s.* (o *brittle*) breuder, breuolder, breuoldeb, breuedd, breuoledd, breuolrwydd, breurwydd, breuawd, breuolaeth; bregusrwydd, hydoredd; crinder, crinedd.

**Briza**, *s.* (Gr. *brizô*) crydwellt, eigryn; yd Sant Pedr.
*Briza media*—gwenith yr ysgyfarnog.

**Brize**, *s.*=*Breese, Breeze*.

**Broach**, *s.* (Ff. *broche*) bêr, beran; brwyd, gwaell, gwachell, pwyned, nydell; gleinaddurn.

**Broach**, *v. a.* (Ff. *embrocher*; C. *procio*) beru; gwânu â bêr; gwaellu, gwachellu; dwselu, twselu; agor, tyllu, egori, ebillio, procio; gollwng, gollwng allan; cyhoeddi, taenu, hau; hau *neu* daenu ar led; rhoi ar led.
To broach lies—hau *neu* daenu celwyddau; taenu celwyddau ar led; lledu celwyddau.
To broach an error—hau, taenu, *neu* gyhoeddi cyfeiliornad; taenu *neu* hau camddaliad ar led; bod yn awdur, yn hauwr, *neu* yn ddychymygydd camdyb; dychymygu, cyhoeddi, *neu* hau gau athrawiaeth; cyhoeddi camddysg gyntaf.
To broach to—gogwyddo yn ddisymmwth at y gwynt.

**Broacher**, *s.* (o *broach*) bêr, beran; dwselydd, dwselwr, tyllwr, agorydd, gollyngwr; taenydd, hauwr, cyhoeddwr; taenwr *neu* gyhoeddwr cyntaf.

**Broad**, *a.* (S. *brad*; Is. a D. *breed*; Sw. *bred*; Al. *breit*) llydan, lledan; eang, helaeth, ehelaeth, ang, helaethfawr; bras, braisg, rhwth (*f.* rhoth), rhydd; ar led, penagored, lledegored; mawr; hysbys, honaid, amlwg, noeth, dïargel, dïorchudd, dïaddurn; garw; anmhur, budr, annestlus, aflednais, anniwair,

trwsgl, anweddaidd, brwnt; hyf; cynnwysfawr.

As broad—cyfled.

Broad as long—un lled a hyd; yr un hyd a'r un lled; pedrogl, pedrongl, ysgwar.

It is as broad as long—i'r un fàn y daw yn y diwedd; i'r un peth y daw yn y diwedd; annilys yw.

Broad day—dydd goleu, goleuddydd.

In broad day light—ar hyd y dydd goleu.

Broad awake—cwbl-effro, cwbl effro, cwbl ddeffro, cwbl ddihun; hollol ar ddihun; hollol effro.

Broad language — serthiaith, budriaith, serthedd, croesanedd, croesanair, croesanaeth, croesaniaith, crasder; ymadrodd anweddaidd, serth *neu* aflan; geiriau anniwair, brwnt, budr, *neu* serthaidd; iaith lydan, llydaniaith.

He would use language perfectly broad—croesanaeth croew soniai; croesaniaith groew seiniai; arferai serthiaith groew.

He is in some places broad and fulsome—y mae efe mewn rhai manau yn serth ac yn ffiaidd.

The measure thereof is broader than the sea—mae ei fesur yn lletach na'r môr.

Thy commandment is exceedingly broad—dy orchymyn di sydd dra eang.

A broad mixture of folly—cymmysgedd helaeth, helaethlawn, dibrin, *neu* ddigyrrith o ynfydrwydd *neu* ffolineb.

Thou shalt make an altar five cubits broad—gwna allor o bum cufydd o led.

He would have removed thee out of the strait into a broad place—efe a'th symmudasai di o eneu cyfyngdra i eangder.

He makes broad signs—rhydd arwyddion eglur.

Let those censers be wrought into broad plates—gweithier y thuserau hyny yn ddalenau llydain.

Broad is the way—llydan yw y ffordd.

They were as broad as they — un lled oeddent a hwynt; yr oeddent càn lleted a hwythau.

To make broad—llydanu, lledu, lledanu; eangu, helaethu; estyn o led; gwneyd yn llydan; rhythu.

They make broad their phylacteries—y maent yn gwneuthur yn llydain eu cadwadogion.

That may be made broad—lledadwy, hyled; à ellir ei ledu *neu* lydanu.

That cannot be made broad—anlledadwy, anhyled; nas gellir ei lydanu; diled.

To speak broad—siarad yn llydan; siarad *neu* lafaru yn serth, yn serthaidd, yn fudr, yn aflednais, yn anniwair, *neu* yn anllad, &c.

Very broad—tra llydan, tra eang; llydan *neu* eang iawn, &c.

The broad end of an oar—palf rhwyf.

A broad laugh—crechwen, chwerthin croch, croch chwerthin, crechwenfloedd.

Broad-ax, } *s.* bwyell lydan, bwyell ledan;
Broad-axe, } bwyell gynnud.

Broad-backed, *a.* cefnlydan; llydan ei gefn.

Broad-bills, *s. pl.* (*broad*, a *bill*, pig) piglydain; *sing.* piglydan=math o adar.

Broad-blown, *a.* llawn chwyth, chwythlawn.

Broad-bottomed, *a.* gwaelod-lydan, llydansail; llydan ei waelod; à gwaelod llydan iddo; âg iddo waelod *neu* wadn llydan; llydan-waelod, engwaelod, bonllydan.

Broad-breasted, *a.* bronlydan; llydan ei fron.

Broad-brimmed, *a.* ymyl-lydan, minlydan; ymyl llydan; âg ymyl llydan iddo.

Broad-cast, *s.* llawdafliad, llawhauad, llawheuad, hauad â llaw.

Broad-cast, *a.* llawheuol, llawdafliadol; à heuwyd â llaw.

Broad-cast, *ad.* trwy *neu* dàn daflu *neu* hau â llaw.

To sow broad-cast—hau â llaw, hau â'r llaw; llaw daflu had.

Broad-chested, *a.* bronlydan, llydanfron.

Broad-cloth, *s.* brethyn deuled, brethyn llydan.

Broaden, *v. n.* (o *broad*) ymlydanu, ymledu; myned yn llydan.

Broad-eyed, *a.* tremlydan, llygadlydan, llydandrem, tremfawr, tremeang, eangdrem; golygfawr, llygadfawr.

Broad-faced, *a.* gwyneblydan, wyneblydan, wynebglawr, wynebfawr, gweblydan.

Broad-footed, *a.* troedlydan, pedlydan, llydandroed; llydan ei droed.

Broad-fronted, *a.* tàl-lydan, llydandal, rhaglydan, talcen-lydan.

Broad-fronted Cæsar — Caisar raglydan; Caisar dàl llydan.

Broad-headed, *a.* penlydan, penllydan.

Broad-horned, *a.* cornlydan, llydan-gorn.

Broadish, *a.* (o *broad*) llydanaidd, golydan, lled lydan, lledlydan.

Broad-leafed, } *a.* llydanddail, llydanddeiliog;
Broad-leaved, } â dail llydain iddo *neu* ganddo.

Broad-mouthed, *a.* safnlydan, ceglydan, geneulydan, llydan-eneu.

Broadness, *s.* (o *broad*) lled, llydander, lledander, llydanedd; helaethder, helaethrwydd, eangder, eangrwydd.

To palliate the broadness of his meaning — i guddio serthedd *neu* frynti ei feddwl.

Broadness of pronunciation—llydan-lafariad, llydander cynaniad.

Broad-piece, *s.* llydarn, llydanddryll=bath aur gwerth oddeutu 20*s.*, arferedig yn y deyrnas hon yn amser Iago I. a Carl I.

Broad-seal, *s.* y sel lydan, y sel fawr; sel fawr Lloegr.

Broad-set, *a.* ffall.

Broad-set person—ffallach, dyn ffall.

Broad-shouldered, *a.* ysgwyddlydan; llydan ei ysgwyddau; âg ysgwyddau llydain iddo.

Broad-side, *s.* ochr llong, ystlys llong; ochr-ergydion; lledwedd, gwyneblen, wyneblen.

Broad-side (in typography)—gwyneblen, wyneblen, lledwedd = papyr argraffedig ar y naill wyneb yn un tudalen.

He fired upon them a whole broadside—efe a daniodd arnynt ystlys gyfan; efe a ollyngodd arnynt lawn ystlys.

Broad-spread, *a.* llydandaen, llydandaenol.

Broad-spreading, *a.* yn taenu yn llydan; yn llydanu; llydaenol; yn taenledu.

Broad-sword, *s.* gleifawr, ffoswn, cleddyf llafnllydan.

Broad-tailed, *a.* cynffonlydan, llydanlost, cwtlydan; â chynffon lydan iddo.

Broad-wise, *ad.* ar led, ar ei led, o led; ar hyd y lled.

Brocade, *s.* (Ysp. *brocado*) eurfrithwe, eurfrod-

we, brodwe, gwullwe, blodwe, blodeuwe, brygwe.
Brocade shell—brodgragen, cragen frygwe.
Brocaded, *a.* (o *brocade*) eurfrodiog, brodweog, brodweuedig, gwullweog, gwullweuedig, eurfrodwisg; eurblethedig.
Brocaded with gold—eurfrodiog. [caerog.
A diadem of brocaded silk—coron o bali
Brocage, Brokage, *s.* (o *broke*) prwydal; maeldal, trosfaeloriaeth, prwydaliaeth, maeldaliaeth; hennwyddiaeth.
Brocatel, Brocatello, *s.* (Ysp. *brocatel*) brodfaen, brithfaen; brodwe arw.
Broccoli, *s.* (It. *broccolo*; Ff. *brocoli*) math o fresych neu gawl.
Brochan, *s.* (Gael; C. *brwchan*; Gw. *brocan*) brwchan, uwd, uwd blawd ceirch.
Brochure, *s.* (Ff.) llyfryn, llyfran, llyfr bychan.
Brock, *s.* (S., Gw., a Cern. *broc*; C. *broch*) broch, daiarfochyn, gwilfrai, pryf penfrith, pryf llwyd, byrhwch.
Brocket, *s.* (Ff. o *brock*) carw dwyflwydd; rhydain coch dwyflwydd oed.
Brodekin, Brodequin, *s.* (Ff. *brodequin*) gwentas, gofotas, corfotas, hanner botas.
Brogans, *s. pl.* (o *brogue*) tudleau, esgidiau coed.
Broggle, *v. n.* (?) llyswena, pysgota am lysŵod, dàl llysŵod.
Brogue, *s.* (Gw. *brog*) cyfarchen; esgid Wyddelig; esgid goed: *pl.* cyfarchenau, tudleau: llediaith, briwiaith.
He has a brogue—y mae llediaith arno; briwiaith y mae yn siarad.
Brogue-maker—cyfarchenwr, gwneuthurydd tudleau.
Broid, † *v. a.*=*Braid.*
Broider, *v. a.* (Ff. *broder*; C. *brodio, brwydo*) brodio, brwydo, darfrodio, cyfrestru; gweithio âg edeu a nodwydd.
Broidered work—brodwaith; gwaith edaf a nodwydd.
Broidered coat—pais frodiog; pais o waith edaf a nodwydd (*Ecs.* xxviii. 4).
Broidered garments—brodwisgoedd, gwisgoedd brodiog; gwisgoedd symmudliw; gwisgoedd o waith edaf a nodwydd.
Broidered hair—gwallt plethedig, plethwallt, brodwallt, gwallt brodiedig.
Broiderer, *s.* (o *broider*) brodiwr, brwydydd, darfrodiwr.
Broidery, *s.* (o *broider*) brodwaith, brwydwaith, brodiaeth, brodiad; gwaith edeu a nodwydd; gwaith edaf a nydwydd; addurnwaith nydwydd.
Golden broidery—brodwaith aur.
Broil, *s.* (Ff. *brouillerie*; It. *broglia*) terfysg, cynhwrf, cyffro, cythrwfl, cymhelri, trabludd, godwrdd, godwrf, trafferth, godorin, godoran, godorun; cynhen, ymryson, amryson, ymrafael, ymgeintach, cyfrysedd, ceintach, cywrysedd, anghydfod, ffrwgwd, brwth, brythwch, ymswrn, brythred, ymgatewrach, berw.
Given to broils—cynhenus, cynhenllyd, ymrysongar, ymrafaelus, ymrafaelgar, ymgeintachus, ceintachus, ceintachlyd, cecrus, tringar, cwerylus.
Full of broils—terfysgus, cythryblus, cythryflus, cyffröus, cynhyrfus, trallodus, trafferthus, trabluddus; llawn cynhen ac ymryson; llawn terfysg, &c.
To raise broils—gwneuthur *neu* godi terfysg, &c.; peri *neu* wneuthur cynhen, &c.; terfysgu, trabluddio, cynhenu, ymgeintach.
Broils and quarrels—cynhenau ac ymrysonau.
A raiser of broils—cynhenwr, terfysgwr, cynhyrfydd; dyn cynhenus *neu* derfysgus, &c.; awdur anghydfod.
Broil, *v.* (Ff. *brûler, brouiller*) briwlio, briwlian, alchrostio, rhostio, golosgi, traphoethi; pobi *neu* rostio ar alch, o flaen tân, *neu* ar farwor.
Broiler, *s.* (o *broil*) terfysgwr, terfysgydd, cynhyrfwr, cynhenwr, dyn cynhenus, dyn terfysgus, awdur anghydfod; briwliwr, alchrostiwr, rhostydd, golosgwr.
Broiling, *s.* (o *broil*) briwliad, alchrostiad, rhostiad, golosgiad.
Broke, *v. n.* (S. *brucan?* o *break*, medd y Dr. *Skinner*) rhyngfaelu, trosfaelu, rhyngfasnachu, trosfasnachu; maelu *neu* fasnachu dros arall.
Broken, *p. a.* (o *break*) toredig, drylliedig, briwedig; â dorwyd, â ddrylliwyd, â friwyd; twn (*f.* tòn), briw, bregus, trwch (*f.* troch), twnedig, maluriedig, darnedig, ymdoredig, ymddrylliedig, briwennig, bwlch (*f.* bolch); gwedi tori; gwedi ei dori, &c.
Broken-backed — cefndwn, cefndoredig, cefnwan; âg asgwrn ei gefn wedi tori.
Broken-backed ship—llong gefndon, llong gefndoredig.
Broken-bellied—boldwn, boldoredig; borsog.
Broken bread—bara briw, bara twn, briwbara; briwfwyd.
Broken-hearted—gwedi tori ei galon; torgalon, briwgalon; briw ei galon; calondoredig, calonfriw; drylliedig *neu* friwedig o galon; yssig ei galon; digalon.
The broken in heart—y cystuddiedig o galon.
Broken heart—calon friw, calon dòn, calon doredig, &c.
To die of a broken heart—marw o dor calon; tori calon.
To heal the broken-hearted — iachäu y rhai drylliedig o galon; rhwymo y rhai yssig eu calon.
A broken spirit drieth the bones—meddwl trwm a sych yr esgyrn.
Broken-handed—llawdwn, llawfriw, llawdoredig.
Broken-footed—troed-dwn, troettwn, troedfriw; cloff; anafus ei droed.
Having broken teeth—deinttrwch, deinttwn, deinttoredig, deintfriw.
Broken-headed—pendrwch, penfriw.
Broken-nosed—trwyndwn, trwynfriw.
Broken particles — malurion, briwion, teilchion, talchedigion; dernynau *neu* demigion briw.
Broken down—drylliedig, adfeiliedig.
The earth is utterly broken down—gàn ddryllio yr ymddrylliodd y ddaiar.
Broken surface—briwdon, briwdab; arwyneb briw, twn, *neu* doredig.
Broken meat—briwfwyd, bwyd briw.
Broken-sounded—clwc, clwc ei sain, scinglwc.

Broken off—talmedig; toredig ymaith; à dorwyd ymaith, &c.
Broken small—chwilfriw, mânfriw, briwionedig, talchedig.
Easily broken—hydor, hyfriw, brau, breuol, hydrwch; hawdd ei dori *neu* friwo.
Broken state—briwant, briwawd, briwder; cyflwr *neu* ansawdd briw *neu* doredig.
Broken language—briwiaith, brithiaith, llediaith.
To speak broken English—briwo Seisoneg; llefaru *neu* siarad Seisonaeg friw.
To speak brokenly—llefaru, llafaru, *neu* siarad â llediaith arno; chwedleua yn anmherffaith; llefaru iaith friw.
Broken-wind—tor gwynt, torwynt.
Broken-winded—anadlfyr, analfyr, byranadlog; gwedi tori ei wynt; gwynttoredig, torwyntog, gwynt-holltedig, gwynt-hollt.
An old broken soldier—hen fethfilwr; hen filwr methedig.
I am like a broken vessel—yr ydwyf fel llestr methedig (*Salm* xxxi. 12).
Broken merchant—masnachydd methdal, masnachwr wedi tori, methfasnachwr, methfaelwr, torfasnachwr.
Broken officer—swyddog diraddiedig, swyddog diswyddedig; swyddog wedi ei dalu ymaith; swyddog toredig.
Broken sleep—cwsg anesmwyth *neu* aflonydd; anhunedd; cwsg rhwystredig, toredig, attaledig, *neu* anghyfan.
Broken letter—llythyren friw, llythyren dòn, briw lythyren.

**Brokenness**, *s.* (o *broken*) briwdod, briwder, briwiant, toredigrwydd, drylliogrwydd.

**Broker**, *s.* (o *broke*) rhyngfaelwr, rhyngfaelier, rhyngfaelydd, trosfaelwr, trosweinydd, trosfasnachwr, rhyngfasnachydd, dirprwywr, goruchwyliwr; hennwyddwr, gwerthwr hen bethau; nwyfweinydd.
Pawn-broker—llogwystlwr, gwystl-fasnachwr, llogfasnachwr.
Exchange-broker—trosfaelwr, *neu* drosweinydd cyfnewid.
Stock-broker—rhyngfaelwr *neu* drosfaelwr soddion, trosfasnachydd ariansawdd.
Insurance-broker—rhyngfaelydd digolledind, goruchwyliwr yswiriant.
Bill-broker—dylfasnachwr; rhyngfaelydd dylion *neu* ddylebion.
Ship-broker—trosfaelwr llongolion.
Commercial broker—dirprwywr masnachol, rhyngfaelwr trafnidiol.
Brokers' row—marchnadle hennwyddwyr; marchnadfa gwerthwyr hen nwyddau; hennwyddfa; rhes llugenyddion.
To play the broker—chwareu y bargenwr dros arall.

**Brokerage**, **Brokage**, **Brocage**, *s.* (o *broke*) prwydal, dirprwydal, maeldal; tâl rhyng- *neu* dros-fasnachwr; prwydaliaeth, maeldaliaeth.
Brokerage (as a rule)—prwydaliaeth, maeldaliaeth, dirprwydaliaeth.

**Brokerly**, *a.* (o *broker*) gwael, isel, distadl, iselwael, gwasaidd.

**Brokery**, *s.* (o *broker*) trosfaeleriaeth, rhyngfaeloriaeth, trosfaelyddiaeth.

**Bromal**, *s.* (Gr. *brômos*) math o hylif diliw olewaidd, à geir trwy effaith bromin ar wirf.

**Bromate**, *s.* (Gr. *brômos*) bromat, bromaint=math o hâl fferyllaidd.

**Bromatology**, *s.* (Gr. *brôma* a *logos*) ymborthеg, maetheg=treithawd ar faeth neu ymborth.

**Brome-grass**, *s.* (Gr. *bromos*, a *grass*) pawrwellt, porwellt.
Smooth rye brome-grass—pawrwellt llèr, llèr.
Soft brome-grass—pawrwellt maswy, porwellt masw.
Smooth brome-grass—pawrwellt llyfn.
Upright perennial brome-grass—pawrwellt unionsyth.
Hairy wood brome-grass—pawrwellt blewog.
Barren brome-grass—pawrwellt anhiliog.
Slender wood brome-grass—pawrwellt eiddil y goedwig.

**Bromic**, *a.* (o *brome*) bromig, drewinig, drewig.
Bromic acid—sur bromig, sur drewhalwy, sur drewig = cyfansawdd o ufelai a bromin.

**Bromide**, *s.* (o *brome*) bromid=cyfuniad o fromin ac unrhyw gorff syml arall.

**Bromine**, **Brome**, *s.* (Gr. *brômos*) bromin, drewin, drewhalwy=sylwedd fferyllaidd à gafwyd allan gàn Balard, fferyll Ffrengig, yn y flwyddyn 1826.

**Bromus**, *s.* (Gr. *bromos*)=*Brome-grass*.

**Bronchia**, **Bronchi**, *s. pl.* (Gr. *brogchos*) brefantosglau, breuantosglau; pibellau *neu* gangenau y corn chwyth; chwabibau yr ysgyfaint.

**Bronchial**, **Bronchic**, *a.* (o *bronchia*) breuantosglaidd; brefantosglog; perthynol i gangau y corn chwyth yn yr ysgyfaint; brefantaidd.
The bronchial arteries—rhydwelïau y brefantosgl, y rhedwelïau breuantosglaidd.

**Bronchitis**, *s.* (Gr.) brefanttandde, breuanttandde, fflameg y brefantosglau.

**Bronchlemmites**, *s.* (Gr. *bronchos* a *lemma*) brefanttandde pilenaidd.

**Bronchocele**, *s.* (Gr. *brogchos* a *cêlê*) brefantchwydd, chwydd y breuant.

**Bronchophony**, *s.* (Gr. *brogchos* a *phônê*) brefantlais, brefantswn, brefantsain.

**Bronchotomy**, *s.* (Gr. *brogchos* a *tomê*) brefanttrwch, breuanttrwch, brefanttrychiad.

**Bronchus**, *s.* (Gr. *brogchos*) brefant, breuant, y bibell chwyth, y corn chwyth, pibell yr ysgyfaint.

**Brond**,† *s.* (o *brand*) cleddyf, cledd.

**Brontology**, *s.* (Gr. *brontê* a *logos*) tarandraith, taraneg=treithawd yn nghylch y daran.

**Bronze**, *s.* (Ff.; It. *bronzo*) pres, elydr, elydn, gweiling; lliw pres, presliw; preslun, presgoflun; preswaith; bathodyn, presfath=cymmysg o gopr ac alcan.
Bronze-powder—presbylor.
Bronze-liquid—preshylif, preswy.

**Bronze**, *v. a.* presu, presio, elydru, presliwio; presdebygu; efelychu pres.

**Bronzing**, *s.* (o *bronze*) presiad, elydrad, presdebygiad.

**Bronzite**, *s.* (o *bronze*) presith, elydrith.

**Brooch**, *s.* (o *broach*) gem, tlws; gyddfem, gyddf-dlws, brondlws, gleinaddurn, glain gwddf; paentiad unlliw *neu* gyfliw.

**Bumbard,** *s.*=*Bombard.*
**Bumbast,** *s.* clytwaith; sechnwydd, sagnwydd, saglïan.
**Bumble-bee,** *s.* (Ll. *bombus*) begegyr, bychygyr.
**Bumboat,** *s.* (o *bum* neu *bump* a *boat*) porthgwch, porthfad.
**Bumkin,** *s.* (o *bump*, a S. *kyn*, math, rhyw) hwylbolyn.
**Bump,** *s.* (C. *pwmp;* Goth. *bomps*) cnwc, chwydd, hwrwg, oddf, oddfyn, pwmp, pothan, pothon; dyrnod, ergyd.
  My head is all over bumps—y mae fy mhen yn gnyciau drosto i gyd; mae fy mhen yn un chwydd gàn ddyrnodiau.
**Bump,** *v. a.* dyrnodio, pwmpio, ergydio; codi yn gnwc.
**Bump,** *v. n.* (C. *bwmp*) bwmbro, bwmpio, cadw bwmbwr; lleisio fel aderyn y bwn.
**Bumper,** *s.* (o *bump*) cyforgib, llawnwydryn, cibli; cwpan cyforiog; llawn gwpanaid.
  Fill a bumper—cyforiwch y cwpan.
**Bumpkin,** *s.* (*bump*, a *kin*, neu S. *kyn*) delff, taiogddyn, cuall, drel, ystelff, llabi, lleban, buach, dyn gwladaidd, llabwst.
**Bumpkinly,** *a.* (o *bumpkin*) delffaidd, cuall, taiogaidd, buachaidd, gwladaidd.
**Bun, Bunn,** *s.* (Ysg. *bun, bunn;* Gw. *bunna;* Gr. *bounos;* Ysp. *bunuelo*) chwiog, chwiogen, mïoden, teisen fïod: *pl.* chwiogod, mïod.
**Bunch,** *s.* (D. *bunke;* C. *pwng*) swp, sypyn, twff, tusw, tuswy, clwm, cwlwm, cwlm, sobyn, sob, soban, soba, siobyn, pwng, cobyn, rhawol, swba, bagad, bagwy, magwy; oddf, oddfyn, cnwc, cwgn, cnwb, cnap, hwrwg, chwydd, tasgell, cnu, topyn, clysdwr, rhafol, cyttwr.
  A small bunch—soban, sobyn, siobyn, soba, swba, tyffyn, bagedyn, pyngyn; swp, *neu* sypyn bychan; cnycyn, cygnyn, oddfyn, crugyn, chwydd bychan.
  A bunch of grapes—swp, bagad, *neu* fagwy o rawnwin.
  A bunch of nuts—cwlwm, clwm, cwlm, pyngyn, bagad, *neu* fagedyn o gnau.
  A bunch of garlic—clwm o arlleg, cwlm garlleg.
  A bunch of keys—cwlwm *neu* glwm o allweddau *neu* agoriadau.
  A bunch of little sticks—swp, dyrnaid, *neu* ffagoden o friw-wydd.
  A bunch of flowers—tasgell o flodau, blodeuglwm, swp o flodau, clwm o flodau, blodeuswp, twff o flodau.
  A bunch of feathers—sobyn, siobyn, sob, *neu* dusw o blu; plufdusw.
  A bunch of hair—tusw *neu* duswy o wallt; twff *neu* sobyn o wallt; llyweth o wallt; cnuwch o wallt.
  He is the best of the bunch—efe yw y goreu o'r llwyth *neu* o'r genedl.
  Hard bunch—caledchwydd; chwydd, cnwb, *neu* gnwc caled.
  The bunch on a camel's back—y cnwc, y cnwb, *neu* yr hwrwg ar gefn camel; oddf cefn camyll.
  Upon the bunches of camels—ar gefnau camelod (*Esa.* xxx. 6).
  A bunch of hyssop—tusw o isop (*Ecs.* xii. 22).
**Bunch,** *v.* ymsypio, sypio, bagwyo, bagadu, tusŵo, tuswyo, clysdyru, tasgellu, tyffo, siobynu; chwyddo, chwyddo allan, oddfi, cnycio, cygnu.
**Bunchbacked,** *a.* (*bunch* a *back*) cefn-grwm, cefnhwrwg, cefn-grwba, cefn-grwbi, crwca; â hwrwg, cnwc, *neu* gnwb ar ei gefn.
**Bunchiness,** *s.* (o *bunchy*) bagwyogrwydd, bagwyolrwydd, bagadogrwydd, clymogrwydd, sypiolrwydd; oddfogrwydd, cnycogrwydd, cnapogrwydd.
**Bunchy,** *a.* (o *bunch*) bagwyog, bagadog, sypiog, siobynog, tusŵog, tuswyog, bagwyol; oddfog, cnycog, cnapog, cygnog.
**Bundle,** *s.* (S. *byndel;* Al. *bündel*) sypyn, bwrn, bwrnel, byrnaid, sopyn, sopen, trwsa, trŵl, (*pl.* trylau), twysg, rhef, ffun, tasgell, ffasgell, ffagoden, cedysen, (*pl.* cedys), sybwrn, dref, cnuwch, swb, swp, llyweth, tusw, cwlwm, rhwym, rholyn, rhol, dylwf, ysgub, crafangaid, pyner, rhwymfaich.
  A small bundle—byrnyn, sypyn, dylofyn, ffunell, cubyn, tusw, twysgen, sypynyn.
  In bundles—yn sypynau, yn sopeni, yn fyrnau, yn ffagodau, &c.
  A bundle of sticks—ffagod, ffagoden; clwm, ysgub, *neu* rwym o goed, o fanwydd, *neu* o friw-wydd.
  A bundle of brushwood—cnuwch o wyddeli; tasgell, ffasgell, *neu* ffagoden o fanwydd.
  A bundle of straw—sopen o wellt, sopen wellt.
  The bundle of hay—y sopen wair.
  A bundle of flax—llyweth o lin, bâl o lin, tusw o lin.
  A bundle that may be taken under the arm—ceseilwrn.
  Behold, every man's bundle of money was in his sack—wele godaid arian pob un yn ei sach (*Gen.* xlii. 35).
  When they saw the bundles of money—pan welsant y codau arian (*Gen.* xlii. 35).
  The soul of my lord shall be bound in the bundle of life—enaid fy arglwydd a fydd wedi ei rwymo yn rhwymyn y bywyd (1 *Sam.* xxv. 29).
  Bind the tares in bundles—rhwymwch yr efrau yn ysgubau.
  When Paul had gathered a bundle of sticks—gwedi i Paul gynnull yn nghyd lawer o friw-wydd (*Act.* xxviii. 3).
  A bundle of myrrh is my wellbeloved unto me—fy anwylyd sydd i mi yn bwysi myrr (*Can.* i. 13).
**Bundle,** *v. a.* sypynu, byrnio, sypio, sopenu, sybyrnio, bwrnelu, ffasgu, tasgellu, ffasgellu, cydrwymo, trylio, sopio, llywethu, drefu, ffagodi, ffunenu, pynorio, pynio; cylymu, rhwymo, ffunenu, *neu* wasgu yn nghyd; gwneuthur *neu* rwymo yn sypyn, yn fwrn, *neu* yn sopen; rhwymo *neu* glymu yn ysgubau.
  To bundle up=*Bundle, v. a.*
**Bung,** *s.* (C. *bwng;* Ff. *bondon*) terth, twmffed, byngyr, clawr bwng, cauad twll baril.
  Bung-drawer—byngdynydd, byngdynyr, gordd bwng.
**Bung,** *v. a.* byngio, byngu, terthu, byngyru, byng-glorio; cau bwng; rhoi cauad *neu* glawr ar fwng baril; argau, cau i fyny.
**Bungai-serpent,** *s.* creigsarff, sarff Bungai=math o sarff berthynol i'r India Ddwyreiniol.
**Bungalow,** *s.* (gair Indiaidd) gwlatty neu

gabandy o ddefnyddiau ysgafn, yn yr India Ddwyreiniol.

Bunghole, *s.* (*bung* a *hole*) bwng, twll baril, derbyndwll baril, twll y bwng.

Bungle, *v.* (C. *bwngler*, *bongler*) bonglera, bwngleru, carbylu, brasglytio, clytio, clytweithio; gwneuthur yn anghelfydd, anfedrus, anhyfedr, annhaclus, trwsgl, *neu* chwithig.
  A bungling piece of work=*Bungle, s.*

Bungle, *s.* bonglerwaith, bwnglerwaith, braswaith, clytwaith, trwsglwaith, hyllwaith, trysgledd, annybenwaith, methwaith; gwaith anghelfydd, &c.

Bungler, *s.* (C. *bongler*) bongler, bwngler, bonglerwr, bwnglerwr, bongleryn, bon y gler, musgrellyn, trysglyn, anfedrusyn; gweithiwr anfedrus, trwsgl, &c.; dyn difedr *neu* anfedrus.

Bungling, *a.* (o *bungle*) bongleraidd, chwithig, lledchwith, carbwl, trwsgl, trwstan, anfedrus, trwsglaidd, anghelfydd, afluniaidd, anghrefftwraidd, annhaclus, anhyfedr.
  In a bungling manner—yn drwsgl, yn fongleraidd, &c.
  A bungling fellow=*Bungler.*

Bunias, *s.* (Gr. *bounos*, bryn) hegydd=rhyw o blanigion.

Bunion, *s.* (Gr. *bounos?*) corn bawd, corn ar fawd, corn ar fys troed, bysgorn.

Bunium, *s.* (Gr. *bounos*) bywi, clor, cylor, cnau y ddaiar, daiargnau.

Bunn, } *s.*= { *Bun.*
Bun, } { *Bunn.*

Bunsing, *s.* math o filyn â geir yn Mhenryn Gobaith Da.

Bunt, *s.* (C. *pant?* o *bent*, yn ol y *Dr. Skinner*) canol, ceudod, *neu* gest hwyl; hwylgod, hwylchwydd, hwylgeudod: ceuffordd, ffynell.

Bunt, *v. n.* chwyddo gàn wynt; ceuo *neu* ymchwyddo fel hwyl gàn wynt; hwylchwyddo, hwylgeudodi: cornio, hyrddio.
  The white bosom of the sail bunts out—chwydd monwes wèn yr hwyl gàn wynt.

Bunter, *s.* (?) swgan, bronten, budren, yslebren, hafnai, budreddes, huren; carpyddes.

Bunting, *s.* (?) aderyn bras yr yd, bras y ddrutan, bras yr yd, bras yr yten: *pl.* adar bras yr yd.
  Snow bunting—bras yr eira, aderyn bras yr eira.
  Yellow bunting, } melyn yr eithin, yr
  Yellow hammer, } aderyn penfelyn.
  Reed bunting, } bras y cyrs, aderyn bras y
  Rice bunting, } cyrs.
  Mountain bunting—bras y mynydd.
  Blackheaded bunting—bras y ddrutan penddu, bras yr yd penddu.
  Common bunting, } =*Bunting.*
  Corn bunting, }

Bunting, } *s.* (Al. *bunt*) llumandenlli, baner-
Buntine, } nwydd; tenlli llumanau *neu* fanerau.
  Bunting-cloth — hwyl-islaing, gwrthlain hwyl.

Buntlines, *s. pl.* (*bunt* a *line*) hwylgodraffau, hwylraffau, hwylreffynau, rheffynau hwyl.

Buoy, *s.* (Ff. *bouée;* Is. *boei;* Al. *boie*) nofiadyr, nofuod, nofyn, nof-fynag.
  Life buoy—nofnod bywyd, bywydnawf.
  To stream the buoy—ffrydio y nofiadyr; gollwng y nofyn i lawr i'r dwr dros ochr y llong, cyn taflu yr angor.

Buoy, *v.* nofio; nofnodi; cynnal; dàl i fyny; cynnal *neu* gadw i fyny; attegu; cadw rhag suddo *neu* soddi; cadw rhag anobeithio *neu* ymollwng; codi calon; esgyn, dyrchafu, ymddyrchafu, ymgodi, ymgyfodi.
  To buoy up=*Buoy, v.*
  To buoy up a ship—cadw llong ar nawf; codi llong soddedig; cadw llong rhag suddo; peru i long nofio; nofio llong i fyny.
  The heat in the air will buoy it up—y gwres yn yr awyr a bair iddo esgyn; y gwres yn yr awyr a'i cynnal i fyny.
  Rising merit will buoy up at last—rhinwedd ar gynnydd o'r diwedd a orfydd; rhinwedd gynnyddol o'r diwedd a ymddyrchafa.

Buoyancy, *s.* (o *buoyant*) nofiadoldeb, nofiadolrwydd, hynofedd, nofiadoledd, nofedd, nawfduedd, nofiannoldeb, nofwy, anhysoddrwydd; ysgafnder, ysgonder, ysgawnder.

Buoyant, *a.* (o *buoy*) hynawf, nofiadol, hynofiol, anhysawdd, nofiannol, nofiol; ar nawf; ysgafn, ysgawn, esgynol, dyrchafol; o ansawdd i nofio *neu* i esgyn.

Buoyrope, *s.* (*buoy* a *rope*) nofraff, nofreffyn, nofynraff, rhaff nofnod.

Bupeina, *s.* (Gr. *bou*, gòr, a *peina*, newyn) gorwanc, chwant diwala.

Buphaga, *s.* (Gr. *bous* a *phagô*) bugiger, bubicydd, ychbicydd=aderyn Affricaidd.

Buphthalmia, *s.* (Gr. *bous* ac *ophthalmos*) llygadwst, llygad-ddyfrwst.

Bupleurum, *s.* (Gr. *bous* a *pleuron*) paladr trwyddo; clust yr ysgyfarnog.

Buprestidans, } *s. pl.* (Gr. *bou* a *prêstêr*) deith-
Buprestidæ, } rilion, gorddeithogion=math o drychfilod â geir mewn gwledydd poethion.

Bur, *s.* (*burre;* Gw. *borr;* C. *bàr*) pen cynghaw, pen cynghaf; cynghaw, cynghaf: parfodrwy, ysberdorch.
  Bur-Marigold—graban.
  Trifid bur-Marigold — graban teir-rhan, graban teiran, graban palfogddail.
  Nodding bur-Marigold—graban gogwydd.
  Bur-thistle—marchysgallen.
  Butter-bur—alan mawr, dail y tryfan.
  Bur-parsley—troed y cyw, oliaren, eilunberllys, creigberllys.
  Upright hedge bur-parsley—oliaren syth y maesydd, creigberllys syth y maes.
  Knotted bur-parsley — oliaren glymog, creigberllys clymog.
  Clot-bur=*Burdock.*

Burbot, *s.* (Ll. *barbatus*) llofen, llofenan, llofenbysg.

Burdelais, *s.* (Ff.) math o winrawn.

Burden, } *s.* (*byrden, byrthen;* Al. *bürde*)
Burthen, } baich, pwn, llwyth; clud, arlwyth, bwrn, pwys; coflaid; tymp, genedigaeth; trymder.
  Burden (of a song)—berdon, byrdon, byrdwn, cydgerdd, cydgan, cyngherdd; yr adgyrch, y gair llusg, yr eilgyrch.
  A little burden — beichyn, crynfaich; llwyth *neu* bwn bychan; ysgafnlwyth; baich, pwn, *neu* lwyth ysgafn.
  Beast of burden—anifail gwaith, ysgrubl, pynfil, llwythfil, byrnfil, pynior.
  Cast away from thee the burden of the flesh —bwrw oddi wrthyt oreilid y cnawd; tafl oddi wrthyt faich y cnawd.
  A ship of a hundred tons burthen—llong

gàn tunell o lwyth; llong o gàn tunell o lwyth; llong yn gàn tunell ei llwyth.
A burden of steel—baich o ddur=120 pwys.
To lay *or* take down a burden—dadlwytho, dilwytho, dadfeichio; ymddadlwytho; rhoi *neu* daflu baich i lawr.
To bear a burden (in a song)—canu *neu* gydganu y byrdwn; canu yr adgyrch, yr eilgyrch, *neu* y gydgerdd.

**Burden,** *v. a.* beichio, llwytho, pynio, pynorio, pynu, byrnio, gorlwytho, byrnu, arlwytho; rhoi baich, llwyth, *neu* bwn ar; gorthrymu, gormesu, gormeilio; pwyso ar.
To burden one's self — ymlwytho, ymfeichio.
They have burdened themselves — ymlwythasant.
Burden not thyself above thy power—na chyfod faich rhy drwm i ti.
To burden the conscience—llwytho, beichio, blino, gofidio, *neu* gaethiwo y gydwybod; peri petrusder cydwybod.
I mean not that other men be eased, and you burdened—nid fel y byddai esmwythdra i ereill, a chystudd i chwithau (2 *Cor.* viii. 13).

**Burdened,** *p. p.* llwythedig, beichiedig, pynedig, &c.; à lwythwyd, à feichiwyd, &c.; llwythog, pyniog; tàn ei faich, ei lwyth, *neu* ei bwn; trwm ei faich; à fo drwm *neu* flin arno; tàn ormes *neu* oreilid.

**Burdener,** *s.* (o *burden*) beichiwr, llwythwr, pyniwr; gorthrymydd, gormesydd.

**Burdensome, Burdenous,** *a.* (o *burden*) trwm, beichus, beichiol, amdrwm, arlwythol, anhyddwyn, anhyglud; anhawdd ei ddwyn; pwysfawr, trathrwm, dwys; gormesol, gormeilus, blin, anesmwyth.
A burdensome stone—maen trwm (*Sech.* xii. 3).
To be burdensome—bod yn faich; bod yn feichus, &c.; pwyso ar; gormesu; bod yn ormesol.
I myself have not been burdensome to you —ni bum i fy hun ormesol arnoch.
We have not been burdensome to any of you—ni phwysasom ar neb o honoch.
Thou wilt be burdensome to me—ti a fyddi yn faich arnaf.

**Burdensomeness,** *s.* (o *burdensome*) gormesoldeb, gormeilusrwydd, beichusrwydd, beichioldeb; gorthrymedd, trymder, blinder, gorthrymder; pwysi.

**Burdock,** *s.* (*bur* a *dock*) cynghaf, cynghaw, cynghawf, cynghar, cacamwci, cribau'r bleiddiau, cïog, cedowrach, baw mwci.
Great burdock, Clot-bur, cynghaf mawr, cynghaw mawr, cynghaf, cynghaw, cynghawf, cynghar, cribau'r bleiddiau, cïog, cedowrach, cacamwci, baw mwci.
Small burdock, Lesser burdock, cynghaf bychan, cynghaw bychan, cynghawf bychan, cacamwci lleiaf, cedowrach lleiaf, cïog lleiaf.

**Bureau,** *s.* (Ff.) treillgist, ysgrifgist, ysgrifengist, treillgist ysgrifenu; ysgrifgell, ysgrifswyddfa.

**Bureaucracy,** *s* (*bureau,* a Gr. *crateô*) cellreolaeth, cell-lywodraeth.

**Burette,** *s.* (Ff.) gwyaniadyr=math ar offeryn.

**Burg, Burgh,** *s.* (S *burg, burh, beorh, beorg;* Al. *burg, berg*) bwrdeisdref, breindref, tref freiniol, tref fwrdeisiol.

**Burgage,** *s.* (o *burg*) bwrdeisddal, gafael breindref, bwrdeis-afael.
Tenure in burgage, Burgage tenure, bwrdeis-afael, bwrdeisddal, bwrdeisddaliad; gafael bwrdeisdref *neu* freindref.

**Burgamot,** *s.* (Ff. *bergamote*)=*Bergamot.*

**Burganet, Burgonet,** *s.* (Ff. *bourguignotte*) helm haiarn, haiarngap, penial, penffestin, penor.

**Burgeois,** *s.* (Ff. *bourgeois*) bwrdais, bwrgais, dinesydd.

**Burgeois, Bourgeois,** *s.* (Ff. *bourgeois*) math o argrafflythyren; bwrdeisen.

**Burgeon,** *v. n.*=*Bourgeon.*

**Burgess,** *s.* (Ff. *bourgeois*) bwrdais, bwrgais, dinesydd, dinaswr; seneddwr *neu* aelod dros fwrdeisdref; bwrdeisydd.
To admit a burgess—bwrdeisio.

**Burgess-ship,** *s.* bwrdeisiaeth, bwrgeisiaeth, dinasfraint, bwrdeisfraint, trefraint.
To lose one's right of burgess-ship—colli dinasfraint, colli hawl bwrdais.
To deprive one of his right of burgess-ship—difwrdeisio, difwrgeisio, *neu* ddifreinio un.

**Burgh, Burg,** *s.*= *Burg. Burgh.*

**Burgh-bote,** *s.* bwrdeisdal=mewn hen gyfreithiau, tâl at adeiladu cestyll neu furiau, er amddiffyn tref neu ddinas.

**Burgh-brech,** *s.* (*burgh* a *break*) bwrdeisdor= dirwy ar fwrdeisdref am dor heddwch.

**Burgher,** *s.* (o *burg*) bwrdais, bwrgais, dinesydd, dinaswr; bwrdeisydd.
Burghers — Bwrgeisiaid, Bwrdeisiaid, Bwrgeisogion = plaid o encilwyr oddi wrth eglwys yr Alban.

**Burger-ship,** *s.* bwrdeisiaeth, bwrgeisiaeth, dinasfraint, bwrdeisfraint, trefraint.

**Burgh-master, Burgomaster,** *s.*= *Burgomaster. Burgh-master.*

**Burgh-master,** *s.* penfwnwr, penfwynwr, penswyddog mwynwyr.

**Burghmote,** *s.* (*burgh,* a *mote,* cyfarfod) treflys, treflwyrwys, llwyrwys tref, bwrdeisfa, bwrdeislys.

**Burglar, Burglarian,** *s.* (*burg,* a Llyd. *laer,* Ff. *larron,* lleidr) tydorwr, torwr ty, torwr tai, tyleidr: *pl.* tydorwyr, tydoriaid, tyladron.

**Burglarious,** *a.* (o *burglar*) tydorol, tydoriadol; perthynol i dori tai.

**Burglary,** *s.* (o *burglar*) tydoriad, toriad ty, tysbeiliad.

**Burgmote,** *s.*=*Burghmote.*

**Burgomaster, Burgh-master,** *s.* (Al. *bürgermeister*) treflywydd, treflyw, caerlywydd, dinasfaer, maer=penswyddog y prif drefi yn yr Isdiroedd, Switserland, a'r Almaen.

**Burgomastership,** *s.* (o *burgomaster*) treflywiaeth, treflywyddiaeth, caerlywyddiaeth.

**Burgout,** *s.* (Ff.) uwd, uwd blawd ceirch.

**Burgrave,** *s.* (Al. *burggraf*) trefiarll, diniarll, caeriarll=treftadol lywiadur castell, tref, neu ddinas, yn mhlith yr Ellmyn.

**Burgraviate,** *s.* (o *burgrave;* Al. *burggrafthum*) trefiarllaeth, diniarllaeth=swydd neu urddas trefiarll.

**Burgundy**, *s.* (=talaeth yn Ffrainc) gwin Burgwyn; Burgwyn.
Burgundy pitch—pyg Burgwyn, Burgwyn-byg.
**Burial**, *s.* (o *bury*) angladd, claddedigaeth, cynhebrwng, canhebrwng; claddiad, daiariad; arwyl, arwyliant.
Belonging to burials—angladdol; arwyliannus.
**Burial-place**, **Burial-ground**, *s.* claddfa, monwent, mynwent, claddle, corfflan, beddrod, claddlan, beddle, corddlan.
**Burier**, *s.* (o *bury*) claddwr, claddiedydd.
**Burin**, *s.* (Ff.) cerfyllyr, crifell=offeryn i gerfio ar gopr.
**Burk**, *v. a.* (oddi wrth lofrudd o Wyddel o'r enw, yn 1829) Burcio; lladd *neu* furnio trwy fogi; mogfurnio, mogladd, moglofruddio.
**Burkism**, *s.* (o *Burk* neu *Burke*) Burciaeth; mogladdiad, moglofruddiaeth.
**Burl**, *v. a.* (?) digedenu, digenu, dignapio.
Burling iron—digedenyr; haiarn digenu *neu* ddignapio.
**Burlace**, *s.* (talfyriad o *burdelais*) math o winrawn.
**Burler**, *s.* (o *burl*) digedenwr, digedenydd, digenwr, digenydd, dignapiwr.
**Burlesque**, *a.* (Ff.; It. *burlesco*) digrif, digrifol, ysmala, chwerig, digriflawn, cellweirus, cellweirig, chwerthinus, arab, arabeddus, gwawdus, gogerddol.
Burlesque poem—gogerdd, digrifeg, digrifgerdd, digrifgan, ysmalgerdd, ysmalgan, gwawdgerdd.
Burlesque poetry — gwawdfarddoniaeth; prydyddiaeth ddigrifol *neu* ysmala, &c.
**Burlesque**, *s.* digrifiaeth, digrifiaith, ysmaldodiaeth, gwawdiaith, cellwair, duchan, ffoleb, chwarddwawd, digrifwawd; gwawdfarddoniaeth, gogerdd.
**Burlesque**, *v. a.* gwawdio, gwatwar, duchanu, goganu, digrifoli; troi yn ddigrif *neu* ysmala, &c.; trin yn gellweirus, &c.
**Burlesquer**, *s.* (o *burlesque*) digrifydd, duchanwr, gogerddwr, cellweiriwr, gwawdiwr, chwarddwawdiwr.
**Burletta**, *s.* (It.) digrifwest; eilonwest; chwimalaw, ffrilalaw, chwidralaw.
**Burliness**, *s.* (o *burly*) maint; praffder, ffyrfder, ffyrfdra, breisgedd, tewder; brol, bocsach.
**Burly**, *a.* (C. *brolio ?*) mawr, braisg, praff, ffyrf, chwyddedig, broliog, bocsachus.
Hurly-burly—ffwndwr, cynhwrf, cythrwfl, terfysg, ffrystellach, trabludd, ffrystell, cyffraw, cymhelri, trybestyd, ffwdan, helgur, godwrdd, ymffrwst, trafferth, ystwr, swn.
A burly face—gwyneb coch crugynog.
**Burn**, *v.* (S. *byrnan, bernan, bærnan*) llosgi; goddeithio, gologi, ysu, dylosgi; ymlosgi; fflamio; bod ar dân; poethi, brydio; ymfflamychu.
The fire shall burn them—y tân a'u llosga, a'u llysg, a'u difa, *neu* a'u hysa hwynt.
The flame hath burned all the trees of the field—y fflam a oddeithiodd holl brenau y maes (*Ioel* i. 19).
To burn all about—amlosgi, amboethi.
To burn again—adlosgi, ail losgi, eilfrydio.
To burn incense—arogldarthu, mygdarthu, llosgi arogldarth, addoldarthu.
To burn in sacrifice—llosgaberthu, poethoffrymu; llosgi yn aberth *neu* offrwm.
To burn in the hand—llawlosgi, llosgi llaw.
To burn bright *or* clear— llosgi yn oleu; goleu-losgi; llosgi yn danbaid.
To burn a little—gologi, deifio, goddeifio, rhuddo; llosgi ychydig.
To burn much — trallosgi, traphoethi; llosgi llawer.
To burn thoroughly, To burn up, llwyrlosgi, trylosgi; llosgi yn llwyr, yn gwbl, *neu* yn hollol; llosgi trwy; llosgi trwyddo; llosgi yn dwll *neu* yn drydwll; llosgi yn boeth; ysu, difa, llosgi.
To burn to ashes—llosgi yn ulw; llosgi yn lludw; llosgi yn boeth ulw; gwneuthur yn lludw.
To burn together—cydlosgi; llosgi yn nghyd; cyd-ddeifio, cydboethi, cydolosgi.
To burn out—llosgi allan *neu* i maes; llosgi i ben.
To burn in a light fire—llosgi yn wenfflam; myned yn wenffagl *neu* yn wenfflam; llosgi *neu* fyned yn boeth oleuben.
To burn with anger—ennyn o lid; llosgi o lid; llosgi, ymfflamychu, *neu* ennyn gàn ddig *neu* ddigofaint; ymlosgi gàn ddig; cynddeiriogi o ddig.
To burn with fire—llosgi â thân.
To be burnt up—llosgi; crinsychu, gwywo, edwi; llosgi i fyny.
To be burnt down—llosgi hyd lawr; llosgi i'r llawr; llosgi hyd y llawr; llosgi yn boeth ulw; llosgi yn danllwyth; myned yn burboeth *neu* yn danllwyth.
The temple of Diana was burnt down—llosgwyd teml Diana yn boeth ulw; llosgwyd teml Diana hyd y llawr.
Your eyes burn—mae eich llygaid yn fflamio; fflamia eich llygaid.
To burn one's fingers—llosgi bysedd; derbyn niwed *neu* eniwed; cael colled; prynu yn rhy ddrud.
**Burn**, *s.* llosg, llosgiad, llosgni, llosg tân.
Heart-burn—llosg cylla, cyllagwst, y dwr poeth, y dwfr poeth, ingloes, yr ingloes.
The bricks have had a good burn—cafodd y priddfeini grasiad *neu* losgiad da.
**Burnable**, *a.* (o *burn*) llosgadwy, hylosg, hyboeth.
**Burner**, *s.* (o *burn*) llosgwr, llosgydd, llosgur, fflemor, greidwr, greidur, greidydd, creisierydd; llosgyr, greidyr.
Gas-burner — nwy-losgyr, nwy-losgydd, llosgyr nwy, llosgydd nwy.
Burner of houses—llosgwr tai, ffaglwr, fflemor, ffaglor, banffaglwr, tylosgydd.
**Burnet**, *s.* (o *burn*) gwyddlwyn, gwlydd Mair, llysiau y cryman.
Common burnet—gwyddlwyn cyffredin.
Great burnet—llysyrlys, llysuog, llysyrawd.
Burnet saxifrage—gwreiddiriog.
Common burnet saxifrage—gwreiddiriog gyffredin.
Jagged burnet saxifrage — gwreiddiriog fanddryllddail.
Burnet rose—mwcog.
**Burning**, *s.* (o *burn*) llosgiad, llosg, goddaith

cynneu, cynne; llosgfa, poethfa, poethder, poethni, poethineb, tandde, ennynfa, brydiant, brydaniaeth, goddeithiad.

Burning for burning — llosg am losg (*Ecs.* xxi. 25).

They made a very great burning for him —cynneuasant iddo ef gynneu mawr iawn (2 *Cron.* xvi. 14).

By the spirit of burning—mewn ysbryd llosgfa (*Esa.* iv. 4).

As a firebrand plucked out of the burning —fel pentewyn wedi ei achub o'r cynneu tân (*Am.* iv. 11).

Everlasting burnings — llosgfëydd tragwyddol (*Esa.* xxxiii. 14).

**Burning**, *a.* llosg, poeth, tanbaid, tanllyd, llosgol, angerddol, chwilboeth, deifiol, greidiol, eiras, gwynias, poethias, poethlyd, terwyn; llos.

Burning men—dynion poethion.

A burning tempest—poethwynt ystormus, llosgwynt ystormus.

A burning fiery furnace—ffwrn o dân poeth (*Dan.* iii. 6).

Burning ague—cryd poeth, twymyn, haint gwres.

Burning hot — chwilboeth, eirias, eiriasboeth, poeth angerddol; brwd.

Burning heat—gwres poeth; gwres *neu* boethder angerddol; llosgwres, poethwres.

Burning coal—glo byw; marworyn; marwaryn, rhysodyn, eiriesyn: *pl.* marwor, marwydos, marwar, rhysod, marwor tanllyd.

As coals are to burning coals—fel glo i'r marwor. [9).

Burning pitch—pyg llosgedig (*Esa.* xxxiv.

A burning flame—ffagl, gwenfflam, gwenffagl, fflam, cynneu, goleudan, tân goleu.

The burning south wind—y deheuwynt llosg.

The burning plains of India—llosg wastadoedd India; gwastadoedd poethion Ind; gwastattiroedd poeth yr India; gwastadedd llosg yr India.

He was a burning and shining light—efe oedd ganwyll yn llosgi ac yn goleuo.

These were burning and shining lights—y rhai hyn oeddent olcuadau tanbaid a dysglaer.

Burning shame — gwaradwydd cywilyddus, cywilydd gwaradwyddus, cywilydd gwarthus; peth y dylid gwrido *neu* gywilyddio o'i herwydd; cywilydd tanbaid *neu* angerddol.

Burning scent—arogl angerddol.

Burning thorny plant—fflamgoed, dalen dda.

Burning mirror, } Burning reflector, } llosgddrych, llosddrych, drych llosg.

**Burning-glass**, *s.* (*burn* a *glass*) llosgwydr, llosgwydryn, tanwydr.

**Burnish**, *v.* (Ff. *brunir;* It. *brunire*) caboli, llathru, gloewi, yslipanu, arlathru, dyrathu, lluganu, llugeinio; dysgleirio, dysgleinio; gwneuthur yn loew, yn ddysglaer, *neu* yn llathr; trwsio.

To burnish steel—caboli, llugeinio, *neu* yslipanu dur.

Burnished steel—dur caboledig, dur cabol.

Burnishing stone—cabolfaen.

Burnishing file—durlif gaboli.

Burnished brass—efydd gloew (*Esec.* i. 7).

**Burnish**, *s.* dysgleirder, dysgleirdeb, llathredd, caboledd, dysgleinder, gloewder, arlathredd, yslipan, glawdd.

**Burnisher**, *s.* (o *burnish*) cabolwr, cabolur, llathrydd, llathrwr, arlathrwr, yslipanwr, llugeinydd, llugenydd, lluganwr, dyrathydd; cabolyr, cabolydd.

**Burnoose**, } **Burnos**, } *s.* (Ysp. *albornoz;* Syr. *biruna*) arwisg, uchwisg, arsegan.

**Burnt**, *p. p.* (o *burn*) llosgedig, &c.; llosg, poeth, tanllyd, crasboeth, crinsych, poethgras, sychgrin.

Easy to be burnt—hylosg, hyboeth.

Burnt-offering — poethoffrwm, offrwm poeth, llosgaberth, offrwm tanllyd, hollboeth, ollboeth.

Burnt-sacrifice—llosgaberth, poethaberth, aberth llosg, aberth tanllyd, hollboeth.

Burnt-incense — arogldarth, mygdarth, addoldarth.

Burnt-ear—llosgdwysen; y llosg.

Burnt-wine—gwin llosg, gwin llosgedig.

A burnt child dreads the fire—à losgodd ei fys a ochel y tân; arfog à gaffo rybudd.

**Burr**, } **Bur**, } *s.* (S. *burre;* It. *borr*) llabed clust, llabed y glust, clustlabed, tipyn y glust; isoddfyn, (=yr oddf isaf ar fon corn hydd); cefndedyn; cronrwy.

**Burr-pump**, } **Bilge-pump**, } *s.* llorsusgell, llorsugnyr, agensugnydd.

**Bur-reed**, *s.* cleddyflys, cawen, cleddlys.

Branched bur-reed—cleddyflys cangenog, cawen gangenog, cawen gangog.

Unbranched upright bur-reed—cleddyflys undwf syth.

Floating bur-reed—cleddyflys undwf nofiadwy.

**Burrel**, *s.* (?) math o beren; mwythberen.

**Burrel-fly**, *s.* (Ff. *bourreler*, poeni) cacynen y meirch, cethreor, clyryn llwyd, rhobin y gyrwr.

**Burrock**, *s.* (?) gored, pwnt pysgota.

**Burrow**, *s.*=*Borough*, *Burgh*, *Burg*.

**Burrow**, *s.* (S. *byrgen*, *byrian*) twll cwningen, cwning-gaer, tyllgaer, tudletty; twll: *pl.* tyllau cwningod, tudlettai.

**Burrow**, *v. n.* daiaru, ymddaiaru, tyrchu, turio, tyllu, ceudyllu, tudlettya, llochesu, ymlechu, gorddodoi.

Burrowing pig—twrch gorddodyn; twrch daiar.

**Bursar**, *s.* (o *burse*) alwerydd, amnerydd, trysorydd, clasgedydd, clasdrysorwr, sylltydd; trysorydd coleg *neu* frawdoliaeth; clasgedog, clasfuddiog.

Bursar of a college—alwerydd coleg, clasgedydd, trysorwr clasgor, clasdrysorydd.

**Bursaria**, *s. pl.* (o'r Ll. *bursa*) ceufilionos.

**Bursarship**, *s.* (o *bursar*) alweryddiaeth, amneryddiaeth, clasgedyddiaeth; swydd alwerydd.

**Bursary**, *s.* (o *bursar*) clasged; alwarfa, clasdrysorfa; trysorfa coleg *neu* fonachlog.

**Burse**, *s.* (Ff. *bourse;* Al. *börse;* o'r Ll. *bursa*) newidfa, cyfnewidfa, newidle, newitty, cyfnewitty, trafnidfa, maeliadfa.

**Burst**, *v.* (*byrstan*, *burstan;* Al. *bersten*) tori, ymdori, dryllio, ymddryllio, rhwygo, ymrwygo, hollti, ymhollti; rhuthro, ymruthro, trwydo, beilio, iorni; myned yn rhengau.

To burst in pieces—tori yn chwilfriw; dryllio yn deilchion *neu* dipiau; rhwygo *neu* hollti yn gandryll.
To burst in—rhuthro, neidio, tori, ymwthio, saethu, tasgu, *neu* ddïanc i *neu* i mewn.
He burst into the house—efe a ruthrodd i'r ty; torodd i'r ty.
To burst out—rhuthro, neidio, tori, ymwthio, tasgu, *neu* saethu allan; ffrydio, gwanegu, tarddu, *neu* darddellu allan *neu* i maes; pistyllio.
I will strike the stone, and fire will burst out — tarawaf y gareg, a thân a naid *neu* a dyr allan.
Tears burst out—dagrau a ffrydiasant allan; dagrau a dorasant allan; torodd dagrau allan; ffrydiodd dagrau allan.
To burst with laughing—hollti, ymhollti, *neu* ymdori gàn chwerthin; marw gàn chwerthin.
To burst out into laughter—tori allan o chwerthin; tori allan i chwerthin; tori allan yn grechwen; crechwenu; chwerthin yn grechwen.
She bursts with laughing—y mae hi ar *neu* yn ymdori *neu* ymhollti gàn chwerthin.
To burst out into tears—tori allan o *neu* i wylo; wylo yn hidl; wylo yn hidlaidd.
To burst with envy—ymdori *neu* ymddryllio gàn *neu* o genfigen; cael ei ladd gàn genfigen.
Ready to burst—ar dori, ar ymdori, &c.; parod i dori, &c.
He burst asunder in the midst—efe a dorodd yn ei ganol.
Thy presses shall burst asunder with new wine—dy winwryfoedd a dorant gàn win newydd.
It is ready to burst like new bottles—y mae efe yn hollti fel costrelau newyddion (*Iob* xxxii. 19).
He burst the bars of my prison—efe a dorodd farau fy ngharchar.
The new wine will burst the bottles—y gwin newydd a dyr *neu* a hyllt y costrelau.
That there shall not be found in the bursting of it—fel na chaffer yn mysg ei darnau (*Esa*. xxx. 14).

**Burst**, *s.* ymdoriad, ymddrylliad, toriad, rhuthr, rhwyg, holltiad; trwyd, trudd, iorn, ffrwch; ysgort, twrf, clap, dïaspad; torgest, torllengig, bors.
A burst of laughter—rhuthr o chwerthin; crechwen o chwerthin; crechwen, crechwenfloedd; bloedd o chwerthin.
A burst of joy—rhuthr o lawenydd; llawenfloedd, llawen floedd.
A burst of thunder—trwst taran, tarandrwst; clap *neu* ddïaspad taran; ffrwydrad taran; trwst.
A burst of applause—bloedd o ganmoliaeth, cyforddyl.

**Burst**, } **Bursten**, } *p. p.* toredig, ymdoredig, ymddrylliedig, &c.; borsog, torgestog.

**Burstenness**, *s.* (o *bursten*) torgest, torllengig, bolystyn, bors; drylliogrwydd, rhuthroldeb.

**Burster**, *s.* (o *burst*) torwr, dryllìwr, ymdorwr, ymddryllìwr, rhuthrwr, truddiwr.

**Burst-wort**, *s.* llysiau y fors, torgestlys, borslys.

**Burt**, *s.* (?) torbwt, lleden chwith, gwymell= math o bysg: tafod yr ych.

**Burthen**, } **Burden**, } *s.*= { *Burden*. *Burthen*.

**Burthensome**, *a.*=*Burdensome*.

**Burthensomeness**, *s.*=*Burdensomeness*.

**Bur-thistle**, *s.* marchysgallen; *pl.* marchysgall.

**Burton**, *s.* (?) tynchwerfan.

**Bury**, *v. a.* (S. *burian, burgan*) claddu; canhebryngu; daiaru, beddu, priddo, cuddio, celu; rhoi mewn bedd; rhoi dàn weryd.
To bury in oblivion—claddu mewn anghof; claddu mewn anghofiant; tellweddu.
To bury alive—claddu yn fyw.
To bury together—cydgladdu, claddu yn nghyd, cynghladdu.

**Burying**, *s.* (o *bury*) claddiad, claddedigaeth, cynhebryngiad.

**Burying-place**, } **Burying-ground**, } *s.* monwent, mynwent, claddfa, claddle, corfflan, claddfan, beddrod, beddle, corddlan.

**Bush**, *s.* (Al. *busch*; Is. *bosch*; D. *busk*) llwyn, perth, perthen, twyn, prysglwyn; twmpath; cynffon llwynog: *pl.* gwyddeli, llwyni, &c.
Silver bush—arianllwyn, llwyn arian.
Thorn bush, } Bush of thorns, } dreinllwyn, draenllwyn, dreinberth, llwyn o ddrain, perth o ddrain, llwyn drain, perth ddrain.
Bramble bush, } Bush of brambles, } mwyarllwyn, mïarllwyn, mïerinllwyn, llwyn mïeri, llwyn dyrysi, dyryslwyn, cadwydd, cadberth, perth fïeri.
Gooseberry bush—perth eurddrain, grwyslwyn, llwyn grwyswydd, perth eirin Mair, llwyn eirin Mair.
Furze bush—llwyn eithin, eithinog, perth eithin.
Strawberry bush—mefuslwyn, llwyn mefus, gwŷdd mefus, mefusbren, pren syfi.
Raspberry bush — mafonllwyn, llwyn mafon, mafonwydd.
Bush of hair—cnuwch o wallt, ffluwch o wallt; cudyn *neu* lyweth o wallt; cnuwch, ffluwch, tŵeg, topyn, siochen, sioch.
Bush of a wheel, } Bushel of a wheel, } byle olwyn, bylen olwyn, blwch troell: *pl.* bylau olwyn.
Good wine needs no bush—afraid gwahodd at gwrw da.
One bird in hand is worth two in the bush—gwell aderyn mewn llaw na dau yn y llwyn; gwell aderyn mewn llaw na dau mewn llwyn; gwell penlöyn yn llaw na hwyad yn awyr; gwell aderyn mewn llaw na dau yn y coed; gwell un 'hwde' na dau 'ti a gei.'
One beats the bush, another catches the hare—un yn hau, ac arall yn medi; un yn curo y llwyn, ac arall yn dàl yr adar; un yn tori y gneuen, ac arall yn bwyta y cnewullyn.
You have not gone about the bush—nid aethoch i bwyo *neu* ffusto y perthi; nid aethoch i gyrchu pen ffordd; nid aethoch i guro *neu* ffusto llwyni; disgynasoch yn uniongyrch at y pwnc *neu* y mater.
Who cut up mallows by the bushes—y rhai a dorent yr hocys mewn prysglwyni (*Iob* xxx. 4).

**Bush**, *v.* llwyno; ffluwcho; bylu, bylëu.

**Bushel**, *s.* (Ff. *boisseau;* Llyd. *boesel;* Norm. *bussel;*) pwysel, mwysel=8 galwyn.
Half a bushel — hanner pwysel, hanner mwysel, cib, cibyn, cibynaid.
You measure their corn by your own bushel—chwi a fesurwch frethyn pawb wrth eich llathen eich hun; yr ydych yn mesur pawb wrth eich llathen eich hunan.
**Bushelage**, *s.* (o *bushel*) pwyseldoll, toll wrth y mwysel.
**Bushet**, *s.* (o *bush*) llwynig, perthig, perthan, twynyn: *pl.* celionos.
**Bush-harrow**, *s.* perthoged, dreinoged; og *neu* oged ddrain.
**Bushiness**, *s.* (o *bushy*) perthogrwydd, prysgoedogrwydd, dreiniogrwydd; ffluwchogrwydd, cudynogrwydd.
**Bushman**, *pl.* Bushmen, **Bosjesman**, *pl.* Bosjesmans, *s.* (Is. *bosch-man*) Llwynwr, Llwynydd, Coedur: *pl.* Llwynwyr, Llwynwys, Llwyniaid, Coedwys, Coeduriaid=trigolion gwyllt a chreulawn Affrica, ar dueddau Penryn Gobaith Da.
**Bushment**, † *s.* (o *bush*) tewlwyn, tewgoed.
**Bushy**, *a.* (o *bush*) perthog, llawn llwyni, llawn perthi, prysgog, prysog; llawn o brysgoed *neu* brysglwyni; ffluwch, ffluwchog, cudynog, cedenog, crych, topynog, siochog; tew, tewdaen.
Bushy hair—gwallt ffluwch.
Bushy-headed—penffluwch, pengrych.
Bushy place—prysgle, prysle, dyrysle; lle dreiniog *neu* fieriog.
**Busiless**, *a.* (o *busy*) diwaith, didres, diofal, dïorchwyl, didrafferth, anmhrysur, segur; mewn hamdden *neu* seibiant.
**Business**, *s.* (S. *bysi*, *bysig*) galwad, galwedigaeth, gwaith, gorchwyl, masnach, swydd, neges, achos, mater, peth, pwnc, gorchwyliaeth, trafnidiaeth, crefft, celfyddyd; gofal, helynt, heldrin, trafferth, helgur, ymdrin, trabludd, trybestod, tres.
To transact business — gorchwylio, trin gorchwylion, masnachu, negeseua; gwneyd gwaith, gorchwyl, *neu* weithred; trin, trefnu, *neu* lywodraethu gorchwyl *neu* neges; helyntio.
Man of business—masnachwr, masnachydd, trafnidiwr; dyn gorchwylgar *neu* negesgar; dyn hyddysg yn nhriniaeth gorchwylion *neu* negesau; dyn gorchwylog.
In what line of business is he?—pa drafnidiaeth sy ganddo? pa alwedigaeth sy ganddo? beth yw ei alwad, ei alwedigaeth, ei swydd, ei orchwyl, ei grefft, *neu* ei gelfyddyd?
Trifling business — goneges, gorchwyl dibwys, coegneges, anober, anoberi, coegorchwyl.
Consult not with an idle servant concerning much business—nac ymgynghora â gwas dïog am lawer o waith.
Go on with thy business in meekness—gorphen dy waith yn lledneis.
A man diligent in his business—gwr dïesgeulus yn ei orchwyl.
The business is done—gorphenwyd y gwaith *neu* y gorchwyl; deryw y mater.
What business has he there?—pa swydd *neu* neges sy ganddo ef yno? beth sydd ganddo ef yno? beth sydd â wnelo efe yno?
He shall not be charged with any business—na rodder gofal dim arno.
Not slothful in business—nid yn ddïog mewn diwydrwydd.
What business hast thou here?—beth a wnei di yma? beth sydd i ti â wnelot *neu* a wnelych yma? beth sy genyt yma?
I will make that my business—ymroaf i hyny o orchwyl; glynaf wrth hyny o orchwyl; gofalaf am hyny o beth *neu* orchwyl.
I will do his business for him—gwnaf ei waith ef; mi a wnaf ei waith ef; mi a'i dyfethaf ef.
I must make it my whole business—rhaid i mi ymdrafferthu yn hollol; rhaid i mi ei wneuthur yn unig orchwyl i mi.
In the heat of your business—yn mhres eich gwaith; yn mhoethder eich gorchwylion.
I have no sort of business here, I have no business at all here, nid oes i mi ddim oll ag a wnelwyf yma; nid oes genyf yma neges yn y byd; nid oes un neges pa bynag genyf yma.
You had no manner of business there—nid oedd genych neges yn y byd yno; nid oedd i chwi neges yn y byd yno; nid oedd genych un neges pa bynag yno.
None may depart, and do his own business—ni ddichon neb fyned ymaith i'w negesau ei hun.
I have business with thee—y mae i mi neges â thi; mae â fynwyf *neu* â wnelwyf â thi.
To follow other men's business — dylyn achosion *neu* orchwylion rhai ereill; dylyn galwad pobl ereill.
They had no business with any man—nid oedd negesau rhyngddynt â neb; nid oedd iddynt negesau â neb.
When the business was in hand—pan oedd y mater mewn dadl *neu* mewn llaw; pan oedd y peth ar waith.
Because the king's business required haste—oherwydd bod gorchymyn y brenin ar ffrwst (1 *Sam.* xxi. 8).
That the business may be dispatched—fel y gallo y peth ddyfod i ben; modd y delo y gorchwyl i ben; modd y cyflawner y gorchwyl; modd y prysurer y peth.
I must be about my Father's business—rhaid i mi fod yn nghylch y pethau â berthynant i'm Tad.
That is not our business — ni pherthyn hyny i ni; nid ein mater ni yw hyny.
He has enough to do about his own business—y mae efe yn ei lawn waith yn nghylch ei negesau ei hun; mae ganddo ddigon o waith gyda ei faterion ei hun.
Artifice will never do their business—dichell ni ddwg byth mo'u hamcanion i ben.
These men did the business—y gwŷr hyn a wnaethant y gwaith.
Study to do your own business—rhoddwch eich bryd ar wneuthur eich gorchwylion eich hun.
To mind *or* follow business—gofalu am waith *neu* orchwyl; ymröi i waith *neu* orchwyl; rhoi bryd ar waith, gorchwyl,

galwad, masnach, *neu* alwedigaeth; glynu wrth waith *neu* orchwyl; poeni mewn gwaith *neu* orchwyl; dylyn gwaith, gorchwyl, *neu* grefft; gorchwylio, negeseua, llafurio, ymboeni, poeni, cymmeryd poen.

Mind your own business—edrychwch am yr hyn a berthyn i chwi eich hunain; gofalwch am yr hyn a berthyn i chwi; gofalwch am, *neu* edrychwch ar eich gorchwylion eich hunain; gofalwch am eich gorchwyl, eich gwaith, *neu* eich mater eich hun.

To do business for another — gorchwylio *neu* negeseua dros arall; trosnegesa, trosfasnachu.

To come into business — cynnyddu, gwrygio, tyfu, *neu* lwyddo mewn gwaith, gorchwyl, *neu* alwad; cynnyddu yn ei alwad; dyfod i waith *neu* orchwyl.

To find one business—tori *neu* lunio gwaith i un; rhoi *neu* ddangos i un beth i'w wneuthur; cynnal un mewn gwaith; cadw ar waith.

To free *or* disengage one's self from business — ymryddhau, ymddirwydo, *neu* ymddirwyllo o drafferth, &c.

To manage business—trin, trefnu, ardwyo, *neu* lywodraethu gorchwyl *neu* neges.

Manager of business—triniwr gorchwylion *neu* negesau; negesydd, negeswr; trefnidydd, rheolwr, rhiolydd, *neu* ardwyad gorchwylion.

Full of business — llawn gorchwylion, gwaith, *neu* negesau; gorchwyliog, negesog; llawn trafferth, ffwdan, *neu* drybestod; tresfawr; mawr ei dres, ei drafferth, *neu* ei drybestod; ffwdanus.

Free from business—diofal, didres, diwaith, dïalwad, didrafferth, dïorchwyl, segur; rhydd oddi wrth orchwyl *neu* alwad; mewn seibiant *neu* hamdden.

Freedom from business — seibiant, hamdden, didresrwydd; bod heb lafur a thrafferth; seguryd; bod yn rhydd o alwad, gorchwylion, *neu* alwedigaeth.

To attend to business—gofalu am fasnach, gorchwyliaeth, gorchwyl, *neu* drafnidiaeth; bod yn ddyfal, diwyd, *neu* ddiflin ar *neu* wrth orchwyl *neu* alwad; bod mewn gorchwyliaeth; bod yn ofalus am drafnidiaeth *neu* fasnach.

**Business-like,** *a.* gorchwylaidd, gorchwylgar, masnachaidd, masnachyddol, masnachyddaidd; fel masnachydd *neu* drafnidiwr.

**Busk,** *s.* (Ff. *busc*) prenol, bronatteg, bronsythell, bronsythyr.

**Busk,†** *s.* (D.; Sw. *buska*) llwyn, perth.

**Busk,** *v.* (S. *bysgian*) bod yn brysur; parodi, parotöi.

**Busked,** *a.* (o *busk*) prenoledig, bronattegol, bronsythedig, prenolog.

**Busket, Busked,** *s.* (D. *busk*) llwynig, llwynyn, perthig, perthan, perthen, twynyn; llwyn mewn gardd: *pl.* celionos.

**Buskin,** *s.* (Is. *broseken*) gwentas, cwran, curan, llopan, llop, esgid ffal-uchel.

**Buskined,** *a.* (o *buskin*) gwentasog, cwranog, llopanog, curanog.

**Busky,** *a.* (o *busk*) perthog; llawn llwyni *neu* berthi; coedog, coediog, gwyddelog, gwyddelain, prysgog, prysgoedog, prysain, prysol; cysgodog, gwasgodog, cysgodfawr; manwyddog.

**Buss,** *s.* (Ll. *basio;* Is. *poes;* Ysp. *beso;* C. *bus*) cusan, cus, impog.

**Buss,** *v. a.* cusanu, cusu, cuso.

**Buss,** *s.* (Is. *buis;* Al. *büse, buise*) llestr ysgadana, llestr pysgota.

**Bust,** *s.* (Ll. *bustum;* It. ac Ysp. *busto;* Ff. *buste*) corffyll, pengerfyll, penddelwedd, corfflun, bronddelw=llun dyn o'r ddwyfron i fyny, sef y pen, y gwddf, a'r ysgwyddau.

The head is marble, and the bust porphyry —mynor yw y pen, a myldardd y corffyll.

**Bustard,** *s.* (Ff. *bistarde;* Al. *busshard*) tyrciar y gwerni, gwerniar, gwylltyrci.

Great bustard—yr araf ehedydd.

Thick-kneed bustard—y glinbraff.

**Bustle,** *s.* (Ll. *festino ?*) ffwdan, trafferth, ffwndwr, godwrdd, terfysg, cynhwrf, cythrwfl, twrdd, dadwrdd, trybestyd, trybestod, godwrf, twrw, ymodwrdd, tres, heldrin, helbul, helgur, cymhelri, godorun, ymffrwst, ffrawdd, dyfrys, brys, arbres, ffrystellach, trabludd, bludd, moloch, trybest, pestod, trin, ffrwst, blawdd, prwst, cynauaf, ffair.

Great bustle—mawrdres, mawrdrin, traffull; mawr ffwdan, &c.

**Bustle,** *v. n.* trafferthu, ffwdanu, godyrddu, ymdrafferthu, ymdraffullio, ffrystio, brysio, dyfrysio, ffwndro, trybestu, pestota, ffrystellach, ffrysio, fflychio, traffullio, prysuro, estricio, prystio, trafodi, dwndro, terfysgu; gwneuthur cynhwrf *neu* derfysg; bod yn drystfawr *neu* yn ffwdanfawr.

He bustles about his work—y mae efe yn ddyfal yn *neu* yn nghylch ei waith; y mae efe yn brysio yn nghylch ei waith.

**Bustler,** *s.* (o *bustle*) ffwdanwr, trafferthwr, ymdrafferthwr, &c.; dyn gweithgar *neu* ddyfrysgar; dyn ystig yn ei waith; ymröwr i'w waith; dyfalddyn, prysurwas.

**Busto,** *s.* (It.)=*Bust:* safllun.

**Busy,** *a.* (S. *bysi; bysig,* Is. *bezig*) prysur, diwyd, dyfal, ystig, astud, gweithgar, llafurus, diflin, esgud, ansegur, disegur, anniwaith, dïorphwys, dïesgeulus, manol, manwl; trafferthus, ffwdanus, helbulus, gofidus; pres; ar waith, llawnweithus; â thrafferth *neu* waith arno; ystig wrth *neu* ar waith; ystig yn nghylch gwaith *neu* orchwyl; llawn trafferth; mawr ei dres *neu* drybestod; yn ei lawn waith; swyddgar, rhydresgar, ymyrgar, ymyrus, rhodresus, cymmyreddus, neggesgar; mawr ei ymyraeth.

As busy as a bee—mòr ddiwyd a'r wenynen; càn *neu* cyn ddiwyted a'r wenynen.

It was the busy time of harvest—yr oedd hi yn bres gynauaf; prysur amser cynauaf ydoedd.

The busy time of market—pres marchnad; pres farchnad; marchnad brysur.

When we are busiest of all—pan fom yn mhres ein gwaith *neu* orchwyl; pan yr ym brysuraf wrth ein gorchwyl; pan y byddom brysuraf wrthi.

While I was busy in writing—a mi yn brysur yn ysgrifenu; a mi yn prysur ysgrifenu.

As thy servant was busy here and there—tra yr oedd dy was yn ymdröi yma ac acw.

A busy day—dïwrnod prysur.

Busy-minded—prysur-feddwl; gweithgar *neu* brysur ei feddwl.

**Busy**, *v. a.* trafferthu, ffwdanu; ymdrafferthu *neu* ymdraffullio â; dàl ar waith; cadw *neu* ddàl wrth waith; rhoi peth i'w wneuthur; rhoi llawnwaith; cadw *neu* ddàl mewn llawn waith; peri trafferth i.

To busy one's self with an affair—ymyru, ymyryd, ymyraeth, *neu* ymrwystro â pheth.

A busy day—dïwrnod prysur.

Busy not thyself with other men's affairs —nac ymyra â materion, negesau, *neu* bethau rhai ereill.

**Busy-body**, *s.* ymyrwr, ymyrydd, rhydreswr, rhodreswr; prysurwas; prysur heb ddiolch; dyn ymyrgar, rhydresgar, rhydresus, cymmyreddus, *neu* ymyrus; un â'i fys yn mrywes *neu* yn mhotes pawb; un â fwrio ei gryman i yd pawb; un a roddo ei lwy yn nysgl pawb; chwilgi.

**But**, *c.* (S. *butan, bute, buta*) ond, onid, eithr, oddi eithr; er hyny, eto, ond eto, yn unig; cyn, pan; hagen, anllai; eisoes, eisys; nid amgen, amgen; onis, onid e; etwaeth, eton, etwa; ag, nag.

**But**, *prep.* ond, onid, eithr, oddi eithr, odd eithr, oddi gerth; heb, heb law, namyn, amyn, nam, named; maes o; allan o; dim ond; dim amgen na *neu* no.

But yet—ond, eithr, eto, ond eto, eton, etwa, etwaeth, er hyny, eisoes, eisys, hagen; ond er hyny.

But it is plain—eithr eglur yw; ond y mae yn eglur.

But yet the king hearkened not to his words—ond eto, er hyny, er hyny eto, eisoes, *neu* hagen, ni wrandawodd y brenin ar ei eiriau ef.

But for—oni buasai, oni bai; heb; pe na buasai.

But for one man we should have perished —oni buasai un gwr, darfuasai am danom.

But for him—oni buasai ef; hebddo ef; hebo ef; oni buasai iddo ef; ped ond ef.

Her head was bare, but for her native ornament of hair—noeth oedd ei phen, ond ei haddurn naturiol o wallt; ei phen oedd noeth, oni buasai ei haddurn gwallt cynhenid.

But that—oni bai, oni byddai; oni buasai; pe na, pe nad, pe nas; nad oes.

But that I feared the king's displeasure— oni bai ofni o honof ddig y brenin; oni buasai ofni o honof ddig y brenin; pe nad ofnaswn ddig y brenin.

It cannot be but nature has some director —nis geill fod nad oes gàn natur ryw lywydd; nis geill lai na bod gàn natur ryw gyfarwyddwr; nis dichon fod nad oes i anian ryw lywydd; nis gall yn amgen na bod gàn anian ryw reolydd; ni ddichon fod amgen na bod i natur ryw gyfarwyddydd.

But that we were already employed—pe na buasem eisoes mewn gwaith; pe buasem heb fod ar waith eisys; oni buasai ein bod mewn gwaith eisoes.

But that I think you know it already—oni bai i mi dybied y gwyddoch ef eisoes; pe nas tybiwn y gwyddoch ef eisoes; pe na thybiwn ei wybod o honoch yn barod.

The moon was no sooner up but he opened the gate of Paradise—nid cynt y cododd y lleuad nag yr agorodd efe borth Gwynfa; yn gyntaf *neu* cyn gynted ag y cododd y lloer, efe a egorodd borth Paradwys.

Hardly was the former stir ended, but a new one arose—braidd y gostegasai y terfysg o'r blaen, cyn codi o un newydd; prin y peidiasai y terfysg o'r blaen, pan gyfododd un newydd.

But only you—neb ond chwi; neb onid chwi; chwychwi yn unig.

None but he could have done it—nid oedd neb, ond, onid, eithr, *neu* oddi eithr efe, a allasai ei wneuthur; nis gallai neb ond efe ei wneuthur.

A hundred but one—cant ond un; namyn un cant; amyn un cant; cant namyn un.

There was nobody at home but I—nid oedd neb gartref ond mi; nid oedd neb gartref onid myfi, nid oedd neb gartref heb law mi, *neu* heb fy llaw i.

There is none good but one—nid da neb ond un.

Our light affliction which is but for a moment—ein byr ysgafn gystudd (2 *Cor.* iv. 17).

There was nothing in his house, but what he shewed them—nid oedd dim yn ei dy ef ag *neu* a'r nas dangosodd efe iddynt.

None of them is lost but the son of perdition—ni chollwyd o honynt ond mab y golledigaeth.

We have done unto thee nothing but good —nis gwnaethom ddim ond da iti; nis gwnaethom ond da yn unig iti; nyni a wnaethom ddaioni yn unig â thi.

He did nothing but complain—ni wnaeth ddim ond achwyn.

Do you but be faithful to your promise— yn unig byddwch ffyddlawn i'ch addewid.

Obey but my voice, / Do but obey my voice, } yn unig gwrandaw ar fy llais; yn unig gwrandawa fy llais.

These last have wrought but one hour—un awr y gweithiodd y rhai olaf hyn; ni weithiodd y rhai olaf hyn ond un awr.

Tell me nothing but that which is true— na ddywed wrthyf ond *neu* namyn gwirionedd; na ddywed i mi ddim ond yr hyn sy wir.

She does nothing but weep—ni phaid hi âg wylo; ni wna hi ddim ond wylo; nis gwna hi swydd ond wylo.

I cannot but speak the truth—nis gallaf na ddywedwyf y gwir; nis gallaf lai na dywedyd y gwir.

I cannot but love her—nis gallaf lai na'i charu; nis gallaf nas carwyf hi; ni allaf beidio â'i charu.

There is none but is afraid of you—nid oes neb nad yw yn eich ofni; nid oes dyn ag nad yw eich ofn chwi arno.

It cannot be but the multitude must come together—nid oes modd na ddel y lluaws yn nghyd.

There is none but knows—nid oes dyn ag nas gŵyr; nid oes neb nas gŵyr; nid oes un na ŵyr; pawb a wyddant; gŵyr pawb; gŵyr pob un.
There is no question but the king will reform—nid oes dadl na ddiwygia y brenin.
Did men but consider—petai dynion yn unig yn ystyried; petai dynion ond ystyried; pe bai dynion yn unig yn ystyried; petai dynion ddim ond ystyried; pe bai dynion ddim ond yn ystyried; ped ystyriai dynion.
Believe nothing concerning God, but what is honourable—na chred ddim am Dduw, amgen nag anrhydeddus; na chred ddim am Dduw, amgen na'r hyn a fyddo anrhydeddus.
You cannot buy it, but at a very dear rate—chwi a'i prynwch yn brid *neu* yn ddrud iawn, os ei brynu a wnewch; nis gallwch ei brynu ond am bris tra uchel.
He came but yesterday—nid oes ond er doe er pan ddaeth; ni ddaeth ond er doe.
He is but just now gone—yn awr fach yr aeth; gynneu fach yr aeth; nid yw ond newydd fyned.
There wanted but a little but he had struck him—ni bu ond y dim lleiaf rhyngddo a'i daraw; prin *neu* braidd y peidiodd â'i daraw.
I would but for hurting him—mynwn oni bai imi ofni ei niweidio ef; mynwn oni bai imi ofni gwneuthur iddo niwed.
What ails you but that you may do it?—beth a'ch rhwystra i'w wneuthur?
But if—ond os, eithr os, ond pe, ond ped, ond od, eithr od, eithr o, ond o.
But if not—ac onid e, ond onid e, eithr onid e, ac onid, eithr onid, eithr os nid, eithr os nad, ond os na.
But if you worship not—ac onid addolwch; ac onid ymgrymwch; eithr os nid ymgrymwch *neu* addolwch.
But rather—yn hytrach; eithr *neu* ond yn hytrach; eithr sy fwy; echre.
But seldom—yn anfynych, yn anaml, ond odid; ond yn anfynych; ond anfynych.
This is but seldom seen—anfynych y gwelir hyn; ni welir hyn ond anfynych; hyn ni welir ond yn anfynych.
But a while ago—yn ddiweddar; ond ychydig bach yn ol; yn hwyr; yn hwyr o amser; yn ddiweddar iawn; yn hwyr iawn; gynneu; er ys talm bach; ers ennyd bach; er ys meityn bach; er ys cetyn bach o amser.
But just now—yn awr fach; gynneu fach; ychydig bach yn ol.
Not but that—nid am na; nid am nas; nid am nad.
But only that—ond yn unig mai; ond yn unig bod.
But though—ond er, eithr er; anllai.
There is no doubt but—nid oes ammheu nad; nid oes ammheuaeth na *neu* nas.
The Thursday but one before Whitsuntide—y dydd Iau nesaf ond un cyn *neu* o flaen y Sulgwyn; y dydd Iau nesaf ond un i'r Sulgwyn.
The last line but one—y llinell olaf ond un; y llinell olaf namyn un.

P

It is but necessary—nid yw ond rheidiol, angenrhaid, *neu* angenrheidiol.
She is anything but handsome—mae hi yn unrhyw beth ond hardd; y mae hi yn beth à fynoch ond hardd; y mae hi yn unpeth ond hardd; mae hi y peth à fynoch ond hardd.
It is all but blank—y mae yn oll ond gwagle; mae yn oll ond gwagle hollol; y mae o fewn i ddim yn wagle hollol; y mae bron yn wagle hollol.
We shall but die — byddwn farw; ni wnawn ond marw.

But, Butt, } *s.* (Ff. *bout*) ffin, terfyn, cyffin, ffinedd; bon, y bon, bonwn.
But, *v.* ffinio, cyffinio, cydio, terfynu.
Butcher, *s.* (Ff. *boucher*) cigydd, cigwr; lleiddiad.
The butcher, Butcher-bird, } y cigydd=math o aderyn.
Great butcher-bird—y cigydd mawr.
Red-backed butcher-bird—y cigydd cefngoch.
Least butcher-bird—y barfog, y cigydd lleiaf.
Butcher's trade — cigyddiaeth, celfyddyd cigydd.
Female butcher—cigyddes.
Butcher-row—cigfa, y gigfa, marchnad y cig, y farchnad gig, cigle, cigyddfa, cigyddle; rhes o gigfau, cigres.
Butcher's shop — cigdy, cigyddfa, cigfa, cigydd-dy, cigfwth, bwth cigydd, gwerthdy cigydd.
Butcher's meat—cig, cig ir, cig ffres, cig ffresg, cig y cigydd.
Butcher's broom — banadl pigog, celyn Mair, celyn Ffrainc, gewynllys, gïeulys, llysiau y gïau, pryseg.
Butcher, *v. a.* cigyddio, dïenyddio, lladd.
Butcherliness, *s.* (o *butcherly*) cigyddolrwydd, cigyddlydrwydd, gwaedlydrwydd, creulonrwydd, creulonder.
Butcherly, *a.* (o *butcher*) cigyddaidd, cigyddlyd, cigyddol; cïaidd, creulawn, gwaedlyd, ffyrnig, barbaraidd.
A butcherly fellow—cigydd o ddyn.
Butchery, *s.* (o *butcher*) cigyddiaeth; cigfa, cigyddfa, cigle, cigyddle; marchnadfa cig; galanasdra, lladderedd.
Buteoninæ, *s. pl.* (Ll. *buteo*) boncatholion, bwncathogion, boncathogion.
Butler, *s.* (Ff. *boutillier*) trulliad, trulliwr, heilyn, gwallofiad, menestr, gwallofydd, gwallofwr.
The chief of the butlers—y pentrulliad (*Gen.* xl. 2).
Female butler—trulliades, heilynes, gwallofyddes, gwallofiades.
Under-butler—isdrulliad, iswallofiad.
Butlerage, *s.* (o *butler*) trulliadaeth, heilyndoll.
Butlerage, Butlership, } *s.* (o *butler*) trulliadaeth, heilyniaeth, heilynyddiaeth; swydd trulliad.
He restored the chief butler unto his butlership again — gosododd y pentrulliad eilwaith yn ei swydd (*Gen.* xl. 21).
Butment, *s.* (hen Ff. *aboutment*) pentan, mydatteg, mydwanas.
Butment of an arch—mydatteg, mydwanas, pentan, bwa.

Butment cheeks — morteisarnau, ochrau mortais.
Butomus, *s.* (Gr. *bous* a *temnô*) engraff, brwynen flodeuog=math o frwyn.
Butshaft, *s.* (*but* a *shaft*) nodsaeth, annelsaeth, parselsaeth, saeth annel.
Butt, *s.* (Ff. *bout*) nod, parsel, annelnod; cyff cler, gwawdnod, gwatwargyff, nod y gwatwar, gwawdgyff, gwatwarnod; pwt, gwth, hyrddiad, gyrth, hwrdd, corniad; bon, arlost.
Butt of ridicule—cyff cler, gwatwargyff, cyff gwawd.
Butt and butt—bonfon; talcen yn nhalcen.
Broad butt—bauol, bon llydan.
To start *or* spring a butt—ymollwng yn mon y planciau; ymollwng *neu* ymryddhau yn y bon.
Butt-end, But-end, } bon, arlost, bonwn.
To run full butt at one another — ymgyfredeg, ymgyhydreg, *neu* ymgyfranc dalcen yn nhalcen; ymruthro dalcen yn nhalcen.
Butt, *v. n.* (C. *pwtio;* It. *buttare*) cornio, hyrddio, hyrddu, gyrthio, pwtio, pwtian, cernial, ymgornio, gwthio, gwrthdaro, hergornio, ymhyrddio.
Butt, *s.* (S. *butte, bytt;* Ysp. *bota*) bauol, bytaid, bauolaid=baril o 126 galwyn o win, neu 2 fyddi.
Butter, *s.* (Al.; S. *buter, butera;* Ll. *butyrum;* Gr. *bouturon*) ymenyn.
Fresh butter — ymenyn gwyrf, ymenyn gwyra, ymenyn ffres, ymenyn ffresg.
Salt *or* salted butter—ymenyn hallt.
Butter tray—ciler, ciler ymenyn.
To make butter — cyweirio ymenyn; gwneyd ymenyn, gwneuthur ymenyn.
A lump *or* print of butter—agalen, breian, brefan, rhisgen, manaid, calen, *neu* seigen o ymenyn.
Bread and butter—bara ac ymenyn; brechdan, brechdaen.
A slice of bread and butter—brechdan, brechdaen; tafell o frechdan; clem *neu* dafell o fara ac ymenyn.
Butter and cheese — ymenyn a chaws; enllyn gwŷn; enllyn.
She looks so demurely, as if butter would not melt in her mouth—gellid meddwl wrth ei golwg na lyncai hi mo'r llefrith.
A pot of butter, A pot-ful of butter, } ystenaid o ymenyn, potaid o ymenyn.
Butter trade—masnach *neu* drafnid ymenyn.
He that has a good store of butter may lay it thick on his bread—â fo aml ei fêl, rhoed ar ei fara; a fo aml ei fêl, rhoed yn ei uwd.
Butter, *v. a.* ymenynu; iro *neu* ddwbio âg ymenyn.
Buttered toast, Toast and butter, } crasdafell ymenynedig *neu* ymenynog; crasdafell iredig âg ymenyn; crasfrechdan, brechdan grasboeth, brechdaen gras.
He knows on which side his bread is buttered—efe a ŵyr ar ba wyneb i'r bara y mae yr ymenyn; e ŵyr y gath pa farf a lyf.
To butter a cake—ymenynu teisen; rhoi *neu* osod ymenyn ar deisen; iro teisen âg ymenyn.
Fair words butter no parsnips—ni lenwi cylla gwag â geiriau teg.
Butter-bump, *s.* aderyn y bwn, aderyn y bwmp bwmp y gors.
Butter-bur, Butter-burr, } *s.* alan mawr, dail y tryfan.
Common butter-bur=*Butter-bur.*
Butter-cups, Butter-flower, } *s.* blodau yr ymenyn, blodau ymenyn, chwys Mair, egyll cnapwraidd, egyllt cnapwreiddiog.
Butterfly, *s.* (S. *buter-flege*) ilir, eilir, eilier glöyn byw, glöen fyw, pilai, pila, clöyn, clöyn byw, iar fach yr haf.
Butterfly-shaped—pileiaidd, eiliraidd, ilir aidd, clöynaidd; ar ddull *neu* lun ilir.
Butterfly-shell — yr ilirgragen; *pl.* ilirgragod=math o grestlibogion.
Butterfly-plant—eilirlys, ilirlys.
Butterfly gymnadenia—baldar dwyddeiliog.
Butteris, Butters, } *s.* (?) naddiadyr, carndaclyr, haiarn naddu.
Butter-milk, *s.* (*butter* a *milk*) llaeth enwyn, enwyn.
Butternut, *s.* (*butter* a *nut*) olewgneuen, cneuen ymenyn: *pl.* olewgnau.
Butter-print, Butter-stamp, } *s.* print ymenyn, nodyr ymenyn, breiannodyr.
Butter-spoon, Butter-scraper, } *s.* crafell ymenyn.
Buttertooth, *s.* (*butter* a *tooth*) llaethddant, rhagddant llydan, rhagddant, blaenddant.
Buttertree, *s.* (*butter* a *tree*) ymenynwydden, pren ymenyn: *pl.* ymenynwydd, coed ymenyn.
Butter-wife, Butter-woman, } *s.* ymenyn-wraig, gwerthwraig ymenyn, ymenynyddes.
Butterwort, *s.* (*butter* a *wort*) y doddaid felen, y doddedig felen, eiryfedig.
Common-butterwort — toddaid felen gyffredin, y doddaid felen, y doddedig *felen.*
Buttery, *a.* (o *butter*) ymenynaidd, ymenynog, ymenynol, ymenynllyd.
Buttery, *s.* (o *butter*) bwydgell, bwytty; trullfa.
Buttock, *s.* (o'r Ff. *aboutir,* yn ol tyb *Skinner*) pedrain, ffolen, bontin, tin, clun, morddwyd, cwman, crymal.
The buttock of a ship—crymal llong.
A little buttock—ffolenig, crymalen.
With buttocks uncovered — yn dinnoeth (*Esa.* xx. 4).
Button, *s.* (Ff. *bouton;* It. *bottone;* C. *botwn*) botwm, botwn; boglwm, boglyn, cnap; blaguryn.
Button, Button-fish, } morddraenog, draenog y môr.
Button and loop—botwm a dolen.
A thing not worth a button—peth diddym; peth heb ddim; baw-beth; peth heb fod yn werth brwynen; anober, anoberi.
His tail makes buttons—y mae yn rhefro *neu* yn crynu gàn ofn; y mae yn rhefro.
Button, *v. a.* botymu, botynu, botyno; boglymu, boglynu.
Bachelor's button—lluglys ysgar, llys yr ychain, blodeuyn rhudd; botwm mab ieuanc.
Button-bush, *s.* botymlwyn.
Buttoned, *a.* (o *button*) botymog, boglymog; botymedig, boglymedig, boglynedig.
Button-flower, *s.* botymflodyn, cnapflodyn: *pl.* botymflodau, cnapflodau.

**Buttonhole**, *s.* (*button* a *hole*) twll *neu* rwyll botwm, twll botwn, bwt.
**Button-maker**, *s.* botymwr, botynwr, gwneuthurwr botymau.
**Button-stone**, *s.* botymfaen.
**Button-tree**, *s.* botymbren, botymwydden, cnapwydden: *pl.* botymwydd, cnapwydd.
**Button-weed**, *s.* botymlys, botymchwyn, botymwlydd.
**Button-wood**, *s.* botymwydd, bytwydd, cnapwydd, cnapgoed.
**Buttress**, *s.* (o *but*) atteg, attegwaith, cynnalfur, attegfur, canbost, cambost, gwanas, murwanas, seilddar, gwrthgefn; cynneiliad, cynnalydd, cynnaliawdr.
  Flying buttress — hedwanas, hedatteg, croesatteg, atteg hedegog.
**Buttress**, *v. a.* attegu, cynnal; cynnal *neu* ddàl i fyny; rhoi atteg dàn; gwrthgefnu.
**Buttressed**, *a.* (o *buttress*) attegedig, cynnaledig; âg atteg *neu* gynnalfur dano, &c.
**Butts**, *s. pl.* (o *butt*) parselfa, saethfa, saethle, saethfan; cilrynau, (*sing.* cilrwn); pynfeirch, argaeau.
**Butwink**, *s.* butwinc=enw aderyn.
**Butyraceous**, } *a.* (Ll. *butyrum*) ymenynaidd,
**Butyrous**, } ymenynog, ymenynol, ymenynllyd; o ansawdd ymenyn.
**Butyric**, *a.* (Ll. *butyrum*) ymenynig.
  Butyric acid—sur ymenynig.
**Butyrine**, *s.* (Ll. *butyrum*) ymenynain, ymenynin =math o ddefnydd olewaidd à geir o ymenyn.
**Buxbaumia**, *s.* (oddi wrth I. C. *Buxbawm*) Bwcsbawmia, pyrfwswn.
**Buxeous**, *a.* (Ll. *buxus*) ysbeinwyddain, ysbeinwyddin, bocysaidd; perthynol i'r ysbeinwydd *neu* y bocys.
**Buxina**, } *s.* (Ll. *buxus*) bodlyshal, bocysin,
**Buxine**, } bocsin=llyshal, llysalcali, *neu* alcali llysieuaidd, à geir o'r pren bocys.
**Buxom**, *a.* (S. *bocsum*) bywiog, hoenus, heinif, heini, hoew, hawntus, llawen, gweisgi, gwisgi, sionc, nywus, gorhoenus, gorawenus, brywus; nwyfus, hynwyf, anllad, hyserch, trythyll; †ufydd, ufyddgar, hydrin.
  The buxom air—yr awyr hyran, hydraidd, hyhollt, *neu* deneu; yr awyr hawntus.
  The buxom morn—y bore bywiog *neu* nwyfus.
**Buxomness**, *s.* (o *buxom*) bywiogrwydd, hoen, nyw, gorhoen, hoenusrwydd, heinifder; nwyfusrwydd, nwyfiant, hynwyfedd, anlladrwydd, anlladedd, trythyllwch; † ufyddgarwch, hydrinedd, uddyfdod.
**Buxus**, *s.* (Ll.)=*Box, Box-tree.*
**Buy**, *v.* (S. *bigan, bygan, bycgan*) prynu, pwrcasu; masnachu.
  To buy a pig in a poke—prynu cath mewn cwd; prynu cath mewn cod *neu* ffetan.
  He shows that he has a mind to buy—dengys ei bryngarwch; dengys ei fod ar fedr *neu* ar oddeu prynu.
  He has not wherewith to buy a halter—nid oes ganddo mo'r ewinedd i ymgrafu.
  It is good buying with other men's money—arfog â gaffo rybudd; rhybudd i ddedwydd; prynu synwyr ar draul ereill.
  To buy a bargain—prynu â newid *neu* â bargen arno; rhadbrynu; cael newid *neu* fargen ar beth.
  To buy dear—prynu yn ddrud; prynu yn brid; prynu cyhyryn gàn gath.



  To buy and sell—prynu a gwerthu; marchnata, masnachu; porthmona.
  To buy again — adbrynu, eilbrynu, ail brynu; dirbrynu.
  To buy before hand—rhagbrynu; prynu yn mlaen llaw.
  To buy at the best hand—prynu ar *neu* gàn y llaw flaenaf; prynu o lygad y ffynnon; prynu gàn y gwneuthurwr; prynu ar y llaw oreu.
  To buy often—mynych brynu; prynu yn fynych; ymarfer o brynu.
  To buy together—cydbrynu, cydfasnachu; prynu *neu* fasnachu yn nghyd.
  Bought wit is the best—goreu synwyr, synwyr pryn.
  To buy off a criminal—prynu rhyddid *neu* faddeuant i droseddwr.
  To buy off conscience—prynu ymaith gydwybod; peri i'r gydwybod ddystewi; llonyddu *neu* ddyhuddo cydwybod euog; dystewi llef cydwybod euog; dallu llygaid cydwybod drwy wobrau.
  To buy off a judge—prynu barnwr i ochr un; gobrwyo barnwr er peri iddo wyro barn; gobrwyo barnwr er peri iddo gyfiawnhau yr euog; llygru barnwr drwy wobrau.
  To buy out of one's hand—dwyn masnach *neu* nwydd o law un; prynu ymaith o law un.
  To buy up—prynu, pwrcasu; prynu i fyny.
  To buy by the lump—prynu wrth y talp; prynu wrth y swmp; prynu yn y crynswth; prynu wrth y llaw; prynu yn y cyfan; prynu yn grynswth.
  To buy upon tick *or* trust—prynu ar goel; prynu ar air; prynu ar ddydd; prynu heb arian parod; prynu heb dalu i lawr; prynu heb dâl ar law; prynu yn *neu* ar echwyn.
  To buy with ready money—prynu âg arian parod; prynu âg arian ar lawr; prynu âg arian ar law; prynu â thâl ar law; prynu drwy dalu i lawr.
  To have a mind to buy—bod â chwant prynu arno; bod âg ambrynu arno; bod âg ambryn arno; bod ar fedr *neu* ar oddeu prynu; bod yn bryngar.
  A mind to buy—ambryn; chwant prynu; meddwl prynu; bwriad i brynu; blys i brynu; pryngarwch.
  To buy in—prynu i mewn; prynu i fewn.
  To buy off—prynu ymaith, i ffwrdd, *neu* oddi wrth.
  Easy to be bought—hybryn; hawdd ei brynu.
**Buyer**, *s.* (o *buy*) prynwr, prynydd, pwrcaswr.
  A great buyer—prynwr mawr, prynwr diwala; ambrynydd, ambrynwr.
**Buzz**, *v.* (It. *buzzicare*) sïo, suo, husting, sibrwd, sistrain, sisial, sisruo; lleisio, gryngian, chwyrnu, *neu* sisial fel gwenyn; isel sibrwd *neu* siffrwd.
  To buzz about *or* abroad—bwrw y gair allan; rhoi y gair allan; cyhoeddi dàn sibrwd; husting; taenu ar led; gyru ar gyrn a phibau.
**Buzz**, *s.* su, si, husting, sis, sibrwd, siffrwd, sisial, eddrin, sygan, goruad, hust; llais, mwngial, *neu* si gwenyn.
**Buzzard**, *s.* (Is. *buzaard;* Al. *bussaar, busshard*)

boncath, bwncath: cadafel, penbwl, pendew, brebwl, cuall.
Common buzzard—bod teircaill; bwncath cyffredin, boncath cyffredin.
Honey buzzard—bod y mel.
Bald buzzard—bod tinwyn, iar dinwen, y dinwen frech; bod y gwerni, bwncath y wern.
Moor buzzard, White-headed harpy, } bod y gwerni, bwncath y wern, y bod penwyn, y penwyn.

**Buzzard**, *a.* pendew, penbylaidd, cuall, disynwyr.

**Buzzardet**, *s.* (o *buzzard*) boncath hirgoes; boncathyn.

**Buzzer**, *s.* (o *buzz*) sisialwr, sisialydd, süwr, sïwr, eddrinwr, siffrwr, siffrydd.

**Buzzing**, *s.* (o *buzz*) sïad, suad, sisial, husting-iad, hustiad.

**By**, *prep.* (S. *be, big;* Sw. a D. *be;* Is. *by;* Al. *bei, bey*) gàn, trwy, drwy, wrth, â, âg; ger, ger llaw, ger llaw i, gàr, gàr llaw, càr; wrth law; yn agos i *neu* at; yn gyfagos i *neu* at; agos i *neu* at; yn nesaf i *neu* at; ar ymyl, yn ymyl; ar ael, yn ael, ar fin, yn min, ar làn, yn nglàn; gyda, yn llaw, trwy law; gerfydd; yn; erbyn; heibio, heibio i; heb law, heb; ar warthaf; ar hyd, hyd; myn; i; llwrw, llwyr; yn agos *neu* gyfagos; ach; er, er mwyn; yn ngŵydd, ger bron, ger gŵydd; o; wrtho, wrthi, wrthynt.
By me—genyf, ganof, cenyf, ganddof, canddof; wrthyf, wrthof, wrthwyf; trwyddof, trwyof, trwof, trwyddwyf; yn fy ymyl.
By thee—genyt, genot, genyd; wrthyt, wrthot; trwyddot, trwyot, trwot; yn dy ymyl.
By him, By it, } ganddo, ganto; wrtho; trwyddo, trwyo; yn ei ymyl.
By her, By it, } ganddi, ganti, genddi; wrthi; trwyddi, trwyi; yn ei hymyl.
By us—genym, ganom, ganddom, cenym; wrthym, wrthom; trwyddom, trwyom, trwom, trwyddym; yn ein hymyl.
By you—genych, ganoch, ganddoch, canddoch, cenych; wrthych, wrthoch; trwyddoch, trwyoch, trwoch; yn eich ymyl.
By them—ganddynt; wrthynt; trwyddynt, trwyddont, trwyynt; yn eu hymyl.
By myself—wrthyf fy hun; wrthyf fy hunan; wrthof fy hunan; wrthof fy hun.
By thyself—wrthyt dy hun; wrthot dy hunan; wrthyt dy hunan; wrthot dy hun; ar dy ben dy hun *neu* hunan.
By himself—wrtho ei hun; wrtho ei hunan; wrth ei hun; wrth ei hunan; ar ei ben ei hun *neu* hunan.
By herself—wrthi ei hun; wrthi ei hunan; wrth ei hunan; ar ei phen ei hun *neu* hunan.
By ourselves—wrthym ein hunain; wrthym ein hun; wrthom ein hunain; wrthom ein hun; ar ein pen ein hun *neu* hunain.
By yourselves—wrthych eich hunain; wrthych eich hun; wrthoch eich hunain; wrthoch eich hun; ar eich pen eich hun *neu* hunain.
By themselves—wrthynt eu hun *neu* hunain; ar eu pen eu hun *neu* hunain.
By itself—wrtho ei hun; wrtho ei hun[an]; ar ei ben ei hun *neu* hunan; ar ddy[...] ar neilltu; ar wahan; o'r neilldu [...] wahanredol.
Hard by, Close by, } yn ymyl, yn nghyfyl, ger, [...] ger llaw, ar warthaf, yn a[...] yn gyfagos; wrth; yn agos at; ger l[...] i; yn agos i *neu* at; yn gyfagos i [...] at; yn nesaf i *neu* at; ar ael; yn ym[...] ar ymyl; eiddwg, wnc, wng, ach; [...] law; yn min; ar bwys; yn mron.
By the gate—ger llaw y porth; ger ll[...] i'r porth; wrth y porth; ger y porth[...]
He sat by the king's side—efe a eisteddo[...] wrth ystlys y brenin.
As gardens by a river—fel gerddi wr[...] afon.
By the sea—wrth y môr; ar fin y mô[...] yn nglàn y môr; yn ymyl y môr; ar l[...] y môr; ger y môr.
By the edge of the sword—â min y cled[...] yf; trwy fin y cleddyf; ar fin y cleddy[...]
He was slain by his enemies—lladdwyd [...] gàn ei elynion.
By man shall his blood be shed—trwy ddy[...] y tywelltir ei waed ef.
By weapons of war—âg arfau rhyfel.
My people shall die by the sword—f[...] mhobl a fyddant farw gàn *neu* drwy [...] cleddyf.
By thy sword shalt thou live—wrth d[...] gleddyf y byddi fyw.
By the sweat of his brow—trwy chwys e[...] wyneb.
By reason of—o herwydd, oblegid, o achos[...] herwydd, o ethryb; gàn, rhag, trwy, o[...]
By reason of the famine—oherwydd, o[...] achos, *neu* gàn y newyn.
By reason of the very long journey—rhag[...] meithed y daith; gàn *neu* herwydd[...] meithder y daith.
If by reason of strength they be fourscore years—os o gryfder y cyrhaeddir pedwar ugain mlynedd.
By reason that—o herwydd mai *neu* bod; o achos *neu* o ethryb mai *neu* bod; am mai, am fod, am taw.
By his side—wrth ei ystlys, ei ochr, *neu* ei glun; yn ei ymyl *neu* ei ochr; ar ei glun.
Put *or* gird thy sword by thy side—gwisg dy gleddyf ar dy glun; gwregysa yth gledd ar dy glun.
He had a writer's inkhorn by his side—yr oedd ganddo gorn du ysgrifenydd wrth ei glun.
By the side of—cyfarystlys, cydystlys, cyfystlys, cyfochr, *neu* gyfochrog â; ystlys yn ystlys â; ochr yn ochr â *neu* âg; wrth ystlys *neu* ochr; wrth glun.
By the hand of—yn llaw, trwy law, gyda, gydag, â llaw.
Send by them—danfonwch gyda hwynt.
By the hand of a fit man—yn llaw gwr cymhwys; gyda dyn addas.
By the hand—gerfydd y llaw; erbyn y llaw; ger *neu* gàr ei law; wrth y llaw.
He took her by the hand—efe a'i cymmerodd hi gerfydd *neu* erbyn ei llaw; efe a ymaflodd yn ei llaw hi.
They dragged him by the hair—llusgasant ef gerfydd ei wallt.

**They hung him by his feet**—crogasant ef gerfydd, ger, *neu* wrth ei draed.
**By the way**—ar hyd y ffordd; hyd y ffordd.
**By the way by which thou camest**—ar hyd yr un ffordd ag y daethost.
**By way of illustration**—mewn ffordd o eglurhad; er mwyn eglurhad; mewn dull o egluriad.
**By way of recreation**—er mwyn difyrwch; mewn ffordd o ddifyrwch.
**To pass one another by**—myned heibio i'w *neu* eu gilydd; myned yn heblaw eu gilydd; myned yn ngwrthol eu gilydd; myned law heblaw â'u gilydd; pasio heibio eu gilydd.
**There he is going by**—dyna efe, ef, *neu* fe yn myned heibio.
**By some means**—trwy ryw ffordd *neu* fodd; yn rhyw ffordd; yn rhyw fodd; yn rhyw-fodd; yn rhywffordd.
**By all means**—yn mhob modd; yn mhob gwedd; trwy bob modd; trwy bob cyf-lwr; er dim; yn mhob rhyw fodd; yn ddilai; yn ddïau; beth bynag a fo; beth bynag a fyddo; pa fodd bynag; bynag pa fodd; er dim ag a fo.
**By no means,** } **Not by any means,** } nid mewn un modd; nid er dim; nid felly er dim; nag e; nag e ddim; na ddo ddim; nid mewn un modd yn y byd.
**Thou shalt by no means do this**—na wna mo hyn er dim; paid â gwneyd hyn er dim ag a fo; na wna hyn mewn un modd.
**I will by no means forsake thee**—ni'th ad-awaf ddim.
**By any means**—mewn un modd; yn un modd; yn rhyw fodd; rhyw fodd, rhyw-fodd; mewn rhyw fodd; mewn neb rhyw fodd; mewn modd yn y byd; yn hollol.
**Nothing shall by any means hurt you**—nid oes dim â wna ddim niwed i chwi.
**By some means or other**—yn rhywfodd neu gilydd; yn rhyw fodd neu gilydd; trwy ryw fodd neu gilydd.
**By what means?**—pa fodd? trwy ba fodd-ion? pa wedd? pa sut? trwy ba fodd? yn mha fodd? yn mha wedd? yn mha sut? yn mha ddull?
**By this means**—trwy *neu* drwy hyn; wrth, herwydd, *neu* o herwydd hyn; trwy y ffordd hon *neu* yma; wrth hyny; fel hyn; yn y modd hwn *neu* hyn.
**By that means**—trwy, wrth, *neu* herwydd hyny; trwy y ffordd hòno; y ffordd hòno; y modd hwnw *neu* hyny; fel hyny; yn y modd hwnw *neu* hyny.
**By means of**—trwy, drwy; trwy waith; o waith; gàn, o achos, oblegid, oherwydd, herwydd, o herwydd.
**By my means,** } **By means of me,** } trwyodd, trwyddof, *neu* trwof fi; o'm gwaith i; o'm hachos i; o'm plegid i; o'm her-wydd i; trwy ym gwaith *neu* ym llafur i; trwy fym gwaith i.
**By thy means**—trwyot ti, trwot ti, trwy-ddot ti; o'th waith di; trwy yth waith di, &c.
**By his means**—trwyddo ef, &c.
**By their means**—trwyddynt hwy, &c.
**This hath been by your means**—o'ch gwaith chwi y bu hyn.

**By fair means**—trwy deg.
**By foul means**—trwy hagr.
**By degrees**—yn raddol, yn raddau, o radd i radd, bob yn radd; bob ychydig; bob yn ychydig; o gam i gam; o glun i glun; yn araf deg; gàn bwyll; yn chwarian; o fesur ychydig ac ychydig; o fesur cam a cham; o dipyn i beth; o lwff i lwff.
**By chance**—o ddamwaen, o ddygwydd, o ddygwyddiad; fel y damweiniodd; yn ddamweiniol; trwy chwaen.
**By course,** } **By turn,** } **By turns,** } ar gylch; bob yn ail; ol-ynol; yn olynol; ar dro; bob eilwers; bob yn eil-wers; gwers tra gwers; y naill ar ol y llall; ail tra ail.
**By little and little**—bob yn ychydig; bob ychydig ac ychydig; bob ychydig; o fesur ychydig ac ychydig; o fesur cam a cham; bob yn ronyn; bob yn dipyn; gàn bwyll; yn chwarian; chwyf a chwyf; o dipyn i dipyn; bob yn dipyn bach.
**By heart**—ar dafodleferydd; ar ei dafod-leferydd; ar ei thafodleferydd; ar eu tafodleferydd; ar dafod; ar gof; ar ei gof; ar ei chof; heb y llyfr.
**By stealth**—yn lladradaidd, yn lledradaidd, yn lladrad.
**By and by,** } **By-and-by,** } yn y màn, ar fyr, yn ddïan-nod, yn ddïoed, yn ddïaros, yn ddïattreg, ar fyrder, ar frys, allan o law, maes o law, heb attreg, yn lleigus, yn fuan, yn ebrwydd, ar y gair, toc.
**By the by,** } **By the way,** } ar y ffordd, ar gerdded; ar redeg; ar ei hynt; wrth fyned heibio; gyda llaw; wrth frysio *neu* brysuro; gyda myned heibio.
**By day**—y dydd, wrth liw dydd, liw dydd, yn y dydd, ar hyd dydd, ar hyd y dydd.
**Day by day**—o ddydd i ddydd; beunydd; yn feunyddiol; bob dydd; o ddydd bwy-gilydd; o ddydd bygilydd; dydd yn ei ddydd; o ddïwrnod i ddïwrnod; o'r naill ddïwrnod i'r llall.
**Day by day we magnify thee**—beunydd a byth y clodforwn dydi.
**By day-break**—gyda thoriad y dydd; gyda'r wawr; gyda thoriad y wawr; ar doriad y dydd; erbyn toriad y wawr; erbyn y wawr, &c.
**By night**—y nos, liw nos, wrth liw nos, yn y nos, cefn y nos, ar hyd y nos, o hyd nos, ar hyd nos.
**By much,** } **By far,** } o lawer, o lawer byd, yn mhell, yn llawer, llawer iawn.
**By far the most learned**—y dysgedicaf o lawer; y dysgedicaf yn mhell; yn mhell y dysgedicaf.
**More by much**—mwy o lawer; mwy o dalm; llawer mwy; mwy lawer.
**By how much**—o ba faint; o ba gymmaint; o gymmaint ag; po.
**By how much the tighter the string is, so much the sooner will it snap**—po tynaf fo'r llinyn, cyntaf y tyr.
**By how much the hotter the season is**—po gwresocaf fo yr hin.
**He is by so much worse than his compan-ions, by how much he is older than they**—y mae efe o hyny yn waeth na'i gyf-eillion, o gymmaint ag y mae efe yn hŷn na hwynt-hwy.

By so much—o hyny; o gymmaint a hyny.
By what place?—trwy ba le? heibio i ba le? heibio pa le?
By some place—trwy ryw le; heibio i ryw le; heibio rhywle.
By some way—trwy ryw ffordd; ar hyd rhyw ffordd; yn rhywffordd.
By rule—wrth reol; yn ol rheol.
By example—trwy *neu* wrth gynllun *neu* enghraifft; yn ol anghraifft *neu* gynddull.
By the example of the proto-martyr—yn ol enghraifft y cynferthyr; wrth gynnrych y cynferthyr.
Drop by drop—bob yn ddyferyn; bob yn ddafn; bob yn ddefnyn; bob yn ddyferyn a dyferyn; o fesur dafn a dafn.
By the drop—wrth y dyferyn, y dafn, *neu* y defnyn.
By drops—yn ddafnau, yn ddefni, yn ddyferynau, yn ddefnynau.
Morning by morning—bob bore; o fore i fore; bore yn ei fore.
Man by man—bob yn wr; bob yn wr a gwr; o wr i wr; o wr bwygilydd.
One by one—o un i un; bob yn un; bob yn un ac un; bob un ac un; bob un o'r neilltu; bob un ar ei ben ei hun.
Year by year—bob blwyddyn; o flwyddyn i flwyddyn; o'r naill flwyddyn i'r llall; o flwyddyn bwygilydd.
By handfuls—yn ddyrneidiau, yn funeidiau, yn llaweidiau.
They drank it by pailfuls—hwy a'i hyfasant wrth yr ystyceidiau.
A model to build others by—cynllun i adeiladu ereill wrtho.
Good rules to live by—rheolau da i fyw wrthynt.
He is by the head taller than you—y mae efe o'i ben yn uwch *neu* dalach na chwi.
The towers are higher than the walls by ten feet—uwch yw y tyrau na'r muriau o ddeg troedfedd; y mae y tyrau ddeg troedfedd yn uwch na'r muriau.
He has very pleasant fields by the Thames—y mae ganddo faesydd trahyfryd ar làn *neu* yn nglàn Tafwys.
He has money by him—y mae iddo *neu* ganddo arian wrth ei ochr; y mae ganddo ef arian.
He keeps some of it by him still—y mae ganddo beth o hano byth yn nghadw; y mae peth o hono ganddo eto.
When thou hast it by thee—â chenyt beth yn awr.
He stood by me—safodd yn fy ymyl.
By the morning—erbyn y bore.
By this day fortnight—erbyn pythefnos i heddyw; yn mhen pumthegnos.
By this time to-morrow—y pryd hwn efory; erbyn y pryd hwn efory.
By the space of seven years—yn mhen saith mlynedd; erbyn pen saith mlynedd; yn mhen ystod saith mlynedd.
By this time three years—yn mhen tair blynedd; erbyn pen tair blynedd; erbyn tair blynedd i yn awr; yn mhen tair blynedd i heddyw.
By taking heed thereto according to thy word—wrth *neu* drwy ymgadw yn ol dy air di.
By Jove—myn Iau, myn Iou.
By the life of Pharaoh—myn einioes Pharaoh.
By your rejoicing—myn eich gorfoledd.
By my life—myn fy einioes; ar fy einioes; ar ym heinioes.
Swear unto me here by God—twng wrthyf fi yma i Dduw.
By the mercies of God—er trugareddau Duw.
I adjure thee by God—yr ydwyf yn dy dyngedu trwy Dduw.
I charge you by the Lord—yr ydwyf yn eich tyngedu yn yr Arglwydd.
I charge you by the hinds of the fields—tyngedaf chwi trwy ewigod y maes.
To pass by—myned heibio; pasio heibio; hybio; neithio heibio.
He would not let us pass by him—ni fynai efe ein gollwng heb ei law; nis mynai ein gollwng heibio iddo.
I was minded to pass by you—yr oeddwn yn ewyllysio myned heb eich llaw chwi (2 *Cor.* i. 16).
I will come by you into Spain—mi a ddeuaf heibioch i'r Hispaen.
By the author—gàn yr awdur.
David by name—Dafydd wrth ei enw; Dafydd dàn ei enw; â'i enw Dafydd; Dafydd erbyn ei enw.
John went by—aeth Ioan heibio.
I will not be by—ni fyddaf yn bresennol *neu* wyddfodol; ni fyddaf yno.
By that time I shall have ended my year's office—bydd blwyddyn fy swydd i allan *neu* i maes erbyn hyny.
By that time he had just ended his speech—cyn braidd orphen o hano ei araeth; gyda'i waith yn gorphen ei ymadrodd.
He could not take example by a wiser person—nis gallasai byth ddylyn *neu* ganlyn ol gwr oedd gallach.
To sell by retail—manwerthu, darnwerthu, rhanwerthu, dryllwerthu; gwerthu yn fân; gwerthu yn ddrylliau, yn fanddrylliau, yn ddarnau, *neu* yn rhanau; gwerthu bob yn ddryll, bob yn ddarn, *neu* bob yn rhan.
To sell by wholesale—cyfanwerthu, mawrwerthu; gwerthu yn gyfan; gwerthu y cwbl dàn un; gwerthu yn gyfanwerth.
By the pound—wrth y pwys; wrth y bunt.
By trade—wrth alwad, wrth alwedigaeth, wrth grefft, wrth gelfyddyd; yn ol galwad.
By word—ar air, mewn gair.
By thought, word, and deed—ar feddwl, gair, a gweithred.
By word of mouth—ar air; ar dafodleferydd; trwy *neu* mewn ymadrodd; ar air geneu; mewn gair o'r geneu; â'i eneu *neu* â'i dafod ei hun.
By the way of France—trwy Ffrainc; trwy ffordd Ffrainc.
Thirty feet by twenty—trideg troedfedd wrth ugain; deg troedfedd ar ugain o hyd, ac ugain o led.
Be advised by me—cymmer gynghor genyf fi; derbyn gynghor oddi wrthyf fi.
By twelve o'clock — erbyn deuddeg o'r gloch; am ddeuddeg ar gloch.
Gone by—à aeth heibio; neithiedig; gwedi myned heibio.

Ages gone by—yr oesoedd à aethant heibio; yr oesoedd gynt; yr oesau sy wedi myned heibio; yr oesoedd heibio.
By the bulk—wrth swmp, wrth y swmp, dàn swmp, wrth y clamp, yn y crynswth, yn grynswth, wrth y llaw.
By land or by water—ar fôr neu ar dir; ar dir neu ar ddwr.
By sea and land—ar fôr a thir.
To slip by the board—llithro dros yr ochr; llithro dros y bwrdd.
South by east—de wrth ddwyrain; de-ddwyrain.
South-east by east — de-ddwyrain wrth ddwyrain; de-ddwyrain at ddwyrain.
By mistake—mewn camsyniad; trwy gamsyniad; yn gamsyniol.
To lie by—bod, sefyll, *neu* orwedd ger llaw; gorphwys, gorphwyso; bod gyda; bod yn nghadw gyda *neu* gàn; gorwedd *neu* aros gyda.
To put by—rhoi heibio; rhoi o'r neilltu; rhoi i gadw; rhoi yn nghadw; gosod o'r neilltu; gosod i gadw; troi *neu* fwrw heibio.
By hook or by crook—rhyw fodd neu gilydd; rhyw ffordd neu gilydd; o fodd neu o anfodd; trwy deg neu drwy hagr; trwy gam neu drwy gymhwys; trwy gam neu drwy union; naill ai o fodd neu o anfodd; bid gam bid gymhwys; bid cam bid cymhwys; bid gam bid union; naill ai ar groes neu ar hyd; naill ai ar draws neu ar hyd; trwy hwg neu ddwg; ar hyd neu ar groes; ni waeth pa fodd; yn rhywffordd neu gilydd; o dde neu o chwith; i'r rhyd neu i'r bont.

**Byard**, *s.* bronledr, brongarai.
**By-blow**, *s.* cil-ergyd, cel-ergyd, cilddyrnod, celddyrnod; anffawd; plentyn gordderch, bastardd.
**By-business**, *s.* cilneges, cil-orchwyl, goalwad.
**By-concernment**, *s.* cil-orchwyliaeth, cilfater, gofater.
**By-corner**, *s.* cilgornel, celgornel, celgilfach.
**By-design**, *s.* celddyben, cilamcan, camamcan, camddyben, geuamcan, geuddyben; amcan gau, dyben gau, gau amcan.
**By-drinking**, *s.* celyfed, cilyfed.
**Bye**, *s.* (S.) trigfa, trefad; safle, gorsaf.
**By-end**, *s.* celddyben, cilddyben, camddyben, camfwriad, geuddyben, geuamcan, geufwriad; amcan neilltuol *neu* hunanol.
**By-gone**, *a.* à aeth heibio; neithiedig; wedi myned heibio.
**By-interest**, *s.* hunanelw, hunelw, hunanles, hunanfudd, hunfudd; priod-elw, cilfuddiant.
**By-lane**, *s.* coegheolan, cilheolan, cilfeidr, heol gefn, heolan ddïarffordd.
**By-law**, *s.* gogyfraith, cilgyfraith, goraith, cilddeddf, cilraith; deddf *neu* gyfraith gartrefol, leol, *neu* neilltuol.
**By-lead**, / **Bye-wash**, } *s.* cilreden, cilollyngfa.

**By-matter**, *s.* cildestyn; testyn ystlysol, dygwyddiadol, *neu* ddamweiniol; ystlys-destyn; defnydd, mater, *neu* destyn dyfod.
**By-name**, *s.* llysenw, cilenw; enw dygwyddiadol.
**By-name**, *v. a.* llysenwi; rhoi llysenw.
**By-past**, *a.*=*By-gone.*
**By-path**, *s.* coeglwybr, llwybr coeg, coeg lwybr; llwybr cel, neilltuol, *neu* anghyhoedd.
**By-place**, *s.* lle dïarffordd *neu* anhygyrch; dirgelfa, llechfa, godechfa, cilfach, cilfan, cil, llechfod, llechfan.
To retire to a by-place to hide in—lleigio.
If he attempts to make England a by-place for him—os i Loegr y cais leigio.
**By-respect**, *s.* ystyr ystlysol *neu* hunanol; golwg ystlysol *neu* hunanol; hunan-olwg; ystlys-olwg; cilddyben, celamcan.
**By-road**, / **By-way**, } *s.* cilffordd, gochelffordd; ffordd goeg *neu* gel; ffordd anhygyrch, ddisathr, anghyhoedd, *neu* ddidramwy.
**By-room**, *s.* cilgell, celystafell, cilystafell, cuddigl.
**By-speech**, *s.* cil-araeth, ystlys-araeth, araeth ddygwyddol.
**By-stander**, *s.* edrychydd, edrychwr, gerseifiad, gersafwr; safwr ger llaw; sefyllwr ger llaw; llygad segur; à safo ger llaw; à safo yn segur i edrych ar ereill.
The by-stander will discover what is amiss —y llygad segur a wel y gwall.
**By-street**, *s.* cilheol, coegheol; heol goeg *neu* gel; heol anhynod.
**By-stroke**, *s.* celddyrnod, cel-ergyd, cilddyrnod.
**By-turning**, *s.* cildro, cildroad, cilffordd.
**By-way**, / **By-road**, } *s.* = { *By-road.* / *By-way.*
**By-west**, *ad.* tua'r gorllewin; wrth orllewin; tua gorllewin; yn orllewinol; at orllewin.
**By-word**, *s.* dïareb, cyfadgan; gwawd, gwawdnod, gwatwargyff; gwatwargerdd; gair dannod; dywediad cyffredin.
**Byssaceous**, *a.* (o *byssus*) sirigaidd, siriglinaidd.
**Byssifera**, / **Byssifers**, } *s. pl.* (Ll. *byssus* a *fero*) siriglyniaid, sirigymlyniaid=teulu o libogion neu feddalogion pengoll.
**Byssin**, / **Byssus**, } *s.* (Gr. *bussos*; Ll. *byssus*) siriglin, siriglined, llinsirig, mansirig: *pl.* siriglinion, llinsirigion.
**Byssine**, *a.* (o *byssus*) sirigol, sidanol, sidan; llinaidd.
**Byssocladium**, *s.* (Gr. *bussos* a *clados*) sirigosglon=math o wymon.
**Byssoid**, *a.* (Gr. *bussos* ac *eidos*) siriglinaidd, mansirigaidd; fel siriglin.
**Byssolite**, *s.* (Gr. *bussos* a *lithos*) sirigfaen, llinedfaen.
**Byssus**, *s.* (Ll.; Gr. *bussos*) sirig; sidan; llian main; urael, llinurael.
**Byzant**, / **Byzantine**, / **Bizantine**, / **Bezant**, } *s.* (o *Byzantium*) Bysant, Bisant, Besant=enw darn aur bathedig yn Nghaercystenyn, yr hon gynt a elwid *Byzantium.*

# C.



**C**, (talfyriad o'r Ll. *centum*, cant) fel rhifnod, a saif am gant=100.
CC—dau gant, deugant=200.
CCC—tri chant, trichant=300.

**Cab**, *s.* (H.) sychfesur Iuddewig, yn cynnwys yn nghylch tri pheint Seisonig.

**Cab**, *s.* (talfyriad o *cabriolet*) cab, cerbydell, cerbydan, cludan, cabglud.

**Cabal**, *s.* (Ff. *cabale*; It. *cabala*; neu oddi wrth lythyrenau dechreuol *C*lifford, *A*shley, *B*uckingham, *A*rlington, a *L*auderdale, gweinyddiaeth Carl II.) cydgyfrinachwyr, celymgynghoriaid, cydgynghoriaid, celfwriadwyr, cydbleidwyr, cnud o drawsamcanwyr, cuddamcanwyr; ymgyfrinach, cydgyfrinach, celgyfrinach, cydfwriad, cydgynghrair, cuddamcan, dichell, cydfrad, gogyfrad, ymgynnull cyfrinachol, cabidwl.
He too was of the cabal—yr oedd yntau o'r gyfrinach.
He was admitted into the cabal—derbyniwyd ef i'r cabidwl.

**Cabal**, *v. n.* celymgynghori, celgyfrinachu, cydfwriadu, cydgyfrinachu, cydymgynghori, cydgynghreirio, cydlunio, cuddamcanu, dichellu, cydfradu, celymbleidio, cyfradu, bradgynllwyn, cydgynllwyn, bradfwriadu; cydfwriadu yn ddirgel; cynnal *neu* lunio cyfarfod dirgel; ymuno yn fân bleidiau.

**Cabal**, **Cabala**, *s.* (H.) rhinddysg, cyfrinddysg, dirgelion Iuddewig, cyfriniaeth Iuddewig, traddodiadau Iuddewig, cyfrinolion Iuddewiaeth, cyfrindraddodion.

**Cabalism**, *s.* (o *cabal*) rhinddysgeidiaeth, rhinddysgiaeth, cyfrinddysg.

**Cabalist**, *s.* (o *cabal*) rhinddysgawdwr, rhinddysgedydd, rhinddoethor, rhinddysgwr, athraw cyfrinddysg=un hyfedr yn nhraddodiadau a chyfrinddysg yr Iuddewon.
Cabalist (in French commerce)—gorchwyliwr, trosweinydd, trosfaelydd, prwywr.

**Cabalistic**, **Cabalistical**, *a.* (o *cabalist*) rhinddysgol, rhinddysgeidiol, rhinddysgaid; dirgeledigol, cyfrinol, traddodiadol; perthynol i rinddysg yr Iuddewon.

**Cabalize**, *v. n.* (o *cabal*) cyfrino, cyfrinio; arferu dull *neu* iaith y rhinddysgawdwyr.

**Caballer**, *s.* (o *cabal*) cydgyfrinachwr, celfwriadwr, cydfwriadwr, cuddamcanwr, cuddfwriadwr, cydluniwr, cydfwriadwr cyfrinachol, dichellydd, dirgel fradwr, cydfradwr.

**Caballine**, *a.* (Ll. *caballinus*) ceffylaidd, ceffylog, marchol; perthynol i geffyl; yn perthyn i farch *neu* feirch.
Caballine aloes—elyw ceffylau, elyw ceffylog, march-elyw, braselyw, aloes meirch.

**Cabaret**, *s.* (Ff. o'r Ll. *caupo*) tafarn, tafarndy, ty tafarn: *pl.* tafarnau, tefyrn.

**Cabassous**, *s.* math o armellog.

**Cabbage**, *s.* (It *cappuccio*; Ff. *cabus*) bresych, cawl, cawl gwyllt: *sing.* bresychen, cawlen.
White cabbage—bresychen bengron wèn, bresychen benwen, bresychen wèn.
White-heart cabbage—bresychen galonwen.
Red cabbage—bresychen bengron goch, bresychen goch.
Green cabbage—bresychen las, bresychen Milan.
Sea cabbage—morfresych, cawl y môr, cawl y graig, bresych arfor, ysgedd arfor, morgawl, llyrgawl, llyrfresych.
Common cabbage—bresychen bengron: *pl.* bresych pengrwn, bresych pengrynion.
Dog's cabbage—bresych y cwn, cawl y cwn, cifresych.
Cabbage plant—cawlen, bresychen.
Turnep cabbage—meip-fresych, erfin-fresych, bresych maip.
Cabbage bark—bresychrisg, bresychrisgl.
Cabbage caterpillar—llindys y bresych, pryf y bresych, pryf y dail.
Cabbage net—rhwyd fresych, rhwyd gawl.
Cabbage-palm, Cabbage-tree, bresychwydden, cawlwydden: *pl.* bresychwydd, bresychgoed, coed bresych=math o bren à dyf mewn hinsoddau gwresog.
Cabbage-wood—bresychgoed, bresychwydd, coed bresych.
Cabbage-worm—pryf y bresych, llindys y bresych, pryf y dail, pryf y cawl.

**Cabbage**, *v. n.* bresychu, ymfresychu; tyfu fel bresychen; pengrynu; tyfu yn grwn *neu* bengrwn; myned yn bengrwn; myned *neu* dyfu yn bengron.

**Cabbage**, *v. a.* (Is. *kabassen*) darnguddio, darnladrata; lladrata, lledrata, lledguddio; lladrata rhan o beth; ciniachu.

**Cabiai**, *s.* y gwyfochyn, y tapir trwyndew=math o anifel perthynol i Ddeheudir America.

**Cabin**, *s.* (Ff. *cabane*; It. *capanna*) caban, cell, cuddigl, cab, ystafellan, cellan, ystafell; bwth, bwthyn, lluest, lluestty, cotty, pabell, penty; cut.
A cabin to sleep in—hun-gaban, hun-gell, cell gysgu, cysgell.

**Cabin**, *v.* cabanu; byw mewn caban; llettya; cau *neu* gaethiwo mewn caban.

**Cabin-boy**, *s.* cellwesyn, cabanwas, cellwas.

**Cabinet**, *s.* (Ff.) cafell, cell, cuddigl, ystafell; cistan, tlosgell, tlysgell, tlosgafell, tlysgist, trysorgell, trysorgist, ysgrin; cyssylgell, cynghorgell, cynghorfa, teyrn-gafell, cyfringafell; y cynghor, y cyfrin-gynghor.
Cabinet-council—cyfrin-gynghor, dirgelgynghor, teyrn-gynghor, cynghor cyfrinachol, cellgynghor, y cynghor; teyrn-

gyssyliaid, cyfrin-gynghorwyr, dirgel-gynghoriaid, argyssyliaid; cellgyssedd.
Intrigues of the cabinet—dirgelion llywodraeth, dirgel gynghorion llywodraeth; cuddamcanion y cellgynghor; cydgyfrinach y cynghor dirgel *neu* gyfrin; ystrywiau teyrn-gafell.
Members of the cabinet—aelodau y cyfrin-gynghor, teyrn-gysseddwyr, teyrn-gyssyliaid; y cyfrin-gynghor; aelodau y gafell; y teyrn-gafelliaid.
Cabinet of curiosities—cywreinfa, amgueddfa, amgueddgell, creirfa, cafell cywreinion, cell hynodion, trysorfa cywreinion, cywreingell, trysorfa hynodion.
Cabinet for jewels—gemgist, amgueddgist, tlysgist, trysorgist, cistan gemau, ceinionfa, gemidfa, gemidgell.
Cabinet-drawers—llogodau cistan, treillion cistan, cist-logodau.
**Cabinet,** *v. a.* cau i mewn; amgau, argau.
**Cabinet-maker,** *s.* cistanwr, cistanydd, saer dodrefn, dodrefniedydd, dodrefn-saer.
**Cabin-mate,** *s.* cydgabanwr, cydgellwr; un yn byw yn yr un gell âg arall.
**Cable,** *s.* (Ff. ac Ysp.; Is., D., ac Al. *kabel*) rhaff angor.
Stream cable—rhaffan angor.
To pay out the cable, } yslacio, llacio, *neu*
To veer out the cable, } laesu rhaff angor.
To serve the cable, } amrwymo rhaff
To keckle the cable, } angor; bancawio rhaff angor; rhwymo mân reffynau o amgylch rhaff angor.
Cable's length—hyd rhaff angor=120 gwrhyd, neu 720 troedfedd.
To slip the cable—llithro y rhaff angor; gollwng rhaff angor; saethu rhaff angor.
To bitt the cable—ystancio rhaff angor; ystancio rhaff.
To shoot the cable—ysblygu rhaff angor; cymhlethu rhaff angor; cydblethu deupen rhaff angor; saethu rhaff angor.
Sheet-anchor cable—rhaff y prifangor, y rhaff angor fwyaf, y brif raff angor.
Best lower cable—yr ail raff angor; rhaff angor y fflureg.
Cable tier—torchfa *neu* ddyrwynfa rhaff angor.
Cables—rhaff-foldiau, rhaff-rigolau; moldaddurnau ar ddull rhaff angor; troraffau, ffillraffau, trofoldiau. [rhaff.
**Cabled,** *a.* (o *cable*) rhaffedig, rhaffog; wrth y
Cabled columns—colofnau rhaffedig, rhaffgolofnau, ffillgolofnau, trogolofnau.
**Cablet,** *s.* (o *cable*) llusgraff, rhaffan, rhaffan angor, rhaff angor fechan.
**Cabling,** *s.* (o *cable*) rhafflenwad; llenwad â rhaff-ddarnau.
**Caboched,** } *a.* (o'r Ff. *caboche*) pendaldal; â'i
**Caboshed,** } ben daldal.
**Caboose,** } *s.* (Al. *kabuse;* D. *kabyse*) cegin
**Camboose,** } llong, llong-gegin; blwch am sawell llong.
**Cab-man,** *s.* cabwr, cabddyn, cabyrwr, gyrwr cab, cerbydwr.
**Cabos,** *s.* math o lyswen.
**Cabriole,** }
**Cabriolet,** } *s.* (Ff. *cabriolet*) cab, cerbydan, cerbydell, cludan, cabglud.
**Cab,** }
**Caburns,** *s. pl.* rhwymreffynau, amlinynau, clymlinynau, edeu fancawio.

**Cacalia,** *s.* (Gr. *cacos* a *lian*) alan mynyddig, ebolgarn mynyddig, ebolgarn y mynydd.
**Cacao,** } *s.* (enw brodorol) y pren Cacao neu
**Cocoa,** } Cocoa; dwyfyswydd.
**Cachalot,** *s.* y morfil gwŷn.
**Cachectic,** } *a.* (Gr. *cachexia*) drygnawsol,
**Cachectical,** } dryganaoddol, drygnaws; drwg ei ddyli.
**Cachet,** *s.* (Ff.) sel, insel, insail, golöen.
Lettre de cachet—sel-lythyr, insel anagored, llythyr seliedig; teyrnlythyr cyfrinachol yn Ffrainc gynt.
**Cachexy,** *s.* (Gr. *cachexia*) drygnaws, drygddyli, dryganaawdd, drygarfer, drygddefod; anniwyg; llifiant; drwg ansawdd corff.
**Cachinnation,** *s.* (Ll. *cachinnatio*) crechwen, chwerthin croch, banchwerthin, banchwardd, croch chwerthin, uchel chwerthin, crechweniad, chwerthin uchel.
**Cacholong,** *s.* (oddi wrth *Cach* neu *Cash*, afon yn Bucharia, a *cholon*, gair yn iaith y Calmuciaid am faen) math ar faen gwerthfawr.
**Cack,** *v. n.* (Ll. *caco*) ystlomi, cachu, cagu, tomi, ysgothi, cothi, cagalu.
**Cackerel,** *s.* (Ll. *caco*) cacrell, (*pl.* cecryll, cacrellod), ysgothbysg, cothbysg.
**Cackle,** *v. n.* (Is. *kaakelen*) crecian, gregar, clegru, cogor, clochdar, clochdardd, clochdarddain, clwcian; crechwenu; chwerthin byth a hefyd; nwyf-chwerthin; bragaldio, bragaldian, baldorddi, clebran, clebarddu, ffregodi, clecian, cleca; taenu chwedlau.
**Cackle,** *s.* greg, gregar, clegar, crec, clegyr, creg, cregar, cogor, clochdar, clochdardd, clec, clwc; clebar, clap, clep, baldordd, dwndwr, llol, ffrec, ffreg, gwagsiarad, ofersiarad.
**Cackler,** *s.* (o *cackle*) gregarydd, clegrydd, clecydd, crecydd, cogorydd; baldorddwr, lloliwr, bragaldiwr, cloliwr, clebryn, llolyn, gwagsiaradwr, clecai, clepai, pepryn.
**Cackling,** *s.* (o *cackle*)=*Cackle, s.*
Rome was saved by the cackling of a goose—achubwyd Rhufain gàn glegar gwydd.
**Cacochymic,** } *a.* (Gr. *cacochumia*) dryg-
**Cacochymical,** } lynol, dryghylif, dryghylifog, drygnaws, drygnawsol; drwg o ran ansawdd llynau y corff.
**Cacochymy,** *s.* (Gr. *cacochumia*) dryglynnaws, dryglifnaws, dryghylifnaws, dryghylifawd, dryghylifedd, dryglynedd, drygnawsedd, drygnawsiad, gwaedlygredd; drwg ansawdd hylifau y corff; dryganaawdd y gwaed.
**Cacodemon,** } *s.* (Gr. *cacos* a *daimôn*) drygel-
**Cacodæmon,** } fod, dryg-ysbryd, ysbryd drwg, elfod drwg, cythraul.
**Cacoethes,** *s.* (Ll. o'r Gr. *cacoëtheia*) anniwallaint, drygnawd; drygarfer, arfer ddrwg, drygreddf; dryglynor, dryglynoryn, llynoryn anwelladwy; awydd anniwall, ysfa, mawrflys, gorflys.
**Cacography,** *s.* (Gr. *cacos* a *graphô*) drygsilliadaeth, drygsilliad, dryglythyriad, drwg lythyreniad; drygysgrifiad, drygysgrifiaeth.
**Cacology,** *s.* (Gr. *cacos* a *logos*) dryglafariad, dryglefariad, drygseiniad, gwallgynaniad, drygsiarad.
**Cacophonic,** } *a.* (o *cacophony*) drygseiniol,
**Cacophonical,** } dybrydseiniol, dybryd ei sain.
**Cacophony,** *s.* (Gr. *cacos* a *phônê*) drygsain, dryglais, dybryd sain, dybryd-sain, sain ddybryd, drygoslef; anghord, anghydgerdd.

**Cacotechny**, *s.* (Gr. *cacos* a *technê*) gwallgelfyddyd, gwallgelf; celfyddyd ddrwg.
**Cacotrophy**, *s.* (Gr. *cacos* a *trophê*) drygfaeth, gwallfaeth, drygymborth, ymborth drwg.
**Cactal**, *a.* (o *cactus*) perthynol i ffigys yr India.
**Cactals**, *s. pl.* ffigys yr India, melon-ysgall.
**Cactus**, *s.* (Ll.) ffigysen yr India, mwl-ysgallen, melon-ysgallen.
**Cacuminate**, *v. a.* (Ll. *cacumino*) blaenllymu, pigfeinio, blaenfeinio, penfeinio, piglymu.
**Cadaver**, *s.* (Ll.) celan, celain, burgun, llurgun, corff marw, corff.
**Cadaverous**, *a.* (Ll. *cadaverosus*) burgunaidd, llurgunaidd, celaneddaidd, celaneddig, celanaidd, celeinaidd, celaneddog; tebyg i gorff marw *neu* gelan; yr un wedd a burgun; fel celain; gwelw, gwelwlas, oerwelw, hyll, irad; glas fel ysbryd *neu* yr angeu.
  A cadaverous look—hylldrem, hyllwedd, celandrem, celanwedd; gwedd irad; trem welw fel yr angeu; gwedd furgunaidd, &c.
**Cadaverousness**, *s.* (o *cadaverous*) burguneiddrwydd, llurguneiddrwydd, celaneiddrwydd, celaneddogrwydd; iradedd.
**Caddis**, **Caddice**, *s.* (Gw. *cadas*) cadys, cadasen, ysnoden arw; ysnoden.
**Caddis**, **Cadew**, *s.* (Ll. *cadus?*) pryf y gwellt, gwelltbryf, gwelltbryfyn, caesbryfyn.
**Caddow**, *s.* (?) cogfran, cawci, palores, coegfran, corfran.
**Caddy**, *s.* (Ll. *cadus*) cistan, cisten, blochas de.
**Cade**, *a.* (C. *cadw?* hen Ff. *cadeler?*) dof, gwâr, tyner, swci, llawfaeth, meddfaeth, mwyth, llawfaethedig, hywedd.
  Cade lamb—oen llawfaeth, oen swci, oen lledfegin.
**Cade**, *v. a.* llawfaethu, llawfagu, llawfeithrin; magu yn llawfaeth, yn fwythus, *neu* yn swci; dofi, gwarhau, hyweddu, tyner-fagu.
**Cade**, *s.* (Ll. *cadus*; Gr. *cados*) baril, casgen, barilan, llestryn.
  Cade of herrings—mwys o ysgadan, mwys o benweig=500 o nifer.
  Cade-oil—cedrolew, olew merywain.
  Cade-worm, Cade-bait, caesbryf, caesbryfyn, gwelltbryf, pryf y gwellt, pryf ysgoed.
**Cadence**, **Cadency**, *s.* (Ff. *cadence*; Ll. *cadens*) gostyngiad, disgyniad, cwymp; disgynsain, lleddfeb, lleddflais, gostyngiad y llais, amrywiad llais, disgynlais; goslef, tôn, sain; saib, gorphwysfa, gorphwys; cloaddurn, seibaddurn; persain; cyfysgogiad, tegdroediad; gwahaniaeth teuluoedd; iawnfesuriad.
**Cadence**, *v. a.* seinamrywio, tônamrywio, disgynseinio, cyweirio llais, lleddfebu; cyweirio yn gerddgar.
**Cadene**, *s.* carped garw, llorlen ledwael.
**Cadent**, *a.* (Ll. *cadens*) gostyngol, disgynol; ar ostyngiad, soddol, cwyddol; yn syrthio *neu* yn cwympo i lawr.
**Cadenza**, *s.* (It.) disgynsain, lleddfoslef, lleddflais; disgyniad, gostyngiad, cyweiriad, *neu* amrywiad y llais.
**Cadet**, *s.* (Ff.; It. *cadetto*) cadfoddog, cadfacwy, cadlanc, boddfilwr; cadysgolor; y mab ieuaf *neu* ieuangaf; y brawd ieuaf; un o'r meibion ieuaf.
**Cadetship**, *s.* (o *cadet*) swyddogaeth cadfoddog *neu* gadfacwy; cadfoddogaeth.
**Cade-worms**, **Caddice-worms**, **Case-worms**, *s. pl.* caesbryfed, caesbwrion, gwelltbryfed, pryfed y gwellt, pryfed ysgoed, hulbryfed.
**Cadew**, *s.* caesbryf, caesbryfyn, gwelltbryf, pryf y gwellt, pryf ysgoed.
**Cadew**, *s.* (Gw. *cadas*; Gael. *catas*) mantell Werddonig *neu* Wyddelig, mantell gedenog, cadas.
**Cadge**, *v. a.* cludo *neu* gario baich; cario *neu* ddwyn ar gefn.
**Cadger**, *s.* (o *cadge*) edwicwr, eilwerthydd, adwerthwr; à ddygo bethau o'r wlad i'r farchnad.
**Cadi**, *s.* (Ar. *caidon*; Per. *câzi*) barnwr yn amherodraeth Twrci.
**Cadillac**, *s.* math o beren.
**Cadmia**, *s.* (oddi wrth *Cadmos* neu *Cadmus*, a ddug lythyrddysg i Groeg) rhwd sinc, sincrwd, sinidr efydd, Cadmia=math o ddefnydd fferyllol.
**Cadmium**, *s.* (oddi wrth *Cadmus*) enw mettel à gafwyd allan gàn Mr. Stromeyer, yn Hanover, yn 1818.
**Cadubranchiate**, *a.* (Ll. *cadus* a *branchiæ*) caesdagellog.
**Caducean**, *a.* (o *caduceus*) perthynol i wialen Merchur; heddialenaidd.
**Caduceus**, *s.* (Ll.) gwialen Merchur, ialen Merchur, sarfflath Merchur; heddialen, heddwialen; gwialen herodr, herodlath.
**Caducity**, *s.* (Ll. *caducus*) syrthiolrwydd, syrthioldeb, hysyrthedd, hygwyddiant, chwannogrwydd i syrthio; gwendid.
**Caducous**, *a.* (Ll. *caducus*) hygwymp, hygwydd, hygwyddol; yn cwympo *neu* syrthio cyn yr amser.
**Caducus**, *s.* (Ll.) haint dygwydd, dygwyddaint.
**Cæcal**, *a.* (Ll. *cæcus*) cudd, dirgel, celedig, anamlwg; ysgothfaol.
**Cæcas**, *s.* (Ll.) gwynt y gogledd-ddwyrain, gogledd-ddwyreinwynt, cledd-ddwyreinwynt.
**Cæliferous**, *a.* (Ll. *cælum* a *fero*) nefddwyn, nefddygol; yn cynnal y nef.
**Cælipotent**, *a.* (Ll. *cælum* a *potens*) nefalluog; galluog yn y nef.
**Cæsura**, *s.* (Ll.) gorphwyseb, saib, gorphwysfa, gorphwysle, adransaib; hirodeb.
**Cæsural**, *a.* (o *cæsura*) seibiol, gorphwysfaol, adranseibiol.
**Cæsarian Operation**, *s.* (oddi wrth C. Iulius *Cæsar*) crothdrychiad, brudoriad, crothdoriad; y weithred Gaisaraidd, y goberiad Caisaraidd.
**Caffeic**, *a.* (o *caffeine*) o'r defnydd caffein; caffëig, coffig.
  Caffeic acid—sur caffein, sur caffëig.
**Caffeine**, **Cafeine**, *s.* caffein=sylwedd chwerw crisialadwy à geir mewn coffi, cynnwysedig o ulyf, ulai, ac ufelai.
**Cafenet**, *s.* enw Tyrcaidd ar dafarn neu westty.
**Caftan**, *s.* (Per.) cafftan=math o wisg yn Persia a Thwrci.
**Cag**, *s.* (Ff. *caque*; D. *kag*) barilan, baril fechan, barilyn, llestryn.
**Cage**, *s.* (Ff.) ffronc; adardy, adargut, cut adar, adargell, adargaes; gwialdy, gwialgut, gwialeg; ffau, crut, cut; masg, caes, cawell; milgut, mildy; amwaith; attalgae, attalgell, attaldy; cadwraeth; carcharfa.
  Bird-cage — adardy, adargell, adargaes, gwialdy adar, ffronc adar, adargut, cut adar.

Babylon is become a cage of every unclean bird—aeth Babilon yn gadwraeth pob aderyn aflan.
**Cage,** *v. a.* ffroncio; cau mewn ffronc, &c.; cau i mewn; caethiwo, carcharu; attal.
**Cagmag,** † *s.* hen gaws caled; cig sych gwydn.
**Caic,** / **Caique,** *s.* (Ff.) math o gadlong fechan; cadrwyflong.
**Caiman,** / **Cayman,** *s.* yr addanc; math o afanc perthynol i America.
**Caincic Acid,** *s.* sur Caincig, sur y gwreiddyn Cainca, sur Cainca.
**Cainito,** *s.* ser-afal yr India Orllewinol.
**Cairn,** *s.* (C., Gw., Gael., a Cern. *carn*) carn, carnedd.
**Cairngorm-stone,** / **Cairngorum-stone,** *s.* maen Cairngorm=amrywiaeth llwyd neu felyn o greigrisial neu grisgallestr, à geir yn mynydd Cairngorm, yn swydd Perth, yn yr Alban.
**Caisson,** / **Caissoon,** *s.* (Ff.) pylorgist; pylorfen, cist cadarmerth; sylgist.
**Caitiff,** *s.* (Ff. *chetif;* It. *cattivo*) dyhiryn, diffeithwr, diffeithwas, drygddyn, drelyn, crogyn o ddyn, direidwas, direid-ddyn; adyn; dyn diried *neu* ysgymun.
**Cajanus,** / **Cajan,** *s.* (*catjang*, ei enw yn Malabar) pys y golomen; planigion perthynol i'r India Ddwyreiniol.
**Cajole,** *v. a.* (Ff. *cajoler*) gwenieitho, gwenieithu, truthio; hudo, denu, llithio, somi, twyllo; lloddi, anwesu; twyllo â gweniaith; denu *neu* hudo â geiriau teg.
Do you think to cajole me?—a ydych yn meddwl fy nhwyllo i? a ydych ar oddeu *neu* ar fedr fy nhwyllo?
You know not how to cajole men—ni wyddoch chwi mo'r ffordd i ddenu dynion.
**Cajoler,** *s.* (o *cajole*) gwenieithwr, gwenieithydd, truthiwr; llithiwr, hudwr, denwr, somwr, twyllwr, lloddwr, anwesydd.
**Cajolery,** *s.* (o *cajoler*) gweniaith, truth; geiriau teg, mwyniaith, deniaith, twylliaith; anwesdod, lloddineb.
**Cajota,** *s.* bleigi, bleiddgi=milyn yn Mecsico, rhwng blaidd a chi.
**Cake,** *s.* (Is. *koek;* Al. *kuchen*) teisen, afrlladen, lletrog, lletrogen, mïoden, chwiog, chwiogen, torthig, tais: *pl.* teisenau, teision, teiseni, teisenod, chwiogod, mïod, lletrogau, afrllad, mwyaid.
Small cake—teisenan, teisenig, teisen fechan, mïoden.
Bride cake—teisen briodas, teisen weddog, priotteisen, priottais.
Puff cake—blythdeisen, blythdais, teisen bonar: *pl.* blythdeision, teisenau ponar.
Rout cake—teisen ofwy, gofwy-dais, gofwydeisen, nwythdais, nwythdeisen.
Almond cake—teisen almon, almon-dais, almon-deisen, cnewull-dais, teisen gnewull.
Savoy cake—bysdeisen, bysdais.
Spunge cake—ysbyng-dais, teisen ysbwng, mwythdeisen.
Cheese cake—cawsdais, teisen gaws.
Oat cake—teisen geirch, torthig geirch, torth geirch.
Oil cake—teisen olew, olewen, olew-deisen.
Sweet cake bread—chwiog, bara calan, bara llysieuog, calan-fara.
Spice cake, / Sweet cake, teisen lysieuog, teisen berlysiog, teisen galan, calandais, perdeisen.
Cake bread—bara teisen, bara mïod.
Cake of tallow—gweren, teisen wer, teisen o wer.
Wax cake—cwyren, teisen gŵyr, teisen o gŵyr.
Cake-seller—teisenwr, gwerthwr teisenau, teis-werthydd.
Cake of ice—teisen ia, llethen ia.
Your cake is dough — ychydig laeth a hwnw yn enwyn.
**Cake,** *v.* teisenu, torthi, teisio; ymgrynöi, cyttyru, cydymgasglu; rhwymo.
**Calabar,** *s.* gwiwer Siberia.
Calabar skin—croen gwiwer Siberia.
**Calabash,** *s.* (Ysp. *calabaza*) plisgib, plisgibyn, plisgfeilen.
Calabash tree — Calabass-wydd; y pren Calabash *neu* Calabass=pren perthynol i ranau trofanol America.
**Calade,** *s.* (Ff.) llechwedd, llethr; llethr marchwriaeth.
**Calamanco,** *s.* (Ysp. *calamaco;* Ff. *calmande*) math o ddefnydd gwlanaidd brithliwiog teg; minco, hirwlanwe.
**Calamar,** / **Calamary,** *s.* (Ysp.) morgyllell, ystifflog, sythbysg, ysgytbysg.
**Calambac,** *s.* (Ysp. *calambuco*) elywydd, coed elyw, coed aloes.
**Calambour,** *s.* breu-elywydd; math o goed elyw.
**Calamiferous,** *a.* (Ll. *calamus* a *fero*) cyrsddwyn, cyrsddygol, calafddwyn; yn dwyn cyrs *neu* gelyf.
**Calamine,** / **Calamin,** *s.* (o'r Ll. *calamus*) calafin, calamin, sinidfwn=math o fwn à ddefnyddir yn nghyfansoddiad pres.
**Calamint,** *s.* (Ll. *calamintha*, o'r Gr. *calaminthê*) erbin, mintys y twynau.
Common calamint=*Calamint.*
Water calamint--mintys y dwr, erbin y dwfr.
**Calamistrate,** † *v. a.* (Ll. *calamistro*) crychu gwallt, gwallt-grychu.
**Calamistration,** † *s.* (o *calamistrate*) crychiad gwallt, gwallt-grychiad.
**Calamit,** *s.* (o'r Ll. *calamus*, calaf, corsen, cyrsfaen) calafith=math o ddelid.
**Calamitous,** *a.* (Ll. *calamitosus*) adfydig, adfydus, trallodus, gofidus, anffodus, blinderog, helbulus, gresynol, gresynus, truenus, trychinebus, aflwyddiannus, gorthrymderus, annedwydd; adwythig, trwch.
A calamitous person—adyn, truan; dyn truenus, gresynol, *neu* adfydig.
**Calamitousness,** *s.* (o *calamitous*) adfydigrwydd, adfydusrwydd, trallodusrwydd, gresyndod, gresynoldeb, gresynusrwydd, gresynolrwydd, trychineb, anffodusrwydd, trueni, gresyni.
**Calamity,** *s.* (Ll. *calamitas*) adfyd, blinfyd, drygfyd, trychineb, gofid, blinder, cystudd, helbul, trallod, gresyni, trueni, trychni, gresyndod, aflwydd, aflwyddiant, anghyflwr, anffawd, adwyth, dinystr, dystryw, gwae.
I will laugh at your calamity—chwarddaf yn eich dïaledd chwi (*Diar.* i. 26).
My prayer also shall be in their calamities—fy ngweddi fydd eto yn eu drygau hwynt (*Salm* cxli. 5).
**Calamus,** *s.* (Ll. o'r Gr. *calamos*) corsen, calaf, cecysen, cawnen; gellhesgen berarogl, gell-

hesgen ber; pergorsen, pergawnen; calamus; pibell, chwibanogl: *pl.* cyrs, corsenau, celyf, calafau, cecys, cawn, gellhesg per, pergyrs.
Calando, *s.* (It.) lleiawd, lleiad.
Calandra, *s.* yr hedydd tewbig.
Calander, Calandre, *s.* (Ff.) ydys, ydlindys, pryf yr yd, pryfyn yr yd, ydbryfyn.
Calash, *s.* (Ff. *caleche*) math o gerbyd; math o benwisg merch.
Calathidium, Calathium, *s.* (Gr. *calathos*) brigergib, gwullgibell.
Calcadis, *s.* (Ll.) copras gwŷn.
Calcar, *s.* (Ll.) ysbardun, ethy, gotoew: ethyrilion, barogrilion=math o drychfilod.
Calcar, *s.* (Ll. o *calx*) creisier, ffoddell, ulwadyr =ffwrn greisioni, mewn gwaith gwydr.
Calcarate, *a.* (Ll. *calcar*) ysbardunog, ethyog, barogol, gotoewog; âg iddo ysbardun.
Calcareo-argillaceous, *a.* calchgleiog, calchgleilyd; calchog a chleiog; cleigalchog.
Calcareo-silicious, *a.* calchgallestrig, calchgallestraidd; calchlechog.
Calcareo-sulphurous, *a.* calchlosgfeinin, calchlosfeinig; calchaidd ac ufelieraidd.
Calcareous, *a.* (Ll. *calcarius*) calchaidd, calchog, calchaid, calchyrog; marmaidd.
Calcareous earth—calchdir, calchddaiar.
Calcareous spar—calch-ysger, ysger calch.
Calcareous stone—calchfaen; maen calchaidd.
Calcareousness, *s.* (o *calcareous*) calcheiddrwydd, calchogrwydd.
Carcavalla, *s.* meluswin o Portugal.
Calceated, *a.* (Ll. *calceatus*) pedoledig, pedolog; gwedi ei bedoli; archenog.
Calcedon, *s.* rhith-galcedon.
Calcedonic, Calcedonian, *a.* (o *calcedony*) calcedonig, calcedoniaidd; perthynol i'r maen calcedon.
Calcedony, *s.* (o *Calcedon* neu *Chalcedon*, tref yn Asia Leiaf) calcedon, calcedonius=math o emfaen gwerthfawr.
Calciferous, *a.* (Ll. *calx* a *fero*) calchddwyn, calchddygol; yn cynnyrchu calch.
Calciform, *a.* (Ll. *calx* a *forma*) calchwedd; creisionaidd, creisionwedd.
Calcimurite, *s.* (Ll. *calx* a *muris*) calch-haldir.
Calcinable, *a.* (o *calcine*) creisionadwy, creisiadwy, trylosgadwy, calchlosgadwy, dylosgadwy, calchadwy.
Calcinate, *v. a.* (o *calcine*)=*Calcine.*
Calcination, *s.* (o *calcinate*) creisionad, calchlosgiad; calchogiad, calchiad, ulwad, trylosgiad, siniad; llosgiad yn ulw *neu* yn galch.
Calcinatory, *s.* (o *calcinate*) creisier, ulwadyr, creisionyr, ffoddell, calchlestr, marmiadyr; llestr i greisioni mettel ynddo.
Calcine, *v.* (Ff. *calciner*, o *calx*) creisioni, calchogi, calchlosgi, ulwadu, ulwynu, trylosgi, dylosgi, creisio, ymgreisioni; llosgi yn ulw *neu* yn galch; toddi, dadglymu; egridio.
Calcitrate, *v. a.* (Ll. *calcitro*) troedio, cicio, gwingo. [gwingad.
Calcitration, *s.* (o *calcitrate*) troediad, ciciad,
Calcium, *s.* (o'r Ll. *calx*) calchid, calchddelid =math o ddelid â gafwyd allan gyntaf gân Syr Humphrey Davy, yn 1808.
Calcographical, *a.* (o *calcography*) marmgerfiadol, marmargraffol.
Calcography, *s.* (Ll. *calx*, a Gr. *graphô*) marmgerfiaeth, marmgerfiadaeth, marmgerfiad, marmargraff, crafargraff.

Calc-spar, *s.* calch-ysger, ysger calch.
Calculable, *a.* (Ll. *calculo*) cyfrifadwy.
Calculary, *s.* (Ll. *calculus*) ceiglwm, ceignap, ceignepyn, cnepyn.
Calculary, *a.* caregol, maenaidd; perthynol i'r maen tostedd.
Calculate, *v.* (Ll. *calculo;* Ff. *calculer*) cyfrif, cyfrifo, bwrw cyfrif, rhifo, damfwrw, bwrw; olrhain, olrheinio; addasu, cyfaddasu, cymmesuro, cymmedroli, cymhwyso; amcanu, bwriadu; barnu; gwneyd cyfrif.
He calculated the course of the stars—efe a olrheiniodd chwyl y ser.
Religion is calculated for our benefit—y mae crefydd wedi ei haddasu *neu* ei hamcanu er ein lles.
He calculated his discourse to ordinary capacities—efe a gyfaddasodd ei bregeth at ddeall y bobl gyffredin.
To calculate a nativity—brudio tynged; dewinio tyngedfen un oddi wrth osodiad y planedau ar ei enedigaeth; darllen tesni un oddi wrth ei blanedau.
Calculation, *s.* (o *calculate*) cyfrifiad, cyfrif, cyfrifad, cyfrifiant, damfwriad; bwriad; barn.
By calculation—wrth gyfrif; yn ol y cyfrif à wnaed.
According to my calculation—yn ol fy nghyfrif i; yn ol fy marn i; yn ol fel yr wyf fi yn cyfrif *neu* yn bwrw.
You are out in your calculation—chwi a fethasoch *neu* a gollasoch yn eich cyfrif.
Calculative, *a.* (o *calculate*) cyfrifiadol, damfwriol, cyfrifedigol, cyfrifus.
Calculator, *s.* (Ll. cyfrifydd, cyfrifwr, cyfrifiadur, cyfrifor, rhifiadur, bwriwr cyfrifon.
Calculatory, *a.* (o *calculator*) cyfrifedigol, cyfrifiannus, cyfrifiadol.
Calcule,† *s.* (Ll.) *calculo*)=*Calculation.*
Calcule,† *v. a.*=*Calculate.*
Calculose, Calculous, *a.* (Ll. *calculosus*) caregog, graianog, caregol, grutiog, grutiol, graenol, careguidd; claf o'r tostedd, claf o'r maen, claf o'r gareg.
A calculous person—un claf o'r tostedd; dyn â'r maen arno; claf o'r gareg.
Calculus, *s.* (Ll.) y maen, y gareg, maen tostedd, pledrenfaen, arenfaen; clobyniaeth, clobyn, talp, pellen, pellan; rhifoniaeth, rhifioneg; cyfrifell.
Integral calculus—rhifoniaeth symiol, rhifioneg gyfunol.
Differential calculus—rhifoniaeth anghyfath, rhifioneg neilligol *neu* wahanolig.
Literal calculus—rhifoniaeth lythyrenol; alsawdd.
Calculus of variations — rhifoniaeth amrywiadau.
Exponential calculus—rhifoniaeth fynegeiol, rhifioneg fynagol.
Biliary calculi—gerigeion.
Renal calculus—y maen yn yr aren, arenfaen, y maen arenol.
Gastric calculi—cyllageion, clobynau yn y cylla.
Vesical calculus, Stone in the bladder, maen tostedd, y maen gwysigol; y maen *neu* y gareg yn y bledren; y maen, y gareg.
Caldron, *s.* (Ff. *chaudron*, gynt *chaldron:* Ll. *caldarium*) pair, callor, callawr, crochan, berwedydd.

**Cale,** } *s.* (Ll. *caulis;* C. *cawl*) ysgedd, mor-
**Kale,** } fresych, bresych arfor, cawl y graig, cawl y môr, morgawl, llyrgawl, llyrfresych.
**Caleche,** *s.* (Ff.)=*Calash.*
**Calefacient,** *a.* (Ll. *calefacio*) twymol, gwresogol, cynhesol, poethol, brydiannol.
**Calefacient,** *s.* twymydd, gwresogydd, cynhesydd, twymgyffer.
**Calefaction,** *s.* (Ll. *calefactio*) twymiad, gwresogiad, twymnad, poethiad, poethiant, brydiant, cynhesiad, poethygiad.
**Calefactive,** } *a.* poethiannol, brydiannol,
**Calefactory,** } gwresogol, poethiadol, twymiadol, cynhesiadol; gwresbair, gwresbarol.
**Calefy,** *v.* (Ll. *calefio*) gwresogi, twymo, twymno, poethi, brydio, poethiannu, cynhesu; ymboethi; myned yn dwym.
**Calendar,** *s.* (Ll. *calendarium*) calaniadur, calanur; blwyddiadur, blwyddlyfr, amseroni, almynag; coflyfr; cofres.
Calendar month—mis amseronol.
Calendar of a University—coflyfr Prifysgol, calaniadur Prifysgol.
Gregorian calendar—y calaniadur Gregoraidd=y calaniadur fel ei diwygiwyd gàn y Pab Gregor XIII. yn 1582, pryd y dechreuwyd y cyfrif newydd, yr hwn ni ddaeth i arferiad yn Mhrydain hyd 1752.
Julian calendar—y calaniadur Iulaidd, y calanur Iwlaidd=y calaniadur yn ol trefniad Iwl Caisar, yn y flwyddyn 46 cyn cred.
**Calendar,** *v. a.* coflyfru; ysgrifenu mewn calaniadur *neu* goflyfr.
**Calender,** *s.* (Ff. *calendrer*) cabolwasg, gwasglyfnyr, llyfnwasg, twymwasg, gwasglyfnydd.
**Calender,** *v. a.* cabolwasgu, llyfnwasgu, twymwasgu, gwasglyfnu; llathru.
**Calenderer,** } *s.* llyfnwasgwr, cabolwasgydd,
**Calendrer,** } gwasglyfnwr, llathrydd.
**Calendering,** *s.* cabolwasgiad, llyfnwasgiad, gwasglyfniad, twymwasgiad, llyfnhad, llathriad.
**Calenders,** *s. pl.* (oddi wrth un *Calenderi*) Calenderiaid=math o fynachod yn Persia ac amherodraeth Twrci.
**Calends,** *s. pl.* (Ll. *calendæ*) calan, calanau, calanddyddiau; y dydd cyntaf o bob mis (yn mhlith y Rhufeiniaid).
The calends of May—calan Mai, calanmai, dydd calanmai.
The calends of winter—calan gauaf.
At the Greek calends—yn nghyfarfod deusul; byth ni bydd.
**Calendula,** *s.* (o'r Ll. *calendæ*) rhuddos, gold Mair, goldwyr.
**Calendulin,** } *s.* (o *calendula*) rhuddosin, gold-
**Calenduline,** } wyrin, rhuddoslud, mêl rhuddos.
**Calenture,** *s.* (Ff.; Ysp. *calentura*) heuldwymyn, poethgryd, twymyn boeth; morgryd, mordwymyn=math o dwymyn berthynol i hinsoddau poethion, yn yr hon y tybia y claf mai maes gwyrddlas yw y môr, ac ymdafla iddo onis attelir ef.
**Calescence,** *s.* (Ll. *calesco*) gwresogiad; mynediad yn wresog; ymwresogiad.
**Calf,** *pl.* Calves, *s.* (S. *cealf;* Sw. *kalf;* D. *kalv;* Al. *kalb*) llo; *pl.* lloi: croen llo: llelo, llob.
Calf of the leg—croth y goes, croth coes, croth esgair, bol y goes, llygoden y goes.
Big with calf—cyflo. [llydnu.
To drop a calf—bwrw llo, dyfod â llo, alu,
A yearling calf—llo blwydd, blwyddiad.
Sea-calf—morlo, moelron, llo môr.
Moon-calf—llo lleuad, llo y lleuad; anghenfil; llelo, lloercen, brebwl, lleban, hurthgen, llob, cadafel.
Calf's pluck—ymysgar llo, tripa llo, perfedd llo, syrth llo.
Calf's pen—crut llo, cut llo, cut lloi, ty lloi.
Calf-skin—croen llo; lledr croen llo.
A book bound in calf—llyfr rhwym mewn croen llo; llyfr rhwym mewn llo-groen.
Calf-like—lloaidd; fel llo, tebyg i lo; penbylaidd, hurthgenaidd, lleloaidd.
The calves of our lips—lloi ein gwefusau (*Hos.* xiv. 2).
**Caliber,** } *s.* (Ff. ac Ysp. *calibre*) tryfesur;
**Calibre,** } mantor, ceuedd, ceudwll, trydwll; ceudwll dryll, ceudod dryll, gyndwll, gyngeuedd, mantor gŵn, mesur ceuedd gŵn, dryllgeuedd; math, sut, rhyw, ansawdd, gradd, natur, naws; cyrhaedd, maint, cwmpas, cynnwysiad.
The calibre of a column—tryfesur colofn.
Caliber compasses, } cwmpas coesgom,
Calibers, } cwmpas coesgam,
Callipers, } mantgwmpas.
Caliber rule—complinon, compluniodyr.
**Calice,** *s.* (Ff.; Ll. *calix*) caregl, cwpan; cwpan y cymun, cymungib.
**Calico,** *s.* (o *Calicut*, yn yr India Ddwyreiniol) calico, cotymwe, cotwe, cotymlen, cotwm.
Calico printer—argraffydd calico, argraffwr ar gotymwe.
**Calid,** *a.* (Ll. *calidus*) poeth, llosg, twym, brwd, poethygus, poethus, greidiol, tanbaid, angerddol, terwyn.
**Calidity,** *s.* (Ll. *caliditas*) gwres, poethder, poethni, poethineb, brydaniaeth, poethwg.
**Calidris,** *s.* pibydd y traeth=rhywogaeth o adar.
**Caliduct,** *s.* (Ll. *caleo* a *duco*) gwresgludydd, gwresgludyr, gwresawell.
**Calif,** } *s.* (Ar. *chalîfah*) Califf, Caliph: *pl.*
**Caliph,** } Califfiaid, Caliphiaid=olynwr Ma-
**Kalif,** } homet neu Mohammed, â chanddo awdurdod annibynol mewn pethau gwladol a chrefyddol: y Sultan ydyw yn Nhwrci, a'r Sophi yn Persia.
**Califate,** } *s.* (Ar. *chilâfat*) Califfiaeth, Caliph-
**Caliphate,** } iaeth, Caliphaeth, Caliphat;
**Caliphat,** } swydd, urddas, *neu* lywodraeth
**Kalifate,** } Califf; talaeth Caliph.
**Caligation,** *s.* (Ll. *caligatio*) tywyllwch, caddug, tywyllni, tywyllwg, gwyllwch, gwylledd, tywyllawd; pylni, trembyledd; cymylogrwydd.
**Caliginous,** *a.* (Ll. *caliginosus*) tywyll, caddugaidd, gwyllaidd, niwlog, cymylog; pwl; aneglur.
**Caliginousness,** *s.* (o *caliginous*) tywyllwch, caddugoldeb, niwlogrwydd, cymylogrwydd; pylni, pyledd.
**Caligo,** *s.* (Ll.) caddugwst, pyldremedd.
**Caligraphic,** *a.* (o *caligraphy*) tegysgrifiol, ceinysgrifol.
**Caligraphist,** *s.* tegysgrifenydd, tegysgrifenwr, ceinysgrifenydd, ceinysgrifydd.
**Caligraphy,** *s.* (Gr. *calos* a *graphô*) tegysgrifen, ceinysgrifiaeth, tegysgrifiaeth, teleidlaw, tegysgrifeniad, tegysgrifiad, gorysgrifen, llaw deg.
**Calin,** *s.* mettel o'r hwn y gwna y Chinwys olyrchau te a'r cyffelyb.

Calipash, } *s.* cragen a chig y crwban, yn ol
Calipee, } iaith cogyddion.
Caliph, *s.*=*Calif*, &c.
Caliphate, *s.*=*Califate*, &c.
Calisthenic, *a.* preithrymiadol, teleidrymiol, tegymrwysol.
Calisthenics, *s.* (Gr. *calos* a *sthenos*,) teleidrymiaeth, preithrymiadaeth, tegrwysiadaeth.
Caliver, *s.* (o *calibre*) mantwn, llofwn, gŵn llaw, llawddryll.
Calix, *s.* (Ll.) cwpan, caregl, cib; gwullgib, amgib, amgroenen.
Calk, *v. a.* (Gael. *calc;* Gw. *calcam;* Ll. *calco?*) aglenwi, agenlenwi, calcio, pygfreisgioni, llongbygu, pygu; cau agenau llong â charth pygedig.
Calker, *s.* (o *calk;* Gael. *calcair*) calciwr, aglenwydd, llongbygwr, cauwr agenau.
The ancients of Gebal were thy calkers—henuriaid Gebal oeddent yn cau dy agenau (*Esec.* xxvii. 9).
Calkin, *s.* (Ll. *calco;* Gael. *calc*) calcyn, calcyn pedol.
Calking, *s.* (o *calk*) cefnliwiad, brisgliwiad; calciad.
Calking iron—calciadyr, haiarn calcio.
Call, *v.* (Ll. *calo;* Gr. *caleô;* Is. *kallen*) galw; enwi; cyhoeddi; cyrchu.
To call aloud—galw yn uchel; gwaeddi, croch waeddi, gwaeddi yn groch, galw yn groch, croch alw, goralw, llefain, banllefain, croch lefain, dolefain, gwaeddolefain, diaspedain, diasped; bloeddio, gawri, ysgarmio, ysgego, gawrian, ysgarmain.
To call out—galw allan; galw i maes; herio, annog, *neu* gyffröi i ymladd; gwaeddi, banllefain, bloeddio; galw *neu* waeddi yn groch; gwaeddi allan; gwaeddi i maes.
To call to account—galw i gyfrif; gofyn cyfrif gàn; mynu cyfrif gàn; galw i roi cyfrif.
To call back—galw yn ol; dadalw, dadwysio; tynu yn ol.
To call back one's words—galw *neu* dynu yn ol ei eiriau; galw ei eiriau yn ol; tynu ei eiriau yn ol; cilio yn ei gwyn; dadalw ei eiriau; dad-ddywedyd yr hyn a ddywedodd; diwygio yr hyn a ddywedodd; gwadu ei eiriau; ymwadu â'i eiriau; tynu ei gyrn ato; bwyta *neu* lyncu ei eiriau; dad-ddywedyd.
To call by name—galw wrth *neu* erbyn enw; enwi.
Call me by that name—gelwch fi wrth *neu* erbyn yr enw hwnw.
To call names—llysenwi, difrïo, difenwi, anfrïo; rhoi enwau drwg; galw un allan o'i enw.
To call by a nickname—llysenwi; galw erbyn llysenw; galw wrth lysenw.
To call by a false name, } camenwi, gwall-
To call falsely, } enwi; galw *neu* enwi ar gam.
Science falsely so called—gwybodaeth â gamenwir felly.
To call for—galw am; cyrchu; gyru *neu* anfon am; gofyn; hawlio.
He sent messengers to call him—anfonodd genadau i'w gyrchu; gyrodd genadau i ymofyn am dano.
It calls for industry—y mae yn gofyn diwydrwydd; y mae yn galw am ddiwydrwydd.
To call for help—galw *neu* waeddi am borth *neu* gymhorth.
To call in—galw i mewn; gwahodd i fewn; casglu, cynnull; diddymu, dilëu; galw yn ol; galw at; cynnull yn nghyd.
To call into court—galw i'r llys, i'r frawd, *neu* i'r frawdle; galw ger bron llys *neu* frawdle.
To call forth—galw allan; galw i waith *neu* weithrediad; rhoi ar waith.
To call down—galw i lawr; gwahodd i lawr; galw i godi.
To call from—galw *neu* dynu oddi wrth; galw *neu* dynu ymaith.
To call often—mynych alw; galw yn fynych; gelwain, ymelwain, ymoralw, ymorelwain.
To call on *or* upon—galw ar; galw am; talu *neu* wneyd ymweliad byr; byr ymweled, byr ofwyo; gwaeddu ar.
To call on a friend—galw ar gyfaill; galw gyda chyfaill; ymweled yn fyr â chyfaill; galw ar gyfaill wrth fyned heibio; troi i mewn at gyfaill; galw heibio i gyfaill.
To call at the inn—galw yn y gwestty.
I will call on you—galwaf arnoch; mi a ymwelaf â chwi; mi a'ch cyfarchaf; mi a gyfarchaf i chwi; galwaf gyda chwi; galwaf heibioch.
They called upon us—gwaeddasant arnom.
To call over—galw dros *neu* drosodd.
To call out of bed—galw i godi; galw o'r gwely; deffröi o gysgu; galw i lawr; galw o gwsg; dihuno; galw *neu* godi un i fyny.
To call to mind—cofio, adgofio, ailgofio, coffa, coffhau, adgoffa, adgoffhau; galw i gof; galw mewn cof; galw yn ei gof; galw yn nghof; dwyn ar gof; adfeddylied, adfeddwl; adnewyddu y cof am beth; bwrw yn y meddwl.
I call to mind—cof yw genyf; y mae yn gof genyf; mae yn gofus genyf; yr wyf yn cofio; cofiaf, adgofiaf.
I did not call it to mind—ni ddaeth ef i'm cof; ni chofiais am dano.
To call up—galw i fyny; dwyn i fyny; darswyno.
To call in question—ammheu, anghoelio, anghredu, petruso; ammheu *neu* betruso yn nghylch; cymmeryd peth yn annilys; galw i'w brofi *neu* i'w holi; galw i'r holiad; galw i'r holfa.
To call a person in question—ammheu dyn; holi un; dwyn un i'w holi; galw ar un i'w holi; rhoi cwyn yn erbyn un; achwyn *neu* gwyno ar un; barnu.
I am called in question—yr ydys yn fy marnu (*Act.* xxiii. 6).
To call to—galw ar; gwaeddi ar; cyfarch, cyfarch i.
To call in a rash word—galw gair byrbwyll yn ol.
To call to arms—galw at arfau; galw at eirf; canu corn rhyfel.
To call to record—galw yn dyst; cymmeryd yn dyst; ymddibleidio at.
To call together—galw yn nghyd; casglu

*neu* gynnull yn nghyd; cydalw, cyd-wysio, cyd-ddyfynu.
To call peaceably unto them—i gyhoeddi heddwch iddynt (*Barn.* xxi. 13).
One that calls—un à eilw; yr hwn a eilw.
To call to witness—galw yn dyst.
To call upon for a witness—galw am borth; ymddibleidio at un; galw yn dyst.
To call on one to do a thing—galw ar, cymhell, ceisio, *neu* annog un i wneuthur peth.
He shall be called John—Ioan y gelwir ef; Ioan y caiff ei alw.
Those that call the evil good—y rhai a ddywedant am y drwg, Da yw.
What may I call your name?—pa fodd yr enwaf *neu* y galwaf chwi?
Let us call another cause—chwedleuwn *neu* siaradwn am ryw beth arall.

Call, *s.* galwad, galw; gofyniad; gwahoddiad, gwahodd, gwys; awdurdod, gorchymyn; enwad.
He is within call—y mae efe o fewn galw; y mae o fewn i alw; y mae efe o hyd galw.
At a call—ar alw, wrth alw, ar alwad, wrth alwad; parod; parod wrth alwad.
To give one a call—galw un; galw ar un; rhoi galwad *neu* waedd ar un; byr ofwyo un; galw gydag un; galw heibio i un.
I have a call upon you—y mae genyf ofyn arnoch; yr ydych chwi yn fy ngofyn i; yr ydych yn fy nyled.
We had a call to the feast—cawsom wahoddiad *neu* alwad i'r wledd.
They had a call to do it—yr oedd ganddynt alwad i'w wneuthur; cawsant alwad *neu* awdurdod idd ei wneuthur.
To beat a call—curo y nod ymgyrch; galw yn nghyd drwy sain tabwrdd; trystio *neu* seinio arwydd yr ymgynnull; canu y sain cyfarfod.
A public call—galwad gyhoeddus, galwad gyhoedd, gorwys, aralwad.

Caller, *s.* (o *call*) geilwad, galwai, geilwr; gwahoddwr; un à eilw.

Callet, } † *s.* (?) dyhiren, cyffoden, hafnai,
Callat, } hafnen, bronten, swgan, hellgre, cecren, hafr.

Callet, † *v. n.* cecru, tafodi, clewtian, difrïo, difenwi, ymdaeru.

Callid, *a.* (Ll. *callidus*) medrus, craff, craffus, call; cyfrwys, ffel, cyfrwysgall.

Callidity, *s.* (Ll. *calliditas*) medr, medrusrwydd, callineb, callder, craffineb, craffder; dirnadaeth; cyfrwysdra, cyfrwysder, ffeldra.

Calligonum, *s.* (Gr. *callos* a *gonu*) clymlys, canclwm, clymog.

Calling, *s.* (o *call*) galwad, galwedigaeth; swydd, celfyddyd, proffes; crefft, gorchwyl; gwahoddiad; gwysiad.

Callipers, *s. pl.* (o *calibre*) cwmpas coesgom, cwmpas coesgam, mantgwmpas.

Callitriche, *s.* (Gr. *callos* a *thrix*) llinhesg y dwr, brigwlydd y dwr; llinhesg, brigwlydd.

Callitrix, *s.* (Gr. *callos a thrix*) yr epa lleblas.

Callosity, *s.* (Ll. *callositas*) caledwch, croengaledwch; caledgroen; croengaleden, crymgaleden, olgaleden, olgaledyn; creithgaleden; caledfan.

Callous, *a.* (Ll. *callus*) caled, croendew, croengaled; dideimlad, annheimladol.

Callousness, *s.* (o *callous*) caledwch, caledrwydd, calededd; annheimladrwydd, dideimladrwydd; croendewedd.

Callow, *a.* (Ll. *callus;* Al. *kahl;* Gw. *calbh*) diblu, dibluf, anmhlufog; noeth, llwm, noethlwm, croenllwm, llymrig.

Callus, *s.* (Ll.) caledan, caleden, caledyn.

Calm, *a.* (Ff. *calme;* Ysp. ac It. *calma;* Is. *kalm*) tawel, dystaw, llonydd, digyffro, araul, llaraidd, llariaidd, esmwyth, araf, arafaidd, llary, gwâr, ampwy, canllaid, digynhwrf, tawelog, tawelaidd, tawelin, teg.
Very calm — trathawel, gordawel, gorddystaw; tawel iawn, &c.
In a calm sea—ar fôr diddygyfor *neu* ddidonau; ar lyfnfor; ar lasfor teg; ar fôr tawel *neu* araul, &c.
When the wave of the sea grows calm—pan dawelo tòn y môr; pan leddfo tòn y môr.
Calm weather—tywydd tawel, hin dawel; tywydd dystaw *neu* araul, &c.; hin deg, tegwch, tawelwch.
To make calm=*Calm, v. a.*
To grow *or* become calm—tawelu, dystewi, gostegu, llareiddio, llonyddu; ymdawelu, ymlonyddu, ymlareiddio; peidio, dofi, rhywiogi, arafu; bod yn dawel, yn ddystaw, *neu* yn llonydd.
Calm-browed — tangwedd, tangweddog, aeldawel; tawel ei ael.

Calm, *s.* tawelwch, dystawrwydd, llonyddwch, tegwch, areuledd, taweledd, anghynhwrf, anghyffro, amp.
There was a calm—hi a aeth yn dawel; bu tawelwch.
There was a great calm — bu tawelwch mawr; hi a aeth yn dawel iawn.
Dead calm, } tawelwch hollol, tawelwch
Stark calm, } digyffro, tawelwch syth,
Flat calm, } tawelwch marw, tawelwch marwaidd; y tawelwch mwyaf à eill fod.
Regions of calms, } y bröydd tawel; bröydd
Calm latitudes, } *neu* barthau y tawelwch; hydredau tawelion, yr hydredau tawel; y tawel barthau; hinsoddau y tawelion.
There is no calm but heaven—nid tawel ond y nef.
After a storm comes a calm—gnawd yn ol dryghin hindda; gnawd hindda wedi dryghin.

Calm, *v. a.* tawelu, llonyddu, dystewi, gostegu, llareiddio, llarieiddio, llinaru, esmwytho, esmwythâu, dofi, lloddi, lleddfu, dyhuddo, heddychu, heddychloni, teghau, rhywiogi, gwarhau.
To calm one's self—ymdawelu, ymlonyddu, ymlareiddio, &c.
Calm thy rage—tawela dy fâr.

Calmer, *s.* (o *calm*) tawelwr, gostegwr, dystewydd, gostegydd, llinarydd, lloddwr, dyhuddwr, ymlareiddiwr.

Calmness, *s.* (o *calm*) tawelwch, llonyddwch, dystawrwydd, areuledd, taweledd, taweli, tawelusder, tawelusrwydd, taweldra, tawelogrwydd, anghynhwrf, anghyffro; gwarineb, arafedd, arafwch, llareiddwch.

Calmy, *a.* (o *calm*) tawelaidd, tawelus, tawelin, llonyddol, taweliannol; heddychol, tangnefig, tangnefus, tawelog.

**Calodendron**, *s.* (Gr. *calos* a *dendron*) deinwydden, ceinwydden.
**Calography**, *s.*=*Caligraphy.*
**Calomel**, *s.* (Gr. *calos* a *melas?*) halwybaill, alwybaill=darpariad o arian byw, arferedig mewn meddyginiaeth.
**Calor**, *s.* (Ll.) gwres, poethder, engyl, chwalor.
**Caloric**, *s.* (Ll. *calor*) athai, chwalorai, gwresai, gwres, craell, ath.
**Caloric**, *a.* atheiol, athol, gwreseiol, gwresol.
**Calorific**, *a.* atheigiol, atheiddiol, gwresogol, twymol, chwaloraidd.
**Calorimeter**, *s.* (Ll. *calor*, a Gr. *metron*) athiadyr, athfesur, athnodyr, gwresnodydd=offeryn i fesur y gwres â rydd peth allan wrth oeri.
**Calorimetry**, *s.* (*calor* a *metron*) athfesuriaeth, athfeidraeth.
**Calorimotor**, *s.* (o *caloric*, a Ll. *motor*) athysgogydd, athsymmudai.
**Calotte**, } *s.* (Ff. *calotte*) glwysgap, glwysgapan;
**Calote**, } iadgap milwr.
**Calotype**, *s.* (Gr. *calos* a *tupos*) deindebiaeth=math o ddyfais i dynu lluniau drwy effeithiad goleuni.
**Caloyers**, } *s.* *pl.* (Gr. *calogeras*) Caloieriaid,
**Calogeri**, } Calogeriaid, Mygeduriaid=mynachod Eglwys Groeg; ac o honynt y mae tair gradd.
**Calp**, *s.* cleigalch, cleigalch haiarnaidd.
**Caltha**, *s.* (rhyngsang o'r Gr. *calathos*) gold y gors, rhuddos y gors, troed yr ebol.
**Caltrop**, *s.* (S. *coltæppe*) rhafnysgallen, bidysgallen, pigysgallen, ysgallen bigoglym.
Water caltrop—ysgall y dwr; rhafnysgallen y dwr, ysgallen bigoglym y dwfr.
**Caltrop**, *s.* pigogyr, pedbigogyr = math ar offeryn milwraidd, âg iddo bedair pig haiarn wedi eu gosod yn drionglog, fel y bo un big i fyny yn wastadol, er rhwystro dyfodiad marchoglu yn mlaen.
**Calumet**, *s.* (gair Americaidd) heddbibell; pibell fyglys cynfrodorion America, yr hon a ddefnyddir ganddynt yn arwyddlun heddwch a rhyfel.
**Calumniate**, *v.* (Ll. *calumnior*) camgyhuddo, camachwyn, cyhuddo ar gam; enllibio, enllibo, athrodi, hortio, absenu, goganu; rhoi anair *neu* ddrygair i; dywedyd gair twn am.
**Calumniation**, *s.* (o *calumniate*) camgyhuddiad, camachwyniad, achwyniad ar gam; enllibiad, hortiad, absenad, goganiad, athrawd.
**Calumniator**, *s.* (Ll.) camgyhuddwr, camachwynwr, camachwynydd; enllibwr, enllibiwr, athrodwr, absenwr, hortiwr, athrodgarwr, goganwr, absenwr drwg.
**Calumniatory**, *a.* (o *calumniator*)=*Calumnious.*
**Calumnious**, *a.* (Ll. *calumniosus*) enllibus, enllibaidd, enllibiol, athrodgar, athrodol, athrodaidd, athrodus, hortiol, camgyhuddol, goganawl, goganus, cablaidd; ar gam.
**Calumniousness**, *s.* (o *calumnious*) enllibusrwydd, enllibioldeb, athrodgarwch, athrodusrwydd, enllibeiddrwydd, goganusrwydd.
**Calumny**, *s.* (Ll. *calumnia*) enllib, athrawd, anair, cablair, drygair, absen, drygabsen, hort, cabl, cabledigaeth, gogan, athrodiaeth, camgyhuddiad, camgyhudded, camachwyn, trawsgyhudded; gweli tafod.
**Calve**, *v. n.* (o *calf;* S. *calfian*) bwrw llo, dyfod â llo, alu, llydnu.
When the hinds do calve—pan fwrio yr ewigod loi (*Iob* xxxix. 1).
**Calver**,† *v.* (Ff. *caver?*) tori yn dafelli; tafellu.
**Calves**, *s. pl.* (o *calf*) lloi; *sing.* llo.
Calves' snout—trwyn llo, trwyn y llo.
**Calville**, *s.* (Ff.) mefusafal, grwysafal.
**Calvish**, *a.* (o *calf*) lloaidd, fel llo.
**Calvity**, *s.* (*calvitas, calvities*) moelni, moeledd, moelder, moeldra, talfoeledd.
**Calx**, *pl.* Calxes, Calces, *s.* (Ll.; S. *cealc*) calch, creision, (*sing.* creisionen, creisionyn); egrid, cresnur, delgalch.
*Calx viva*—calch brwd, calch poeth, calch byw.
*Calch nativa*—calch cynnwynol, cynhenid, *neu* naturiol.
**Calycinal**, } *a.* (o *calyx*) blodamlenol, gwullam-
**Calycine**, } lenol, amwullenol, blodeulenol, blodeugibaidd; perthynol i amlen *neu* amwisg blodau.
**Calycle**, *s.* (Ll. *calyculus*) deilenres, deiligres; blodenig, blaguren.
**Calyculate**, } *a.* (Ll. *calyculus*) deilresog, deilig-
**Calycled**, } resol, deiligresog; blagurenog.
**Calyptra**, *s.* (Gr. *caluptra*) cenhotan, cenhodell, cwcwll y mwswn.
**Calyptrate**, *a.* (o *caluptra*) cenhotanog, cenhodellog, cenhotog.
**Calyptriform**, *a.* (Gr. *caluptra*, a Ll. *forma*) cenhodellaidd, cenhotaidd.
**Calyx**, *s.* (Ll.; Gr. *calux*) blodamlen, gwullamlen, blodeugib, blodeugaes, blodeulen, amwullen, amhulen; amwisg *neu* amlen blodau.
**Calzoons**, *s. pl.* (Ysp. *calzones*) islodrau, isglos.
**Camb**, } *s.* (Ll. *cambio?*) gwyninglws, coed-
**Cambium**, } lws.
**Camber**, *v. a.* (Ff. *cambrer*) plygu, tumio, bwâu.
Camber-windows—tumffenestri.
Camber-beam—tumdrawst.
**Cambering**, *a.* (o *camber*) bwaog, mydog, tumiog.
**Cambist**, *s.* (It. *cambista*) arianydd, bancwr, cedydd; newidiadur, newidydd.
**Camboge**, *s.* (o *Cambodia, Cambodja*, neu *Cambogia*, yn yr India Ddwyreiniol) molystor, deigystor, deigrwsin, melynsudd.
**Camboose**, *s.* (Is. *kombuis;* Al. *kabuse*) cegin llong, llong-gegin.
**Cambrel**, *s.* (o'r C.? It. *gamba?*) cambren.
**Cambric**, *s.* (oddi wrth *Cambray*, yn Ffrainc) bliant, sindal, camrig, llian meinllin.
**Came**, *s.* gwialen blwm, plymwialen, plymialen.
**Camel**, *s.* (Ll. *camelus;* Gr. *camêlos;* o'r Heb. *gamal*) camel, camyll, cammarch, cawrfarch, cammul.
Male camel—camyll, camel gwryw, cammarch, cammul.
Female camel—camell, camel fenyw, cameles, cammules.
Arabian camel, } cammarch, cawrful,
Dromedary, } camel Arabia; camel âg un oddfyn *neu* gnwc ar ei gefn.
Bactrian camel—camel Bactria; camel â dau oddfyn ar ei gefn.
Camel-driver—camelwr, camel-yrwr, gyrwr camelod.
Camel-backed—cefnhwrwg, cefn-gnycog, cefnoddfog, cefn-gamelog; â chanddo gefn fel camel.
**Camel**, *s.* cambill, gorgambill, camel=math o ddyrwynlath.

**Cameleon**, *s.* (Ll. *chamæleon*) cydser deheuol, yn cynnwys deg seren.
**Cameleon**, *s.*=*Chameleon.*
**Camelina**, } *s.* (Gr. *chamai* a *linon*) cydlin=
**Cameline**, } enw planigyn neu lysieuyn.
**Camelopard**, *s.* (Ll. *camelus*, a *pardalis*) camlewpard, camelewpart, marchlewpart, cawrlewpard, y Giraff.
**Camelopardel**, *s.* camlewpardyn; anifel dychymygol mewn herodraeth.
**Camelot**, } *s.* (o *camel*) camlad, camlod, cam-
**Camlet**, } led=cymmysgwe à wneid gynt o flew camel, ond yn awr o ddefnyddiau ereill.
Water camlet—camlod troellog, camled symmudliw.
**Cameo**, } *s.* (Ll. *gemma*; It. *cammeo*; Ff.
**Camaieu**, } *camaieu*) argrifon, bangrifon,
**Camayeu**, } bangerfiad, argerfiad; cerfem, rhithfaen; gwerydrem.
**Camera Lucida**, *s.* (Ll.) claerebyr, llugbeithiadyr, peithnodyr.
**Camera Obscura**, *s.* (Ll.) gwyllebyr, cuddbeithiadyr, cuddwelyr, cuddnodyr, cuddbeithyr.
**Camerade**, *s.* (o'r Ll. *camera*, ystafell)=*Comrade.*
**Cameralistic**, *a.* (Al. *cameralist*) cyllidegol, argyllidol, daeredol, daeredonol.
**Cameralistics**, *s.* cyllideg, argyllidiaeth, daeredoniaeth.
**Camerate**, *v. a.* (Ll. *camero*) bwäu, mydu, gwneuthur bwa; nenfydu.
**Cameration**, *s.* (o *camerate*) mydiad, mydiant, bwad, nenfydiad.
**Camis**, *s.* (Ll. *camisa*; It. *camice*) teneuwisg, gwisg deneu.
**Camisade**, *s.* (Ff. o *chemise*, crys) nosgyrch, nosruthr, crysgyrch, ymgyrch plygeiniol, rhuthr disymmwth, brysgyrch.
To give a camisade—nosgyrchu, nosruthro; dwyn nosgyrch *neu* grysgyrch; cyrchu *neu* ymgyrchu yn blygeiniol *neu* yn ddisymmwth.
**Camisaded**, *a.* (Ff. *chemise*) cryswisgedig; gwedi gwisgo crys ar y dillad ereill.
**Camlet**, } *s.*= { *Camelot.*
**Camelot**, } { *Camlet.*
**Camleted**, *a.* (o *camlet*) lliwedig, lliwiedig, lleiniog, llinellog, amrywiedig, gwythenog.
**Cammoc**, *s.* (S. *cammoc*, *cammec*) duglwyd, tagaradr, cas gàn arddwr, hwp yr ychain, eithin yr ieir, crach-eithin, tegwch meinwen.
**Camomile**, *s.*=*Chamomile.*
**Camous**, } *a.* (Ff. *camus*; C. *cam*) pantog, pan-
**Camoys**, } nylog, cam; trwyngam.
Camoys nose—trwyn cam, pantog, *neu* leddf.
**Camoused**, *a.* (o *camous*) pantog, pantol, pantylog; cam, crwca.
**Camp**, *s.* (S.; Ll. *campus*) gwersyll, gwersyllfa, gwersyllt, lluarth, lluest, lluestfa, bidwal, cadlys, garthan, garth; llu, byddin.
Camp-fight—ornest, ymgysbwy; maesgad.
To pitch a camp—gwersyllu, gwersylltu; lluarthu, pebyllio, pabellu, lluestu; estyn, gosod, *neu* ledu caerbebyll.
To raise a camp—symmud gwersyll, mudo gwersyllt, dadwersyllu.
A small camp—gwersyllig, gwersyllan, gwersyll bychan.
Flying camp, } byddin hedegog; byddin
Running camp, } hedegog arf-ysgafn.



Standing camp—gwersyll gorsafol, gorsafwersyll; gorsaflu, llueddwyr gorsafol.
Fortified camp—gwersyll caerog, amddiffynfa, caer, caerwersyll.
The general's pavilion in a camp—cadlys, pencadlys.
Camp-master—pengwersyllwr, pengwersyllydd; rheolwr, llywydd, *neu* drefnwr y gwersyll.
Camp-boy—gwersyllwas, gwesyn gwersyll; garthfacwy.
Pitcher of a camp—gwersyllwr, gwersyllydd, gwersylltwr.
Camp-dress — gwersyllwisg, byddinwisg, cadwisg.
The camp of the Egyptians and the camp of Israel—llu yr Aifftiaid a llu Israel (*Ecs.* xiv. 20).
**Camp**, *v.* gwersyllu, gwersylltu, lluarthu, lluestu, pebyllio.
**Campagnol**, *s.* math o lygoden gynffon-gota.
**Campaign**, } *s.* (Ff. *campagne*; It. *campagna*)
**Campain**, } rhyfelawd, maesawd, cadwaith, rhyfelwaith, maesgyrch, hafwaith o ryfel, hafwaith rhyfel, maes o ryfel, hafwaith, maes, rhyfeldymmor; chwyl rhyfel; gwastadedd, gwastattir, maes agored.
Our arms have been successful this campaign—bu lwyddiannus ein harfau yr hafwaith hwn.
This campaign was at hand—nesasai yr amser i fyned i'r rhyfel.
To make the campaign with one—cydfilwrio âg un; canlyn un i'r rhyfel; myned gydag un i'r rhyfel; maesgyrchu gydag un.
Eighteen campaigns did he make — deunaw gwaith y bu efe yn y maes; deunaw rhyfelawd a ymladdodd efe.
To open the campaign—myned i'r maes; ymgychwyn i'r rhyfel; cyrchu allan i'r rhyfel.
Campaign coat *or* cloak—hug milwr, toron milwr, toryn milwr; mantell werddonig.
Campaign land—maesdir, gwastattir.
**Campaign**, *v. n.* rhyfelodi, maesgyrchu; gwasanaethu mewn rhyfel.
**Campaigner**, *s.* (o *campaign*) henfilwr, hen filwr, maesai, maeswr; un à welodd aml ryfelawd.
**Campana**, *s.* (Ll. ac It.) blodeuyn y pasc, blodyn y pasc, pasc-flodyn.
**Campaned**, *a.* (Ll. *campana*) clochedig, clochedigol.
**Campanel**, *s.* (o *campanula*) clych y perthi.
**Campanes**, *s. pl.* (Ll. *campana*) clochedigion, clychluniau.
**Campania**, *s.* (It. *campagna*)=*Campaign.*
**Campaniform**, *a.* (Ll. *campana* a *forma*) clychaidd; ar ddull *neu* lun cloch.
**Campanile**, *s.* (It.) clochdy, clochdwr, clochdwred; cloctwr.
**Campanology**, *s.* (Ll. *campana*, a Gr. *logos*) clychganiadaeth, clychiadaeth, clychiadeg; celfyddyd canu clych; treithawd ar ganu clychau.
**Campanula**, *s.* (Ll.) clychlys.
**Campanulate**, *a.* (Ll. *campanula*) clychaidd; ar lun *neu* ddull cloch.
**Campestral**, } *a.* (Ll. *campestris*) maesol, maes-
**Campestrian**, } aidd; perthynol i'r maes; maesdyfol, gwyllt.

Camphene, } *s.* (o'r Gr. *camphora* a *gennaô*)
Camphogen, } camphorai, camfforai; olew turpant.
Camphor, } *s.* (Ll. drosgl, *camphora; Ff. cam-*
Camphire, } *phre;* It. a Port. *canfora;* Al. *campfer*) camphor, camphir, camffor, camffir.
Camphor-tree — camffor-wydden, camffir-wydden, y pren camphor.
Camphor-laurel—camffor-lawryf.
Camphor-oil—olew camphor.
A cluster of camphire—cangen o rawn camphir (*Can.* i. 14).
Camphoraceous, *a.* (o *camphorate*) camfforaidd, camffiraidd, camphoraidd.
Camphorate, *v. a.* (o *camphor*) camfforeiddio; nawseiddio *neu* olchi â champhor.
Camphorate, *s.* camfforaint, camphoraint, hal camffor, camfforhalan.
Camphorate, } *a.* camfforaidd, camphoraidd,
Camphorated, } camfforain; nawsedig â champhor.
Camphoric, *a.* (o *camphor*) camfforig, camphorig, camphirig.
Camphoric acid—sur camfforig, sur camphor, sur camphir.
Camphrone, *s.* (o *camphor*) camphoron, camfforon.
Campion, *s.* (Ll. *campus*) lluglys.
Bladder campion—codrwth, gludlys, menyg y gog, menyg y merched, llysiau y poer, poerlys.
Sea campion—gludlys arfor, gwlyddyn y geifr, codrwth y môr.
Rose campion—gwynddail, tewbanog wên wryw, rhos campau.
Red campion, } lluglys ysgar, llysiau yr
Wild campion, } ychain, blodeuyn rhudd.
Campulitropous, } *a.* (Gr. *campulos* a *trepô*)
Campylotropous, } crymdroawl, camdroawl, comdroawl.
Cams, *s. pl.* (Ff. *came*) ymgudon, ymgudyron.
Camus, } *s.* (Ll. *camisa;* It. *camice*) teneuwisg,
Camis, } gwisg deneu.
Camwood, *s.* camwydd=math o liwgoed cochion o Sierra Leona, yn Affrica.
Can, *s.* (Is. *kan;* S. *canna;* Al. *kanne*) piser.
Can, *v. n.* (S. *cennan, cunnan;* Al. *können;* D. *kan*) gallu, gallel, gallael, dichoni, dichon, medru, medryd; bod yn alluog; gwybod.
I can—gallaf, medraf, dichonaf; dichon imi; yr wyf yn gallu.
Canst thou do this? I can—a elli di wneuthur hyn? gallaf.
How can this be?—pa fodd y dichon hyn fod? pa wedd y dichyn hyn fod? pa sut y geill hyn fod?
Canst thou speak Greek?—a fedri di Roeg?
Can he?—a eill efe? a all ef? a ddichon efe? a fedr efe? a fedr e?
Can it be so?—a ddichon hyn fod? a ddichyn hyn fod? a eill hyn fod? ai dichonadwy i hyn fod?
He cannot—nis geill, nis gall, ni eill, ni all, ni alla, nis galla, ni ddichon, ni fedra, nis medr; nis geill efe, ni all efe, ni ddichon efe, ni ddichon ef, nis gall ef.
I will do what I can—gwnaf fy ngoreu; gwnaf ddim ag a allof; gwnaf ddim ag a allwyf.
I can tell—gŵn; mi a ŵn; gŵn i; myfi a ŵn; gallaf ddywedyd.
I cannot tell—nis gŵn; nis gŵn i; ni ŵn; ni ŵn i; nid wyf yn gwybod.
Nobody can tell—nis gŵyr neb; ni ŵyr neb; nid oes neb a ŵyr.
How can you tell?—pa fodd y gwyddoch? pa sut yr ydych yn gwybod?
They cannot speak Greek—ni fedrant hwy Roeg.
I cannot tell what to do—nis gŵn beth i wneuthur; nis gŵn pa beth idd ei wneuthur; nis gŵn beth a wnaf.
You cannot but know—nid oes modd nas gwyddoch; rhaid yw y gwyddoch; ni ellwch lai na gwybod.
As much as can be—hyd y gellir; càn belled ag y gellir.
As soon as can be, } cynted ag y gellir;
As soon as may be, } cyntaf ag y gellir; yn gyntaf ag y gellir; cyntaf y gallir.
As like as can be—càn debyced a llaeth i laeth; tebyced ag y mae yn ddichonadwy; tebyced a bo modd.
Can the rush grow without mire?—a gyfyd brwynen heb wlybaniaeth?
I would if I could—mynwn pe gallwn.
Canail, } *s.* (Ff. *canaille*) gwehilion; y werin-
Canaille, } os, y werindorf, gwehilion cymdeithas, sorod cymdeithas, y bobl iselradd, y werin, gwehilion y bobl; sorod, gwaddod, gwaddodion.
Canakin, *s.* (o *can*) piseryn, piseran.
Canal, *s.* (Ll. *canalis*) camlas, (*pl.* camlasau, camlesydd); dyfrffos, gwythreden; pibell, awell; ysgyren, ysgyrell, hollten; colofrych, pillrych, sylch.
The Caledonian canal—camlas Celyddon.
Alimentary canal—y bibell faeth, maethell, maeth-bibell, math-awell.
Canal-coal, *s.* glo rhinc, glo rhing, glo ffaglog, glo ffagl.
Canaliculate, } *a.* (Ll. *canaliculatus*) rhigol-
Canaliculated, } og, rhychog, rhigoledig, rhychedig, gylfedig, ffosaidd.
Canary, *s.* (oddi wrth Ynysoedd *Canaria,* (o *canis,* ci), yn y Môr Atlantig) gwin Canaria, gwin Seg, Canarwin; aderyn Canaria, melynog, y melynog mwyn; hen ddawns.
Canary, } aderyn Canaria, melynog,
Canary bird, } y melynog mwyn, aderyn
Canary finch, } o'r Ynysoedd Dedwydd.
Canary Islands — Ynysoedd Canaria, Gwerddonau Llion.
Canary-grass, *s.* pefrwellt.
Manured Canary-grass—pefrwellt amaethol.
Sea Canary-grass—pefrwellt y tywod, pefrwellt arfor.
Canary reed-grass—gwyran.
Canary-seed—pefrhaden, pefrhedyn, had pefrwellt: *pl.* pefrhadau.
Canaster, *s.* cawell llafrwyn y sypynir myglys ynddo yn Neheudir America.
Can-buoy, *s.* pignofyn, pignofiadyr, pignofyr.
Cancel, *v. a.* (Ll. *cancello;* Ff. *canceller*) dilëu, diddymu, dirymu; croesi allan, crafu ymaith, crafu i ffwrdd; dadgrafu, dïoli, dadlythyru, dadnodi; dystrywio, dyfetha, dinystrio.
Cancellate, *a.* (Ll. *cancellatus*) rhwydenol, masgol, masgog, rhwydaidd.
Cancellated, *a.* croesfarog, croeslinellog; cellog, tyllog.
Cancellation, *s.* (Ll. *cancello*) croeslinelliad; dilead, dirymiad, diddymiad; dadgrafiad.

**Cancer**, *s.* (Ll.; S. *cancre*) cranc; cancr, dafaden wyllt, tyfaden wyllt, y ddafaden, cranc gwyllt.
Crab, Crab-fish, } cranc, morgranc, cranc môr.
The Cancer—y Cranc, arwydd y Cranc; Alban Hefin=y mwyaf gogleddol o'r 12 arwydd.
Tropic of Cancer—trofa y Cranc, trofan y Cranc; trofa hirddydd haf; trofan Alban Hefin; Alban Hefin.
**Cancerate**, *v. n.* (o *cancer*) cancru, crancu, cancro, cranco; tyfu yn granc gwyllt; tyfu yn ddafaden wyllt.
**Canceration**, *s.* (o *cancerate*) cancrad, cranciad; tyfiad yn gancr *neu* granc.
**Cancerous**, *a.* (o *cancer*) cancraidd, crancaidd, cancrog.
**Cancerousness**, *s.* (o *cancerous*) crancogrwydd, cancrogrwydd, cranceiddrwydd.
**Cancriform**, *a.* (Ll. *cancer* a *forma*) cancraidd, crancaidd; morgrancaidd; ar lun y cranc.
**Cancrine**, *a.* (o *cancer*) cancrol, cancrain, cancraidd, crancaidd.
**Cancrite**, *s.* (o *cancer*) crancith, cranc maenedig, cloddelgranc.
**Cancroma**, *s.* (o *cancer*) y badbig, badylfin= rhywogaeth o adar.
**Candelabrum**, *s.* (Ll.) gorganwyllarn, gorganwyllyr, ceincganwyllyr, erllensaf.
**Candent**, *a.* (Ll. *candens*) gwynias, eirias, eiriasol; traphoeth, gorboeth, poeth, tanbaid.
**Candicant**, *a.* (Ll. *candico*) gwynaidd, gwyneiddiol, lledwyn; yn myned yn wŷn.
**Candid**, *a.* (Ll. *candidus*) teg, diduedd, clau, gonest, diragfarn, anmhleidgar, uniawn, cywir, rhydd, diffuant, didwyll, cleufryd, hynaws, rhywiogaidd, mwynaidd, tirion; canaid, càn.
**Candidate**, *s.* (Ll. *candidatus*) ymgeisiwr, ymgeisydd, swyddgeisiwr, swyddgeisydd, swydderlyniwr, caneidydd; cystedlydd, cystadlwr, cystadleuwr, cydymgeisiwr.
To stand candidate for an office—swyddymgeisio, swyddgeisio, swyddymgais, swydderlyn; ymerlyn, ymgeisio, ymgais, *neu* sefyll am swydd; cydymgeisio, cydymgais, *neu* gydymerlyn am swydd.
Candidate for glory—ymgeisydd am ogoniant.
**Candidness**, *s.* (o *candid*) tegwch, gonestrwydd, cleuder, didueddrwydd, didwyllni, didwylledd, unioner, cleufrydedd.
**Candied**, *a.* (o *candy*) crisgeuledig, crisialedig, cyffeithiol, cyffeithiedig, crofenog, sugr-grofenog, caensugrog.
**Candify**, *v.* (Ll. *candefacio*) cànu, gwynu, gwynhau, caneidio.
**Candle**, *s.* (Ll., Ysp., ac It. *candela*; S. *candel*) canwyll; goleu.
Rush candle—canwyll frwyn, canwyll frwynen.
Medicated candle—truddiadyr, taeniadyr; cwyrganwyll.
Tallow candle—canwyll wer, gwerganwyll.
Wax candle—canwyll gŵyr.
Mold candle—canwyll fold, canwyll folden.
Corpse candle, Fetch candle, } canwyll gorff, canwyll corff, canwyll dyn marw.
A small candle—canwyllan, canwyllen, canwyllig, canwyll fechan, canwyll fach.
To light a candle—cynneu, ennyn, ennynu, goleu, *neu* oleuo canwyll.
To put out a candle—diffoddi *neu* ddiffodd canwyll; taro canwyll allan.
To snuff a candle—tori pen canwyll; gleiniadu *neu* salltringo canwyll.
Candle-fly, Jack of the candle, } pryf y ganwyll, gwas y ganwyll, pryfyn y ganwyll.
Candle-snuffers—gleiniadyr, glaniadyr, salltring, toriadyr pen canwyll.
His candle burns within the socket—y mae efe ar làn *neu* wàr ei bwll; mae ei ganwyll yn llosgi yn y carn.
When candles are out, all cats are grey—un lliw du a gwŷn yn y tywyllwch.
He is not fit to hold a candle to him—nid yw deilwng i ddàl canwyll iddo.
Candle-coal—glo rhinc, glo rhing.
Candle-berry tree—gwerwydden, cwyrfyrtwydden, cwyr-fadywydd, gwer-fadywydd.
**Candle-bomb**, *s.* bwrlwm canwyll, fflach canwyll.
**Candle-ends**, *s. pl.* tameidach, briwsionach, gweddillach, catiau.
**Candle-holder**, *s.* goleuddal, canwyllarn; daliwr canwyll, daliedydd canwyll.
**Candle-light**, *s.* goleu canwyll, goleuni canwyll, llewyrch canwyll.
By candle-light—wrth oleu canwyll; wrth ganwyll.
**Candlemas**, *s.* (*candle* a *mass*; S. *candel-mæssa*) Gŵyl Fair y canwyllau; dydd Gŵyl Fair y canwyllau; Puredigaeth Mair=Chwefror 2.
Candlemas day=*Candlemas*.
**Candlestick**, *s.* (*candle* a *stick*; S. *candel-stica*) canwyllbren, canwyllarn, goleuddal, goleusaf; canwyllyr.
**Candle-stuff**, *s.* defnydd canwyllau.
**Candle-waster**, *s.* difäwr, gwastraffydd, *neu* ddifrodwr canwyllau; myfyriwr caled, nos-fyfyriwr; afradlawn, gwastraffwr.
**Candle-wick**, *s.* pabwyryn canwyll; pabwyr canwyll; pabwyr.
**Candoc**, *s.* (?) afonlys, nantlys.
**Candour**, *s.* (Ll. *candor*) tegwch, cleuder, gonestrwydd, diduedddrwydd, anmhleidgarwch, didwyllni, didwylledd; hynawsedd, hynawsder, rhywiogrwydd, addwynder, addwyndra, mwyneidd-dra; diffuantrwydd, tirionwch, tirionder, cywirdeb, purder, puredd, unionder.
**Candy**, *v.* (Ff. *candir*; It. *candire*) crawenu â sugr; caensugro, crofensugru, sugrgaenu, sugargrestu, arsugru, crisialu, crisgyffeithio.
**Candy**, *s.* crisgyffaeth, crisgai, crisancwyn, sugrancwyn.
Sugar candy—sugargris, crissugar, sugr crisial, caensugr, sugr crisgai.
**Candying**, *s.* (o *candy*) crisgyffeithiad, crisgeiad, sugrad, sugrgyffeithiad, caensugrad.
**Candy-tuft**, *s.* beryn.
Bitter candy-tuft—beryn chwerw.
Naked-stalked candy-tuft—beryn coesnoeth.
**Cane**, *s.* (Gr. a Ll. *canna*; Ff. *canne*) corsen, calaf, cecysen; ffon, llawffon, cecysffon, ffon gorsen, corsffon; cecyslost, cecysreinen, cyrswaew: *pl.* cyrs, celyf, calafau, cecys.

Sugar cane—corsen, calaf, *neu* gecysen sugr; sugr-gorsen, sugar-gorsen.
Cane chairs—cadeiriau'cyrs,cyrs-gadeiriau.
Cane-reed—cawnen; *pl.* cawn.
Cane-brake — cecysog, corsenog; cecyslwyn, corslwyn, calaflwyn, celyflwyn, corsle, cyrsle.
Cane-hole—cecys-dwll; y twll *neu* rigol lle y planir tocion cyrs.
Cane-trash—ysgarthion cyrs *neu* gecys.
Full of canes—corsenog, cecysog, calafog; llawn cyrs, celyf, *neu* gecys.

**Cane**, *v. a.* ffonodio, ffondorio, ffonio; curo â ffon; curo â chorsen.

**Canescent**, *a.* (Ll. *canescens*) llwýdwynaidd, llwydaidd; briglwyd, llwyd, henaidd; yn dechreu penwynu, penllwydo, *neu* friglwydo; gwynaidd.

**Canes Venatici**, *s. pl.* (Ll.) yr Helgwn=cydser gogleddol, yn cynnwys 25 seren.

**Canicula**, } *s.* (Ll. *canicula*, ci bach) Seren y
**Canicule**, } Ci, y Cïan, Ciseren, Sirius=seren o'r maintioli mwyaf, a'r ddysgleiriaf o'r ser sefydlog.

**Canicular**, *a.* (Ll. *canicularis*) perthynol i seren y Ci; yn perthyn i Sirius; cïanol.
Canicular days, } dyddiau y cwn=y dydd-
Dogs' days, } iau pryd y mae Seren y Ci yn codi a machlud gyda'r haul.
Canicular year — blwyddyn y Cïan, blwyddyn y cwn=blwyddyn yr Aifftiaid gynt, yn dechreu gyda dyddiau 'r cwn.

**Canine**, *a.* (Ll. *caninus*) cïaidd, costogaidd, cïol; perthynol i'r ci.
Canine madness—cynddaredd, y gynddaredd.
Canine appetite—y wanc, newyn anniwall.
Canine teeth—y dannedd llygaid, ciddannedd, ciddaint, llygad-ddaint, dannedd ysgythrog.

**Caning**, *s.* (o *cane*) ffonodiad, ffondoriad; curfa â chorsen.

**Canis Major**, *s.* (Ll.) y Ci Mwyaf, y Ci Mawr =cydser yn yr arddrych ddeheuol, yn cynnwys 31 seren.

**Canis Minor**, *s.* (Ll.) y Ci Lleiaf, y Ci Bychan =cydser yn yr arddrych ogleddol, yn cynnwys 14 seren.

**Canister**, *s.* (Ll. *canistrum*; Gr. *canastron*) golwrch, blychan, blychen, blochas, ceuflwch, ceten, ceulestr; basgedan.

**Canker**, *s.* (Ll. *cancer*; S. *cancre*) cancr, cranc gwyllt; gân, yr ân; ysglwyf; rhydni, rhwd, ysrwd; mythl.

**Canker**, *v.* cancru, cancro; rhydu, ysu, ysrydu, mythlu, difa, llygru; ymgancru, ymrydu.

**Cankerbit**, *a.* (*canker* a *bite*) ysedig gàn gancr *neu* rwd; cnöedig gàn ddaint gwenwynig.

**Cankered**, *a.* cancredig; rhydlyd, ysedig; sarig, traws, afrywiog, blwng, dreng.

**Canker-fly**, *s.* ysgleren, ysglyryn; cleren â ddifa ffrwythau.

**Canker-like**, } *a.* â ddifa fel cancr; yn ysu fel
**Cankerous**, } cancr; mythlaidd, cancraidd; difaol, ysol.

**Canker-worm**, *s.* pryf y rhwd, pryf y dail, ysbryf, ysbryfyn, pryf cadachog, ysbryf llysiau, pryf melfedog.

**Cankery**, *a.* (o *canker*) rhydlyd.

**Cannabine**, *a.* (Ll. *cannabinus*) cywarchaidd, cywarchog.

**Cannabis**, *s.* (Gr. a Ll.) cywarch, cywarchen, meirion; cas gàn fursen.

**Cannel-coal**, } *s.* (o *candle*) glo rhinc, glo
**Candle-coal**, } rhing.

**Cannibal**, *s.* (gair Indiaidd) breuad, dynfwytäwr, cnawdyswr, bwytäwr dynion.

**Cannibalism**, *s.* (o *cannibal*) breuadaeth, cnawdysiad, dynfwytad; barbariaeth.

**Cannon**, *s.* (Ff. *canon*; Al. *kanone*) cyflegr, magnel, gŵn mawr; blif, conon.
Small cannon, } meiarn, cyflegr bychan,
Field piece, } maesgyflegr.
Cannon metal—mettel *neu* adwyn cyflegrau; elydr, elydn, pres.

**Cannonade**, *s.* (o *cannon*) cyflegriad, magneliad, blifiad.

**Cannonade**, *v.* cyflegru, magnelu, blifio; dryllguro, blif-ergydio; saethu â chyflegr *neu* gyflegrau.

**Cannon-ball**, *s.* pelen cyflegr, peled cyflegr, peled magnel, maen blif, blifaen, magnelfaen, blifyn, blifan, bwled.
Cannon-ball tree—blifanwydden, blifynwydden.

**Cannon-bone**, *s.* blifasgwrn.

**Cannoneer**, } *s.* (o *cannon*) cyflegrydd, cyflegr-
**Cannonier**, } wr, magnelwr, magnelydd.

**Cannon-proof**, *a.* â ddeil ergyd cyflegr; anhydraidd i fagnel.

**Cannon-shot**, *s.*=*Cannon-ball*: ergyd cyflegr, blif-ergyd.

**Cannot**, *v.* (*can* a *not*) nis gellir, nis gallir, nis dichon, ni ddichon; bod heb fedru.
I cannot—nis gallaf, ni allaf; nis medraf.
Thou canst not—nis gelli, nis galli, ni elli.
He cannot—nis geill, nis gall, nis galla, ni eill; nis geill efe, &c.

**Cannular**, *a.* (Ll. *canna*) chwibolog, chwibolaidd.

**Canoe**, *s.* (It.; Ff. *canot*; Ysp. *canoa*) ceufad, ysgeufad, ysgeuan, ysgeugwch, ceubal, cafnfad, cafn unpren, cwch unpren, bad Indiaidd.

**Canon**, *s.* (Gr. *canôn*; Ll., S., Ff., Ysp., a Port. *canon*) rheol, canon, (*pl.* canonau), rheithiadur, gofyddeb; deddf, cyfraith, gosod, gosodiad, rhaith, glwysraith; cynon, canon, (*pl.* canoniaid), canoniad; canonlyfr.
Canon law—rhaith eglwys, cyfraith yr eglwys, y gyfraith eglwysig, cyfraith eglwys, glwysraith, glwysddeddf, eglwysraith.
Civil and canon law—rhaith gwlad ac eglwys; cyfraith gwlad ac eglwys; y gyfraith wladol a'r eglwysig; cyfraith y byd a'r eglwys; rhaith byd ac eglwys; cyfraith lëyg a llên.
Doctor of civil and canon law—doethor yn rhaith gwlad ac eglwys; doethor cyfraith lëyg a llên; doethor y ddwy gyfraith; athraw yn y ddwy gyfraith; doethor llëyg a llên.
Canon of scripture—canon yr ysgrythyr.
Canon of speech—rheitheg, rhaith ymadrodd.
Canon of the Romish Church—canon Eglwys Rhufain, canonur Eglwys Rhufain, canonlyfr yr Eglwys Babaidd.
Canon of a monastery—canon mynachlog, rheithiadur abatty, llyfr rheolau monachdy.
Minor canon—adganon, adgynon, isganon.

Canon residentiary—cynon trigiannol, canon cyfarosol.
Cardinal canons—canoniaid cynnorog, cynoniaid prifuriadol.
Domiciliary canons—cynoniaid trefredol, canoniaid trefred.
Expectative canons—cynoniaid dysgwyliannol.
Foreign canons—cynoniaid alltrefig, canoniaid annhrigiannol, canoniaid pellenig.
Honorary canons—cynoniaid mygedol, cynoniaid llëyg.
Lay canons, Secular canons, } cynoniaid llëyg, canoniaid lleygiol, cynoniaid anfynachol, canoniaid anfonachol.
Regular canons—cynoniaid rheolaidd, cynoniaid rheolus, canoniaid mynachol, urdd-ganoniaid.
Tertiary canons—cynoniaid trydyddol, canoniaid trydeddol, cynoniaid trianol.
Canon, Canon-type, } canon, canondeben, canonen: *pl.* canondebion, canondebau =math o argraff-lythyren fras.
Canon (in surgery)—rheithiadyr.
Canon-bit—safn-enfa, haiarn ffrwyn, safnhaiarn.
Canoness, *s.* (o *canon*) cynones, canones.
Canonic, Canonical, } *a.* (Ll. *canonicus*) canonaidd, canonawl; rheolaidd, rheithiadus, rheithiadurol, gofyddus; eglwysol, eglwysig, eglwysaidd; perthynol *neu* gyfatebol i gyfraith yr eglwys; cytunol â chyfraith eglwys; glwysreithiol, cyfreithiol, deddfol, awduredig, awdurdodedig, awduraidd.
Canonical scriptures—yr ysgrythyrau canonaidd=yr Hen Destament a'r Newydd; a'r Apocrypha hefyd, yn ol daliadau Eglwys Rhufain.
Canonical Epistles—yr Epistolau Canonaidd, y Llythyrau Cyffredinol.
Canonical hours—oriau canonaidd, oriau eglwysaidd; oriau gweddi a dyhewyd= o 8 hyd 12 yn y bore.
Canonical obedience—ufydd-dod canonaidd; ufydd-dod i ganonau yr eglwys; ufyddiant isafiaid idd eu huchafiaid mewn pethau eglwysig.
Canonical punishments—cospau canonaidd *neu* eglwysig; megys, esgymundod, penyd, diraddiad, &c.
Canonical life—buchedd ganonaidd; buchedd lai gerwin na'r un fonachol, a mwy caeth na'r un lëyg *neu* anfonachol.
Canonical sins—pechodau canonaidd; troseddau marwol yn yr eglwys gynt; megys, eilunaddoliaeth, llofruddiaeth, godineb, geugred, a'r cyffelyb.
Canonical letters—llythyrau canonaidd; tystlythyrau canonaidd *neu* eglwysol (yn mhlith y gwŷr llên gynt).
Canonical cap—corgap, capan côr, cap côr, cap canonawl.
To render canonical—canoni, canoneiddio.
Canonicalness, *s.* (o *canonical*) canoneiddrwydd, rheithiadusrwydd, rheoleiddrwydd, canonoldeb, awduroldeb, cyfreithlondeb, cyfreithlonrwydd, glwysreithioldeb.
Canonicals, *s. pl.* canonwisg, clerigwisg, offeiriadwisg, canonolion, glwyswisg, glwyswisgoedd, gwisgoedd offeiriadol.
Canonicate, *s.* (Ll. *canonicatus*) cynoniaeth, canoniaeth; swydd ac urddas cynon.

Canonist, *s.* (o *canon*) cynonydd, cynonwr, canonydd, canonwr, glwysreithur; proffeswr cyfraith eglwys; un hyfedr yn nghyfraith yr eglwys.
Canonistic, *a.* (o *canonist*) cynonyddol, canonyddol, glwysreithurol.
Canonization, *s.* (o *canonize*) seintiad, seintoliad, mabsantaeth, santurddiad; seintiadaeth, menwedigaeth.
Canonize, *v. a.* (o *canon*) seintio, santoli, santioli, mabsantu, mabsanta, mabseintio, santurddo; cyfrif yn sant; gwneyd yn sant.
Canonized saint—mabsant.
Canonry, Canonship, } *s.* (o *canon*) cynoniaeth, canoniaeth, cynonfudd, canonfudd.
Canopied, *a.* (o *canopy*) gorthöedig, gorthoawl, gorthoawg, mydlenog.
Canopus, *s.* (Ll.) seren o'r maintioli mwyaf, yn llyw y cydser Argo.
Canopus, *s.* math o gostrel neu ysten Aifftig; cestrel Aiphtig.
Canopy, *s.* (Gr. *cônôpeion*) gortho; mydlen, nenlen, nenfwd.
The canopy of heaven—llên y nef, entrych nef, entyrch nef, entyrch y nef, entyrch nen, yr entrych, yr entyrch.
The canopy wherein he did lie—y brycan yr oedd efe yn gorwedd ynddo (*Iudeth* xiii. 15).
Canopy, *v. a.* gorthöi; mydlenu, nenfydu; cuddio â gortho.
Canorous, *a.* (Ll. *canorus*) perorawl, perseiniol, cywyddol, cowyddol, cerddorol, cerddgar, cynghaneddol, cynghan, canorus, peroriaethol, peroriaethus, caniadol, seinber; croew, llafar.
Canorousness, *s.* (o *canorous*) peroroldeb, perseinioldeb, cywyddolrwydd, cerddgarwch, canorusrwydd, alawiaeth, persain, croewder.
Cant, *v.* (Ll. *canto;* Ysp. a Port. *cantar*) ffugio, ffugodi, ffuantu, trutheinio, truthieitho, truthio, ffregodi, rhagrithio; cwynfan, cwynseinio; clafleisio, oerleisio, oergwyno, gwneuthur cwynlais, cwynieithio, cwynleisio, cwyno; gwagsynio; llafaru yn gwynfanus; amdröi, treiglo, cantu, taflu.
Cant, *s.* truthiaith, trutheb, rhagritheb, rhagrithiaith, ffugiaith, ffrec, ffregod, ffregiaith, rhagrith, truth, ffug, ffugiant, cwyniaith, oerlais, cwynlais, oergwyn, oerlef, udlef, udlais, claflais, cwyndon, cwyn, cwynfan; briwiaith, llediaith, brithiaith; gwaedd, bloedd; tafliad, tafl, codwm, treigl.
Cant language—briwiaith, llediaith, brithiaith, trosgliaith, llygriaith; celfllediaith; ffregodiaith, ffregiaith.
Cant word—gair llediaith, llygrair, briwair, gair trwsgl; celflygrair; ffregodair.
To sell by cant—arwerthu, gwerthu yn gyhoedd, cyhoedd werthu.
Cant, *s.* (Is. *kant*) cornel, cil, congl, cilfan, ebach; rhagongl, rhagelin.
Cant-timbers—cilgoed, cilwydd.
Cant-pieces—cilarnau, cilddarnau.
Cant-moulding—cilfoldiad, ciladdurn.
Cantabile, *ad.* (It.) yn deleideddol; yn deledliw.
Cantaliver, Cantilever, } *s.* (*cantle* ac *eaves*, neu Ll. *canterii labrum*) asbantwrn, bargodarn, bargodwrn.

**Cantar,** } *s.* pwysi dwyreiniol: yn Acra yn
**Cantaro,** } Nhwrci, 603 pwys ydyw; yn Tunis a Tripoli, 114; yn yr Aifft, 98¾; yn Naples, 25; yn Genoa, 150; ac yn Leghorn, 150, 151, neu 160.
**Cantata,** *s.* (It. o'r Ll. *canto*) alogan, alawgan, adroddeg.
**Cantation,**† *s.* (Ll. *cantatio*) caniadaeth, caniad.
**Canteen,** *s.* (It. *cantina*) gwirodgib, milorgib.
**Canteloup,** *s.* math o fwsgfelon.
**Canter,** *v.* (Llyd. *cantreal, cantren;* neu o *cant*) gogarlamu, rhygyngu, tuthgarlamu, llawgarlamu, tuthio.
**Canter,** *s.* gogarlam, rhygyng, tuthgarlam; llaw-garlam; carlam, tuth, *neu* drot Caergaint.
**Canter,** *s.* (o *cant*) ffugiwr, truthiwr, ffugiolwr, &c.
**Canterbury-Bell,** *s.* cloch y perthi; *pl.* clych y perthi.
**Canterbury-Tale,** *s.* chwedl ddisail, ffugiol, *neu* ddychymygol; chwedl Caergaint.
**Cantharidin,** } *s.* (o *cantharis*) pothchwilod-
**Cantharidine,** } ain=math o ddansawdd à geir o gylion Paradwys.
**Cantharis,** *pl.* Cantharides, *s.* (Gr.) cylionen Paradwys, cylionen Yspaen, pothchwilen, pothgleren: *pl.* cylion Paradwys, cylion Yspaen, pothchwilod, pothgler.
**Canthus,** *s.* (Gr. *canthos;* Is. *kant*) cil y llygad, cil llygad, llygadgil, cornel y llygad.
**Canticle,** *s.* (Ll. *canticum;* It. ac Ysp. *cantico*) cân, caniad, cathl.
The Canticles—y Caniadau, Caniad Solomon, Caniadau Salomon, Cân y Caniadau, Canau Selyf.
**Cantile,** *v. a.* (Ff. *chanteau;* Llyd. *chantell*) tori yn ddarnau; tori yn yfflon, briwo, darnio, catio, dryllio.
**Cantillate,** *v. a.* (Ll. *cantillo*) corganu, llafarganu, achanu; canu.
**Cantillation,** *s.* (o *cantillate*) corganiad, llafarganiad, achaniad, can-adroddiad.
**Cantingness,** *s.* (o *cant*) ffugioldeb, ffregodolrwydd, trutholdeb; cwynolrwydd, cwynleisioldeb.
**Cantion,**† *s.* (Ll. *cantio*) cân, caniad; pennillion.
**Cantle,**† *s.* (Llyd. *chantell;* Ff. *chanteau*) darn, dernyn, cetyn, talp, dryll; rhan, cyfran.
**Cantle,**† *v. a.* darnio, catio, briwio, dryllio; tori yn ddarnau *neu* yn yfflon; rhanu, parthu.
**Cantlet,** *s.* (o *cantle*) dernyn, darn, cetyn, dryllyn, telpyn, cilcyn; cornelyn, conglyn.
**Canto,** *s.* (It.) cân, caniad, canran, canbarth, gosgan; meinlais, uchalaw, uchlais.
Canto-fermo—sylgan, seilgan.
**Canton,** *s.* (Ff. ac Ysp.; It. *cantone*) rhandir, cantref, cwmmwd, cantir, talaeth, ardal, rhandwy; parth, rhan; rhandirogion, rhandiriaid; ciwdod, cenal.
Canton (in heraldry)—cornel, cil.
**Canton,** *v. a.* rhanu tir; rhanu yn rhandiroedd, yn gantrefi, yn gantiroedd, *neu* yn gymmydau; cantiro, rhandiro, rhandwyo, rhanu, dosbarthu, dyranu.
To canton forces—gorsafu milwyr; dosbarthu lluedd wyr rhwng trefi *neu* gestyll; gorsafu *neu* ddofri catrodau; dosbarthu *neu* ranu catrodau.

**Cantonal,** *a.* (o *canton*) rhandirol, cantrefol, cantirol, cymmydol.
**Cantonize,** *v. a.* (o *canton*) dosbarthu, rhanu, dyranu; rhandiro, cantrefu, cantiro, rhandwyo.
The country was cantonized among them—rhanwyd y wlad rhyngddynt.
**Cantonment,** *s.* (o *canton;* Ff. *cantonnement*) dosbarth, rhan, parth; trefran, gorsafran.
**Cantred,** } *s.* (C.) cantref, cantred, cwmmwd.
**Cantref,** }
**Canvass,** } *s.* (Ff. *canevas;* Al. *canneras;*
**Canvas,** } Llyd. *canavas;* Gw. *canbhas*) sachlïan, sachlïain, cywarchlen, braslian, canfas, cynfas, llian garw; llian.
Cushion canvass—cywarchlen rwyllog *neu* rythwe.
Canvass climber—morwr; dringwr yr hwyliau, yr hwylbrenau, *neu* yr hwylraffau.
The canvass of a ship—hwyliau llong.
**Canvass,** *v.* (hen Ff. *cannabasser*) pleidgeisio, pleidymgeisio, tugeisio, ceisio pleidlais, swyddymgeisio; holi, chwilio, ymholi, ymchwilio; dadlu; ceisio, gofyn; ymofyn am; dylanwadu o blaid.
To canvass for votes—pleidgeisio, tugeisio, ceisio pleidlais; ymofyn am bleidleisiau.
**Canvass,** *s.* pleidgais, pleidymgais, tugais, swyddymgais; holiad, chwiliad, trychwiliad, meinholiad; dadl, dadleu, dadliad; ceisiad, cais.
**Canvasser,** *s.* (o *canvass*) pleidgeisiwr, pleidgeisydd, tugeisiwr, tugeisydd; swyddgeisydd; ceisydd, ceisiwr; chwiliwr.
**Canvassing,** *s.* (o *canvass*) pleidgeisiad, tugeisiad; swyddgeisiad; ceisiad; chwiliad, holiad.
**Cany,** *a.* (o *cane*) cyrsog, corsenog, calafog, cecysog; llawn cyrs, cecys, *neu* gelyf.
**Canzone,** *s.* (It.) algan, cân, canu.
**Canzonet,** *s.* (It. *canzonetta*) canigan, canigen, canig, canuan, canen, cenig.
**Caoutchouc,** *s.* twythlws, twythygl, rhwbiedydd yr India, twythrwbyr, twythruglydd.
**Cap,** *s.* (S. *cæppe;* Is. *kap;* Al. *kappe*) cap, capan; cwflen, cwlen, toc; top; capiad.
A small cap—cepyn, capan, cap bychan.
Canonical cap—capan côr, cap côr, corgap, cap canonawl.
Cap of maintainance—urddasgap=teyrnaddurn à ddygir o flaen breninoedd Prydain ar ddydd eu coroniad.
Cap of liberty—cap rhyddid.
Cap of a cannon—balog cyflegr, ffedog magnel, cap cyflegr.
Square cap—cap pedrongl, capan ysgwar, cap pedrogl.
Three-cornered cap—cap trionglog, capan triongl; cap trichonglog.
Cardinal's cap—cynnorgap, cap cynnorog, priforgap.
Night cap—cap nos, nosgap, nosgapan.
Straw cap—cap gwellt, capan gwellt.
Fur cap—cap pân, cap panog, cap ffwr.
Woman's cap—cap benyw, cap menyw, cap merch.
Cap-case—capgod, capgaes, capan-god, cod cap, gwerchyr cap; cod i gadw cap.
Cap-maker—capanwr, capwr, gwneuthurwr capiau; gwerthwr capiau *neu* gapanau.

With cap in hand—dàn gapio, dàn ymgrymu; â'i gap *neu* het yn ei law.
His cap is lined with a loggerhead—hurthgen yw; llelo ydyw.
The cap of all the fools alive—ffwl y ffyliaid; brenin y ffyliaid; pen, top, *neu* gap holl ffyliaid y byd; yr hurthgen penaf yn fyw.
To put on one's considering cap—dyfal *neu* ddwys ystyried peth; dyfal bwyso peth; ystyried peth rhyngddo âg ef ei hun.
Skull-cap—cycyllog, cycyllys.
Common skull-cap—cycyllog mwyaf, cycyllys mwyaf.
Lesser skull-cap—cycyllog lleiaf, cycyllys lleiaf.
Black cap—penlöyn, penddu, y lleian benddu, penddu 'r brwyn.

**Cap**, *v. a.* capio, capanu; digapanu, digapio; pennoethi; tynu cap oddi ar *neu* oddi am ben; gorchuddio, taenu dros.

**Cap**,† *v. n.* capio, ymgrymu, ymbennoethi, tynu het, tynu cap.
To cap verses—capio pennillion; ymorchestu *neu* ymdrechu am y goreu drwy adrodd am y mwyaf o bennillion.
The cloud-capped towers—y tyrau cymylgapiog; y tyrau cymyl-gap.

**Capability**, *s.* (o *capable*) gallu, galluedd, galluogrwydd, galluogedd, galluolrwydd, hyalledd, gall, digoniant; medr, medrusrwydd, medredd, cymhwysder, cyfaddasrwydd, addasdeb.

**Capable**, *a.* (Ff.) galluog; yn gallu, yn medru; medrus, cyfarwydd; addas, cyfaddas, cymhwys, gwiw, cymmesur, digonol; deallus, gwybodus; argyfiol; à eill, à allo, à alla; à ddichon, à ddichyn; à fedra, à fedr; agored, darostyngedig, darostyngol, tueddol; yn agored, yn ddarostyngedig, yn dueddol; parod i dderbyn, i lettya, *neu* i gynnwys; gwedi ei addasu *neu* gymhwyso; -adwy.
He is capable to do it—efe a eill, a ddichon, *neu* a fedr ei wneuthur; y mae yn alluog idd ei wneuthur.
Capable of pain — agored *neu* ddarostyngedig i boen; à eill dderbyn *neu* deimlo poen.

**Capableness**, *s.* (o *capable*) gallu, galluedd, galluogrwydd, hyalledd, galluolrwydd, gall; medr, medrusrwydd, medredd, medroldeb, medrolder, medroledd, medrusedd, cyfarwyddyd; addasrwydd, addasdeb, cyfaddasrwydd, cymhwysder, cymmesurdeb, cymhwysdra; gwybodaeth, deall, dealltwriaeth; digonoldeb, digoniant.

**Capacify**,† *v. a.* (Ll. *capax* a *facio*) addasu, cyfaddasu; galluogi.

**Capacious**, *a.* (Ll. *capax*) cynnwysfawr, helaeth, eang, ehelaeth, helaethfawr, helaethlawn; anghyfyng, ang, angol, angfawr, angdde, gannawl, cynnwysedigol, cynnwysol, maith, llydan, mawr; rhwth, (*f.* rhoth); gwybodus, deallus, craff, craffus; à anno, à anna, à ganno, à ganna, à gynnwyso, à gynnwysa, à ddalio, *neu* à ddeil lawer ynddo; y ganno, y canno, y gweddo, *neu* y cynnwyso llawer ynddo.
A capacious vessel—llestr cynnwysfawr.
Having a capacious maw—ceulrwth, ceulfawr.

**Capaciousness**, *s.* (o *capacious*) helaethrwydd, helaethder, ehelaethrwydd, eangrwydd, eangedd, angder, eangder, cynnwysforedd, cynnwysolrwydd; mawrder, maint, meithder; rhythni.

**Capacitate**, *v. a.* (o *capacity*) galluogi, galluoli; addasu, cyfaddasu, cymhwyso; gwneuthur yn addas, yn gyfaddas, yn gymhwys, *neu* yn gymmesur; donio, cynneddfu; cymmesuro, cymmedroli, *neu* gynnysgaethu â gallu *neu* â doniau.

**Capacitation**, *s.* (o *capacitate*) galluogiad, galluoliad; addasiad, cymhwysiad, cyfaddasiad; gwneuthuriad yn addas, &c.

**Capacity**, *s.* (Ll. *capacitas*) gallu; cymhwysder, galluedd, galluogrwydd; cynnwysiad, cynnwysedd; eangrwydd, eangder, eangedd, eng; cyflwr, ansawdd, gradd, nodwedd; lle; swydd, sefyllfa, galwad, cylch; deall; synwyr, pwyll, medr, cyrhaedd, cyrhaeddiad, dawn, cynneddf; teithi, atheithi, cynneddfau, doniau; grym, mesur, *neu* gyrhaedd synwyrau.
Beyond the capacities of our infirmities—uwch mesur ein gwendid.
A book fitted to the meanest capacity—llyfr cyfaddas i'r gwanaf ei ddeall; llyfr wedi ei gyfaddasu i'r deall gwanaf.
The capacities of youth—deall, dawn, doniau, *neu* gynneddfau ieuenctyd.
Of good capacity—synwyrol; cyflym ei synwyr *neu* synwyrau; cryf ei ddeall; da ei athrylith; o athrylith da; athrylithfawr; deallus, deallgar; o gynneddfau, o alluoedd, *neu* o ddoniau da.
It is on a level with my capacity—y mae yn cyttaraw, yn cyfladd, *neu* yn cydweddu â mesur fy synwyr i; y mae yn cyfateb i'm deall *neu* i'm cyrhaedd i.
I am not in a capacity to do much—nid wyf mewn cyflwr *neu* sefyllfa i wneuthur llawer; nid wyf mewn cylch i wneyd llawer.

**Cap-a-pie**, *ad.* (Ff.) o'r pen i'r traed; o'i ben i'w draed; i gyd drosto; drosto i gyd; o ben bwygilydd; o'r gwadn i'r coryn.
A knight armed cap-a-pie—marchog arfog o'i ben i'w draed; marchog arfog o'r pen i'r traed; marchog ollarfog, marchog cyfgaened, marchog amarfog.

**Caparison**, *s.* (Ysp. *caparazon;* Ff. *caparaçon*) suder, marchaddurn, addurn march, addurnwisg march.

**Caparison**, *v. a.* suderu, marchaddurno; addurno, addurnwisgo, ceinwisgo, trwsiadu, harddwisgo; gwisgo mewn addurnwisg.

**Caparisoned**, *p. a.* suderog; addurnedig, harddwisgedig; treciedig, seirchiedig, mewn seirch; gwedi ei drwsiadu *neu* addurno; llurigog, llawn-arfog, cyfgaened, llawndreciedig.

**Cape**, *s.* (Ff. ac Al. *cap;* Ysp. a Port. *cabo:* It. *capo*) penryn, pentir, penarth, peniarth, penardd, morben; pen, garth, rhyn, trwyn; coler, gwarlab, gwarlabed, gwarlain.
Cape of Good Hope—Penryn Gobaith Da.
Cape Town—Tref y Penryn.
Spanish cape—Yspaen-wisg, cochl fer Yspaeniad; cochl â chwcwll wrthi; capwarlab, gwarlab Yspaenig.

**Capella**, *s.* (Ll.) Gafran=seren ddysglaer yn ysgwydd aswy cydser y Cerbydwr.

**Capellet**, *s.* (Ff. *capelet*) chwydd egwyd, elinchwydd.

**Caper**, *v. n.* (Ff. *cabrer*, o'r Ll. *caper*, gafr) llamsachu, llamsach, crychneidio, cyrchneidio, cyrchlamu, cyrneidio, ysboncio, crychlamu, llamu, llemain, dychlamu, prancio, neidio, dawnsio, corelwi, hobelu, pystyled, pystylu, darchwareu, ystumio, digrif ystumio.
   Capering horse—march llamsachus.
   He came capering — daeth dàn grychneidio *neu* lamsach.

**Caper**, *s.* llamsach, crychlam, cyrchlam, cyrchnaid, crychnaid, cyrnaid, llam, naid, corelw, dawns, ystum, pranc, ystum digrif.
   Cross caper—trawsnaid, trawslam, croesnaid, croeslam, gwrthnaid, gwrthlam, croeslamsach.
   Caper-cutting—llamsachiad, crychlamiad, cyrchneidiad, llamiad, neidiad.

**Caper**, *s.* (Ff. *capre;* Al. *kaper;* Ll. *capparis;* Syr. *capar*) caprwydd; capr-fywull, blagur capr.
   Caper-bush, } Caper-tree, } caprwydden; *pl.* caprwydd.

**Caperer**, *s.* (o *caper*) llamsachwr, crychlamwr, crychneidiwr, crychlamydd, llamwr, llamydd, neidiwr, ystumiwr; corelwydd, dawnsiwr.

**Capias**, *s.* (Ll. *capio*) cipwys.
   *Capias ad respondendum* — cipwys cyn barn; cipwys i ateb.
   *Capias ad satisfaciendum* — cipwys wedi barn; cipwys attafael, attafaelwys.

**Capibar**, *s.* y gwyfochyn, y tapir trwyndew.

**Capillaceous**, *a.* (Ll. *capillaceus*) brigeraidd, brigerol, gwalltaidd, gwalltog.

**Capillaire**, *s.* (Ff.) surfedd diwlith, llysgyflaeth, llysnodd diwlydd; surfedd o wallt y forwyn.

**Capillament**, *s.* (Ll. *capillamentum*) llinen, blodlined, brigerlin, llinan, llinionen, manedefyn, meinedefyn, meinfrigeryn, edafedden: *pl.* llinion, blodlinion, brigerlinion, brigwallt, gwullflewiach, manedafedd, briger blodau, briger.

**Capillary**, *a.* (Ll. *capillaris*) brigeraidd, brigerol, gwalltaidd, blewaidd, llinedol; main, mân.
   Capillary attraction — attyniad brigerol, attyniad brigeraidd, brigerdyniad.
   Capillary tube *or* pipe—brigerbib, brigerbibell, chwibol brigeraidd, meinbib, meinbibell.
   Capillary veins—manwythenau, manwythi, meinwythenau.
   Capillary plants—brigerlysiau.
   Capillary action — brigerwaith, gweithrediad brigeraidd.

**Capillary**, *s.* manwythen, meinwythen, meinwythïen, llinwythen; meinbib, meinbibell.

**Capillation**, *s.* (Ll. *capillo*) manwythen, meinwythen.

**Capilliform**, *a.* (Ll. *capillus* a *forma*) ar ddull *neu* lun briger; brigeraidd, gwalltaidd, blewaidd.

**Capital**, *a.* (Ll. *capitalis*) prif, penaf, arbenig, arbenigol, pen; rhagorol.
   Capital letter—prif lythyren, priflythyren, llythyren benigol, llythyren fawr.
   Capital city—prif ddinas, prifddinas, pendinas, dinas benaf, mamddinas, mamdref, prifgaer, mamgaer.
   Capital ship—priflong.
   Capital stock—argyffre, cynsawdd, ariansawdd, penswm, pensum, prifsum, dechreusawdd, y cyff, y prifgyff; cyfalaf, elw; trysorgyff, cyffnwyddau.
   Capital crime *or* offence—trosedd marwol, trosedd dïenydd, trosedd angeuol, achos crog, mater crog, bai collfywyd; caredd teilwng o angeu; trosedd yn haeddu marwolaeth *neu* angeu; prif drosedd, camwedd dïenydd; cyflafan farwol *neu* angeuol.
   Capital punishment — prif gosp; cosp benigol; cosp farwol *neu* angeuol; cosp ddïenydd, cosp ddïenyddol, prif gospedigaeth, dïenyddiaeth; cosp marwolaeth *neu* angeu.
   War is capital to thousands—angeuol i filoedd yw rhyfel; mae rhyfel yn angeuol *neu* ddïenyddol i filoedd; dwg rhyfel brif gosp ar filoedd.
   The seven capital sins—y saith prif-wyd, y saith prif wŷd, y saith prif bechod.
   Capital trial—prawf am fywyd, prawf bywyd.
   Capital advantages—manteision rhagorol; y manteision goreu.
   Capital bruise—briw penaidd; briw ar *neu* yn y pen.
   Capital cross — croes benynog, argonog, *neu* benclymog.

**Capital**, *s.* (Ll. *capitellum*) argyffre, cynsawdd, cyn-eiddo, cyn-alaf, cyfalaf, prifgyff, ariansawdd, cynsum, elw; priflythyren; prifddinas, pendinas; penclwm.
   Capital (of a column, pillar, *or* pilaster) —penclwm, penglwm, heiliog, argon, argwn, penyn, pillben, pen colofn.
   Composite capital — penclwm cymmysg, heiliog gyfansawdd.
   Doric capital—penclwm Dorig, penyn Doraidd.
   Capitals—priflythyrenau, llythyrenau penigol, penigolion, penigoliaid.
   Small capitals — penigolion bychain *neu* fân; priflythyrenau mân *neu* fychain; prif lythyrenau mân.
   Capital of a state—prifddinas gwlad; tref benaf gwlad *neu* deyrnas.
   Capital and interest—argyffre a llog, cyfalaf a llog, prifsum a llog, cyn-eiddo a llog, &c.
   Capital and labour—eiddo a llafur; argyffre a llafur; meddiannau a gwaith.

**Capitalist**, *s.* (o *capital*) cyfalafydd, cyfalafwr, cyn-alafydd, ariansoddog; perchen argyffre; goludog.

**Capitally**, *ad.* (o *capital*) yn arbenig; mewn modd arbenig; yn rhagorol; yn y cyfryw fodd ag a ddygo un dàn farn marwolaeth; yn ddïenyddol, yn eneid-faddeu.
   To be capitally convicted — cael ei gollfarnu; cael ei fwrw i farwolaeth; cael ei farnu yn euog o farwolaeth; cael achos angeu mewn un; cael ei farnu yn eneidfaddeu; cael yn euog o drosedd marwol.
   To punish capitally—cospi â marwolaeth *neu* ddïenydd; prif-gospi; dïenyddu; rhoi i farwolaeth.
   To be punished capitally—cael ei ddïenyddu *neu* ddïenyddio; cael ei roddi i farwolaeth; dyoddef prif gosp; goddef eithaf y gyfraith.

**Capitalness**, *s.* (o *capital*) trosedd marwol, achos crog, mater crog.
**Capitate**, *a.* (Ll. *capitatus*) pendyfog, pendyfol.
**Capitation**, *s.* (Ll. *capitatio*) peniant; treth y penau, treth penau, treth ben, arian pen, taliad pen, tâl pen.
**Capite**, *s.* (Ll. *caput*) pendaliad, prifddaliad.
  Tenure in capite—pendaliad, pendeiliadaeth, prifddaliad, prifddeiliadaeth.
  Tenant in capite—pendeiliad, prifddeiliad=un à ddaliai dir yn ddigyfrwng oddi gàn y brenin.
**Capitular**, **Capitulate**, **Capitellate**, *a.* (Ll. *capitalis*, *capitellum*, *capitulatus*, o *caput*, pen) pendyfigol, llysbenig.
**Capitol**, *s.* (Ll. *capitolium*) teml Iau yn Rhufain; y Capitol, Capitoldy; cabidwl, cabidyldy; llywotty.
**Capitular**, **Capitulary**, *s.* (Ll. *capitulum*) penodraith, clasraith, cabidylraith; clasreithres, clasddeddfawd; corff o ddeddfau *neu* gyfreithiau Cynghor Eglwysig.
**Capitulary**, *a.* cabidylaidd, eglwysgorol, glwysgorol.
**Capitulate**, *v. n.* (o'r Ll. *capitulum*) cynghreirio, ammodi, gal-ammodi, gal-gynghreirio; ammodi yn nghylch rhoi amddiffynfa i fyny; gildio ar delerau; ymroddi ar ammodau; cytuno ar *neu* gynnyg ammodau ymroad; gwneuthur ammodau rhoi i fyny; ceisio heddwch dàn ammodau penodol; rhoi lle *neu* ddiffynfa i fyny dàn ammodau sicr; ymroddi i fyny; rhoi i fyny; cylafareddu.
**Capitulation**, *s.* (o *capitulate*) cynghreiriad, ammodiad, gal-ammodiad, gal-gynghrair; ammodiad *neu* gytundeb yn nghylch ymroddi i fyny; rhoddiad i fyny dàn ammodau; banau yr ymroad; erthyglau yr ymroddiad; cylafareddiad.
  To demand a capitulation—gofyn cylafaredd yn nghylch rhoddi amddiffynfa i fyny; gofyn gal-ammodiad.
  Articles of capitulation—erthyglau galgynghrair; banau yr ymroad; yr ammodau dàn y sawl y rhoir amddiffynfa i fyny.
**Capitulator**, *s.* (o *capitulate*) cylafareddwr, cynghreiriwr, ammodwr, gal-ammodwr, galgynghreiriwr.
**Capitule**,† *s.* (Ll. *capitulum*) crynodeb, crynoad.
**Capitulum**, *s.* (Ll.) pencnaw, penclymyn.
**Capnomancy**, *s.* (Gr. *capnos* a *manteia*) myg-armes, mygddewiniaeth, dewiniaeth â mwg.
**Capnomor**, *s.* (Gr. *capnos* a *moira*) mygwy, myghylif.
**Capoch**, *s.* (Ff. *capuchon*)=*Capouch*.
**Capoch**, *v. a.* digycyllu, dadgycyllu, digwflenu.
**Capon**, *s.* (Ysp.; Ff. *chapon;* Ll. *capo*) cabwllt, capwllt, adgeiliog, ceiliog dysbadd, ceiliog dysbaidd, ceiliog dysbaddedig, caprwn.
  Capon's tail—cynffon y cabwllt, cynffon y ceiliog, llysiau Cadwgan, gwell na'r aur.
**Caponniere**, *s.* (Ff.; Ysp. *caponera*) llechfa danddaiarol.
**Caponize**, *v. a.* (o *capon*) cabylltu, dysbaddu ceiliog.
**Capot**, *s.* (Ff.) cast ar gardiau.
**Capot**, *v. a.* castio ar gardiau.
**Capote**, *s.* (Ff.) hirsegan, trosdoron.
**Capouch**, *s.* (Ff. *capuchon*, *capuce*) cwcwll, cwflen, cwfl, hwf mynach.
**Cappadine**, *s.* (o *cap?*) math o sidan.
**Cap-paper**, *s.* cappapyr, papyr cap.
**Capper**, *s.* (o *cap*) capanwr, capwr; gwneuthurwr *neu* werthwr capiau.
**Capping**, *s.* (*cap*) capiad; tap, tapyn, tepyn, tapig, capan.
**Capra**, *s.* (Ll.) yr afr, gafr.
**Caprate**, *s.* (o *capra*) gafraint, llillaint: *pl.* gafrhalion.
**Capreolate**, *a.* (Ll. *capreolus*) amdorchog, amdorchol, amglymol, amdorchaidd.
**Capric**, *a.* (Ll. *capra*) gafrig, llillig.
  Capric acid—sur gafrig.
**Capriccio**, *s.* (It.) nwythalaw.
**Capriccioso**, *s.* (It.) alaw nwythrydd, nwythryddal.
**Caprice**, *s.* (Ff.; It. *capriccio*) mympwy, nwyth, chwidredd, asbri, nwyd, gwŷn anwadal, chwim, chwimp, nwythas, chwidrad, cymyg; anian anwastad, anhysaf, *neu* ansafadwy; tymmer newidiol; nwyd ysgafn, ysgoewan, gwammal, *neu* wagsaw; ias pen, gwib meddwl; anwadalwch, gwamalder, anynadrwydd; gwamaldyb; hynt.
**Capricious**, *a.* (o *caprice*) mympwyol, gwamal, anwadal, nwythol, nwythus, nwythig, nwythog, nwydus, penchwiban, oriog, anwastad, ansafadwy, anhysaf, newidiol, cyfnewidiol, ansefydlog, ysgoewan, ysgoewain, ysgoew, syfal, ysgafn, gwagsaw, ysmala, anystywallt, anhydyn, anhywaith, trofäus, chwidr, chwidrog, cymygol, coegdybus, gofregus, arnwythus, ffoldybus; gwynafog, anynad, drygnwydus, drygnawsus; hyntiog; llawn o goegfeddyliau.
  A capricious man — gwamalddyn; dyn anwadal, nwythus, &c.; chwidryn, monyn.
**Capriciousness**, *s.* (o *capricious*) anwadaledd, anwadalwch, gwamalder, gwamalrwydd, gwamaldod, gwamaledd, anwadalrwydd, mympwyolrwydd, mympwyoldeb, nwythusder, nwythusrwydd, nwythigrwydd, nwythogrwydd, newidioldeb, anwastadrwydd, ysgafnder, gwagsawrwydd, oriogrwydd, penchwibandod, chwidredd, syfaldod, ysmaldra, ysmalder, ansefydlogrwydd; anhydynrwydd, anhynawsedd, anhyweithdra; coegfeddylgarwch.
**Capricorn**, *s.* (Ll. *capricornus*, o *caper*, gafr, a *cornu*, corn) yr Afr, arwydd yr Afr; Alban Arthan=y mwyaf deheuol o'r 12 arwydd.
  Tropic of Capricorn—trofa yr Afr, trofan yr Afr; trofa byrddydd gauaf; trofan Alban Arthan; Alban Arthan.
**Caprid**, *a.* (Ll. *caper*) perthynol i'r gafrolion; gafrolig, gafrol.
**Caprification**, *s.* Ll. (*caprificatio*) ffigysriliad=dull dwyreiniol o gyflymu addfediad ffigys, trwy offerynoliaeth math o bryfyn.
**Caprificus**, *s.* (Ll.) ffigyswydden wyllt, ffigysbren gwyllt.
**Caprifole**, **Caprifolium**, *s.* (Ll. *caprifolium*) gwyddfid, gwynwydd, melog, crydnydd, llaeth y geifr, sugn y geifr, gwyddwydd, tethau'r gaseg.
**Capriform**, *a.* (Ll. *caper* a *forma*) gafraidd; ar lun gafr; âg iddo *neu* iddi ddull gafr.
**Caprigenous**, *a.* (Ll. *caprigenus*) gafreigiol;

gafr-anedig; gafr-fagedig; cynnyrchedig gàn afr.
**Caprine**, *a.* (Ll. *caprinus*) gafraidd, gafrol, gafrin, gafrain; tebyg i'r afr.
**Capriole**, *s.* (Ff. *cabriole*, o'r Ll. *caper*) gafrlam, gafrlam march; llam *neu* naid i fyny fel eiddo gafr.
**Capriped**, *a.* (Ll. *capripes*) gafrbedog, gafrbediog, gafrdroediog, gafrbed, gafrdroed; â chanddo draed fel traed gafr.
**Caproate**, *s.* (o'r Ll. *caper*) gafroaint.
**Caproic**, *a.* (o'r Ll. *caper*) gafröig.
Caproic acid—sur gafröig.
**Cap-sheaf**, *s.* cap-ysgub, yr ysgub gap, y cap; cap beisgawn *neu* ddas.
**Capsicum**, *s.* pupyr yr adar, poethrawn yr adar; pupyr, poethrawn, poethlys.
**Capsize**, *v.* (?) dymchwel, dymchwelyd, ymchwelyd, diwelu, diwel.
**Cap-squares**, *s. pl.* cap-ysgwarion.
**Capstan**, *s.* (Ff. *cabestan;* Ll. *capistrum*) rhwyniadyr, cyngrodyr, dyrwynlath, dyrwyndrawst.
**Capstone**, *s.* (*cap* a *stone*) capfaen.
**Capsular**, **Capsulary**, *a.* (Ll. *capsula*) cistol, cistaidd, cistenaidd, cistanaidd, ceuaidd, ceuol, amgeuol, cellog.
**Capsulate**, **Capsulated**, *a.* (o *capsula*) cibedig, cistedig, blychedig, ceuedig, amgeuedig; yn cau am; yn tyfu dros; amguddiol.
**Capsule**, **Capsula**, *s.* (Ll. *capsula;* Ff. *capsule*) hadgib, hadgell, ponar, caffelgib, cib, amgib, paisg, amgod, hadgod, hadgaen.
**Captain**, *s.* (Ff. *capitaine*, o'r Ll. *caput*) cadben; pen, penaeth, blaenor.
Captain-general — penciwdod, cadlywydd, pencadlyw.
Captain-lieutenant—rhaglaw cadben, rhaggadben.
Captain of five men—pumwriad, blaenor pumwr, cadben ar bump.
Captain of ten men—dengwriad, blaenor dengwr, cadben ar ddeg.
Captain of fifty—pumdegwriad, pumdengwriad, blaenor pumdeg; cadben deg gwr a deugain; cadben ar bumdeg.
Captain of a hundred—canwriad; cadben ar gant.
Captain of a thousand—milwriad; blaenor mil, cadben ar fil, penaeth mil.
Captain of a ship—cadben, llywydd, penaeth, *neu* feistr llong; llong-gadben.
Chief captain—pencadben.
Captain of a castle—ceidwad castell, penceidwad castell, cadben castell.
Captain Bashaw, Capudan Bashaw, — penllyngesydd; yr arlyngesor yn amherodraeth Twrci.
Sea-captain — morgadben; cadben *neu* feistr llong.
Let us make a captain—gosodwn ben arnom (*Num.* xiv. 4).
God himself is with us for our captain—Duw sy ben gyda ni (2 *Cron.* xiii. 12).
Captain of the Lord's host—tywysog llu yr Arglwydd (*Ios.* v. 14, 15).
**Captaincy**, **Captainship**, *s.* (o *captain*) cadbenaeth, cadbeniaeth, cadbendod, cadbenogaeth; penciwdodaeth, cadlywiaeth.
**Captainry**, *s.* (o *captain*) cadbenaeth, cadbeniaeth; pendodaeth.
**Captation**, *s.* (Ll. *captatio*) truth, gweniaith; truthiad; ennilliad bodd drwy weniaith *neu* druth; truthennilliad.
**Caption**, *s.* (Ll. *captio*) daliad, gafaeliad; gwaesgeb; rhagre.
**Captious**, *a.* (Ll. *captiosus*) cecrus, ymrafaelus, cipgar, dichellgar, ystrywgar, cyfrwysgall, hocedus, twyllgar, dichellus, dichellog, bradus, cyfrwysddrwg; dadleugar, ymrysongar, sengar; chwannog i rwydo; chwannog i faglu; â'i fryd ar ddàl drwy ddichell; croes, croesarain, cynhenus, anfoddgar, anfoddog; hoff o wrthatteb *neu* wrthddywedyd.
A captious question—holiad dichellgar a thwyllodrus; gofyniad cecrus *neu* ystrywgar.
A captious fellow—cecryn, cecrusyn, cecrwr; un cyfrwys-ddadl; un â'i fryd ar ddàl *neu* rwydo arall yn ei ymadrodd drwy ddichell; gwarchäwr geiriau; un chwannog i feio ar ymadroddion rhai ereill; un cecrus, &c.
**Captiousness**, *s.* (o *captious*) cecrusrwydd, cecrusedd, cipgarwch, dichellgarwch, ystrywgarwch, dadleugarwch, sengarwch, cynhenusrwydd; tuedd i warchau geiriau; chwannogrwydd i feio; anfoddgarwch.
**Captivate**, *v. a.* (Ll. *captivo*) caethiwo; dwyn yn gaeth; rhoi yn gaeth; dwyn i gaethiwed; darostwng; dàl yn garcharor; caethiadu; swyno, rhinio, hudo, llygattynu.
To captivate the affections—ennill, denu, *neu* dynu y serchiadau; myned â'r serch; dwyn y syrch; caethiwo, maglu, *neu* rwydo y serch; swyno y serchiadau.
**Captivate**, *a.* caethgludedig, caethiwedig, caethiwus; caeth, caethiw, argaethig.
**Captivating**, *a.* (o *captivate*) hudolus, hudol, hudolaidd, swynol, swyniadol, swynlawn; yn denu y serch; caethiwol.
**Captivation**, *s.* (o *captivate*) caethgludiad, caethiwad; daliad yn garcharor; caethiad, darostyngiad; swyniad, hudiad, rhiniad, swynoliaeth, hudoliaeth.
**Captive**, *s.* (Ll. *captivus*) caeth, caethwas, caethyn, caethddyn, gwr caeth, caethwr; carcharor rhyfel; caethglud; un o'r gaethglud.
A female captive — caethes, caethferch, caethforwyn, caethddynes, caethwraig, benyw gaeth; un o'r gaethglud.
Captives—y gaethglud, caethglud; meibion y gaethglud.
Among the captives—yn mysg y gaethglud (*Esec.* i. 1).
**Captive**, *a.* caeth, caethiwus, caethgludedig, caethiwedig, caethiw, argaethig, caethedig.
To lead *or* carry away captive—caethgludo; dwyn i gaethiwed.
**Captive**, † *v. a.* caethiwo, caethgludo, caethu.
**Captivity**, *s.* (Ll. *captivitas;* Ff. *captivité*) caethiwed; caethglud; alltudedd, alltudiaeth; caethder, caethfyd, caethiant, caethnawd, caethrawd; caethgludiad, caethiwad, caethialedd.
He led captivity captive—efe a gaethiwodd gaethiwed.
To lead into captivity—caethgludo; dwyn i gaethiwed.
To bring into captivity—caethiwo; dwyn i gaethiwed.
Get thee to them of the captivity—dos at y gaethglud.

**Bringing into captivity every thought**—gàn gaethiwo pob meddwl.
**Those led into captivity**—y gaethglud.

**Captor**, *s.* (o'r Ll. *capio, captus*) ysgafaelwr, ysglyfiwr, ysglyfydd, gafaelwr, daliwr; caethgludwr, cadwynor; à ddeil *neu* à ddalio yn garcharor; à gymmero ysgafael.

**Capture**, *s.* (Ll. *captura*) ysgafael, ysbail, ysglyfaeth, ysgafaeth, helfa, dalfa, caffaeliad, praidd; daliad, ysglyfiad, ysgafaeliad, gafaeliad, gafael; cymmeriad ysgafael.

**Capture**, *v. a.* dàl, dala, gafaelu, gafaelyd; ysgafaelu, esgafaelu, ysglyfio; cydio yn; cymmeryd.

**Capuccio**, *s.* (It.) cwcwll, cwfl, cwflen, hwf.

**Capuched**, *a.* (Ff. *capuce*) cycyllog.

**Capuchin**, *s.* (Ff. *capucin, capuchon, capuce*) cwcwll, cwfl; colomen gycyllog, colomen gopog, hwfgolomen.
**Capuchin friar**—brawd cycyllog, cycyllfrawd, brawd llwyd; mynach o urdd Sant Ffransis.

**Capuchins**, *s. pl.* Cycyllfrodyr, Cycyllogion, Brodyr Llwydion, Mynachod Llwydion; Mynachod o urdd Sant Ffransis.

**Capucine**, *s.* (Ff.) math o epa.

**Capulin**, *s.* ceirios Mecsico.

**Caput**, *s.* (Ll.) pen, y pen; pendod.

**Capward**, *s.* creadur amelfenol yn Brasil.

**Car**, *s.* (C.; Gw. *carr, carra*; Llyd. *qarr*; Al., Is., a D. *karre*) càr; cerbyd, clud.
**Car (in astronomy)**—Llun y Llong, y Llong foel, yr Arth, y saith seren ogledd, saith seren y gogledd; Men Carl.

**Carabine**, } *s.* (Ff. *carabine*) corwn, corddryll,
**Carbine**, } gŵn byr, carbin.

**Carabineer**, } *s.* (o *carabine, carbine*) corynwr;
**Carbinier**, } byrynwr, carbinwr; milwr à gario gorwn *neu* gorddryll; *pl.* coryniaid, byryniaid, carbinwyr, carbiniaid.

**Carac**, } *s.* (Port. ac Ysp. *carraca*; Ff. *caraque*)
**Carack**, } math ar long fawr briodol i Portugal; trafnidlong *neu* Ind-long y Portugiaid.

**Caracole**, *s.* (Ff.) gogylchdro, goamdro, hanner tro, hanner troad, gwyrdroediad; trorisiau, nyddrisiau.

**Caracole**, *v. n.* gogylchdroi, goamdroi, gochwylo, hanner troi; gwyrdroedio.

**Caracoly**, *s.* cymmysg o aur, arian, a chopr.

**Carafe**, *s.* (Ff.) dyfrel, gwydrel ddwr, gwybotel, potel ddwr.

**Caramel**, *s.* (Ff.) llosgsugr, llosgsugar, dusugr; sugrdarthion, sugardarthion.

**Carapace**, *s.* (?) argragen, argresten, argrest.

**Carassow**, *s.* aderyn Amerig o ryw y goediar.

**Carat**, *s.* (Ff. ac Al.) pedwar gronyn; y 24edd ran o unrhyw faint *neu* swm o aur.
**Gold of twenty carats**—aur o ugain carat; aur à'r ugeinfed ran o hono yn ddelid pur; ugain rhan o aur, a phedair o rywbeth arall.

**Caravan**, *s.* (Ysp. *caravana*; Ff. *caravane*; Per. *cârwân*) teithfyntai, cytteithlu, teithlu, myntai=myntai o deithwyr, pererinion, neu fasnachwyr, yn cydymdeithio, yn y Dwyrain: cludfen, mydfen, togar, tofen, car-fen.

**Caravansary**, } *s.* (o *caravan*; Ff. *caravansera*)
**Caravansera**, } teithletty, teithwestty, teithletty dwyreiniol.

**Caravel**, } *s.* (Ysp. *caravela*; Ff. *caravelle*)
**Carvel**, } math o long fechan.

**Caraway**, *s.* (Gr. *caros, caron*; Ll. *caros, careum*; o *Caria*, yn Asia Leiaf) garddwy, carddwy, carwas.
**Caraway seed**—had garddwy.

**Carbazotic**, *a.* (*carbon* ac *azote*) creisflorig.
**Carbazotic acid**—sur creisflorig, sur blorulwin, sur cresflorig.

**Carbon**, *s.* (Ll. *carbo*; Ysp. *carbon*; Ff. *charbon*) ulyf, ulyfai, llosged, ulw, ulwan, ulwyn, creisid, purlosged, carbon.
**Wood carbon**—golosgoed, golosg, golosged.
**Animal carbon**—ulyf milaid, mil-losged, milgarbon.
**Oxide of carbon**—egrid ulyfig, creisegrid, egr-ulyf.

**Carbonaceous**, *a.* (o *carbon*) golosg, golosgaidd, golosgedaidd, llosgedaidd.

**Carbonade**, } *s.* (Ff. *carbonnade*, o'r Ll. *carbo*)
**Carbonado**, } brwyll, briwl; cig wedi ei rostio yn ddarnau ar farwor.

**Carbonade**, *v. a.* brwyllo, brwyllan, briwlio, briwlian.

**Carbonate**, *s.* (o *carbon*) ulyfaint, ulwaint, creisidas; hal sur ulyfig.

**Carbonated**, *a.* (o *carbonate*) ulyfedig; cymmysgedig âg ulyfaint, *neu* â sur ulwin.

**Carbonic**, *a.* (o *carbon*) ulyfig, ulwig, ulwin, creisin, carbonig.
**Carbonic acid**—sur ulyfig, sur ulwin, sur creisin, ulyfsur, sur carbonig.
**Carbonic acid gas**—nwy sur ulwin, tagnwy, nwy ulyfsur.
**Carbonic oxide**, } egrid ulyfig, &c.; egr-ulyf,
**Oxide of carbon**, } creisegrid, cresrwd.

**Carboniferous**, *a.* (Ll. *carbo* a *fero*) ulyfddwyn, ulyfddygol; yn cynnyrchu ulyf *neu* olosg.

**Carbonization**, *s.* (o *carbonize*) ulyfiad, ulyfeiddiad, ulwad.

**Carbonize**, *v. a.* (o *carbon*) ulyfu, ulwadu; troi yn ulyf *neu* losged.

**Carbonohydrous**, *a.* (*carbon*, a Gr. *hudôr*) ulyfulaidd, cresulaidd, creisulaidd; o ulyf ac ulai.

**Carbo-surphuret**, *s.* ulyf-ufeled, creisufeled.

**Carboy**, *s.* basgwydrel, basgbotel; costrel wydr mewn basgwaith.

**Carbuncle**, *s.* (Ll. *carbunculus*) carbwncl, carbunclus, y maen carbuncl: llosdardd, llosglynor, llosbigodyn, tandde chwyddedig.

**Carbuncled**, *a.* (*carbuncle*) carbuncledig; addurnedig â charbuncl; amryfrith, amryliw.

**Carbuncular**, *a.* (o'r Ll. *carbunculus*) carbunclaidd, carbynclaidd; perthynol i'r carbwncl; fel y carbuncl; coch, llidiog, llidus.

**Carbunculation**, *s.* (Ll. *carbunculatio*) blagurddeifiad, blagurfalliad.

**Carburet**, *s.* (o *carbon*) ulyfed, creisured, ulyfured, llosgured=cyfuniad o ulyf âg unrhyw ddelid, alcali, neu ddaiar.
**Carburet of iron**—dur; creisured *neu* ulyfured haiarn.
**Carburet of hydrogen**—creisulai, ulyf-ulai.
**Carburet of azote**—creisflorai, cresflorai.

**Carburetted**, *a.* (o *carburet*) ulyfedog, ulyfurog, ulyfedig, ulyfaidd.
**Carburetted hydrogen** — nwy creisulai, creis-ulnwy, llosnwy, tanchwa.

**Carcanet**, *s.* (Ff. *carcan*) gemgadwyn, gemgadwen, gemdorch, gleindorch, gemdid.

**Carcass**, *s.* (Ff. *carcasse*) celain, celan, corff marw, ysgerbwd, ysgorwg, corwg, abwy, abo, burgun, llurgun, abod, buria, ysgrwd, ysgrud, abar, dylaith; corff.

Carcass of a saddle—tumon cyfrwy.
Carcass of mutton—corwg mollt, cwrwg mollt.
The carcass of a fat cow—corwg *neu* gwrwg buwch dew; cig buwch fras heb groen, heb ymysgar.
He is a mere carcass — ysgerbwd hollol ydyw; nid yw ond croen ac esgyrn; nid oes ond ei lun.
Like a dead carcass—celaneddaidd, celanaidd, celeinaidd; tebyg i gelain, corwg, *neu* abwy.
Full of dead carcasses—celaneddog, llawn celanedd, llawn o gelanedd.

Carcass, *s.* llosgeubel, ceulosbel, eislosbel.
Carcerage, *s.* (Ll. *carcer*) charchardal, gobr carchar.
Carcer, *s.* (Ll.) cychwynfa, cychwyniad.
Carceral, *a.* (Ll. *carcer*) carcharol.
Carcinoma, *s.* (Ll.; Gr. *carcinôma*) cancr, cranc, mythl.
Carcinomous, *a.* (o *carcinoma*) cancraidd, crancaidd, cancrog.
Card, *s.* (Ff. *carte;* It., Ysp., a Port. *carta;* Ll. *charta*) carden, cerdyn, sethlen, sethen: *pl.* cardiau, cardau, sethleni, sethlenau.
Pack of cards—cyff o gardiau, cniw o gardiau.
The pack of cards—y cyff cardiau, y cniw cardiau.
Suit of cards—sut o gardiau; cardiau o'r un nod oll.
Court card—carden fraith.
The trump card, The turn-up card, } y garden fynegai, y sethlen fynag, y ddangoseg.
A small card—cardenan, cerdyn, sethlenan, carden fechan.
A deal *or* hand of cards—gyr o gardiau, hobyn o gardiau; hobyn, gyr.
To cut the cards—tori y cardiau, tori'r cardau.
To deal the cards—rhanu, cyfranu, dosbarthu, *neu* yru y cardiau.
Deal away—gyrwch y cardiau.
I am to deal next—myfi sydd i ranu yn nesaf; mi biau rhanu yn nesaf.
To pack the cards—cymmoni, cydosod, *neu* daclu y cardiau; cniwio y cardiau.
To shuffle the cards—cymmysgu y cardiau; mysgu y cardau.
Card room—cell y cardiau; ystafell y cardiau.
Visiting card—carden ofwy, sethlen ofwy, cerdyn ymweled, carden alw.
Card-playing — chware cardiau, chwareu cardau; chwareuaeth *neu* chwaryddiaeth cardiau.
Card-player—cardeuwr, chwareuwr cardiau, chwariwr cardau.
The cards go against you—y mae ffawd yn eich gwrthwynebu; try y cardiau yn eich erbyn; y mae y cardiau yn eich gwrthwynebu.
Card of the compass—carden y compawd, gwyneb y cwmpas.

Card, *v. n.* cardio, chwareu cardiau; chware llawer ar gardiau; ennill.
Card, *s.* (Is. *kaard;* D. *karde;* Ff. *carde*) crib, crib wlan.
Stock cards—cribau cyffion.
Iron card for flax *or* hemp—heislan, heisyllt, trafel, rhipai.
Back-board of a card—clawr crib, cefn crib.

Card, *v. a.* cribo, cribo gwlan, gwlan-gribo; heislanu.
Carding and spinning—cribo a nyddu.
To card wool—cribo gwlan.

Cardamine, *s.* (Gr.) hydyf.
Cardamoms, *s. pl.* (Gr. *cardamômon*) grawn Paradwys, grawn Paris.
Carder, *s.* (o *card*) cribydd, cribwr, cribwr gwlan; chwareuwr cardiau, cardeuwr, cardiwr, cardenwr.
Carder and spinner—cribwraig a nyddwraig; cribwr a nyddwr.

Cardia, *s.* (Gr.) y galon, calon.
Cardiac, Cardiacal, } *a.* (Gr. *cardiacos;* Ll. *cardiacus*) calonol; perthynol i'r galon; adfywiol, cryfhaol, cyfnerthol, gwrygiol, lloniannol, llonedigol, siriol, cysurol.
Cardiac passion=*Cardialgy.*

Cardiac, *s.* sirgyffer, ffaethgyffer, sirlyn, cysurlyn; cyffer à fywioga yr ysbrydoedd.
Cardiace, *s.* (Gr. *cardia?*) cardias, maen gwerthfawr.
Cardialgy, *s.* (Gr. *cardia* ac *algos*) llosg cylla, cyllagwst, y dwr poeth, y dwfr poeth, ingloes, yr ingloes.
Cardieurysma, *s.* (Gr. *cardia* ac *eurunô*) calonlediad.
Cardinal, *a.* (Ll. *cardinalis*) prif, penaf, arbenig; sylfaenol.
Cardinal virtues — prifrinweddau, prif rinweddau=Cyfiawnder, Callineb, Cymmedroldeb, a Gwroldeb, yn ol tyb y Paganiaid gynt.
Cardinal points—prif bynciau, prif bwyntiau, y prifranau; pedwar ban y byd= gogledd, de, dwyrain, a gorllewin: codi a machlud haul; y nenbwnc a'r pedbwnc.
The cardinal points of the compass—prif byncian *neu* brif bwyntiau y compawd; prifranau y compawd, prif bigau y compawd, prif ysbagau y cwmpas.
The cardinal winds—y prifwyntoedd=y gwyntoedd à chwythant o'r prif byncian.
Cardinal signs — y prif arwyddion = yr Hwrdd, y Fantol, y Cranc, a'r Afr.
Cardinal numbers — rhifau arbenig, prif rifolion, prifrifau, rhifolion, prifrifedi= un, dau, tri, &c.

Cardinal, *s.* cyniadur, penuriad, prifor, penurddor, cynnorog.
Cardinal, Cardinal cloak, } prifordwyg, cynnordwyg.

Cardinalate, Cardinalship, } *s.* (o *cardinal*) prifuriadaeth, penuriadaeth, priforiaeth, cynnorogaeth.
Cardinalize, *v. a.* (o *cardinal*) gwneyd cyniadur; gwneuthur yn brifor.
Carding-Machine, *s.* peiriant cribo, ermig cribo, crib-ermig.
Cardiography, *s.* (Gr. *cardia* a *graphô*) calonddysgrifiad, dysgrifiad o'r galon.
Cardioid, *s.* (Gr. *cardia* ac *eidos*) calongom, asgregom, com ar lun calon.
Cardiology, *s.* (Gr. *cardia* a *logos*) caloneg, caloniaeth; treithawd ar y galon.
Cardiospermum, *s.* (Gr. *cardia* a *sperma*) calonhadog.
Cardiotomy, *s.* (Gr. *cardia* a *temnô*) calondrychiad, calondrwch.
Cardite, *s.* (Gr. *cardia*) efrith.

**Cardiopathia**, *s.* (Gr. *cardia* a *pathos*) clefyd y galon, calonwst.

**Carditis**, *s.* (Gr. *cardia*) calondandde, fflameg y galon, ennynfa calon.

**Card-maker**, *s.* cardenwr, sethlenwr, cardiwr; cribwr; gwneuthurwr cribau *neu* gardau.

**Cardoon**, *s.* (Ysp. a Ff. *cardon*) gorysgallen y gerddi, marchysgallen Yspaen.

**Carduelis**, *s.* (Ll. *carduus*) ysgallednod, y peneurod.

**Carduus**, *s.* (Ll.) ysgallen; *pl.* ysgall.

Carduus benedictus—ysgallen fendigaid.

**Care**, *s.* (S. *car, cara;* Gw. *car;* Ll. *cura*) gofal, pryder, carc, cur, dyddoriant, dawr, pryderi, dyddoriad, helbul; astigrwydd, ystigrwydd, dyfalwch, diwydrwydd; nodded, ymgeledd, amgeledd, nawdd; ystyriaeth, sylw, meddwl; baich, pwys, goreilid; gocheledd, gwiliawd, gochel.

Anxious care—gofal pryderus, cur, gofalgur, cur a gofal, helbul, trymfryd, tragofal, dygn ofal, gofal dygn, pryder, tra phryder, dygnedd, gofeiliant, prwysti.

To take care—gofalu, pryderu, dori, gwilio; cymmeryd gofal; dwyn cur a gofal; meddylio, meddylied; rhoi *neu* osod y meddwl ar; ymorol, astudio; bod yn ystig *neu* ddyfal; prisio; gochelyd, gochel.

To take care of—gofalu am, &c.; amgeleddu, areilio, golygu, gwylio, cyfarchwylio, goruchwylio, dyddori; gofalu am *neu* dros; cymmeryd gofal am, dros, *neu* o; gwylio dros.

To care for—gofalu am, &c.; gofalu dros; darbod dros; darparu i; bod â gofal am, dros, *neu* yn nghylch.

To have a care—gochel, gochelyd, gwilio, ymochelyd, ymogelyd.

Have care — gochel, ymochel, ymogela, cymmer ofal.

To have care of, / To have a care for, } gofalu am *neu* dros; bod â gofal am *neu* dros.

To have the care of—cael gofal; cael gofal arno; cael llywodraeth arno; cael goruchwyliaeth arno *neu* iddo; bod gofal, goruchwyliaeth, *neu* lywodraeth arno.

To put *or* cast away cares—bwrw *neu* yru ymaith ofalon; anghofio ei ofid; gyru *neu* fwrw ymaith dristwch; gyru gofal ymaith; gyru gofal byd ar dawl; ymgysuro, ymloni; codi, cysuro, *neu* loni calon.

Cast away care—cwyn *neu* cysura dy galon ac anghofia dy dristyd.

To be much disquieted with care—cael ei ddygn flino, ei ddygn boeni, *neu* ei ddirboeni gân ofal *neu* ofid; dwyn mawr ofid; bod yn dwyn cur a gofal.

To take care to do a thing—gofalu ar *neu* am wneuthur peth.

To be under a person's care—bod dàn ofal un; bod yn ngofal un; bod dàn nawdd, nodded, *neu* amgeledd un.

I commit him to your care—gorchymynaf ef i'ch gofal *neu* i'ch ymgeledd chwi.

Extreme care—gofal dwys, pryder dwys, gofal mawr, dwys ofal, tragofal.

The care of love—cur cariad, cur serch.

Care will kill a cat—gwyw calon gân hiraeth; gofal a ddwg henaint cyn yr amser.

Watching care will not let a man slumber—gofalus wylio a lestair hepian.

Without care, / Free from care, } diofal, dibryder, ysgyfala, diofalus; heb ofal, bryder, heb gur; mewn diofalwch.

Take care to pay—meddwl am dalu; gofala am dalu; meddylia ar dalu o honot.

They will not take care for us—ni osodant eu meddwl arnom; ni ofalant am danom.

He takes care for none but himself—ni dderbyd, ni ddarboda, *neu* ni ofala dros neb ond ei hunan.

I take no great care of these things—nid wyf yn gwneuthur nemawr o gyfrif o'r pethau hyn; nid wyf yn gofalu fawr am y pethau hyn.

He takes care for the rising age—y mae efe yn darparu i'r to ieuanc; y mae yn darbod dros y to ieuanc; y mae yn gofalu ar gyfer y to sy'n codi.

He took care of the flock—areiliodd y praidd; gofalodd am y ddeadell.

He took care of him—efe a'i hamgeleddodd; gofalodd am dano; cymmerodd ofal drosto.

Have a care not to do it—gwel nas gwnelych; gwel nas gwnelot; gwel nas gwnelit; gofala *neu* syna nas gwnelit.

I have a care—y mae arnaf ofal.

Have a care not to fall—gwilia *neu* cadw arnat rhag cwympo; edrych na chwympot; edrych na chwympych.

Have a care lest he hurt thee—ymgadw, gochel, *neu* ymochel rhag iddo dy niweidio; gwilia rhag iddo dy niweidio; cymmer ofal rhag gwneuthur o hono i ti niwed.

He had the care of instructing the children—arno ef yr oedd gofal addysg y plant; arno ef y rhoddwyd gofal addysgu y plant.

He had the care of the plate—cadwraeth y llestri arian a roddwyd iddo *neu* arno ef; arno ef yr oedd cadw y llestri arian.

Is she thy care?—ai hi yw dy ofal? ai hi yw gwrthddrych dy ofal? ai hi dy ofal?

**Care**, *v. n.* gofalu, pryderu, malio, dori, dyddori, gwilio, cymmeryd gofal, dwyn gofal, meddylio, meddylied; rhoi *neu* osod y meddwl ar; astudio; bod yn astig *neu* ystig; ystyried; prisio.

I care not, / I do not care, } ni'm dawr; ni ddoraf; nid wyf yn malio; nid gwaeth genyf; nid gwaeth gàn i; nid yw waeth genyf; nid yw waeth gàn i; nid yw fater genyf fi; nid yw fater gàn i; nid oes mater genyf; ni phrisiaf; nid wyf yn prisio dim; nid wyf yn dewis; nid wyf am; nid wyf yn chwennych.

What do I care?—beth waeth gàn i? beth waeth genyf fi? beth gwaeth yw genyf fi? beth wyf fi yn ei falio? beth wyf fi yn ei ofalu?

What would I care?—beth a ddorwn? beth ddorwn? beth fyddai waeth gàn i? beth fyddai waeth genyf *neu* genyf fi?

Care not for it—na fydded waeth genyt; na fid gwaeth genyt.

Carest thou not?—ai difater genyt? onid oes gofal genyt? ai nis gofali? ai nid oes genyt ofal?

I care not for knowing—nid gwaeth genyf wybod na pheidio.
Not that he cared for the poor—nid oherwydd bod arno ofal dros y tlodion.
I do not care for riding—nid oes arnaf chwant marchogaeth; nid oes imi ddim chwant marchogaeth.
Were he interred she careth not—ni ddawr hi ddaiaru hwn.
She cares nothing about you—nid yw hi yn malio dim am danoch.
They will not care for us—ni ofalant am danom; ni osodant eu meddwl arnom.
For aught I care—er dim à'm dawr; er dim à'm dawr i; er dim à ofalaf *neu* à ofalaf fi; er dim à faliaf; er dim ag wyf yn *neu* yn ei falio; er dim à ddoraf; er dim sy waeth gàn i.
Care-crazed—cur-friw, cur-friwedig, cur-yssig, cur-sigedig; cur-anmhwyllog.
Care-defying—cur-feiddiol, cur-heriol; à herio gur *neu* ofal; à ofyn waethaf cur.
Care-tuned—cur-gywair, cur-gyweiriol; galarus.
Care-wounded—cur-glwyfedig, cur-glwyfus.

Careen, (Ff. *carêner*, o'r Ll. *carina*) llongosgi, goleddu llong; goleddu, gogwyddo; llongdaclu, llongdrwsio; taclu, trwsio, cyweirio.

Careening, *s.* (o *careen*) goleddiad, osgoad, osgiad, gogwyddiad, goleddiad llong.

Career, *s.* (Ff. *carrière*; *It. carriera*) gyrfa, rhedfa, helynt, hynt, rhediad, rhedegfa, ystod, rhawd, cerhynt, gyrhynt, rhwysg, rhodre, rhedrawd, chwyl, darchwyl.
Full career—llawn-yrfa, llawn-frys, llawn gerhynt; gyrfa chwern *neu* wyllt.
In full career—ar y pedwar carn gwyllt; ar y gyrfau gwyllt; ar y cerhynt gwyllt; nerth traed y ceffyl.
Career (in falconry)—hedfa yr aderyn uwch 120 llath.

Career, *v. n.* rhedeg; rhedeg yn wyllt *neu* chwyrn; hwysgo, hyntio.

Careful, *a.* (*care* a *full*) gofalus, darbodus, gwyliadwrus, carcus, pryderus, dïesgeulus; gwiliadwrus, gochelgar, ymogelgar; dyfal, diwyd, astig, ystig, manol, manwl, ystyriol, pwyllog; trafferthus, trafaelus, prysur, poenus, trymfrydig, ditlin; yn edrych yn ei gylch; yn dwyn cur a gofal; llawn gofalon; gofalfawr.
Very careful—tragofalus, tradyfal, tradiwyd; gofalus iawn, &c.
To be careful—gofalu; bod yn ofalus; cymmeryd gofal; pryderu; bod yn bryderus; gwilio, gochel; bod yn wiliadwrus *neu* ochelgar.
Being careful of the common good—gàn ofalu am y budd cyffredinol (2 *Mac.* xi. 15).
Be careful for the country—cymmer ofal dros y wlad.
We have been careful—buom ofalus; cymmerasom ofal.
To make careful—peri gofal.
If thou carefully hearken—os gàn wrandaw y gwrandewi (*Deut.* xv. 5).
Carefully made—cywrain, cywraint, dichlyn, taclus; à wnaed yn ofalus; gwedi ei wneyd gyda gofal.
Though he sought it carefully—er iddo ei thaergeisio.

Carefulness, *s.* (o *careful*) gofal, pryder, pryderi, cur, carc; gofaledd, gofalusrwydd, pryderusrwydd, pryderoldeb, carcusrwydd; dyfalwch, dyfalrwydd, diwydrwydd, astudrwydd, astigrwydd, ystigrwydd, manylwch, manyldeb, manolrwydd; trymfryd, tristyd, ingder; cur a gofal; trymder, cythrudd, blinder, *neu* ofid meddwl; 'dïesgeulusdra; gwiliadwriaeth, gochelgarwch, gocheledd.
Without carefulness—yn ddiofal.
What carefulness it wrought in you—pa astudrwydd ei faint a weithiodd ynoch (2 *Cor.* vii. 11).

Careless, *a.* (*care* a *less*) diofal, esgeulus, anystyriol, anofalus, annarbodus, diddarbod, dibryder, difraw, ysmala, ysgyfala, anmhryderus, difeddwl, didrafferth, didres, digarc, didawr, annysgwylgar, anwyliadwrus, anochelgar, anystyrus, diystyr, difwriad, dïymdawr, difwrw, gwallus, gwallygus, anghryno, gwagsaw, annichlyn.
A careless discourse—ymadrodd anghywrain, annestlus, esgeulus, annhaclus, annyben, annichlyn, aflerw, *neu* anghryno.
Careless of his reputation—diddarbod am ei air da; diofal o'i *neu* am ei nodweddiad.
A careless person—dyn diofal, difraw, esgeulus, *neu* anystyriol.
To be careless of—bod yn ddiofal am, &c.; esgeuluso, dibrisio, dirmygu, dïystyru, gwallygio.
To grow careless—diddarbodi, dibryderu; myned yn ddiofal, &c.

Carelessness, *s.* (o *careless*) diofalwch, esgeulusdod, esgeulusdra, esgeulusder, diofaledd, diofaldod, anofaledd, diofalrwydd, diddarbodaeth, annarbodaeth, anystyriaeth, anmhryder, dibryderwch, difrawder, anocheledd, anochelgarwch, dïymogelwch, anghyfarchwyledd, dïystyrwch, ehudrwydd, annhaclusrwydd, annestlusrwydd, annestlusder, annybendod, annichlynedd, annichlynder, anghrynoder, aflerwch; gwall, gwallusrwydd, gwallusdra.
Great carelessness—mawrwall, mawr wallusrwydd; diofalwch mawr, &c.

Carentane, *s.* (Ff. *quarantine*) pabanwes, deugeinfaddeb.

Caress, *v. a.* (Ff. *caresser*) cofleidio, monwesu, mynwesu, caredigo, anwesu, maldodi, anwylo, hoffiochi, pratio, cocri, cuo, amgaru, dorlota, breicheidio; rhoi mewn monwes, achlesu, llochi, croesawu, coledd; ymgaredigo â, ymwasgu â, gwresog gofleidio, anwyldodi.

Caress, *s.* cofleidiad, ymgofleidiad, monwesiad, carad, carawd, anwylder, anwylawd, anwyldod, anwylad, maldod, anwesdod, dorlawd, caredigad, cocr; gwresog gofleidiad, bercheidiad.

Caret, *s.* (Ll. *careo*) gwallnod, collnod=(‸)

Carex, *s.* (Ll.) hesg; *sing.* hesgen.
Common separate-headed carex—hesgen ysgar.
Flea carex—chwein-hesgen, hesgen y chwain.
Little prickly carex—hesgen bigog leiaf; hesgen seraidd.
White carex—hesgen benwen.

Oval spiked carex—hesgen hirgylchaidd.
Remote carex—hesgen anghyfagos.
Sea carex—hesgen arfor, hesgen y tywod.
Soft brown carex—hesgen lygliw benblydd.
Great spiked carex—hesgen dwysenog fwyaf.
Lesser panicled carex—hesgen rafunog leiaf.
Great panicled carex—hesgen rafunog fwyaf.
Pendulous wood carex — hesgen ddibynaidd y goedwig, hesgen y coed.
Green and gold carex—hesgen eurwerdd.
Yellow carex—hesgen felen.
Œder's carex—hesgen Oeder.
Long-bracteated carex—hesgen hiriain.
Tawny carex—hesgen dywyll felen.
Loose carex—hesgen anghysbell.
Green-ribbed carex—hesgen ddeulasnod.
Vernal carex—hesgen gynnar.
Round-headed carex—hesgen bengron.
Pink-leaved carex—hesgen benigan-ddail.
Glaucous heath carex—hesgen oleulas wyrgamddail; hesgen laslwyd y graig.
Tufted bog carex—swp-hesgen y fawnog.
Glaucous straight-leaved carex—hesgen oleulas sythddail.
Slender-spiked carex — hesgen eiddil dwysenog.
Lesser common carex—hesgen ganolig dwysenog.
Great common carex — hesgen braffdwysenog.
Smooth-stalked beaked carex—hesgen ylfinog lefn.
Short-piked bladder carex—hesgen chwysigenaidd fer-dwysenog.
Slender-beaked bladder carex — hesgen chwysigenaidd ylfinfain.
Hairy carex—hesgen flewog.
Slender-leaved carex—hesgen feindwf.

**Cargason,**† *s.* (Ff. *cargaison*)=*Cargo.*
**Cargo,** *s.* (Ysp.) llwyth llong, llonglwyth. llwyth, carg, (*pl.* cargoedd).
**Cargoose,** *s.* y trochydd copog.
**Cariated,**† *a.* (Ll. *caries*)=*Carious.*
**Caricature,** *s.* (It. *caricatura*) digriflun, gwawdlun, gwatwarlun, anferthlun, rhithlun.
**Caricature,** *v. a.* digriflunio, gwawdlunio, gwatwarlunio, rhithlunio, tynu digriflun; gwatwar.
**Caricaturist,** *s.* (o *caricature*) digrifluniwr, gwawdluniwr, gwawdluniedydd, rhithluniwr, rhithluniedydd, gwatwarluniwr, tynwr gwawdluniau.
**Caricography,** *s.* (Ll. *carex*, a Gr. *graphô*) hesgyddiaeth, darluniad o'r hesg.
**Caricous,** *a.* (Ll. *carica*) ffigysaidd.
**Caries,** *s.* (Ll.) pydredd asgwrn, braenedd asgwrn; braen, braenedd, pydredd; malldod.
**Carillon,** *s.* (Ff.) clochan, clochig, cloch fechan; clochalaw.
**Carina,** *s.* (Ll.) trumyr, trumwydd, trumwydd blodau, trumflodeilen.
**Carinate, Carinated,** *a.* (Ll. *carinatus*) trumflodeilaidd, trumyraidd, trumwyddaidd, trumain.
**Carinthine, Carinthin,** *s.* math o ddelidfaen o Carinthia, yn Awstria.
**Cariole,** *s.* (Ff.) math o gerbyd penagored.
**Cariosity,** *s.* (o'r Ll. *cariosus*) pydredd *neu* fraenedd asgwrn; braenedd, pydredd, braen, pydri.
**Carious,** *a.* (Ll. *cariosus*) pwdr, braen, braenllyd, pydraidd.
**Cark,**† *s.* (S.; C. *carc*) carc, gofal, pryder, cur, dyddoriant.
**Cark,**† *v. n.* gofalu, pryderu, carcu.
**Carl, Carle,** †*s.* (S. a C. *carl;* Al. *kerl*) carl, cerlyn, bawddyn, taiogyn, drelyn, delff.
Carl-hemp—cywarch gwryw; cywarch à ddwg hadau.
Carl-cat—gwrcath, cath wryw.
**Carl, Carle,** †*v. n.* ymddwyn fel drel; bod yn garl, yn gerlyn, *neu* yn fawddyn.
**Carline, Carlin, Caroline,** *s.* carlin, carolin=darn arian bychan perthynol i Naples, gwerth 4*c.*
**Carlina, Carline-Thistle,** *s.* (oddi wrth *Carolus Magnus*, neu *Charlemagne*) ellast, ysgallen ddreinwen.
**Carline, Carling,** *s.* (Ff. *carlingue, escarlingue*) trumdrawst, ardrumbren; trawstgoed.
Carline knees — trum-ystanciau, byrddystanciau.
**Carlish,**† *a.* (o *carl*)=*Churlish.*
**Carlishness,**† *s.* (o *carlish*)=*Churlishness.*
**Carlock,** *s.* math o bysglud.
**Carlot,**† *s.* (o *carl*)=*Carl.*
**Carman,** *s.* (*car* a *man*) certwynwr, cartwr, certiwr; gyrwr.
**Carmelite,** *s.* (oddi wrth *Carmel*, yn Syria) math o beren.
**Carminative,** *a.* (Ff. *carminatif*, o'r Ll. *carmen*) gwyntyrol; gwresogol; da i chwalu gwynt; gwrthwynegol.
**Carminative,** *s.* gwyntgyffer, gwrthwyntor; cyffer *neu* gyffyr i chwalu gwynt, a gwella gwynegion: *pl.* gwyntgyfferi, gwyntyrolion, gwrthwyntorion, gwrthwynegion.
**Carmine,** *s.* (Ff. *carmin*) rhufliw, lliw claergoch =math o liw neu baent coch neu gochlas tra gwerthfawr.
**Carnage,** *s.* (Ll. o'r Ll. *caro*) lladdfa, celanedd, galanasdra, cigyddiad, cigyddfa, cigyddiaeth, lladderedd, difrod, hafog, galanas, cyflafan.
**Carnal,** *a.* (Ll. *carnalis;* Ff. *charnel*) cnawdol; anianol; anllad, chwantus, trythyll.
Carnal mind—syniad cnawdol, syniad y cnawd, meddwl cnawdol, meddwl anianol.
Carnal appetite—chwant y cnawd, cnawdwylltrwydd, cnawdolflys, chwant cnawdol.
Carnal knowledge—cywestach, cywestach ystlenol, nabyddiaeth ystlenol.
Carnal connexion—cydgnodiad, cydgnawd, cywestach.
Carnal-minded—cnawdolfrydig, cnawdolfryd; bydolfrydig.
Carnal-mindedness — cnawdolfrydedd, cnawdolfryd; bydolfrydedd, bydolfryd.
Carnal pleasure—difyrwch cnawdol.
**Carnalism,** *s.* (o *carnal*) cnawdolrwydd; ymroddiad i ddifyrwch y cnawd.
**Carnalist,** *s.* (o *carnal*) cnawdolwr; ymroddwr i ddifyrwch cnawdol; un cnawdolfrydig.
**Carnalite,** *s.* (o *carnal*) bydgarwr, un bydolfrydig, bydolddyn.
**Carnality,** *s.* (o *carnal*) cnawdolrwydd; difyrwch cnawdol; ymroddiad i ddifyrwch y

cnawd; chwant cnawdol, blys cnawdol; cnawdolfrydedd.
Carnalize, *v. a.* (o *carnal*) cnawdoli; gwneuthur yn gnawdol.
Carnation, *s.* (Ff. o'r Ll. *caro*) cigliw, cnodliw; cnodlys, ciglys, blodyn cigliw.
Carnation colour — cigliw, cnodliw, lliw y ciglys.
Carnationed, *a.* (*o carnation*) cigliwiog, cnodliwiog, cigliwedig, cnodliwedig.
Carnelian, Cornelian, *s.* (Ff. *cornaline*, o'r Ll. *caro*) cigliwem, cnodem, maen cigliw=math o faen calcedon.
Carneous, *a.* (Ll. *carneus*) cnodig, cigog, cnodaidd, cigol, ciglyd, cnodlyd.
Carney, *s.* (o'r Ll. *caro*) cenwst.
Carnification, *s.* (o *carnify*) cnawdogiad, cnodigiad; troad yn gnawd.
Carnify, *v. a.* (Ll. *caro* a *facio*) cigo, cnodigo, cnawdogi; troi yn gnawd; prifio yn gnawd; magu cig.
Carnival, *s.* (It. *carni vale*, yn iach i gig) cigwyl, cnodwyl; gloddestwyl, glothwyl = amser difyrwch a gwledda cyn y Grawys, mewn gwledydd Pabaidd.
Carnivora, *s. pl.* (Ll. *caro* a *voro*) cigysolion, cigysogion, ysgigolion, cigysiaid, ysgigion= creaduriaid yn byw ar gig, neu ar greaduriaid ereill; megys y llew, y llwynog, y ci, &c.
Carnivoracity, *s.* (Ll. *caro* a *voro*) cigysrwydd, cigwancusrwydd, cigraib, gwanc am gig.
Carnivorous, *a.* (Ll. *caro* a *voro*) cigysol, ysgig, ciglwng, ciglwnc, cigreibus; à ysa gig; à yso gig; à fo yn byw *neu* ymborthi ar gig.
Carnivorous tribe—cigysolion, ysgigolion, cigysiaid, cigysryw; y llwyth ysgig *neu* gigysol.
Carnivorous animals — cigysolion, ysgigolion, cigys-filod, milod cigysol, anifeiliaid ysgig.
Carnivorous birds — adar cigysol, adar ysgig, buryon, cigednod.
Carnose, Carnous, *a.* (Ll. *carnosus*) cigog, cnodig, cigol, cnodaidd; ciglyd; cnodlyd; tew.
Carnosity, *s.* (Ll. *carnositas;* Ff. *carnosité*) cnodigrwydd; cigyn, cnod-oddfyn, cig-oddfyn, oddfgig, chwyddgig, hwrwg cigog.
Carob, *s.* (Ysp. *algarroba*) y Carob, y pren Carob, bara Sant Ioan.
Carob-tree=*Carob.*
Caroche, *s.* (Gr. *carouchion;* It. *carrozza*) difyrglud, difyrgerbyd; cerbyd.
Caroched, *a.* (o *caroche*) mewn difyrglud, mewn difyrgerbyd; difyrgludog.
Carol, *s.* (C.; It. *carola*) carol, mawlgerdd, glwysgerdd; cân.
Christmas carol—carol Nadolig.
Carol, *v.* caroli; canu, telori, moli, odli, cathlu.
Caroling, *s.* (o *carol*) carol, cân; cân o lawenydd.
Carolitic, *a.* (o Ll. *carus*, a Gr. *lithos*?) osgladdurnog; osglog, cangog.
Caromel, *s.* (Ff. *caramel*) llosgsugr, llosgsugar, dusugr; sugrdarthion, sugardarthion.
Carota, *s.* (Ll. drosgl ac It.)=*Carrot.*
Carotid, *a.* (Gr. *carôtides*, o *caros*) gyddfol, gyddygol; perthynol i'r gwddf.
Carotid arteries, Carotids, rhedwelïau y gwddwg; rhydwelïau y gwddf; arwythenau y gwddf.

Carousal, *s.* (Ff. *carrousel*, *carrousse*) wttres, wttreswyl, cyfeddach, cyfedd, cyfeddwch, eryfed, gwledd, gloddest, prain, difyrddydd.
Carouse, *v. n.* (Ff. *carrousse*) wttresu, wttresa, gloddesta, cyfeddach, cyfedd, eryfed, ymyfed, cofftio, dyfoli, dyfolio, ymddyfoli, ymfolio, dïota, yfed, meddwi; preinio, gwledda, cynnal cyfeddach.
Carouse, *s.* wttres, gloddest, cyfeddach, cyfedd, cyfeddwch, ymyfed, eryfed, traflwnc; term o yfed, term cyfeddach.
Carouser, *s.* (o *carouse*) wttreswr, gloddestwr, cyfeddachwr, ymyfwr, eryfwr, dïotwr, yfwr, cofftiwr, cydyfwr, ymddyfoliwr, cyfeddwalch, meddwyn.
Carp, *v. n.* (Ll. *carpo*) cecru, beio, cablu, pigo beiau; goganu, cnoi, tymmigo; dwrdio, ysdwrdio, senu, bychanu, sardio.
To carp at—beio ar; rhedeg ar; lladd ar; cablu, goganu, &c.
Carp, *s.* (Ll. *carpo;* Ff. a Port. *carpe*) y carp, cippysg; math o bysg llŷn.
Carpal, *a.* (Ll. *carpus*) arddyrnol; perthynol i'r arddwrn.
Carpel, *pl.* Carpels, Carpellum, *pl.* Carpella, *s.* (Gr. *carpos*) ffrwythel.
Carpellary, *a.* (o *carpel*) ffrwythelaidd, ffwythelus.
Carpenter, *s.* (Ll. *carpentarius;* Ff. *charpentier*) saer, saer coed, prensaer, saer pren, saer prenau, coedsaer.
House-carpenter—saer tai.
Ship-carpenter—saer llongau, llong-saer.
Carpenter of a ship—saer llong.
Master-carpenter—pensaer, y prif saer, y saer penaf.
Unskilful carpenter—eilun o saer, eilun saer, saer anghelfydd.
Carpenter's line—llinyn saer, saerlinyn.
Carpenter's shop—saerdy, gweithdy saer, gweithfa saer.
Carpenter's work—gwaith saer, saerwaith.
Carpentry, *s.* (o *carpenter*) saerwaith, saerniaeth, coedsaernïaeth, coedgelfwaith, saergelfyddyd.
House-carpentry—ty-saernïaeth, ty-saerwaith, saerwaith tai.
Ship-carpentry — llong-saernïaeth, llongsaerwaith; saerwaith *neu* saernïaeth llongau.
Carper, *s.* (o *carp*) cecryn, cecrwr, beiwr, cablwr, goganwr, hyfeiwr; un chwannog i feio.
Carpet, *s.* (Is. *karpet*) llorlen, llawrlen, carped, byrddlen; tudded, gorchudd.
To be on the carpet—bod o flaen y cynghor; bod dàn sylw *neu* ystyriaeth; bod mewn dadl; bod mewn chwyf; cael ei barotöi; bod ger bron; bod ar y carped; bod ger bron i'w holi.
The matter is on the carpet—y mae y mater yn awr mewn holiad, mewn dadl, o flaen y cynghor, *neu* o flaen yr holfainc; mae y peth yr awr hon ar y carped.
Carpet-knight—marchog y carped; dyn destlus, dillyn, meddfaeth, *neu* fwythus.
Carpet-monger=*Carpet-knight.*
Carpet-slip—llain carped, carpedlain.
Carpet-walk, Carpet-way, ffordd wastadlefn *neu* wastadlas; ffordd werydlas.
Turkey carpet—carpet amliwiog *neu* gyfrestrog; carped Twrci.

Grassy carpet, } carped glaswelltog, llor-
A carpet of green grass, } len laswellt, llorlen laswelltog. llorlen o laswellt; gorchudd glaswelltog *neu* irlas.

**Carpet,** *v. a.* llorlenu, carpedu; gorchuddio â charped *neu* lorlen; lledu llorlen *neu* garped dros; gorchuddio.

The earth was carpeted over with grass—y ddaiar a orchuddiasid drosti â glaswellt.

**Carpeting,** *s.* (o *carpet*) defnydd carpedau *neu* lorleni; carpedau, llorleni.

**Carphology,** *s.* (Gr. *carphos* a *legô*) usorphwyll-edd, uswallgofrwydd.

**Carping,** *s.* (o *carp*) cecraeth, cecri, cecr, beiad, sardiad; sen, cabl, sard, gogan.

**Carpinus,** *s.* (Gr. *carpos*) yr oestrwydd.

**Carpmeals,** *s.* brasgarped; brethyn garw.

**Carpolite,** *s.* (Gr. *carpos* a *lithos*) ffrwythfaen; ffrwythau wedi ymgaregu.

**Carpologist,** *s.* (Gr. *carpos* a *logos*) ffrwythegydd, ffrwythegwr; un â ddarlunia ffrwythau.

**Carpology,** *s.* (Gr. *carpos* a *logos*) ffrwytheg; darluniad *neu* ddysgrifiad o ffrwythau.

**Carpus,** *s.* (Ll.) arddwrn, yr arddwrn.

**Carraway,** *s.* math o afal.

**Carriable,**† *a.* (o *carry*) cludadwy, cariadwy.

**Carriage,** *s.* (Ff. *charriage*; Gr. *carrhon*) clud, cerbyd, cludai, càr, saen, men, arglud; cludiad, dygiant, cyweiniad, dyddygiad, gwaith cario; y cludiad, arian clud, tâl cludiad, traul cludiad, cluttal; mud, mudfa, cludfa; baich, llwyth; yr hyn a gludir; ymddygiad, ymarweddiad, ymarwedd, arweddiad, diwyg, moes; dull, gosgedd, trawd; mesurau, arferion, ardwy;† caffaeliad, buddugoliaeth.

Travelling carriage—teithglud, teithgludai, teithgerbyd.

A gentleman's travelling carriage—teithglud boneddig, teithglud boneddwr, ardeithglud.

A gentleman's private carriage—clud neilltuol *neu* briodol boneddig; boneddglud priod, priodol, *neu* neilltuol; boneddglud.

A wheeled carriage—clud olwynog *neu* droellog; cludai olwynog, rhodog, *neu* droellog; troellglud, troellgludai.

Two-wheeled carriage—clud dwyolwyn, cerbyd dwyrod, cerbyd dwyrodog, dwyrodglud, clud dwyrod.

Four-wheeled carriage—clud pedrolwyn, cerbyd pedrrod, clud pedrrodog, cludai pedair olwyn, pedrrodog, pedrrodglud.

Cannon-carriage—magnelgar, magnelglud, clud cyflegr, càr magnel, magnelglwyd, trwyllglwyd cyflegr.

Block-carriage—cyffglud, cyffgludai, cyffgar.

Truck-carriage—trylgar, trylglud, trylswth.

Carriage of an army—clud llu, clud y llu, clud byddin; y clud, y mud; dodrefn, celfi.

They put the carriage before them—gosodasant y clud o'u blaen (*Barn.* xviii. 21).

David left his carriage in the hand of the keeper of the carriage—Dafydd a adawodd y mud oddi wrtho dàn law ceidwad y dodrefn (1 *Sam.* xvii. 22).

He laid up his carriages—rhoddes ei ddodrefn i gadw.

We took up our carriages—cymmerasom ein beichiau.

Carriage of sounds—cludiad seiniau; cludiad swn.

Beast of carriage—anifail clud, clud-anifail, ysgrubl, pynfarch.

**Carrick-bitts,** *s. pl.* ystanciau y sidlath.

**Carrier,** *s.* (o *carry*) cariwr, cludydd, cludwr, cyweiniwr, cyweiniedydd, dygwr, dygiedydd, arweddawdr, arweddodwr, dygiawdwr, dygiawdr, dyborthwr; cludgolomen.

Letter-carrier—dygiedydd, dygiadur, dygiawdr, cludwr, *neu* gariwr llythyrau; llythyrddygwr, llythyrgariwr.

**Carrion,** *s.* (It. *carogna*; Ff. *charogne*) burgun, llurgun, abwy, abo, abod, celain, celan, buria, abar, ysgerbwd, ysgrwd, dylaith.

**Carrion,** *a.* burgunaidd, llurgunaidd, aboaidd, abodaidd, celanaidd; braenllyd, braen.

Carrion crow—breuan.

**Carronade,** *s.* (oddi wrth bentref *Carron*, yn yr Alban) byrgyflegr, byrfagnel, corgyflegr.

**Carroon,** *s.* (o *car*?) mendoll, carttoll: math o surian.

**Carrot,** *s.* (Ll. drosgl ac It. *carota*; Ff. *carotte*) moronen, moronyn, moronen goch, moronyn coch: *pl.* moron, moron cochion, moron coch, llysiau cochion.

Wild carrots—moron y maes, moron gwyllt, meddyglyn, llysiau meddyglyn, nyth aderyn.

Cultivated carrots—moron cochion, moron coch.

**Carroty,** *a.* (o *carrot*) moronaidd, moronliw; coch, pengoch.

Carroty hair—gwallt coch.

Carroty-haired—pengoch, gwalltgoch; â gwallt coch ganddo.

**Carrows,** *s. pl.* (Gw. *corruigh*; Gael. *carruich*) gwibchwareuwyr, gwibchwampiaid, darllenwyr tesni; gwibiaid, crwydriaid, treiuwyr.

**Carry,** *v. a.* (C. *cario*; Ff. *charrier*; Al. *karren*) cludo, cario, cywain, dwyn, arwain, trosglwyddo, trosi, trosgludo, arweddu, llamdwyo; cynnal, dàl; cael; cymmeryd, myned â, symmud, mudo; ennill; cynnwys; cyrchu.

To carry one's self—ymddwyn, ymarweddu, ymarwedd, arweddu, ymgario, ymagweddu; dwyn ei hun.

To carry about—amgludo, amgario, amgywain, cylcharwain; dwyn o amgylch; dygywain.

To carry arms—dwyn arfau; bod dàn arfau.

To carry away—dwyn ymaith, cludo ymaith, cario ymaith, cywain ymaith, mudo; erddygyd, dyddwyn, dyddygyd.

To carry away by force—cipio, ysgipio, ysbeilio, anrheithio, ysglyfio, cribddeilio; treisio, llathludo, llathruddo; dwyn yn llathrudd; dwyn o *neu* drwy drais; dwyn o anfodd.

To carry away the bell, day, *or* prize—ennill y gamp; myned â'r gamp; ennill y fuddugoliaeth; cario y dydd; ennill y dydd; cael y gorfod *neu* yr oruchafiaeth; myned â'r maes; ennill y maes; ennill y bel *neu* y gâl; dwyn y gloch *neu* y bel; cael y goreu; cael y maes; trechu.

To carry away captive—caethgludo; dwyn i gaethiwed.
To carry all before one—myned dros *neu* drwy bob anhawsder; tori drwy bob anhawsder; gorchfygu yn llwyr; tycio yn hollol; myned drwy y tew a'r teneu.
To carry back—dwyn, cario, *neu* gludo yn ol; eilddwyn, attwyn, atddwyn, addwyn, adgywain, adgludo, edfryd, dwyn adref; dychwelyd â *neu* âg.
To carry before—rhagddwyn, rhagddygyd; dwyn o flaen.
To carry beyond—llamdwyo tu hwnt i; dwyn hwnt i; dwyn heibio i; cludo tu hwnt-i.
To carry a cause—ennill hawl; ennill ei hawl; gorfod yn ei gwyn; gael y goreu; cael y maes; ennill y maes; ennill y *neu* gario y dydd; cyrhaedd *neu* gael ei amcan.
To carry closely—dwyn yn mlaen dàn gel; trefnu *neu* drin yn ddirgel; trin *neu* drefnu yn guddiadan; dwyn yn mlaen yn guddiadan.
To carry coals—goddef cam, sarhad, niwed, *neu* argywedd.
To carry coals to Newcastle—iro blonegen; bwrw dwfr i *neu* mewn afon; bwrw heli i'r môr; bwrw heli yn y môr; cyrchu dwr dros afon; gwneuthur gorchwyl afraid *neu* afreidiol.
To carry forth—dwyn, cario, cludo, cywain, *neu* fwrw allan.
To carry from place to place—dwyn o le i le; cario *neu* gludo o fàn i fàn; cywain o'r naill le i'r llall; llamdwyo, trosglwyddo, trosi; mudo, symmud.
To carry it high—ymddwyn yn falch, yn drahäus, yn drahausfalch, yn drawsfalch, yn ucheldrem, yn uchel, yn warsyth, *neu* yn wynebsyth.
To carry it—ennill peth; ennill mewn ymdrech, dadl, *neu* ymddadl; ei hennill hi.
To carry headlong—dwyn yn mlaen yn ddirwystr; dwyn yn mlaen heb ludd na rhwystr; diddymu.
To carry news — dwyn newyddion *neu* chwedlau; adrodd, mynegu; dangos.
To carry news back—dwyn gair yn ol; dwyn gair drachefn; dwyn newydd *neu* newyddion yn ol.
To carry off—dwyn, cludo, cario, *neu* gywain ymaith; myned ymaith â; lladd; dwyn i fedd; dïeneidio, dwyn bywyd; symmud; symmud ymaith *neu* hwnt.
To carry off a distemper—iachäu clefyd; gyru clefyd ymaith; gyru anhwyldeb ar ffo.
To carry on—dwyn yn mlaen; cario yn mlaen; gyru, gwthio, *neu* hyrddu yn mlaen; cynnal yn mlaen; myned yn mlaen â *neu* âg; parhau yn gwneuthur; parhau wrth; hwylio gwaith *neu* orchwyl; annog, cymhell, dirio; dylyn, canlyn.
To carry on a suit *or* lawsuit—gyru hawl.
To carry on a jest too far—gormod gellwair, gormodd gellwair, gormod cellwair, gormodd cellwair.
To carry out—dàl allan; dwyn allan; dàl *neu* gynnal hyd y diwedd; amddiffyn hyd yr eithaf; para *neu* barhau hyd y diwedd.
To carry over—trosglwyddo, trosgludo, trosgario, trosi, argludo; cludo, cario, cywain, *neu* symmud dros *neu* drosodd.
To carry a price—dwyn pris; myned â phris; bod yn ddrud; bod yn brid; bod yn uchelbris.
To carry together — cydgario, cydgludo, &c.; cario yn nghyd *neu* i'r unfan, &c.
To carry through—cynnal *neu* ddàl hyd y diwedd; cynnal *neu* ddàl drwy; dwyn drwy; dàl i fyny; &c.
To carry to *or* into—dwyn i; cario, cludo, *neu* gywain i.
To carry the matter too far—erlyn yn rhy dŷn; dylyn yn rhy bell; gyru yr hoel yn rhy bell; gormod ddirio; dirio *neu* gymhell gormod; myned â pheth yn rhy bell.
They are carried with full sails—y maent yn myned yn mlaen yn hwylus; hwy a ddygir yn mlaen yn hwylus; ânt rhagddynt ar gyflawn hwyliau; ânt rhagddynt ar lawn hwyl.
To carry corn—cywain yd.
Corn carries a price—y mae yr yd yn ddrud *neu* brid; y mae yr yd yn dwyn pris.
They carry two faces under one hood—dynion deuwynebog ydynt.
He carries his expectations too far—nid oes cymmedrolder yn ei ddysgwyliadau.
The Spirit of the Lord shall carry thee—Ysbryd yr Arglwydd a'th gymmer di.
Clouds that are carried before a tempest—cymylau à yrir gàn dymhestl.
A bird of the air shall carry the voice—ehediad yr awyr a gyhoedda y llais.
He carried himself like a fool—ynfyd y gwnaeth; ymddygodd yn ynfyd *neu* ffol; ymddygodd fel ffwl.
He will carry thee away—efe a'th fuda di.
Thou shalt be carried away into a strange country—ti a symmudir i wlad ddyeithr.
As chaff that the storm carries away—fel manus yr hwn a gipia'r corwynt.
Precious jewels more than they could carry away — tlysau dymunol beth anfeidrol (2 *Cron*. xx. 25).
Carry back the ark of God—dychwel âg arch Duw.
And I will carry you away beyond Babylon —minnau a'ch symmudaf tu hwnt i Babilon.
He shall carry them forth out of the city—bwried hwynt y tu allan i'r ddinas (*Lef*. xiv. 45).
He carried his point in that dispute—efe a orfu yn y ddadl hòno; efe a ennillodd y pwnc hwnw.
To carry tidings unto their gods—i ddangos i'w delwau (1 *Cron*. x. 9).
The spring carries off the consumptive—y gwanwyn a ladd y llifiannus.
He carried me on to my ruin—efe a'm dygodd i ddinystr; efe a ddaeth â mi i ddinystr.
To carry a town—ennill tref; myned â thref; dwyn *neu* gario tref.

Carried about—amglud, amgludedig; yn cael ei gylcharwain, &c.
**Carrying**, *s.* (o *carry*) cludiad, cyweiniad, trosiad, trosglwyddiad, mudiad, symmudiad, llamdwyad, dygiad, arweddiad.
Carrying trade — cludyddiaeth, cludfasnach; masnach cludo *neu* gario.
**Carry-tale**,† *s.* hustingwr, clapgi.
**Carse**, *s.* (anhysbys) maranedd diwylliedig; glyndir.
**Cart**, *s.* (C.; Gw. *cairt*; S. *cræt*, *crat*) cart, men, trol, certwyn, ben; càr, cludai.
Child's cart — càr cerdded, cart bach; chwareu-fen plentyn.
Dray cart — càr llusg, ysledfen, ysled; cart heb olwynion; tyn-gar.
Cart-horse—menfarch, ceffyl gwedd, ceffyl cart.
Cart-house—cartty, mendy, certty, troldy; ty ceirt *neu* gerti; ty y ceirt; ty men, ty y fen.
Cart-load—cartaid, certaid, menaid, trolaid, benaid; llwyth cart, men, ben, *neu* drol.
Cart-harness—trec men, trec cart, offer men, harnais cart, mendrec.
Cart-bote—cartgoed, trolgoed, cartwydd.
Cart-jade — culfarch cart, cart-gulfarch, salfarch men; culfarch, salfarch.
Cart-rope—rhaff gart, rhaff cart, cartraff, rhaff men.
Cart-rut—ol cart, ol men, ol ben, ol olwyn, traul cart, traul men, ol olwyn cart, ol troell men, cartrawd.
Cart-saddle—ystrodyr, ystarn, pynoreg.
Cart-tire — cartrwym, rhwymyn olwyn, amgant olwyn.
Cart-way—ffordd gart, ffordd fen.
Cart-wheel — olwyn cart; cart- *neu* fenolwyn.
Hoop of a cart-wheel—cant olwyn.
Cart-wright—saer ceirt, saer meni, saer troliau, saer men, mensaer, cartsaer.
To put *or* set the cart before the horse—rhoi y cart o flaen y ceffyl; rhoi y càr o flaen y ceffyl; rhoi y càr o flaen y march; gwneuthur peth o chwith; gwneyd peth yn y gwrthwyneb.
**Cart**, *v. a.* certio, cartio, certwyno; cludo *neu* gario mewn cart.
**Cartage**, *s.* (o *cart*) cartiad, certiad, meniad, certwyniad; carttal, certtal, mendal.
**Carte**, *s.* (Ff.) carden; bwydreseb, bwydres tafarn.
**Carte-blanche**, *s.* (Ff.) gwenlen, rhyddammodeb; llawn awdurdod=papyr gwŷn wedi ei lofnodi, ac weithiau ei selio, gàn y blaid y defnyddir ef yn ei herbyn, gyda chaniatâd i'r blaid arall ei lenwi i fyny â'r ammodau â fyno.
**Cartel**, *s.* (Ff., Ysp., a Port.) newid-gynghrair, ammodau cyfnewid, newideb, gâl-ammodeb; cytundeb *neu* ammod i newid carcharorion: berlythyr, beiddlythyr; her, baidd.
Cartel-ship — newidlong; llong â ddefnyddir i newid carcharorion.
To settle the cartel—cytuno ar ammodau cyfnewid; sefydlu, penu, *neu* benodi newid-gynghrair.
**Cartel**,† *v. a.* herio, beiddio; rhoi her *neu* faidd.
**Carter**, *s.* (o *cart*) cartwr, certiwr, menwr, certwynwr; cerbydwr.



**Cartilage**, *s.* (Ff.; Ll. *cartilago*) madruddyn, madrudd, mwythan.
**Cartilaginification**, *s.* (Ll. *cartilago* a *fio*) madruddiad, mwythaniad.
**Cartilaginous**, *a.* (o *cartilage*) madruddog, madruddaidd, madruddynog, madruddynaidd, mwythanog.
**Cartoon**, *s.* (It. *cartone*; Ysp., Al., a Ff. *carton*) cynddarlun, brasddarlun, rhagarfel, cynarfel, rhagbaentiad=cynllun ar bapyrlen dew i'w gymmeryd oddi arni i'w baentio mewn cymrwd ir ar bared.
The cartoons of Raffaelle *or* Raphael—rhagarfelion Raffael, cynddarluniau Raphael.
**Cartouch**, *s.* (Ff. *cartouche*) pelgist, pelgaes, pelgod, peledgaes, bwledgaes, ergydgist, ergydgaes; gaddeintwrn, manddeintwrn, taladdurn; cswyddeb, gollyngeb.
**Cartridge**, *s.* (llygriad o *cartouch*) ergydlwyth, ergydrol, ergydsypyn; ergyd.
Blank cartridge—pylorgod; ergydlwyth heb beledau; ergydsypyn o bylor.
Cartridge-box—ergydgaes, ergydgist, ergydgod, cist ergydlwyth, pylorgist.
Cartridge paper — papyr ergydion, caesbapyr.
**Cartulary**, *s.* (Ff. *cartulaire*) coflyfr, cofionlyfr; cofionfa; cofionydd.
**Carucate**, } *s.* (Ll. *caruca*) gweddgyfar, ieu-
**Carve**, } gyfar=cymmaint o dir ag a ardda un wedd mewn blwyddyn.
**Carum**, *s.* (o *Caria*) garddwy, carddwy, carwas.
**Caruncle**, } *s.* (Ll. *caruncula*, o *caro*, cig)
**Carunculus**, } cigyn, difyn o gig; crib.
**Caruncular**, *a.* (Ll. *caruncula*) cigynaidd.
**Carunculated**, *a.* cigynog, cigoddfog.
**Carus**, *s.* (Gr. *caros*) hunwst, hunglwyf.
**Carve**, *v.* (S. *ceorfan*, *cearfan*; Is. *kerven*) cerfio, ysgythru, cerflunio, crifellu; trychu, trychnaddu, naddu; bwyttori, tori bwyd, rhanu bwyd; tori, difynio, dryllio, darnio; rhanu, cyfranu, tori allan, cynllunio; rhanu a dewis.
To carve out—tori allan, cynllunio, trefnu, llinellu, llinellu allan, llinynio allan.
To carve out one's own fortune—llunio ei dyngedfen, ei dynged, *neu* ei gyflwr wrth ei fympwy ei hun; cael ei ddewisran; cynllunio ei ffawd ei hun.
That may be carved—cerfiadwy, ysgythradwy, hydrwch.
Carved work — cerfwaith, cerfiadwaith, cerfiad; cerfluniau.
Carving instrument — cerfiadyr, croper, cerfaing, cŷn cerfio, cŷn ysgythru, ysgythraing.
Carving knife — cyllell ddifynio, cyllell fwyttori.
**Carvel**, *s.* (Ysp. *caravella*) llyrddanadl, morddanad.
**Carver**, *s.* (o *carve*) cerfiwr, cerfiedydd, ysgythrwr, ysgythrydd, cerfluniwr, cerfyllwr, crifellwr; bwyttorwr, torwr bwyd, rhanwr bwyd; rhanwr, cyfranwr; cyllell ddifynio *neu* fwyttori; cyllell dori.
**Carving**, *s.* (o *carve*) cerfiad, ysgythrad, crifelliad; cerfiadaeth, cerfwaith, cerfiadwaith; cerfluniau; bwyttoriad, toriad bwyd, rhaniad bwyd.
**Caryates**, } *s. pl.* (Gr. *Caruatides*, o *Carua* yn
**Caryatides**, } y Peloponnesus) attegesau, attegesod, bunattegion, attegwys.

**Caryatic**, *a.* attegesol, bunattegol.
Caryatic order—y dull attegesol.
Caryatic figure—atteges, bunatteg, atteglun dynes.
**Caryatid**, *s.* atteges, bunatteg, atteglun dynes.
**Caryocrinites**, *s. pl.* (Gr. *caruon* a *crinon*) maenelestrod, maenelest.
**Caryophylleous**, **Caryophyllaceous**, *a.* (Gr. *caruon* a *phullon*) cneuddeiliog, cneuddail.
**Caryophyllic Acid**, *s.* sur penigan rhuddgoch, sur clows.
**Cascabel**, *s.* (Ysp.; Port. *cascavel*) pwmpl cyflegr, olgnap magnel, cnap cyflegr.
**Cascade**, *s.* (Ff.; It. *cascata*) rhaiadr, rhaiadren, dyfrgwymp; eirwy: *pl.* rheieidr, rhaiadrau, eirw.
**Case**, *s.* (Ff. *caisse*) cod, gwain, amwisg, blwch, cist, cistan, cloer, caes, crud, caen, gorchudd, tudded, caeniad, hul, amlen, arlen, gwerchyr, prenfol, cloer.
Case of instruments—cistan offer; caes o gelfi; offergist, offergaes.
Book-case — llyfrgloer, llyfrgaes, cloer llyfrau.
Letter-case — llythyrgloer, llythyrgaes, llythyrgist, cloer llythyrenau; llythyrgod, cod llythyrau; llogellgod.
Outer case—amgaes, amgist, amgod, argaes, gorgaes, gordudded.
Upper case—y llythyrgloer uchaf, y cloer uchaf, y caes uchaf; prif lythyrenau.
Lower case—y llythyrgloer isaf, y cloer isaf, y caes isaf; llythyrenau mân, mân lythyrenau.
Case of a door—ystram drws.
**Case**, *v. a.* amwisgo, amlenu, gwisgo, gweinio, caesu, caenu, arhulio, caenenu; gosod mewn cloer *neu* gistan; blingo, digroeni.
**Case**, *s.* (Ll. *casus*; Ff. *cas*; It. *caso*) achos, cyflwr; peth, mater, pwnc; amgylchiad, dygwydd, dygwyddiad, ham, helynt, ystad, ansawdd, cyflwrw, modd; dadl, hawl; cwympod, treigl.
Case (in Grammar) cyflwr, achos, cwympod; treigl.
Case of a noun—cyflwr enw, achos enw, cwympod enw.
Nominative case—cyflwr enwadol, enwedigol, *neu* enwol; enwai, enwadydd; gosail, sylfon, testyn.
Possessive case—cyflwr *neu* achos meddiannol; cwympod meddiannol.
Genitive case—cyflwr genidol, achos genidol; achos genedigol, tarddiadol, *neu* ddeilliadol; cyflwr meddiannol.
Dative case—cyflwr *neu* achos rhoddiadol; cyflwr rhoddedigol, y rhoddai.
Accusative case—cyflwr cyhuddol, achos cyhuddiadol; y cyhuddai.
Objective case—cyflwr gwrthrychol, achos gwrthrychol; y gwrthrych; y gwrthrychai.
Ablative case—cyflwr *neu* achos gwrthodol; y gwrthodai.
Vocative case — cyflwr galwadol, achos galwedigol; y galwai.
Case absolute—cyflwr annibynol; cyflwr *neu* achos arbenig; yr annibynai.
Adnominal case—cyflwr adenwol, achos adenwadol.
Subnominal case—cyflwr goradenwol.
Neutral case—cyflwr canolig, achos canolig.
The nominative case to the verb—y gosail i berwyddiad; gosail *neu* sylfon berf.
In the nominative case—yn y cyflwr enwadol.
Case and declension—cyflwr a threigl.
Oblique case—cyflwr treigledig *neu* leddfedig; cyflwr treigl; pob cyflwr ond yr enwadol.
Without case—didreigl, heb gyflwr.
Of one case—untreigl.
Of two cases—deudreigl.
Of three cases—trithreigl.
Of many cases — amrydreigl; *pl.* amrydreigliaid.
Noun without case—enw didreigl, enw digyflwr.
Put in the same case—cyfachos.
In case—os, od, o; pe dygwyddai felly; a bod hyny yn bod; os dygwydda.
In the case of—yn achos, yn mhwnc, yn mater.
In any case—yn mhob rhyw fodd; yn mhob modd; yn hollol.
Thou shalt in any case bring them again—gàn ddwyn dwg hwynt drachefn (*Deut.* xxii. 1).
In good case—mewn cyflwr *neu* ansawdd da; mewn llwyddiant; mewn hawddfyd; mewn pwynt da; gwedi pwyntio.
In evil case—mewn cyflwr *neu* ansawdd drwg; mewn drwg ddamwaen *neu* gyflwr; mewn aflwydd, trychineb, *neu* anghyflwr.
In that case—yn yr achos *neu* y cyflwr hwnw; a bod y peth felly; a bod y mater felly.
The case is not the same—nid yr un peth ydyw.
So the case stands—fel hyn mae y peth yn sefyll.
It is a plain case—mater eglur ydyw.
In no case—nid mewn un modd; nid ar neb rhyw achos.
Thou shalt in no case do it—na wna ef mewn un modd; na wna ef ar un cyfrif; na wna mo hono ar unrhyw gyfrif.
A case already decided—dadl *neu* hawl farnedig; hawl benod; cyfraith.
Is it all a case?—ai yr un peth ydyw?
It is a tried case—hawl farnedig ydyw; pwnc sefydlog yw; mater terfynedig ydyw.
If the case be so—os felly y mae yr achos (*Mat.* xix. 10).
It is a very hard case that I should suffer—y mae yn galed iawn i mi ddyoddef.
The case is altered—dadl arall yw hòno; mater arall ydyw hwnw.
I pity your case—yr wyf yn gresynu wrth eich cyflwr; y mae yn resyn genyf drosoch.
Were my case yours—pe baech chwi yn fy nghyflwr i; petaech chwi yn fy lle i.
If such is the case—os felly mae; os felly y mae yn bod; os ydyw felly; os yw y peth felly.
Put the case—gadwch, gadëwch, gedwch, bwriwch, caniatëwch, meddyliwch, cyfrifwch, gosodwch, tybiwch, bid, boed, bydded; pe rhon a; caniatäer.
Put the case it be so—gadwch *neu* gadëwch i hyny fod; bid felly, bydded felly,

boed felly, poed felly; gadwch iddi fod felly; pe rhon a bod y peth felly; a chaniatäu hyny; caniatäer ei bod fel hyny.
Put the case the entrance were narrow—bwrw fod mynediad cyfyng i mewn iddo (2 *Esd.* vii. 4).
A case of conscience—achos, mater, *neu* ddadl cydwybod; ammheuaeth cydwybod.
To argue the case—rhesymu, ymresymu, dadlu, dadleu, ymddadleu, argymhenu; rhesymu *neu* ddadleu y pwnc.
**Case,**† *v. n.* dwyn achosion yn mlaen.
**Caseate,** *s.* (Ff. o'r Ll. *caseus*) cawsaint: *pl.* cawshalion.
**Caseation,** *s.* (Ff. o'r Ll. *caseus*) cawsiad, cawseiddiad.
**Case-harden,** *v. a.* durgaledu; durfingio.
**Case-hardened,** *a.* durgaled; durfing.
**Case hardening,** *s.* durgalediad; durfingiad.
**Caseic,** *a.* (Ll. *caseus*) cawsig.
Caseic acid—sur cawsig, sur caws.
**Caseine,** *s.* (Ll. *caseus*) cawsain, cawsnur, cawsed.
**Caseknife,** *s.* (*case* a *knife*) cyllell gegin, cyllell cegin, caesgyllell, cyllell gaes, cyllell wain.
**Casemate,** *s.* (Ff.) ceuglawdd; daiargell fydedig.
**Casmated,** *a.* ceugloddiog; daiargellog.
**Casement,** *s.* (It. *casamento*) rhwyll, rhwyll ffenestr, ffenestrwyll; ffenestr yn cau ac agor; colofrwyll; rhwyll-addurn.
I looked through my casement—edrychais drwy fy nellt (*Diar.* vii. 6).
**Caseous,** *a.* (Ll. *caseus*) cawsaidd, cawsiog.
**Casern,** *s.* (Ff. *caserne*; Ysp. *caserna*) llulystyn, cadlystyn, llystyn milwyr; llystyn.
**Case-shot,** *s.* codbelau, caesbelau.
**Case-worm,** *s.* caesbryf, caesbryfyn, caesbwr, hulbryfyn, caenbryf, pryf y gwellt, gwelltbryfyn, pryf ysgoed.
**Cash,** *s.* (Ff. *caisse*) arian, arian parod, arian bath, arian bathol, mwnai.
To pay in cash—talu yn arian; talu mewn *neu* âg arian; ariandalu.
Ready cash—arian parod; arian ar law.
**Cash,** *v. a.* ariandalu; troi yn arian; newid yn *neu* mewn arian; talu arian am; mwneio, arianu; talu.
To cash a bill—talu dyleb, ariandalu dyleb; arian *neu* fwneio dyl *neu* ddyleb; talu dyleb mewn arian; talu gofyn; troi yn arian.
**Cash,**† *v. a.*=*Cashier, v. a.*
**Cash,** *s.* darn bath yn China, ac India alltra'r Ganges.
**Cash-account,** *s.* cyfrif arian; arian gyfrif.
**Cash-book,** *s.* coflyfr arian, llyfr arian, llyfr yr arian, arianlyfr, mwneilyfr.
**Cashier,** *s.* (Ff. *caissier*) ceidwad arian, arianawdr, mwneiwr; talwr, talawdr.
**Cashier,** *v. a.* (Ff. *casser*) diswyddo, difreintio, difreinio, diawdurdodi; diraddio; bwrw, troi, *neu* daflu o'i *neu* allan o'i le; troi allan o swydd; troi ymaith, gwrthod; diddymu, dilëu.
**Cashierer,** *s.* (o *cashier*) diswyddwr, difreintiwr, diraddiwr, bwriwr allan.
**Cash-keeper,** *s.* ceidwad arian, arian-geidwad.
**Cashmere,** *s.* (=gwlad yn Asia) gwarlen; gwarlen Cashmer.
**Casing,** *s.* (o *case*) gorchudd, amdudd, amdudded, caes, tudded; gorchuddiad, toad, amdoad, caesiad, caeniad, caeswaith, rhithfeinwaith: *pl.* gleiaid, gleiadau.
**Casino,** *s.* (It.) gwlatty bychan, cotty.
**Cask,** / **Casque,** } *s.* = { *Casque.* / *Cask.*
**Cask,** *s.* (Ysp. a Port *casco*) baril, casg, casgen, barilan.
A small cask — barilan, baril fechan, casgen fechan.
The head of a cask—talcen baril; astellan pen baril.
To head a cask—talcenu baril *neu* gasgen; gwaelodi llestr pengauad.
Tasting of the cask—yn sawru o'r llestr; â blas y llestr arno; â blas *neu* sawr y faril arno.
**Casket,** *s.* (bychanig o *cask*) cistan, cisten, llawgist, llogellan, blychyn, cilior, ysgrin; gemflwch, tlysgistan, creirell, gemgist.
Locked up within the casket of thy breast—à roed i'w gelu yn dy galon.
**Casket,** *v. a.* cistanu, cistenu; rhoi mewn cistan.
**Casket,** / **Gasket,** } *s.* (Ysp. *caxeta*) plethreffyn, plethrwy.
**Casque,** / **Cask,** } *s.* (Ff. *casque*; Ll. *cassis*) penial, helm, penffestin, penor, penddarn, penwisg ddur.
Cask-shaped — penialaidd, helmaidd; ar ddull helm *neu* benffestin.
**Cass,**† *v. a.* (Ff. *casser*) diddymu; diffoddi; maeddu.
**Cassada,** / **Cassado,** / **Cassava,** } *s.* math o blanigion tramor; paill y cyfryw blanigion.
**Cassate,**† *v. a.* (Ff. *casser*) gwaghau, diddymu, dirymu, gwanhau.
**Cassation,** *s.* (Ff.) diddymiad, dirymiad, dilead; dadfarn, adfarn, adfarniad, dadfarniad.
Court of cassation — llys dadfarn (yn Ffrainc).
**Cassia,** *s.* (Gr., Ll., ac It.; Ff. *casse*) cassia, casia=math o blanigion, ac hefyd yr olew perarogl à geir onaddynt.
Cassia pulp—bywyn cassia.
**Cassideous,** *a.* (Ll. *cassis, cassida*) penialaidd, helmaidd, penoraidd; ar lun penffestin *neu* benial.
**Cassidea,** *s. pl.* (Ll. *cassida*) penialogion.
**Cassidony,** *s.* (Ff. *cassidoine*) edafeddog; llafan Ffreinig; math o ddelidfaen.
**Cassimere,** *s.* (Ysp. *casimira*) eisfrethyn, eisnwydd, meinfrethyn.
**Cassino,** *s.* (It. *casino*) chwareu ar gardiau.
**Cassiopeia,** *s.* (Gr.) Llys Don=cydser yn yr arddrych ogleddol, yn cynnwys 55 seren.
**Cassis,** *s.* (Ll.) penialfaen, penorfaen, helmfaen.
**Cassiteria,** *s.* (Ll. *cassiteron*) canrisial, cangrisial.
**Cassock,** *s.* (Ysp. *casaca*; It. *casacca*; Ff. *casaque*) casul, toryn; gwisg offeiriad, iswisg offeiriad, crysbais offeiriad.
**Cassocked,** *a.* (o *cassock*) casulog, torynog; yn gwisgo casul.
**Cassonade,** *s.* (Ff.) sugr barilau, sugr casg, sugr anmhur.
**Cassoon,** *s.* (It. *cassone*) cwarel dwfn; dyfnrigol.
**Cassowary,** *s.* (Ysp. *casuel*) math o aderyn mawr o deulu yr Estrys.

**Cast**, *v. a.* (D. *kaster ;* Sw. *kasta*) bwrw, taflu, tawlu, ergydio, lluchio ; saethu ; toddi, toddlunio, dynëu, gorddynëu, rhedeg ; cyfrif, cyfrifo, sumgyfrif ; barnu, bwrw barn ; collfarnu, dyfarnu, bwrw yn euog, barnu yn euog, euogfarnu ; llunio, cynllunio, dychymygu, dychymyg, dyfeisio, llyfelu, dyfalu ; gwrthod ; gorchfygu, trechu ; gorbwyso ; bwrw yn mlaen ; gwyro ; codi.

To cast about—amdaflu ; amsaethu ; amdywallt ; amfwrw ; bwrw *neu* daflu o amgylch ; dyfeisio, cynllunio ; troi o gylch.

To cast one's eyes all about—amdremu, amdremio, amsyllu ; edrych o amgylch ; edrych yn ei gylch.

To cast all abroad—gwasgaru, gwasgar, taenu, amdaenu, lledaenu, taenellu, heu, hau, chwalu ; bwrw *neu* daflu ar led.

To cast accounts—cyfrif, bwrw cyfrifon, bwrw cyfrif, cyfrifo, rhifo.

To cast again—adfwrw, eilfwrw, eildaflu, ail fwrw, ail daflu.

To cast against—bwrw *neu* daflu yn erbyn ; edliw i ; cyfedliw i ; edliwio *neu* edliwied i ; dannod i ; lliwied i.

To cast along—taflu *neu* fwrw i lawr ; bwrw o'i hyd gyhyd ar y llawr ; rhoi i orwedd ; rhoi yn ei orwedd ; taflu o hyd gyhyd ; dymchwelyd.

To cast anchor—angori, bwrw angor, heori.

To cast aside, To cast away, } tafluymaith; bwrwymaith; taflu *neu* fwrw heibio ; gwrthod, gwrthodi, llysu ; ymwrthod â ; dïystyru, dibrisio, dirmygu ; troi ymaith ; gwastraffu ; chwalu ymaith.

To cast at—bwrw at, taflu at, ergydio at ; lluchio at.

To cast away one's self—taflu *neu* fwrw ei hun ymaith ; dinystrio *neu* ddyfetha ei hun ; dibrisio ei hun.

To cast away care—bwrw *neu* yru ymaith ofalon ; anghofio ei ofid ; gyru *neu* fwrw ymaith dristwch ; gyru gofal ymaith ; gyru gofal byd ar dawl ; ymgysuro, ymloni ; codi, cysuro, *neu* loni calon.

To cast away wastefully—gwastraffu, afradu, afradloni, gwario ; treulio *neu* wario yn anghymmedrol ; trathreulio, oferdreulio ; difa, dyfetha, difrodi, ysu, gormesu.

To be cast away—bod wedi ei fwrw ymaith, &c. : cael llongddrylliad.

To cast awry—gwyro, agwyro, addwyro, lledbeio, lleddfu, goleddfu, osgöi.

To cast back—bwrw *neu* daflu yn ol ; bwrw i'r tu cefn.

To cast back one's eyes—edrych yn ol *neu* yn ei ol ; bwrw golwg yn ol ; gwrthedrych, gwrthdremu ; ystyried, ystyrio, synied.

To cast before — rhagfwrw, rhagdaflu ; bwrw *neu* daflu yn mlaen ; rhoi, bwrw, *neu* daflu ger bron ; taflu *neu* fwrw o flaen.

To cast behind the back—bwrw *neu* daflu drach cefn ; bwrw *neu* daflu o'r tu cefn ; bwrw y tu ol i'r cefn.

To cast between—bwrw, taflu, *neu* osod rhwng.

To cast by—gwrthod, llysu ; bwrw heibio ; taflu o'r neilltu ; diswyddo.

To cast the coat, To cast the skin, } bwrw ei hen flew ; bwrw henflew ; bwrw ei groen *neu* ei chroen.

To cast darts—taflu, bwrw, *neu* luchio picellau ; taflu gaflachau ; picellu ; bwrw *neu* ergydio saethau.

To cast down—taflu, bwrw, *neu* droi i lawr ; dystrywio, dinystrio ; gwthio i lawr ; dymchwelyd, ymchwelyd, gorthrechu, maeddu, gostwng, darostwng, cwympo, disgyn, iselu ; ymollwng.

To be cast down—ymollwng, llaesu, digaloni, llyfrhau, ymlaesu ; bod yn ddigalon.

To cast down headlong—bwrw *neu* daflu bendramwnwgl ; taflu i lawr ben dra mwnwgl ; bwrw i lawr ben dra mwnwg ; taflu i lawr yn wysg *neu* yn llwrw ei ben ; torfynyglu.

To cast down under foot—taflu *neu* fwrw i lawr dàn draed ; mathru, sathru, damsang, dansang, gwasarnu, maessyng. mysangu ; sathru *neu* fathru dàn draed.

To cast a figure—dewinio, brudio, *neu* ddarogan oddi wrth gyfluniad y planedau ; rhagddywedyd *neu* ddewinio wrth y planedau ; serddewinio.

To cast forth—taflu, bwrw, *neu* yru allan ; saethu *neu* luchio allan ; anfon *neu* roddi allan ; anadlu *neu* darthu allan.

To cast forth beams—pelydru, paladru, tywynu, llewyrchu, llathru ; pelydru fel yr haul ; bwrw *neu* daflu allan belydr.

To cast forth a breath—anadlu allan ; gwehyn anadlu ; bwrw allan darth *neu* fygdarth ; tarthu, anadlu.

To cast *or* hawk forth—hochi ; poeri allan, bwrw allan ; taflu ; bwrw *neu* daflu i fyny ; pesychboeri.

To cast in—bwrw i mewn ; bwrw i fewn ; ergydio *neu* saethu i mewn ; tywallt, arllwys, *neu* roi i mewn.

To cast in the teeth—bwrw i ddannedd ; bwrw yn nannedd ; taflu i ddannedd ; taflu yn nannedd ; edliw, edliwio ; edliwied i ; lliwied i ; cyfedliw i ; dannod ; ymliw *neu* ymliwied â *neu* âg.

To cast into—bwrw *neu* daflu i ; tywallt i ; gyru i ; rhoddi i ; bwrw yn.

To cast into a sleep — rhoddi i gysgu ; rhoddi yn nghwsg ; peri cwsg *neu* drymgwsg.

To cast into prison — bwrw i garchar ; taflu i garchar ; bwrw *neu* daflu yn ngharchar ; rhoddi mewn carchar ; rhoi yn ngharchar ; carcharu.

To cast a light—taflu *neu* fwrw goleuni ; taflu *neu* fwrw goleu ; rhoi goleu *neu* oleuni ; goleuo.

To cast lots—bwrw coelbreni *neu* goelbrenau ; bwrw cytysau ; tynu cwtws *neu* gytysau ; tynu blewyn cwta.

To cast a lustre upon—taflu dysgleirdeb *neu* ddysgleirder ar ; peri dysgleirio ; peri dysgleirdeb ar ; taenu dysgleirdeb dros.

To cast metals — bwrw, toddi, rhedeg, dynëu, *neu* orddynëu metteloedd.

To cast a mist over one's eyes—taflu *neu* fwrw niwl ar lygaid un ; bwrw hud o flaen llygaid un ; gosod lledrith o flaen llygaid

un; caddugo *neu* dywyllu llygaid un; twyllo, somi.
To cast in one's mind—meddylied, meddwl, meddylio, synied, synio, *neu* fyfyrio rhyngddo ac ef ei hun; meddylied *neu* synio ynddo ei hun; bwrw *neu* gyfrif rhyngddo ac ef ei hun; bwrw *neu* gyfrif ynddo ei hun; ymsynied, ymystyried; dyfeisio, llyfelu, dyfalu; bwriadu, amcanu, arfaethu, arfelu.
To cast a nativity—dywedyd tynged *neu* ddarllen tesni un oddi wrth osodiad y planedau ar ei enedigaeth; darogan ffawd *neu* anffawd un oddi wrth dremiant y planedau ar y mynyd y ganer ef; bwrw genedigaeth; darllen tyngedfen *neu* desni.
To cast off—bwrw *neu* daflu ymaith; rhoi heibio; bwrw *neu* daflu heibio; gwrthod, llysu, ymwrthod â; diosg, dihatru, dïarchenu; ymddiosg, ymddihatru, ymddihwylio; esgar, ysgar; cythu, cythru, cothi; gadael ar ol; rhyddhau; gollwng yn rhydd.
To cast off the hounds—gadael y cwn ar ol; dïanc ar *neu* rhag y cwn.
To cast off (among printers)—cyfrif y llinellau.
To cast out—bwrw *neu* daflu allan; gwthio, gyru, *neu* droi allan; alltudio; difeddiannu; tynu allan; tywallt, tywallt allan, gwehynu, gwallaw, gwallofi, dywallaw.
To cast out devils—bwrw allan gythreuliaid.
To cast out foam—bwrw ewyn, malu ewyn, ewynu, burymu.
To cast out at length—estyn allan o hyd.
To cast over—bwrw dros, drwodd, *neu* drosodd; bwrw *neu* daflu ar; gorchuddio.
To cast a smell—bwrw arogl, arwynt, sawyr, *neu* sawr; arogli, arogleuo, sawyro, sawru, sawyrio, sawrio.
To cast to—bwrw at; dodi wrth *neu* at; chwanegu, ychwanegu, atchwanegu.
To cast to and fro—bwrw *neu* daflu yn ol ac yn mlaen; gyru yn ol ac yn mlaen; tywallt yn ol ac yn mlaen; bwrw *neu* daflu hwnt ac yma; gyru hwnt ac yma; tywallt hwnt ac yma; ysgwyd, ysgydwyd, ysgytian; bwhwman.
To cast together—bwrw *neu* daflu yn nghyd; pentyru, tyru, cyttyru, carneddu, cludeirio, dasyrnu.
To cast violently—chwyrndaflu, chwyrnfwrw, chwyrnellu, gyrthio, chwyrndaraw, dig-daraw.
To cast up— cyfrif, cyfrifo, bwrw, damfwrw, rhifo; bwrw i fyny; bwrw cyfrif, sumio; cyfogi, ymgyfogi, bwrw allan, chwydu allan.
To cast up accounts—cyfrif, cyfrifo, bwrw cyfrif, bwrw; cyfrif y cwbl *neu* y cyfan yn nghyd; sumio, symio, sumrifo; rhoi, dodi, *neu* osod y cwbl yn un swm.
To cast up his eyes—dyrchafu *neu* godi ei lygaid; codi *neu* dderchafu ei olwg *neu* olygon; troi ei lygaid *neu* ei olygon i fyny; syllu *neu* edrych i fyny.
To cast up a vapour—tarthu, anweddu; bwrw tarth *neu* fygdarth allan; bwrw *neu* daflu allan agerdd.
To cast up earth—codi pridd; bwrw allan bridd.
To cast up a bank—bwrw clawdd, gwrthglawdd, bwrch, *neu* argae; codi gwrthglawdd *neu* argae.
To cast up a way—palmantu; bwrw ffordd.
To cast up waves—dygyfor; codi tònau; codi yn dònau; berwi, berwi drosodd.
To cast upon *or* on—bwrw ar; taflu ar; bwrw i; rhoi ar; rhoi i fyny i.
To cast one's self on—ymroddi i; ymgyflwyno i; rhoi ei hun i fyny i; ymfwrw ar; ymdaflu ar; bwrw *neu* daflu ei hun ar.
To cast water upon—taflu *neu* fwrw dwfr ar; tywallt *neu* wehynu dwr ar; gwlychu; dyfrhau.
To cast water into the Thames—bwrw heli i'r môr; bwrw heli yn y môr; bwrw dwr yn Nheifi, yn Nhowy, yn Nhawy, yn Nghonwy, yn Hafren, &c.; cyrchu *neu* nol dwfr dros afon.
To cast young—erthylu; bwrw cyn yr amser; esgor cyn tymp.
To cast one in a suit—ennill *neu* ynnill yr hawl ar un; gorfod ar un yn yr hawl; ennill y cynghaws; cario y dydd.
I have cast him—ennillais yr hawl arno; ennillais y cynghaws arno; ennillais y dydd arno.
To be cast in a suit—colli yr hawl; colli ei hawl.
He is cast in his suit—collodd ei hawl.
Why art thou cast down?—pa ham yr ymollyngi? paham y'th ddarostyngir?
Cast forth lightning—saetha fellt.
He shall cast forth his roots—efe a leda ei wraidd.
I have cast with myself—bwriais rhyngof a mi fy hun.
Casting with himself—gàn feddylied ynddo ei hun.
Slothfulness casteth into a deep sleep—syrthni a bair drymgwsg.
My die is cast—y mae fy nghynged drosodd.
He cast off all goodness—canodd yn iach i bob rhinwedd *neu* gynneddf dda.
To cast a sheep's eye—edrych ar ŵyr, ar osgo, *neu* â chipolwg; edrych â chil y llygad; taflu llygad myharan; cildremu.
Thou hast cast off fear—toraist *neu* bwriaist ymaith ofn.
To cast images—toddi, rhedeg, toddlunio, bwrw, dynëu, *neu* orddynëu delwau.
To cast a block in one's way—peri ammheuaeth *neu* betrusder i un; taflu *neu* roddi tramgwydd ar ffordd un.
Cast—bwriedig, toddedig, bwrw, tawdd; gwedi ei fwrw *neu* daflu, &c.
Cast abroad—gwasgaredig, chwaledig, taenedig; ar wasgar, ar daen, ar led.
Cast down in misery—cystuddiedig, adfydig, adfydus, gofidus, blinderog, trallodus, helbulus, gresynus.
Cast, *s.* tafliad, ergyd, bwrw, tafl, tawl, ergydiad, goddiff; gwawr, gne, goliw, lledliw; gwedd, edrych, edrychiad, moes, diwyg, trem, ffriw, agwedd, pryd, gosgedd; llun, ffurf, cynllun, bath, toddlun; cast, hoced.
Stone's cast—ergyd careg.

The last cast—yr ergyd diweddaf *neu* olaf; y cynnyg diweddaf *neu* olaf; y perygl, yr enbydrwydd.

Losing cast—ergyd coll, ergyd meth, coll-ergyd, meth-ergyd.

Winning cast—ergyd ennill; ergyd ffynnadwy, ffodus, ffynniannus, ffynnedig, ennillgar, dedwydd, *neu* lwyr.

Cast of the eye—tarawiad llygad; tafliad llygad; cipolwg, trem, cipdrem, tremyn, tremynt.

To have a cast with the eye—bod yn llygattraws; bod yn llygadgam; bod yn llygad-wyr; bod â llygad-wyrni arno; bod â llygattrawsi arno; bod yn drawsdrem.

Measuring cast—ergyd agos; ergyd â bair fesuro.

Cast for trial—prawen, ergyd praw, praw-ergyd.

Yellow cast, Yellowish cast, } gwawr felen.

A cast of green—gwawr werdd.

Of a yellowish cast—gwawrfelyn, gwawrfelen, melynwawr; â gwawr felen arno.

Of a whitish cast—gwawrwyn, gwawrwen, gwynwawr; â gwawr wèn arno.

Of a bluish cast—gwawrlas, glaswawr; â gwawr las arno.

Of a greenish cast—gwawrwyrdd, gwawrwerdd; â gwawr werdd arno.

Cast, *s.* (Ysp. *casta*) math, rhyw, rhywogaeth, hil, epil, hiliogaeth; sut, bath.

They are men of your cast—dynion ydynt o'ch bath chwi; dynion ydynt o'r un fath *neu* sut a chwithau; dynion ynt o'r un tarawiad a chwithau.

Castanea, *s.* (Ll. oddi wrth *Castanea* yn Thessalia) castanwydd, pipwydd, castan.

Castanet, *s.* (Ysp. *castaneta*) dawnsrugl, dawnsgibyn, trawrugl.

Castaway, *s.* (*cast* ac *away*) un gwrthodedig, un anghymmeradwy, gwrthotyn, gwrthodyn, gwrthodedigydd, gwrthodigyn.

Castaway, *a.* gwrthodedig, gwrthodig; difudd, diles, diwerth, dibris, dirmygus, diystyr; â daflwyd *neu* â fwriwyd ymaith.

Caste, *s.* (Ysp. a Port. *casta*) llwyth, ciwdod; gradd, dosbarth, trefn.

The caste of *Bramins*—llwyth y Braminiaid; y llwyth offeiriadol *neu* lenorol.

The caste of *rajahs*—llwyth y tywysogion, y llwyth tywysogol, y breninllwyth.

The caste of *choutres*—llwyth y crefftwyr.

The caste of *parias*—y llwyth tlawd, llwyth y tlodion.

Castellan, *s.* (Ysp.; Ll. *castellanus*) castellwr, castellydd; ceidwad *neu* lywiadur castell.

Castellany, *s.* (Ll. *castellanus*) rhandir *neu* faenor castell; castellaeth.

Castellated, *a.* castellog; castellaidd.

Castellation, *s.* (o'r Ll. *castellum*) castelliad.

Caster, *s.* (o *cast*) taflwr, taflydd, tafledydd, bwriwr, ergydiwr, saethwr; toddwr, toddydd, toddluniwr; dalsaf, taflyr, tafler; troellig, rhodan, rhodig.

Pepper caster—puprel, taflyr pupyr.

Casters—dalsaf; potelsaf, potelswdd; taflyr.

Castigate, *v. a.* (Ll. *castigo*) cystwyo, cospi, ceryddu, curo, fflangellu; ystwyo, diwygio, anghreifftio, cyweirio, dargospi.

Castigation, *s.* (Ll. *castigatio*) cystwyad, cystwy, cystwyaeth, cosp, cospad, cospedigaeth, cospaduriaeth, cystwyedigaeth, cerydd, ceryddiad, curfa, dargospad, dargystwy, damdwy; cyweiriad, diwygiad; dysgyblaeth, penyd.

Castigator, *s.* (Ll.) cystwywr, cospadur, cospwr, ceryddwr, dargospwr; ystwywr.

Castigatory, *a.* cystwyol, ceryddol, cospol, cospus, cospadurus, cospedigaethol, cospedigol; cyweiriol.

Castigatory, *s.* cystwyfa, trochgader.

Castile-Soap, *s.* sebon Castil, sebon ter.

Casting, *s.* (o *cast*) tafliad, bwriad, ergydiad; toddiad, toddluniad, dynead, rhediad; toddlun; gwyrad; moldiad; ymollyngiad; chwydiad; croenfwriad, bwriad henflew.

Casting off copy—cyfargraff gwrthodig, cyfargraff llysiannol.

Casting house—dyneudy, todd-dy, toddfa.

Casting-net, *s.* taflrwyd, rhwyd fwrw.

Casting-voice, Casting-vote, } *s.* llais terfynol, llais terfyniadol, terfynlais, terfyneb.

Cast-Iron, *s.* haiarn bwrw.

Castle, *s.* (Ll. *castellum*; S. *castel*) castell: caer; amddiffynfa: *pl.* cestyll, castellau.

A small castle—castellyn, castellan, castell bychan.

Castle in the air—castell yn yr awyr; adail ddychymygol *neu* ddisail; gwag ddychymyg; gwag freuddwydion, coeg ddychymygion.

To build castles in the air—adeiladu cestyll yn yr awyr; llunio coeg ddychymygion.

The keep of a castle—gwarch castell; diogelfa castell; cadarnfa *neu* gadarnfan castell; cedwidfa castell; y ddaiargell.

Throughout their castles—yn ol eu palasau (1 *Cron.* vi. 54).

Abounding with castles—cestyllog, llawn cestyll.

Castle, *v. a.* castellu.

Castle-building, *s.* adeiladu cestyll; gwneyd cestyll yn yr awyr.

Castle-crowned, *a.* castellgoronog; twrgoronog, caergoronog, caergapiog.

Castled, *a.* castellog.

Castle-guard, *s.* caerwasanaeth, caerddaliad.

Castlery, *s.* (o *castle*) llywodraeth castell; castellaeth.

Castlet, *s.* (o *castle*) castellan, castellyn, castell bychan.

Castle-ward, *s.* caerdreth, caerdal, ardreth castell.

Castling, *s.* (o *cast*) erthyl, erthylyn, erthylan, peth annhymmig, annhymmigyn.

Castor, *s.* (Ll., Gr., Ff., Ysp., a Port.) llostlydan, (*pl.* llostlydain), ffrancon, (*pl.* ffranconiaid: ffranconwy: hanner cydser y Gefellod; y seren Castor.

Castor and Pollux—y Gefellod, y Gefeilliaid; Castor a Polucs.

Castor and Pollux, Tyndaridæ, } Castor a Polucs; y Gefeilliaid=goruchion tanllyd â welir weithiau ar y môr.

Castorate, *s.* (o *castor*) ffranconaint.

Castoreum, *s.* (o *castor*) ffranconwy, olew y llostlydan.

Castorin, Castorine, } *s.* (o *castor*) ffranconain, ffranconin.

Castor-oil, *s.* olew castor, olew gwarchlys.

Castors, *s. pl.* (o *cast*) rhodanau, troellenau, rhodenau.

Castra, *s. pl.* (Ll.) llettai milwyr, llettyfa miloriaid.

**Castrametation**, *s.* (Ll. *castrametor*) gwersyll-iad, gwersylliant, gwersylliaeth.
**Castrate**, *v. a.* (Ll. *castro*) dysbaddu, ysbaddu; efnuchu; anafu, dadrywio, anwrio; tori, tori ymaith, anmherffeithio, anffurfio; cyweirio; cymmeryd ymaith.
**Castration**, *s.* (Ll. *castratio*) dysbaddiad, ysbaddiad, efnuchiad, dadrywiad, anwriad; anffuriad, anafiad.
**Castrato**, *s.* (It. o'r Ll. *castro*) dysbadd, dysbaidd, efnuch canu.
**Castrel**, **Casteril**, **Kestrel**, } *s.* (Ff. *cresserelle, crécerelle*) cudyll, cudyll y gwynt, cudyll coch, cudyll coesfelyn, cenlly goch.
**Castrensian**, *a.* (Ll. *castrensis*) gwersyllol, gwersyllaidd, gwersylltaidd, lluestol; perthynol i wersyll.
**Casual**, *a.* (Ysp. a Port; Ff. *casuel;* o'r Ll. *casus*) damweiniol, dygwyddol, dygwyddiadol, chwaenol, hapiol; achlysurol; o ddamwaen *neu* ddygwydd.
**Casualness**, *s.* (o *casual*) damweinioldeb, dygwyddoldeb, dygwyddolrwydd, hapioldeb.
**Casualty**, *s.* (o *casual*) damwaen, dygwyddiad, dygwydd, damchwaen, dychwaen, hap, chwaen, amchwaen, dyddamwaen, damweiniaeth.
**Casuist**, *s.* (Ff. *casuiste;* It. ac Ysp. *casuista*) cywyddodwr, cywyddiedydd, cywyddiadur, cydwybodydd; beirniad achosion cydwybod.
**Casuist**, *v. n.* dattod ammheuon cydwybod; cywyddodi.
**Casuistic**, **Casuistical**, } *a.* (o *casuist*) cywyddodol, cywyddiadol; perthynol i driniaeth achosion cydwybod.
**Casuistry**, *s.* (o *casuist*) cydwybodiant, cywyddodaeth, cywyddiadaeth; dattodiad achosion *neu* ammheuon cydwybod.
**Cat**, *s.* (Gw. *cat;* Is. a D. *kat;* Sw. *katt;* Ff. *chat*) cath; titw.
He-cat, Gib-cat, Carl-cat, } gwrcath, cath wryw.
She-cat—cathes, cath fenyw.
Musk-cat—cath fwsg, mwsg-gath.
Wild cat—cath goed, cath wyllt, coedgath.
Pole-cat—ffwlbart, gwichyll, gwichydd, gwichyn.
Civet-cat—pergath, y gath ber, ystorgath.
Domestic cat—cath ddof, cath deulu, cath.
Tiger-cat—dywalgath.
Tabby cat—cath lwyd droellog, cath droellenog, cath lwyd droell-rengog.
Cat of the mountain—cath fynydd, cath wyllt.
Cat of nine tails—cath naw cynffon; y gath â'r naw cynffon; ffrewyll nawllinyn.
Cat and trap—chware dau wr a chlwpa.
Cat's paw—pawen cath, palf cath, cathbawen; pawen plaid, offerynwas; cuall, clwpa, penbwl.
The cry of a cat—mew, miew.
To cry like a cat—mewian, mewial.
To turn the cat in the pan—troi 'r gath yn y badell; chwareu 'r ffon ddwybig; chwareu 'r llaw wèn; troi yn y tres; troi yn y tresau; ffoi *neu* giliaw oddi wrth ei blaid; newid *neu* adael ei blaid; bradychu hawl *neu* gwyn un idd ei wrthwynebwr; newid, troi, *neu* ymdröi yn ei chwedl; cilio yn ei gwyn; trawsddadleu.
A cat in the pan—cath yn y badell; ffoadur, ciliad, ciliwr; tröwr y gath yn y badell; chwareuydd llaw wèn; chwareuwr ffon ddwybig; twyll i'w gydymaith; dyn bradog *neu* dwyllodrus.
When the cat is away the mice play—llon fydd y llygoden pryd ni bo 'r gath gartref.
**Cata**, (Gr.) rhagddawd yn arwyddo *gwrth, gwrthwyneb, yn erbyn; dàn, tàn, is, is law, i lawr; bob yn rhan; dwysddyfalwch.*
**Catabaptist**, *s.* (Gr. *cata* a *baptistês*) gwrthfedyddiwr.
**Catacausis**, *s.* (Gr.) ymlosgiad; llosgiad o hano ei hun.
**Catacaustic**, *a.* (Gr. *catacausis*) adlewyrchig, adrithiol.
Catacaustic curves—adrithgomau, comau adlewyrchig.
**Catacaustics**, *s. pl.* adrithgomau, adrithgomion.
**Catachresis**, *s.* (Gr.) gwrthddull, chwedlwall, camarferiad, camarfer, camarferair, camarfer gair.
**Catachrestic**, **Catachrestical**, } *s.* (o *catachresis*) gwrthddulliol, chwedlwallaidd, chwedlwallus; pellgyrch; cyrchedig o bell; rhybell; gwyrdroawl; annaturiol.
**Cataclysm**, *s.* (Gr. *cataclusmos*) dylif, llifeiriant, dylifiant, llif, rhyferthwy.
**Catacomb**, *s.* (Gr. *cata* a *cumbos*) beddogof, claddogof, tanddaiarfedd, beddrod ogofawl; beddgell.
**Catacoustics**, *s.* (Gr. *cata* ac *acouô*) adseineg, adseinddysg, adseiniadaeth, adseiniaeth.
**Catadioptric**, **Catadioptrical**, } *a.* (Gr. *cata* a *dioptomai*) adlewyrchol, adlewychol.
**Catadupe**, *s.* (Ff. o'r Gr. *cata* a *doupeô*) rhaiadr, cwymp dwr.
**Catafalco**, *s.* (It.) beddlun, ceufeddlun.
**Catagmatic**, *a.* (Gr. *catagma*) briwgydiol; à duedda i uno esgyrn briw.
**Catagraph**, *s.* (Gr. *cata* a *graphô*) brasgyndeb, brasgynwedd, braswaith darlun; ystlysdeb.
**Catalectic**, *a.* (Gr. *catalêcticos*) anghorfanol.
Catalectic verse—mydr anghorfanol, mydr anghyflawn.
**Catalepsis**, **Catalepsy**, } *s.* (Gr. *catalêpsis*) syniadgoll, syniadwst, teimlwst, llewyg, masglwyf.
**Cataleptic**, *a.* teimlystog, syniadystog, syniadgoll, masglwyfig.
**Catalogize**, *v. a.* (o *catalogue*) cofrestru, cofresu.
**Catalogue**, *s.* (Gr. *catalogos*) cofres, cofrestr, rhestr, llechres, rhestreb, rhifrestr, mynegfa, rhes.
**Catalogue**, *v.* cofresu, cofrestru, llechresu, rhestru.
**Catalysis**, *s.* (Gr. *catalusis*) dattodiad, ymddattodiad; dinystr, dinystriad; dadgyssoddiad.
**Catalytic**, *a.* (o *catalysis*) dadgyssoddol, dadgyfansoddol; dattodol.
**Catamaran**, *s.* carfad, clwydfad: arferedig yn benaf yn y Dwyrain.
**Catamenia**, *s. pl.* (Gr. *catamênios*) misglwyf, mislifiant, mislif.
**Catamenial**, *a.* (Gr. *catamênios*) misglwyfus, mislifol, mislifiannus; misol.
**Catamite**, *s.* (Ll. *catamitus*) bryntwas, bryntlanc.

**Catamount**, *s.* (*cat* a *mount*) cath fynydd, y gath wyllt.
**Catapasm**, *s.* (Gr. *catapasma*) ysgeintlwch.
**Catapeltic**, *a.* (Gr. *catapeltês*) blifol, blifyrol.
**Catapeltic**, *s.*=*Catapult.*
**Catapetalous**, *a.* (Gr. *cata* a *petalon*) gwrthflodeilaidd, gwrthflodeuddeiliog.
**Cataphonics**, *s.* (Gr. *cata* a *phônê*) adseineg, adseinddysg, adseiniadaeth, adseiniaeth.
**Cataphract**, *s.* (Gr. *cataphractos;* Ll. *cataphracta*) crudrwisg, crudwisg, cenwisg, cadwisg; crudfarchog, crudrfarchog, marchog amarfog, marchog llawnarfog; llawnarfog, crudrarfog, crudarfog.
**Cataphracted**, *a.* (o *cataphract*) croengaled; crestgaled, cydgenog.
**Cataplasm**, *s.* (Gr. *cataplasma*) sugaethan, meddalai.
**Catapuce**,† *s.* (Ff.) y fflamgoed.
**Cataptosis**, *s.* (Gr.) syrth, syrthiant, haint dygwydd, dygwyddaint.
**Catapult**, } *s.* (Ll. *catapulta;* Gr. *catapeltês*)
**Catapulta**, } blif, blifyr, albrys, taflbeiriant, lluchbeiriant.
To project from a catapulta—blifio.
**Catapultic**, *a.* blifol, blifyrol, blifaidd.
**Cataract**, *s.* (Gr. *cataractês;* Ll. *cataracta*) rhaiadr, dyfrgwymp, eirwy, eirw, cwymp dwr; huchen, rhuchen, pilen.
**Cataractous**, *a.* (o *cataract*) huchenol, huchenaidd, rhuchenaidd.
**Catarrh**, *s.* (Gr. *catarrhoos;* Ll. *catarrhus*) gormwyth, annwyd, yr annwyd, dyferwst, penddyferiad, nawslifiant.
Epidemic catarrh—annwydwst, annwydaint.
**Catarrhal**, } *a.* (o *catarrh*) gormwythus, gor-
**Catarrhous**, } mwythol, gormwythog, gormwythig, annwydol, nawslifol.
**Catastaltic**, *a.* (Gr. *catastellô*) rhwymol, dirglymol, clymol, argaeol.
**Catastasis**, *s.* (Gr.) cynarodiaith, cynarodeb.
**Catasterism**, *s.* (Gr. *cata* ac *astêr*) serddodiad; dodiad yn mhlith y ser.
**Catastrophe**, } *s.* (Gr. *catastrophê*) gwrthdro;
**Catastrophy**, } diwedd, terfyn; dyben, gorphen, cynghload; trychineb, trychni, anffawd, dryglam, drygddiwedd, dwysderfyniad.
Horrid catastrophe—anffawd erch, erchyll, echrys, *neu* echryslawn.
Sad catastrophe—diwedd gofidus, athrist, trist, prudd, alaethus, *neu* resynol; damwaen drychinebus.
**Cat-bird**, *s.* cathaderyn, cathednog, bronfraith America.
**Cat-block**, *s.* cathgyff, cathgippill.
**Catcall**, *s.* (*cat* a *call*) cathlef, ysgrechell, ysgrechbib.
**Catch**, *v.* (Ysp. *coger;* C. *cydio*) dàl, dala, daly, gafaelu, gafaelio, gafaelyd, ymaflyd, ymafaelyd, ymafaelu, ymafael, gafaelu yn, ymaflyd yn, ymafaelu yn, gafaelu yn, cydio, cydio yn, gafaelyd ar, cymmeryd gafael; cymmeryd gafael yn *neu* ar; cael gafael yn *neu* ar; cipio, ysgipio, caffio, ysglyfu; cael, cymmeryd, dwyn; goddiwes, goddiweddyd; maglu, rhwydo, methlu; glynu, llynu, bod yn lynol.
To catch at—ceisio dàl *neu* ddala; ceisio cyrhaedd *neu* gyrhaeddyd; ceisio gafael yn *neu* ar; dàl ar; ymgeisio *neu* ymgais am *neu* â; cyrchu at; ceisio cipio; rhoi cais ar gyrhaedd; ymgaffio at; cnithio; beio ar, goganu.
To catch up—cipio, ysgipio, caffio, ysgaffio; cipio i fyny.
To catch hold—dàl, dala, gafaelu, gafaelyd, ymaflyd, ymafael, dàl gafael, cymmeryd gafael, cael gafael, cadw gafael, cydio yn.
To catch fire—cymmeryd tân; myned ar dân; cynneu, tanio, ennynu, tanu; dàl *neu* afaelu o'r tân.
To catch cold—cael, dàl, *neu* gymmeryd annwyd; cael yr annwyd; cael dàl yr annwyd.
To catch a disease—cael clefyd, anhwyldeb, *neu* afiechyd; clafychu, clefychu.
To catch one's death—cael, ennill, *neu* dderbyn ei farwolaeth; tynu ei angeu arno; tynu angeu arno; cael ei angeu; cwrdd â'i angeu.
To catch a fall—cael cwymp *neu* godwm; cwympo, syrthio.
To catch one in his words—dàl ar un yn ei ymadrodd; dàl ar eiriau un; rhwydo *neu* faglu un yn ei ymadrodd *neu* eiriau.
To catch a tartar—dàl chwerwyn; ymdrechu *neu* gyfarfod â'i drech; cael ei orchfygu wrth geisio gorchfygu; cael maeddgen.
To catch from one to another—ymdaenu.
To catch before another—cipiaw o flaen arall; rhagafaelu, rhag-gipio, rhagachub, rhagflaenu arall.
To catch with a hook—bachu, dyfachu; dàl â bach; dàl â bachyn.
To catch in a net—rhwydo; maglu, byddaglu, methlu, dyrysu; dàl *neu* gasglu mewn rhwyd.
To be catching—bod yn lynol; glynu, llynu, llygru; bod yn heintiol *neu* heintus; bod yn heintlynol.
Night caught him—daliodd *neu* goddiweddodd y nos ef.
He caught that distemper by drinking—efe a ddug y clefyd hwnw arno drwy ymyfed.
The fire catches your clothes—y mae y tân yn dàl ar eich dillad; mae y tân yn cydio yn eich dillad; y mae y tân yn gwrido, yn rhuddo, *neu* yn deifio eich dillad.
Seeking to catch something out of his mouth—gàn geisio hela rhywbeth o'i ben ef.
To give to the first that can catch—rhoddi yn ymgiprys rhwng.
Easy to be caught—hyddal; hawdd ei ddàl.
Not easy to be caught—anhyddal; anhawdd ei ddàla.
**Catch**, *s.* dalfa, dàl; daliad, caffaeliad, caff, caffawd, cip, ysglyf, ysgafael, ysglyfaeth, ysgafaeth, helfa; elw, ennill, mael; bach, dalfach, attalfach, cliced, clicied, clic; dalgan, chwelgan, difyrgan.
To be on the catch—cynllwyn i; bod â'i fryd ar ddàl; gwylied achlysur, oedfa, odfa, *neu* fantais; ceisio achos yn erbyn un.
To live upon the catch—bolera; hela bwyd o dy i dy; byw o'r llaw i'r geneu; truthio am bryd o fwyd; gwenieitho er pryd o fwyd; byw ar ei gip, ei ysglyf-

aeth, ei gaff, ei ysglyf, *neu* ei gribddail.
Catch as catch can—pawb ar eu cip; pob un ar ei gip; cip, caff.
You had a catch at last—cawsoch ysgafael *neu* helfa o'r diwedd.
He had no mighty catch of it—ni bu iddo fawr elw oddi wrtho.
You have got no great catch—nid yw eich cael *neu* eich caffaeliad ond bychan.
Catch of a door—cliced, bach, dalfach, *neu* attalfach drws; dorgliced.

**Catcher**, *s.* (o *catch*) daliwr, daliedydd, gafaelwr, gafaelydd, ymaflwr, ymafaelwr; cipiwr, caffiwr, ysgipiwr, &c.
Fly-catcher—y gwibedog.

**Catchfly**, *s.* (o *catch* a *fly*) gludlys.
Bladder catchfly—codrwth, llysiau y poer, poerlys, menyg y gog, menyg y merched.
English catchfly—gludlys Brytanaidd.
Sea catchfly — gludlys arfor, gwlydd y geifr.

**Catching**, *a.* (o *catch*) glynol, llynol, llŷn, heintus, heintiol, heintddwyn, heintddygol, heintlynol, cynghlwyfol.
A catching distemper—haint llŷn, haint glynol, haint llynol, haint ymlynol; haint à lŷn *neu* à ymgydia.

**Catchpenny**, *s.* (*catch* a *penny*) llygad y geiniog; llyfryn diwerth.

**Catchpoll**, *s.* (*catch* a *poll*) ceisbwl, ceisiad; cynffon y gyfraith.

**Catchup**, **Catsup**, *s.* ffyngwy=sibr neu flaslyn à geir o ffwng, neu fwyd y barcud.

**Catchweed**, *s.* (*catch* a *weed*) cynghafan mwyaf.

**Catchword**, *s.* (*catch* a *word*) cipair, cydiadair, rhagair, dangosair; y gair mynag *neu* fynegol.

**Catechetic**, **Catechetical**, *a.* (Gr. *catêchizô*) holwyddorol; holiadol ac atebol; yn cynnwys holiadau ac atebion; holiadol, egwyddorol.
Catechetic schools—hol-ysgolion, ysgolion holiadol.

**Catechetically**, *ad.* trwy holion ac atebion; trwy holiadau ac atebiadau; trwy holi ac ateb; yn holwyddorol, yn holiadol; trwy *neu* ar hawl ac ateb.

**Catechine**, *s.* rhwymlwch, clymbylor; pylor y Catechu.

**Catechisation**, *s.* (o *catechise*) holwyddoriad; holiad, holedigaeth.

**Catechise**, *v. a.* (Gr. *catêchizô*) holwyddori, egwyddori; holi; hyfforddi drwy holi ac ateb.

**Catechiser**, *s.* (o *catechise*) holwyddorwr, egwyddorwr, holiedydd, holydd, holwr.

**Catechism**, *s.* (Gr. *catêchismos*) holwyddoreg, holiadeg, holwyddoreb, egwyddorddysg, catecism; holiadur.
The Church Catechism—Holwyddoreg yr Eglwys.

**Catechist**, *s.* (Gr. *catêchistês*) holwyddorwr, holwyddorydd, egwyddorwr; holiedydd.

**Catechistic**, **Catechistical**, *a.* (o *catechist*) holwyddorol, egwyddorol, egwyddoraidd; holiadol; holiedyddol.

**Catechu**, *s.* (Ff. *cachou*; Al. *catchu*) math o bren meddygol; rhwymwydden; rhwymgyffyr.

**Catechumen**, *s.* (Gr. *catêchoumena*) egwyddorai, egwyddoryn, egwyddorog; dysgybl egwyddorig; un yn dysgu egwyddorion Cristionogaeth: *pl.* egwyddoriaid, egwyddorwys.

**Catechumenical**, *a.* (o *catechumen*) egwyddoreiol, egwyddorig; perthynol i egwyddoriaid.

**Catechumenist**, *s.* (o *catechumen*)=*Catechumen*.

**Categorematic**, *s.* (Gr. *catêgorêma*) adroddeb, adroddair, adroddog.

**Categorical**, *a.* (o *category*) rhithegresol; annibynol, pendant, penodol, hysbysol, dilys, eglur, amlwg, cyfaddas; cadarnhaol, penderfynol.

**Category**, *s.* (Gr. *catêgoria*) rhithegres, pwyllegres, amsudres, hanfodres; delfrydeg, ansoddeg; gradd, trefn, cyfres, crebwyllradd; ansawdd, cyflwr.
The ten categories of Aristotle; viz. substance, quantity, quality, relation, action, passion, time, place, situation, and habit—deg rhithegres Aristotl; sef, sylwedd, maint, cynneddf, perthynas, gweithrediad, goddefiad, amser, lle, sefyllfa, ac agwedd.

**Catelectrode**, *s.* (Gr. *cata*, *êlectron*, a *hodos*) annhrydanrawd, afluchiasrawd.

**Catenarian**, **Catenary**, *a.* (Ll. *catenarius*) cadwynol, cadwynaidd, cadwenaidd.
Catenarian arch—tidfwa.
Catenarian curve—tidgom, tidgomen.

**Catenate**, *v. a.* (Ll. *cateno*) cadwyno, cydgadwyno, tido, cydrwymo, cyfrwymo, rhwyo, dolgydio, cydfodrwyo.

**Catenated**, *p. a.* (o *catenate*) cadwynog, cydgadwynog, cadwynedig.

**Catenation**, *s.* (Ll. *catenatio*) cadwynad, cadwynedigaeth, cydgadwynad, cynghadwynad, ymgadwynad; rhes olynol, cyfrwymiad, cynghlymiad.

**Catenulate**, *a.* (Ll. *catena*) cadwynigol, cadwenigol, cadwenig, tresddolenol.

**Cater**, *v. n.* (Ff. *acheter*; It. *cattare*) darbodi, darparu, *neu* arlwyo ymborth *neu* luniaeth; prynu bwyd *neu* luniaeth; darmerthu, darparu, darbodi, parotöi, arlwyo, asborthi.

**Cater**, *s.*=*Caterer*.

**Cater**, *s.* (Ff. *quatre*) pedwar ar gardiau; rhif pedwar, y pedwar.

**Cater-cousin**, *s.* (Ff. *quatre*) perthynas o bell, câr pell.
They are not cater-cousins—nid ydynt gyfeillion; y maent allan *neu* i maes â'u gilydd; maent mewn anghymmod; mae anghymmodlonedd dirgel rhyngddynt; nid oes cydfod rhyngynt.

**Caterer**, *s.* (o *cater*; Ff. *acheter*) asborthwr, asborthydd; darbodwr, parotöwr, prynydd, *neu* arlwywr ymborth; darmerthwr lluniaeth; gosymeithydd; arlwywr, darparwr, darbodydd, darmerthydd.

**Cateress**, *s.* (o *cater*) asborthes, asborthyddes, asborthwraig, arlwy-wraig; darbodes *neu* arlwyes ymborth; darmerthes, darbodes, arlwyes; darbodydd.

**Caterpillar**, *s.* (Is. *kerten*, a Ff. *piller?*) llindys, elindys, ydlindys, y pryf cadachog, pryf y dail, pryf melfedog, pryf y gwinwydd, deilbryf, pryf ysgoed, macai, maceiad, ysbryf.

**Caterwaul**, *v. n.* (*cat* a *waul*) cathderica, cathderica; lleisio fel cath gathderig.

**Caterwauling**, *p. a.* cathderig, catherig.

**Caterwauling**, *s.* cathderig, catherig.

**Catery**, *s.* (o *cater*) arlwyfa, darbodfa; darbodle ymborth *neu* luniaeth.

**Cates**, *s. pl.* danteithion, ancwynion, am-

moethau, ammeuthynion, moethau, almes, melusfwyd, bwydydd, arlwyon.
Cat-eyed, *a.* cathlygeidiog, cathlygadog.
Cat-fall, *s.* cathraff; rhaff godi angor.
Cat-fish, *s.* cathbysg.
Catgut, *s.* (*cat* a *gut*) monochlin, tantfonoch, tantemysgar.
Catharist, *s.* (Gr. *catharos*) coethyn, coethddyn, puron: *pl.* coethynion, puredigion, puroniaid.
Catharma, *s.* (Ll. o'r Gr.) eulon, aul, ystlom, ysgarthion, ysgothion.
Catharsis, *s.* (Gr.) ysgothiad, ysgarthiad, cothiad, carthiad, coethiad, purad, arlloesiad, purawd.
Cathartic, } *a.* (Gr. *catharticos*) ysgothiadol,
Cathartical, } ysgothol, ysgarthol, carthol, ysgarthiadol, agoriadol, glanhaol.
Cathartic, *s.* ysgothai, carthai, ysgarthai, purai, cothiedydd, cothai: *pl.* cartheion, cotheion, cartholion.
Catharticalness, *s.* ysgotholrwydd, ysgotholdeb, ysgartholrwydd, purodoldeb.
Cathartina, } *s.* (Gr. *catharticos*) cothnur, ys-
Cathartine, } gothnur, ysgothain.
Cat-head, *s.* afal pryd y gwr, afal pen cath.
Cat-head, *s.* pen cath, cathswmer.
Cathedral, *s.* (Gr. a Ll. *cathedra*) eglwys gadeiriol, eglwys esgobol, esgoblan, cadeirlan, mameglwys.
Cathedral, *a.* cadeiriol, cadeiriog, mameglwysol; esgobol; perthynol i eglwys gadeiriol; hybarch.
Cathedral church—eglwys gadeiriol.
Cathedrated, *a.* (Ll. *cathedra*) cadeiriog; perthynol i gader *neu* swydd athraw.
Catherine-Wheel, *s.* ffenestr rodog, ffenestr rosrodog, ffenestr ruddos, ffenestr droellog, rhosffenestr.
Catheter, *s.* (Gr.) trydellyr, pib gwysigen, pledrenbib; truddiadyr=math ar offeryn llawfeddygol.
Cathetus, *s.* (Gr. *cathetos*) truddlin, truddlinell.
Cathode, *s.* (Gr. *cata* a *hodos*) ellrawd, esrawd; y ffordd yr ä trydan allan o beth.
Cat-holes, *s. pl.* cathdyllau (mewn llong).
Catholic, *a.* (Gr. *catholicos*) cyffredinol, cydolig, catholig, cydollig, cytholig, cyffredol, cyffredin, cyffred; haelfrydig, rhyddfrydig, diragfarn.
The Catholic Church—yr Eglwys Gyffredinol, yr Eglwys Gatholig, yr Eglwys Gydolig.
The Holy Catholic Church—yr Eglwys Lân Gyffredinol.
The Roman Catholic Church—Eglwys Rhufain; yr Eglwys Babaidd.
The Roman Catholic Religion—Crefydd Eglwys Rhufain; Pabyddiaeth.
The Catholic Epistles—y Llythyrau Cyffredinol, yr Epistolau Cyffredinol.
Catholic principles—egwyddorion haelfrydig, egwyddorion rhydd.
Catholic man—dyn haelfrydig, rhydd, rhyddfrydig, *neu* ddiragfarn.
Catholic, *s.* pabydd: *pl.* pabyddion, cydoligion, cydoligiaid.
Roman Catholics—Pabyddion, Catholigion, Catholigiaid, Cydoligion, Cydoligion Rhufeinig.
Catholical, *a.* (Gr. *catholicos*) cyffredinol.
Catholicism, *s.* (o *catholic*) cyffrediniaeth, cyffredinolder, cyffredinoldeb, cyffredinedd, cyffredinder, cyffredinolrwydd, cyffredinrwydd, catholigrwydd, cydoligedd, cydoligrwydd; haelfrydedd, rhyddfrydedd; uniongred.
Roman Catholicism—Pabyddiaeth; Rhufeinigiaeth.
Catholicity, *s.* (o *catholic*) cydoligrwydd, cydoligiaeth, catholigrwydd; pabyddoldeb, pabeiddrwydd; cyffredinrwydd, cyffredinoldeb, cyffredinedd, cyffredinder.
Catholicize, } *v. n.* (o *catholic*) myned *neu*
Catholicise, } ddyfod yn babydd; ymbabyddeiddio, cydoligio.
Catholicness, *s.* (o *catholic*) cyffredinolder, cyffredinolrwydd, cyffredinder, cyffredinedd.
Catholicon, *s.* (Gr. *catholicon iama*) olliachai, holliachai, cyffyr olliachol, olliachydd, olliach, holliach, cyfaredd holliachaol; cydolswyn, cyffredswyn.
It is a catholicon against all sins—y mae yn ymwared hollol *neu* ddiffael yn erbyn pob pechod; y mae yn feddyginiaeth gyffredinol rhag pob pechod.
Cat-hook, *s.* cathfach, cathfachyn.
Catilinarian, *a.* (oddi wrth *Catilina*, y Rhufeiniad) bradwrus, bradus, bradluniol, cydfradus, cydfradwrus.
Catilinarian, *s.* cydfradwr, bradwr, bradluniwr.
Catilinism, *s.* cydfrad, cydfradwch, cydfradwriaeth, bradwriaeth.
Cations, *s. pl.* (Gr. *cata* ac *ion*) eddion, eddeinion=elfenau mewn Galfaniaeth.
Catkin, *s.* (*cat* a *kin*) cynffon y gath, cathlost, cenawon coed, cenawon cyll; twddf hirgrwn ar gyll, bedw, derw, helyg, aethwydd, a rhai coed ereill.
Cat-like, *a.* cathaidd; fel cath; tebyg i gath.
Catling, *s.* cythell, cythellyr, cyllell llawfeddyg; cathgen, manblu cyll ffreinig.
Catmint, } *s.* (*cat*, a *mint*, a *nep*) mintys y gath,
Catnep, } cathfintys.
Cat-o'-nine-tails, *s.* cath naw cynffon; y gath â'r naw cynffon; ffrewyll naw-llinyn.
Catonian, *a.* (oddi wrth Marcus *Cato* Uticensis) difrif, difrifol, pwyllog; anhyblyg, dwys; gerwin, gerwinol.
Catopsis, *s.* (Gr. *cata* ac *opsis*) llygadgraffwst, rhywelwst.
Catopter, } *s.* (Gr. *catoptron*) tremiadyr, ad-
Catoptron, } lewychyr, tremwydr; drych.
Catoptric, } *a.* (Gr. *catoptricos*) adlewyrchol,
Catoptrical, } adlewychol, adlewyrchig.
Catoptric telescope, } ysbeiadyr adlew-
Reflecting telescope, } yrchol, adsyll-
Catadioptric telescope, } iadyr.
Catoptrics, *s.* (Gr. *catoptricos*) adlewyrcheg, adlewycheg, adlewyrchaeth, drycheg.
Catoptromancy, *s.* (Gr. *catoptromanteia*) drycharmes, drychddewiniaeth, drychogan; dewiniaeth â drych (yn mhlith yr hynafiaid).
Cat-pipe, *s.* cathlef, ysgrechell, ysgrechbib.
Cat-salt, *s.* cath-halen.
Catsup, } *s.* ffyngwy, sibr ffwng.
Catchup, }
Cat's-ear, *s.* melynydd, clust y gath.
Long-rooted cat's-ear — melynydd gorwreiddiog.
Cat's-eye, *s.* heulfaen, llygad y gath, cathlygad.
Cat's-foot, *s.* palf y gath.
Mountain cat's-foot—troed y gath.

**Cat-silver**, *s.* catharian=math o ddelidfaen.
**Cat's-tail**, *s.* cynffon y gath, rhodell, ffon y plant, ffynwewyr y plant, ffynwewyr ellyllon, calfelfed, rholbryn, hesgen felfedog, penmelfed.
Cat's-tail grass, } rhonwellt y gath.
Timothy grass, }
**Cat-tail**, *s.* cathgen, manblu cyll.
**Cat-thyme**, *s.* gruw y gath, gruwlys y gath.
**Cattle**, *s. sing.* a *pl.* (Norm. *catal, chastel, chatters;* Llyd. *chetal*) da, da byw, anifeiliaid, anifeilod, gwartheg, ysgrubliaid, biw, porfilod, pawrfilod, buch, biwfilod.
Horned cattle—da cyrnig, cornogion, anifeiliaid cyrnig, biw cyrnig, da corniog, biw.
Black cattle—da duon, biw duon=teirw, ychain, a buchod, a'u rhai bychain.
Small cattle—da bychain, da mân, praidd =defaid a geifr, a'u llydnod.
Neat cattle—biw, biwfilod, ychain, eidionau.
Disease in the feet of cattle—y llaid, llaid.
Pestilence among cattle—bwystnon, haint anifeiliaid.
Cattle-house—beudy, budy, cleity; defeitty.
Cattle-dealer — gwarthegydd, porthmon, porthmon gwartheg.
To deal in cattle—porthmona; porthmona da *neu* wartheg.
Cattle-fight—bugad.
Labouring cattle — da *neu* anifeiliaid gwaith; ysgrubliaid; tywarchorion.
Stalling of cattle—tyad anifeilod; cadwad anifeiliaid mewn ty.
Very much cattle—da lawer iawn (*Ecs.* xii. 38).
All the speckled and spotted cattle—pob llwdn mânfrith a mawrfrith (*Gen.* xxx. 32).
These cattle are my cattle—y praidd hyn yw fy mhraidd i (*Gen.* xxxi. 43).
Great and small cattle—gwartheg a defaid (*Preg.* ii. 7).
I will judge between cattle and cattle—barnaf rhwng milyn a milyn (*Esec.* xxxiv. 22).
Make them rulers over my cattle—gosod hwynt yn benbugeiliaid ar yr eiddof fi (*Gen.* xlvii. 6).
**Cattle-show**, *s.* dangosfa anifeiliaid.
**Catty**, *s.* pwysi Chineaidd=1 pwys o'r eiddom ni.
**Caucalis**, *s.* (Gr.) eilunberllys, troed y cyw.
**Cauda**, *s.* (Ll.) llost, cynffon, llosgwrn, rhonell, connyn.
**Caudal**, *a.* (Ll. *cauda*) llostol, llosgyrnol, cynffonol, rhonellaidd.
**Caudate**, } *a.* (Ll. *cauda*) llostog, cynffonog,
**Caudated**, } llosgyrnog, llostaidd, rhonellog.
**Caudex**, *s.* (Ll.) bonyn, bon, paladr, boncyff.
**Caudicle**, } *s.* (Ll. *cauda*) bonen, bonig, bon-
**Caudicula**, } enig.
**Caudle**, *s.* (Ff. *chaudeau*) dïodgawl, cawl cwrw, cawl dïod; llymeidfwyd; cynhesgawl; sucan.
**Caudle**, *v. a.* gwneyd cynhesgawl; gwneuthur cawl dïod; parotöi dïodgawl.
**Cauf**, *s.* (Ll. *cavus?*) rhwyllgist, pysghawg; cist dyllog i gadw pysg yn fyw mewn dwr.
**Cauk**, *s.* brasganfaen, braslawdd.
**Cauky**, *a.* (o *cauk*) brasganfeinin, brasloddaidd.
**Caul**, *s.* (Ll. *caula*) bolweren, gweren fol, gweren y bol; llèn, gorchudd, *neu* rwyden yr ymysgar; rhwyden, rhwydell, rhwyd; rhwydwaith.
Caul of a cap—rhwyden cap, rhwydell cap, rhwyd cap, gwegil cap.
I will rend the caul of their heart—rhwygaf orchudd eu calon (*Hos.* xiii. 8).
The caul above the liver—y rhwyden ar *neu* oddi ar yr afu.
The Lord will take away their cauls—yr Arglwydd a dyn ymaith y rhwydwaith (*Esa.* iii. 18).
**Cauldron**, *s.*=*Caldron.*
**Caulescent**, *a.* (Ll. *caulesco*) llysfonog, llysgyffaidd, llysfonynaidd, bonynaidd, bonynog.
**Cauliferous**, *a.* (Ll. *caulis* a *fero*) bonynog, llysfonog, llysgyffaidd, llysfonynaidd, bonynaidd.
**Cauliflower**, *s.* (Ll. *caulis*, a *flower;* It. *cavolfiore*) blodfresych, blodeugawl, blodgawl.
**Cauliform**, *a.* (Ll. *caulis*, a *forma*) llysgyffaidd, llysgyffwedd, llysfonynaidd.
**Cauline**, *a.* (Ll. *caulis*) bondyfol, bonyndyfol, cyffdyfol, bonynin, paladrain.
**Caulis**, *s.* (Ll.; Gr. *caulos*) llysfonyn, llysgyff, llysbaladr; bonyn.
**Caulk**, *v. a.*=*Calk.*
**Caulocarpous**, *a.* (Gr. *caulos* a *carpos*) ceincffrwythol, brigffrwythol.
**Cauma**, *s.* (Ll. a Gr.) poethwres, llosgwres; poethdwymyn.
**Caumatic**, *a.* (o *cauma*) poethdwymynol; chwilboeth.
**Cauponate**,† *v. n.* (Ll. *cauponor*) cadw tafarn; gwerthu bwyd a llyn.
**Cauponise**,† *v. n.* (Ll. *cauponor*) gwerthu gwin; gwerthu ymborth.
**Causable**, *a.* (o *cause*) achosadwy; achlysuradwy.
**Causal**, *a.* (o *cause*) achosol, achosiadol, achosedigol; achlysurol, echlysurol, pariannus, parol, pariannol.
**Causal**, *s.* achosog, achosair, achosai, ethrybiad: *pl.* peiriadolion, achosolion, achosogion.
**Causality**, *s.* (o *causal*) achosoldeb, achosolrwydd, peiriadoldeb; achlysuroldeb; gallu gweithredol.
**Causalty**, *s.* sothran; rhan ysgafn a daiaraidd mwn.
**Causation**, *s.* (Ll. *causatio*) achosiad, achosiaeth, achosedigaeth; achlysuriad, parad, pariant, pariad, periad, periant, paradwyad, peri.
**Causative**, *a.* (o *cause*) achosol, achosiadol; pariadol, periadol, peiriadol, pariannus, parol, paryddol, peryddol, peridol, par, achlysurol.
Causative verbs — perwyddiaid achosol; berfau *neu* beryfiaid achosiadol; prifeiriau peridol *neu* beiriadol.
**Causator**, *s.* (o *cause*) achosydd, achoswr, periadur, peridydd, peridwr, perydd, perwr, peiriedydd, effeithydd.
**Cause**, *s.* (Ff.; Ll., It., Port., ac Ysp. *causa*) achos, achwys, ethryb, achlysur, echlysur, echlys; rheswm; paraeth, ham, pâr, peri; peth, mater.
First cause—cynachos; yr achos cyntaf *neu* gyntefig; yr awdur, yr awdwr; yr egwyddor; cyn-egwyddor.
Chief cause—achos penaf, prif achos; dechreuad, cychwyniad, gwraidd, sail.

Accidental cause—achos damweiniol.
Necessary cause—achos rheidiol *neu* angenrheidiol; achos dirfodol.
Efficient cause—achos effeithiol; dwyar.
Secondary cause—ail achos; achos eilradd *neu* eilraddog.
Final cause—achos terfynol *neu* ddybenol.
Cause and effect—achos ac effaith; yr achos a'r achosedig.
Contrary cause—gwrthachos.
Operative cause—achos gweithredol, achos gweithredigol.
Cause of life and death—achos, hawl, *neu* fater bywyd; mater bywyd ac angeu.
For which cause—pa ham, pam, am ba achos, o ba achos, o ba herwydd, oherwydd pa ham, o achos pa ham, o herwydd, herwydd, oblegid, o ba ham, o herwydd pam, o achos pam, am ba beth, am ba ham, am beth.
For what cause?—pa ham? pam? &c.
For that cause—o achos hyny; o'r achos hyny; o'r achos hwnw; o ethryb hyny; o herwydd *neu* herwydd hyny; oblegid hyny; am hyny; er mwyn hyny; ar gyfrif hyny.
For this cause—o achos hyn; oherwydd hyn; oblegid hyn; er mwyn hyn; am hyn; o'r achos hwn; o'r achos yma; ar gyfrif hyn.
Without cause—heb achos; yn ddïachos; heb ham; heb ei haeddu; yn ddihaeddiant; yn gamweddus.
Not without cause—nid heb achos; nid yn ddïachos; nid heb ei haeddu; nid heb ham; nid heb ei ham.
For such a cause—am y cyfryw achos; am y fath achos.
This was the cause of it—dyma yr achos o hono; dyma yr achlysur o hono.
A just cause why a thing should not be done—anach; achos cyfreithlawn rhag gwneuthur peth; rhwystr cyfiawn rhag gwneyd peth.

Cause, *s.* cynghaws, hawl, achos, dadl, cwyn, cynghawsedd, arhawl.
To lose a cause—colli hawl, colli cwyn, colli cynghaws, colli y gyfraith.
Cause pending—hawl ir, hawl anfarnedig.
To carry a cause—ennill hawl; ennill cwyn; gorfod mewn cwyn; ennill y maes; myned â'r maes; ennill y gyfraith; cario y cwyn.
The cause went on our side—ennillasom y maes; troes yr hawl o'n hochr; aethom â'r dydd.
To plead a cause—pleidio achos; dadlu dadl; dadleu achos; dadleu dros; amddiffyn achos *neu* blaid; noddi, achlesu.
To hear *or* try a cause—gwrandaw dadl *neu* gwyn; profi achos, cwyn, *neu* gynghawsedd; gwrandaw dadl i roi barn ynddi *neu* arni; gwrandaw cynghawsedd.
To desert a cause—gadaw y maes; cilio yn ei gwyn; gadu achos, dadl, *neu* hawl.
To open a cause—adrodd hawl; mesuro hawl; agor hawl, cwyn, *neu* achos.
Debate thy cause with thy neighbour—ymresyma â'th gymmydog.

Cause, *v. a.* achosi, peri, peru, gwneuthur, gwneyd, effeithio; achlysuro, echlysuru, echlysu; creu, cynnyrchu; gorchym[...] trefnu; gwneuthur i.
Cause me to know—pâr i mi wybod.
To cause divisions—peru ymraniadau; [...] anghydfod.
Cause me to understand—gwnewch i [...] ddeall; perwch i mi ddeall; par[...] ddeall o honof.
Causing them to err—yn eu gyru ar gyf[...]iorn.
Cause thy servants to assist us—gorchyn[...] i'th weision ein cynnorthwyo.
Cause it to be so—trefna fod o hono fel[...] pâr iddi fod felly.
To cause sorrow—gofidio, cystuddio, bli[...] cythruddo; peri gofid *neu* flinder, &c.
Cause in us good desires—crea *neu* [...] ynom ddymuniadau da.

Cause,† *v. n.* rhoi rheswm; dangos achos.

Causeless, *a.* (*cause* a *less*) dïachos, heb ach[...] heb ei haeddu; heb haeddu; yn ddihaed[...]iant; disail; gwreiddiol.
The curse causeless shall not come—y fe[...]tith ddïachos ni ddaw.

Causelessness, *s.* (o *causeless*) dïachosrwyd[...] anachosrwydd, anachosoldeb.

Causer, *s.* (o *cause*) achoswr, achosydd, periad[...]ur, peridydd, peridwr, perydd, perwr, peir[...]iedydd, effeithiwr, effeithydd.

Causey, Causeway, } *s.* (Ff. *chaussée*) sarn, llasarn.

Causey, *v. a.* sarnu, gosod sarn, bwrw sarn.

Causeyed, Causewayed, } *a.* sarnog, llasarnog, sarnedig[...] sarnol.

Causidical, *a.* (Ll. *causidicus*) cynghawsol, dadleuol, dadlorol, dadlyddol.

Caustic, Caustical, } *a.* (Gr. *causticos*) ysol, llosg, yseiol, cyfysol, difaol, llosgol, llosoli; â ysa, â lysg.

Caustic, *s.* ysolyr, ysyr, ysai, ysgyffer, ysolyn, llosgyn, llosyn: *pl.* ysolion, ysion, ysyrion, ysolyrion, llosgolion.
Lunar caustic—lloer-ysyr, lleuad-ysyr.
Caustic curves, Caustics, } ysgomau, llosgomau, comau llewyrchig.

Causticity, Causticness, } *s.* (o *caustic*) ysolrwydd, ysoldeb, cyfysoldeb, llosgoldeb, difaoldeb.

Causus, *s.* (Ll. o'r Gr. *causos*) twymyn boeth, ffrochdwymyn.

Cautel,† *s.* (Ll. *cautela*)=*Caution.*

Cautelous, *a.* (Ff. *cauteleux*, o'r Ll. *cautela*) gochelgar; pwyllog, call; gwiliadwrus; gofalus; cyfrwys, cyfrwysgall, ffel, ystrywgar; ffals; bradwrus.

Cautelousness, *s.* (o *cautelous*) gochelgarwch, pwyllogrwydd, pwylledd, gwiliadwriaeth, gochelusrwydd.

Cauter, *s.* (Gr. *cautêrion*; Ll. *cauterium*) haiarn serio, haiarn poeth, creithlosgyr, seriadyr, llosghaiarn.

Cauterism, *s.* (o *cauter*) seriad, creithlosgiad, yslosgiad, ysiad, llosgiad, ysoliad, llosiad.

Cauterization, Cauterizing, } *s.* (o *cauterize*) seriad, llosgiad, ysiad, ysoliad, llosiad, creithlosgiad.

Cauterize, *v. a.* (Ff. *cauteriser*; Gr. *cautêriazô*) serio, creithlosgi, ysoli, ysu, llosgi; llosgi â haiarn poeth.

Cautery, *s.* (Gr. *cautêrion*; Ll. *cauterium*) seriad, llosgiad, golosgiad; ysolyr, ysgyffer, ysyr.

**Caution**, *s.* (Ff.; Ll. *cautio*) gocheliad, gofal, pryder, pwyll, ystyriaeth, rhagddarbod, pwylledd, hybwylledd, rhagweliad, rhagddarbodaeth, rhagochel, craffder, craffineb, darbwyll, ymbwyll, cyfarchwyl; rhybudd, rhagrybudd, rhybuddiad; cynghor, addysg, gorchymyn, annogaeth; gwystl, cyngwystl, sicrwydd, diogelwch: *pl.* gochelion.

Caution money—arian gwystl, arian gochel, gocheldal.

Deliberate caution—hirbwyll, hirbwylledd.

**Caution**, *v. a.* rhybuddio, rhagrybuddio.

**Cautionary**, *a.* (o *caution*) rhybuddiol, rhagrybuddiol; gwystlog, gwystledig, mechnïol.

Cautionary town—tref dangwystl, caer dangwystl, tref gyngwystl.

**Cautious**, *a.* (Ll. *cautus*) gochelgar, gochelog, ymogelgar, ymochelgar, gwagelog, gochelus, amgelog, pwyllog, gofalus, rhagofalus, pryderus, ystyriol, gwyliadwrus, gwiliadwrus, hybwyll, hirbwyll, rhagddarbodus; call, craffus, craff; cyfrwysgall; yn edrych yn ei gylch.

**Cautiousness**, *s.* (o *cautious*) gochelgarwch, gwachelgarwch, gochelogrwydd, gwagelogrwydd, gochelusrwydd; gocheledd, rhagofaledd; gwyliadwriaeth, gwyliadaeth, gwiliadwriaeth; pwyllineb, pwylledd, hybwylledd, callineb, craffineb, craffder; dichlynedd, dichlynder, dyfalwch.

**Cavalcade**, *s.* (Ff.; It. *cavalcata*) gorwyddawd, eddystrawd, marchograwd, gosgordd, gorymdaith marchogion, marchrawd.

**Cavalier**, *s.* (Ff.) marchog, marchor, gwarther, marchfilwr, crudfarchog, marchwron; marchogwr, marchwr.

Cavalier (in fortification)—gwarther.

Cavaliers and Round-heads—Marchogion a Phengryniaid=pleidwyr Carl I. a phleidwyr y Senedd.

**Cavalier**, *a.* hoew, gwych, llonwych; milwrol, gwronaidd, dewr, glew, hael, boneddig; balch, uchelfalch, ffroenuchel, trahäus.

**Cavalierism**, *s.* marchogyddiaeth, gwartheriaeth; arfer marchogion.

**Cavalierness**, *s.* trahausder, balchineb, uchder, balchder.

**Cavalry**, *s.* (Ff. *cavalerie*, o'r Ll. *caballus*) marchlu, marchoglu, marchrawd, marchfyddin, marchfyntai, gwŷr meirch, marchfilwyr, marchwys.

Cavalry and infantry—gwŷr meirch a gwŷr traed; marchwys a phedwys; marchfilwyr a thraedfilwyr.

Cavalry horse—cadfarch, march cad, march mai, meifarch, rhyfelfarch.

**Cavate**,† *v. a.* (Ll. *cavo*) cloddio, ceudyllu, ceuo, cafnu.

**Cavatina**, *s.* (It.) anadgan.

**Cavation**, } *s.* (Ll. *cavo*) cloddiad sail, seil-
**Cavazation**, } doriad, seilgloddiad, toriad sylfan.

**Cave**, *s.* (Ll. *cavea*, *cavum*, *cavus*; Ff. *cave*) ogof, gogof, ceudwll, caf, ffau; lloches, llechfa, cell.

Of *or* belonging to a cave—ogofol, gogofol, ffeuol, cafol; cau, ceuol; perthynol i ffau *neu* ogof.

Full of caves—ogofog, gogofog, ceudyllog, ffeuog, llochesog, tyllog; llawn ogofau *neu* geudyllau.

**Cave**, *v.* ceuo, ceudyllu, cafnu; byw mewn ogof.

**Cavea**, *s.* (Ll.) ffeufa, ogofle.

**Caveat**, *s.* (Ll. o *caveo*, gochel) lluddeb, lluddwys, anacheb; rhybudd, gocheliad, gwaharddiad, gwardd; lludd, anach, rhwystr; rhybudd i ochel; rhybudd i beidio.

**Caveat**, *v. a.* rhoi lluddeb *neu* anacheb; bwrw rhwystr; rhoi gwahardd; rhoddi anach; gosod, rhoddi, *neu* ddodi nam; bwrw nam yn erbyn; gwahardd, nagu; rhoi rhybudd gochel; anachu, namu.

**Caveating**, *s.* (o *caveat*) gocheliant, ymogeliant.

**Caveator**, *s.* (o *caveat*) lluddebwr, lluddiwr, anachwr, gwaharddwr; à roddo luddeb *neu* anacheb, &c.

**Cavern**, *s.* (Ll., It., ac Ysp. *caverna*) ogof, gogof, ceudwll, ffau, caf; lloches, llechfa, ceule.

**Caverned**, *a.* (o *cavern*) ogofog, gogofog, ceudyllog, ffeuog, ceuog; llawn ogofau; ogofdrig, gogofdrig; yn byw *neu* drigo mewn ogof.

The caverned hermit—y meudwy ogofdrig.

**Cavernous**, *a.* (o *cavern*) ogofog, gogofog, ceudyllog, ffeuog; tyllog, ceuol, ceuog, cau; llawn gogofau.

**Cavernulous**, *a.* (Ll. *cavernula*) mandyllog, ogofenog, ceudodog, mân-ogofog.

**Cavetto**, *s.* (Ll. *cavus*; It. *cavo*) ceufoldiad, ceurigol.

**Cavezon**, } *s.* (Ff. *caveçon*, *cavesson*) trwyndas,
**Cavesson**, } trwynffas, trwynrwy.

**Cavicorn**, *s.* (Ll. *cavus* a *cornu*) ceugorn.

**Caviar**, } *s.* (Ff. ac Al.) pysgronan, pysgron-
**Caviare**, } saig.

**Cavil**, *v.* (Ll. *cavillor*; Ysp. *cavillar*) cecru; trawsddadlu, trawsddadleu, ymeirio, ymgecru, geirddadlu, gwagddadlu, coegddadlu, gwrthddadlu, gwag-wrthddadlu; llunio gwrthresymau gorwag; pigo beiau; dadleu yn gecrus.

To cavil at words—dàl yn gipgar ar eiriau; gwarchau geiriau; beio yn ddiachos ar eiriau; cecru ar eiriau; geirddadlu.

**Cavil**, *s.* cecraeth, cecr, trawsddadl, gwagwrthddadl, coeg-wrthddadl, coeg-wrtheb, gwrthddadl orwag, gwrthateb gwag, gair ciprys, ciprysair, geirddadl.

**Cavillation**, } *s.* (Ll. *cavillatio*) cecrad, cecraeth,
**Cavilling**, } cecri, trwsddadliad, trawsddadleuad, gwagddadleuad, coegddadliad, ymeiriad, cipddaliad, geirddadliad.

**Caviller**, *s.* (o *cavil*) cecryn, cegrwr, cecrydd, ymgecrwr, trawsddadlwr, trawsddadlydd, trawsddadleuwr, ymeiriwr, coegddadlwr, coeg-wrthresymydd, cipddaliwr, geirddadlydd.

**Cavillous**, *a.* (o *cavil*) cecrus, cecraidd, cecrynaidd, cecrusgar, cecreiaidd, cipgar, trawsddadleuol; coeg- *neu* wag-ddadleuol; geirddalgar, geirddal, ymeirgar, hyfeiol, dadleugar, geirgecrus.

Cavillous disposition—cipgarwch, geirddalgarwch, ymeirgarwch, cegrusgarwch; tuedd cecrus, tymmer ddadleugar.

**Cavillousness**, } *s.* (o *cavillous*) cecrusedd, cecr-
**Cavillingness**, } usrwydd, cecrusdod, cecrusgarwch, cipgarwch, ymeirgarwch, trawsddadledd, dadleugarwch.

**Cavin**, *s.* (Ff. o'r Ll. *cavus*) ceurawd, cuddrawd.
**Cavitaria**, *s. pl.* (Ll. *cavitas*) ceudodolion, ceubryfed, cyllbwrion; pryfed *neu* lyngyr cylla.
**Cavity**, *s.* (Ll. *cavitas;* Ff. *cavité*) ceuedd, ceudod, ceuder, ceudeb, ceule, ceudwll, ceufan, caf; pant, pannwl; gwach, wm.
**Cavolinite**, *s.* (oddi wrth *Carolini*, Anianydd o Naples) delidfaen, à gaed yn ddiweddar yn Vesuvius.
**Caw**, *v. n.* (o'r sain; S. *ceo*) crawcian, crawcio, cawcio, cogor, crëu.
**Caxou**, *s.* (Ysp. *caxa, caxon*) delidgist.
**Cayenne Pepper**, *s.* pupyr Guiana, pupyr Gwyana, poethrawn Cayenn.
**Caymen**, **Caiman**, *s.* addanc; afanc America.
**Cazic**, **Cazique**, *s.* (Ff. *cacique*) penaeth brodorol yn America.
**Cease**, *v. n.* (Ll. *cesso;* Ff. *cesser;* It. *cessare*) peidio, peidio â, gadael, gadaw, ymattal, gadu, gorphwys, gorphwyso, ymorphwys, llaesu, llacäu, ymarbed, arbed, arbeidio, dysbeidio, ysbeidio, darfod â, dibarhau; rhoi heibio; gadael *neu* adaw heibio; gosod heibio; terfynu, pallu, llonyddu, tawelu.
  Cease to do evil—peidiwch â gwneuthur drwg.
  Cease to weep—paid âg wylo; gad wylo; rho heibio wylo.
  To cease from work—cymmerydseibiant *neu* ennyd; cadw gŵyl; bod mewn hamdden; darfod â gwaith; gorphwys; segura, ofera; peidio â gweithio.
  The wind ceased—peidiodd, tawelodd, *neu* gostegodd y gwynt.
  Cause thy anger towards us to cease—tor ymaith dy ddigofaint oddi wrthym.
  Cease not to cry—na thaw â gwaeddi.
  Never-ceasing=*Ceaseless*.
  Without ceasing — yn ddibaid, yn ddidor, &c.
**Ceaseless**, *a.* dibaid, didor, dïorphwys, diball, didawl, gwastadol; parhäus, diddiwedd, diderfyn, annherfynol; na dderfydd byth.
**Cecchin**, *s.* (o dref *Zecha*) bathell yn Italia, gwerth 9*s.* 5*c.*
**Cecilians**, *s. pl.* (Ll. *cæcilia*) madseirff, dallseirff, dallneidredd.
**Cecity**, *s.* (Ll. *cæcitas*) dallineb, dellni, delli.
**Cedar**, *s.* (Gr. *cedros;* Ll. *cedrus;* Ff. *cedre;* H. *cadar*) cedrwydd, cedr; *sing.* cedrwydden, cedren.
  Cedar of Lebanon — cedrwydd, cedrwydd Libanus, cedrwydd Lebanon.
  Cedar-trees — cedrwydd, coed cedr, coed cedrwydd, cedrgoed.
  Cedar-work—cedrwaith.
**Cedared**, *a.* (o *cedar*) cedrwyddog, cedrog.
**Cedar-like**, *a.* cedrwyddaidd, cedraidd.
**Cedarn**, *a.* (o *cedar*) cedrwyddain, cedrwyddin.
**Cede**, *v. a.* (Ll. *cedo;* Ff. *ceder*) rhoi i fyny; rhoddi i fyny; gildio, trosi; ymroddi; gadael; ymroddi i fyny; ymostwng i; rhoi lle.
**Cedilla**, *s.* (Ff. *cédille*) esnod=nod o dan *c* Ffrengig (fel hyn, ç), i ddangos y dylid ei seinio fel *s*.
**Cedrat**, *s.* (o *cedar*) cedronwydd, cedradwydd, llebgedrwydd.
**Cedrine**, *a.* (Ll. *cedrinus*) cedrwyddin, cedrwyddain, cedrain, cedraidd; o gedr *neu* gedrwydd.
**Cedry**, *a.* (o *cedar*) cedraidd, cedrol, cedrwyddol, cedrus.
**Ceduous**, *a.* (Ll. *cæduus*) cwympaddas; cymhwys i'w gwympo *neu* dori.
**Ceil**, *v. a.* (Ysp. ac It. *cielo;* Ff. *ciel;* Ll. *cælum*) nenfydu, mydu, nenu; plastro uch ben; cromglwydo, cronglwydo.
**Ceiling**, *s.* (o *ceil*) nenfwd, mwd, mydiad; cromglwyd, cronglwyd: planciau mewnol llong.
**Ceilinged**, *a.* nenfydog, nenfydedig; â nenfwd iddo.
**Celandine**, *s.* (Ll. *chelidonia;* Gr. *chelidonion*) llygadlys, llygadlym, dilwydd, dilwydd felen, llym y llygad, llysiau y llygad, llysiau y wennol, llysiau y clefyd melyn, melynllys.
  Lesser celandine—milfyw, bronwys, bronwst, llysiau y bronau, llygad Ebrill, melyn y gwanwyn, gwenith y ddaiar, gwenith y gog, llygad dyniawed.
**Celastrus**, *s.* (Gr. *célastros*) y ffonwydd.
**Celature**, *s* (Ll. *cælatura*) cerfiadaeth, crifiadaeth; crifelliad, cerfiad, cerfwaith, crifellwaith.
**Celebrate**, *v. a.* (Ll. *celebro;* Ff. *célébrer*) dathlu, clodfori, moli, moliannu, mawrygu, canmawl; enwogi; parchu, anrhydeddu; coffa *neu* goffhau yn barchus; cadw, cynnal; cyfargofio; gadw yn santaidd; hau clod, taenu clod, dwyn clod, darfoli, llawddioli.
  To celebrate a feast—cadw gŵyl; cynnal gŵyl; cadw *neu* gynnal yn ŵyl; cadw gwledd.
  To celebrate a marriage—dathlu priodas; cadw neithior; gwneuthur neithior; gweinyddu priodas.
  To celebrate the Sacrament — gweini, gweinyddu, *neu* wasanaethu y Cymun.
  To celebrate divine service — cadw *neu* gynnal gwasanaeth dwyfol; darllen gwasanaeth; darllen y gwasanaeth; gweinidogaethu.
  To celebrate praise—cyhoeddi, dadgan, gweini, *neu* weinyddu mawl; dathlu, clodfori, &c.
  To celebrate the Sabbath—cadw y Sabbath.
**Celebrated**, *a.* (Ll. *celebratus*) enwog, clodfawr, hyglod, clodforus, canmoledig, clodforedig, clodwiw, gwiwglod, clodlawn, dathl, dathledig, nodedig, hynod, canmoladwy, hyson; hybarchus, parchus, anrhydeddus; â gair mawr iddo; â son mawr am dano; cynnaliedig; à gynnaliwyd, à gadwyd, &c.
**Celebration**, *s.* (Ll. *celebratio*) dathlad, dathliad; cadwad, cynnaliad, cyfargofiad; gweinyddiad; gweinidogaeth; clodforiad, molawd, moliannad, mawrygiad, canmoliad; mawl, clod, clodforedd, moliant; bri, enwogrwydd; anrhydedd.
**Celebrator**, *s.* (Ll.) dathlwr, dathlydd, &c.
**Celebrious**, *a.* (Ll. *celebris*) clodfawr, enwog, dathl, clodlawn, clodforus, clodol, clodog, clodus, clodiwiw, gwiwglod, clodfan, hynod, nodedig, hyson, honaid.
**Celebriousness**, *s.* (o *celebrious*) enwogrwydd, clodforedd, &c.
**Celebrity**, *s.* (Ll. *celebritas*) enwogrwydd, clodforedd, hynodrwydd, hyglodedd, clodforusrwydd, clodiaeth, dathledd, clodusrwydd.

clod, bri; clod ac enw, gair mawr, son mawr.
Celeriac, *s.* (o *celery*) meip-helogan, helogan feip-wraidd.
Celerity, *s.* (Ll. *celeritas*) buander, buandra, cyflymder, cyflymdra, cyflymedd, buanedd, buanrwydd, mythder, ffysgedd, chwimmythder, ffull, brys, cud.
Celery, *s.* (Ff. *celeri;* Al. *sellerie*) helogan, perllys yr hel, mers.
Wild celery — perllys y morfa, helogan wyllt.
Red celery—helogan goch.
White celery—helogan wèn.
Celestial, *a.* (Ll. *cœlestis, cælestis*) nefol, nefolain, nefolaidd, nefolig, nefolus; nwyfreawl.
Celestial world—y byd nefol, nefolfyd.
Celestial globe — sergronen, nef-gronen, nen-glob, nen-gronen, nen-gronell, nefen.
The twelve celestial signs — deuddeg arwydd y ffurfafen; y deuddeg arwydd nefol, nenol, *neu* wybrenol.
Celestial, *s.* nefolydd, nefolur, nef-anneddwr, nef-drigydd, nef-drigiannydd, preswylydd nef: *pl.* nefolion, nefoliaid, nefiaid.
Celestialize, *v. a.* (o *celestial*) nefoli, nefoliannu, nefoleiddio.
Celestify,† *v. a.* (Ll. *cœlestis* a *fio*) nefoliannu, nefoli, nefoluso.
Celestin, } *s.* (Ll. *cœlestis*) nefolin, nenfwnid,
Celestine, } nefliwfaen, golasfwn.
Celiac, *a.* (Ll. *cœliacus;* Gr. *coiliacos*) bolaidd, bolyol, bolaol, rhumenol, ceudodol; coluddol, perfeddol; perthynol i'r bol.
Celibacy, } *s.* (Ll. *cœlibatus*, o *cœlebs*) anwedd-
Celibate, } ogaeth, gwyryddiaeth, gwyryfiaeth, annyweddïaeth, gweddwdod, unigrwydd; buchedd anweddog, unig, *neu* anmhriod.
Celidography, *s.* (Gr. *cēlidoō* a *graphō*) brycheuaeth, ysmotiaeth=darluniad o'r ysmotiau ar wyneb yr haul neu blaned.
Celine, *a.* (o'r Gr. *coilia*) bolaidd, bolaol; perthynol i'r bol.
Cell, *s.* (Ll. *cella*) cell, cuddigl, cafell, celfa, dirgelfa; ystlysgell; caf, ogof; bwth, bwthyn; cau; coden; hadgell.
Cell of a hermit—cuddigl, cell, *neu* ogof meudwy.
Adipose cells—brasgelloedd, brasgeuoedd, brasgodau.
Cell of a honeycomb—melgorn, melgell, melgod.
Cella, *s.* (Ll.) tu mewn teml.
Cellar, *s.* (Ll. *cellarium;* Al. *keller*) seiler, syler, dïodgell, gwirodgell, trull, trullfa; cell.
Cellarage, *s.* (o *cellar*) seilerfa, seilergell, cellfa, cellfan, trullfan; seiler, seileri; seilerdal, trulldal.
Cellaret, *s.* (o *cellar*) potelgell.
Cellarisæ, } *s. pl.* (Ll. *cellarium*) cellogolion,
Cellaridæ, } cellfywiaid.
Cellarist, } *s.* (o *cellar*) seilerydd, trulliad,
Cellarer, } trulliwr, ceidwad syler, ceidwad bwyd.
Celliferous, *a.* (Ll. *cella* a *fero*) cellddwyn, cellddygol, cellog.
Cellular, *a.* (Ll. *cellula*) cellog, mân-gellog, tyllog, cellanog, mân-dyllog, ceuol.
Cellular tissue—cellogwe, tyllogwe, bywynwe gellog, cubwe.

T

Cellular, *s.* celloglys.
Cellulares, *s. pl.* (Ll. *cellula*) celligolion, anghibogion, anhadgellogion, celweddogion.
Cellularia, *s. pl.* (Ll. *cellula*) cellogorion, cellwylar.
Cellulated, *a.* cellog, cellogol, llawn celloedd.
Cellule, *s.* (Ll. *cellula*) cellan, cellen, cell fechan.
Celluliferous, *a.* (Ll. *cellula* a *fero*) cellanddwyn, cellweog, cellanog.
Celosia, *s.* (Gr. *cēloō*) cribammor.
Celotomy, *s.* (Ff. *celotomie*, o'r Gr. *cēlē* a *tomē*) torgesttrwch, torgesttrychiad.
Celsitude, *s.* (Ll. *celsitudo*) uchder, uchelder, ucheledd, uchedd.
Cement, *s.* (Ll. *cœmentum;* Ff. *ciment*) glygymrwd, gludgymrwd, asgymrwd, cymrwd, cynglud, cydlud; ysgroling, asgroling, asglawring, ysgrawling, gly, syth; cydiad, undeb, rhwymyn undeb.
Water cement, } gwy-gymrwd, gwy-gyng-
Roman cement, } lud, glygymrwd dwr.
Cement, *v. a.* glygymrydu, asgymrydu, gludgymrydu, cymrydu; cydludio, cyngludio, ysgrolingo; cydio, uno, cydlynu; gludio yn nghyd.
Cementation, *s.* (o *cement*) cyngludiad, cydludiad, cydlyniad, ysgrolingad; cysylltiad, cydiad, cynghydiad.
Cementatory, } *a.* (o *cement*) cyngludiol, cyd-
Cementitious, } ludiol, cydlynol, gludiol, ysgrolingol, unoliadol, cyghydiol.
Cementer, *s.* (o *cement*) cyngludydd, cydludydd, cydludiwr, ysgrolingydd, cydiedydd, asiwr.
Cemetery, *s.* (Ll. *cœmeterium;* Gr. *coimētērion*) claddfa, monwent, mynwent, anglawdd, beddrodfa, corfflan, beddle, beddfan, beddlan, beddrawd; hunfa y meirw.
Cenatory, *a.* (Ll. *cœnatorius*) cwynosol, swperol, hwyrbrydiol.
Cenobite, *s.* (Gr. *coinobiotēs*) brodorog, cyfrodor, brodor, cyfeinnwr: *pl.* brodorogion.
Cenobitic, } *a.* (o *cenobite*) brodoriol, cy-
Cenobitical, } frodorol, cyfeinniol, cymrodogol, cyttrigiannol, cymdeithasol.
Cenoby, *s.* brodorfa, brodordyn, brodordy.
Cenotaph, *s.* (Gr. *cenotaphion*) ceufeddrod, gwagfeddrod, ceufeddgor, gwagfedd, ceufedd.
Cense, *s.* (Ll. *census*) treth, trethiad; gradd, cyflwr.
Cense, *v. a.* (Ff. *encenser*) arogldarthu, mygdarthu, perdarthu, addoldarthu.
Censer, *s.* (Ff. *encensoir*) thuser, padell dân, peroglyr, crombadell.
Golden censer—thuser aur.
Cension, *s.* (Ll. *censio*) treth, trethiad, ardrethiad.
Censor, *s.* (Ll.) senodur, seniadur, senor, sudiadur, diwygiadur, beirniad; senwr, beiwr, beiadur, cyhuddwr, hyfeiwr.
Censor of the press — senodur y wasg; beirniad y wasg, seniadur y wasg.
Censorial, } *a.* (o *censor*) senodurol, sudiad-
Censorian, } urol, seniaduraidd; beiadurol, hyfeiol, hyfarn.
Censorious, *a.* (Ll. *censorius*) hyfeiol, hyfarn, hyfai, cyhuddgar, sengar, beigar, hygabl, hyfeiol, ceryddgar, goganus, caledfarn, enllibus; beiol, ceryddol, senol, senedigol; hoff o feio.
Censorious person—hyfeiwr, hyfarnwr.

**Censoriousness,** *s.* (o *censorious*) cyhuddgarwch, ceryddgarwch, senoldeb, senolder, hyfeigarwch, sengarwch, hyfeioldeb, hyfeiedd, beigarwch, hygabledd, &c.
**Censorlike,** *a.* (*censor* a *like*)=*Censorious.*
**Censorship,** *s.* (o *censor*) senoduriaeth, senoriaeth, seniaduriaeth, seniadaeth, barnoriaeth, beirniadaeth; senwriaeth, cyhuddiadaeth; beiaduriaeth; swydd senodur.
**Censual,** *a.* (Ll. *censualis*) cofrifiadol, cofrifol, niferiadol.
**Censurable,** *a.* (o *censure*) beius, ceryddadwy, ceryddus, beiadwy; i'w feio, i'w geryddu; ceryddwiw; hygwl, camgylus, beiol.
**Censurableness,** *s.* beiusrwydd, beiusdod, beiusder, beioldeb, ceryddusrwydd, beiolrwydd, hygyledd, cylusrwydd.
**Censure,** *s.* (Ff.; Ll. *censura*) sen, cerydd; bai, gwŷd, sard, cwl, argywedd; barn, dedfryd, bwriad barn; beiad, senawd.
The best cannot escape censure—ni all y goreu ddïanc heb eu barn *neu* eu bai; ni eill y goreu ddïanc heb gael eu beio; ni ddïanc y goreu yn ddisen, heb sen, *neu* heb eu beio.
Hard censure—barn galed.
To deserve censure—haeddu cerydd *neu* sen.
The censure of the vulgar—enllib y werin; sen *neu* feiad y werinos.
This action met with various censures—y weithred hon a feiwyd gàn rai yn fwy, a chàn rai yn llai; bu gwahanol farnu a beio ar y weithred hon.
Addicted to censure=*Censorious.*
He exposed himself to the censure of the whole world—efe a dynodd arno ei hun gerydd yr holl fyd; tynodd arno ei hun sard a sen yr holl fyd.
**Censure,** *v. a.* beio, senu, ceryddu, sardio, cablu, cylu; rhedeg ar; beio ar; lladd ar; dedfrydu, barnu, dyfarnu; rhoi sen *neu* gerydd; †cyfrif, prisio.
**Censurer,** *s.* (o *censure*) beiwr, senwr, ceryddwr.
**Censuring,** *s.* beiad, seniad, senawd, ceryddiad; bai, gwaradwydd.
**Census,** *s.* (Ll.) cofrifiad, niferiad, cofrifeb, sudrifiad, deiliadeb; cyfrif, cyfrifad.
**Cent,** *s.* (Ll. *centum;* Ff. *cent*) cant; *pl.* cannoedd, cantoedd.
Five per cent.—pump y cant; pump yn y cant; pum punt y cant.
**Cent,** *s.* dimai America=y ganfed ran o ddoler.
**Centage,** *s.* (o *cent*) canttal, canttoll, y cant, cantedd; dogn yn ol y cant; dognedd wrth y cant.
Per-centage—yn ol y cant; wrth y cant; canttal, canttoll, cantedd, y cant.
**Centaur,** *s.* (Ll. *centaurus;* Gr. *centauros*) Centawr, Centaur, dynfarch=anghenfil dychymygol, hanner dyn a hanner march.
**Centaur,** } **Centaurus,** } y Saethydd, y Centawr=rhan o gydser deheuol, yn cynnwys 35 seren.
**Centaurize,** *v. n.* (o *centaur*) Centawrciddio, Centoreiddio, Centorio, dynfarchu.
**Centaurlike,** *a.* Centawraidd, Centoraidd; fel Centawr; tebyg i ddynfarch.
**Centaury,** *s.* (Ll. *centaurea;* Gr. *centaureon*) canri, arlladlys, bustl y ddaiar.
Common centaury — canri goch, ysgol Fair, ysgol Crist, bustl y ddaiar, llysiau y bleurwg.
Yellow centaury—canri felen.
Dwarf tufted centaury—canri goch arfor.
Lesser centaury—canri leiaf.
Marsh centaury—canri y gors, arlladlys y gors.
**Centenarian,** *s.* (Ll. *centenarius*) canmlwyddwr, canmlwyddog, un canmlwydd oed.
**Centenary,** *s.* (Ll. *centenarius*) canmlwyddiant, canrifiant; canrif, cantrif, cant.
**Centenary,** *a.* canrifol, canrifiannol, cannawl; perthynol i gant.
**Centennial,** *a.* (Ll. *centum* ac *annus*) canmlwyddol, canmlyneddol; bob càn mlynedd; unwaith bob càn mlwydd.
**Centering,** *s.* (o *center*) creiddiad; ystramwaith, cynnalgoed.
**Centesimal,** *a.* (Ll. *centesimus*) canfed, canfedol, canranol, cantranol, canfedranol, y canfed, y ganfed.
**Centesimal,** *s.* canran, cantran, canfedran.
**Centesimation,** *s.* (Ll. *centesimus*) canfediant, canfediad, cantraniad; dïenyddiad un o bob cant.
**Centesm,** *s.* (Ll. *centesimus*) canran, cantran.
**Centicipitous,** *a.* (Ll. *centum* a *caput*) canpen, canpenog; â chàn pen iddo.
**Centifidous,** *a.* (Ll. *centum* a *findo*) canholltog, canranog, cantranog, candrylliog, candryll, cantwn.
**Centifolious,** *a.* (Ll. *centum* a *folium*) cannalenog, candalenog, cannalen, candalen.
**Centigrade,** *a.* (Ll. *centum* a *gradus*) canraddog, cantraddog, cantraddol.
Centigrade thermometer — y gwresfynag cantraddog.
**Centigrade,** *s.* cantraddog, canraddog, canraddyr=gwresfynag cantraddog And. Celsius, o Upsal.
**Centigram,** } **Centigramme,** } *s.* (Ll. *centum,* a Ff. *gramme,* mesur yn Ffrainc) canfedram =y ganfed ran o'r *gram.*
**Centiliter,** } **Centilitre,** } *s.* (Ll. *centum,* a Ff. *litre* neu *litron*) cantlitron, canfedlitron= y ganfed ran o'r *litron.*
**Centiloquy,** *s.* (Ll. *centum* a *loquor*) ymadrodd canplyg, cantarawd.
**Centimeter,** } **Centimetre,** } *s.* (Ll. *centum,* a Gr. *metron*) canfesur, canfydrai = mesur Ffrengig, yn nghylch pedair rhan o ddeuddeg o fodfedd.
**Centinody,**† *s.* (Ll. *centinodia*)=*Knotgrass.*
**Centiped,** } **Centipede,** } *s.* (Ll. *centipeda*) canttroed, cantroed, cantroedyn, cantroetyn, pryf cantroed, canped, canpedog.
**Centner,** *s.* (Ll. *centenarius*) delgantran, delgant.
**Cento,** *s.* (Ll.) cynnullgan, clytgan, amrywgan, amrygan; pryddest â gasglwyd o wahanol awdwyr.
**Central,** *a.* (Ll. *centralis*) canolog, canolaidd, canol, creiddiol, canolbarthol, cymherfeddol, canolbwyntiol, canolbarthig, canolbarthaidd; perthynol i'r canolbwynt; yn y canol; ar y canol; perfedd, perfeddol.
Central Asia—canol Asia, Asia ganol.
Central forces—creiddalluoedd, galluoedd canolog, galluoedd canol, medalluoedd, canolrymoedd.
Central point—pwynt perfedd *neu* greiddiol; pryffwnt, canolbwynt.

**Centrality**, *s.* (o *central*) canologrwydd, canoledd, cymherfeddoldeb.
**Centralization**, *s.* (o *centralize*) canoliad, canoleiddiad, cymherfeddiad, canolbwyntiad; canoldyniad, canolduedd.
**Centralize**, *v. a.* (o *central*) creiddio, canoli, canologi, canolbwyntio, cymherfeddu; canoldynu.
**Centrally**, *ad.* (o *central*) yn y canol; yn ganolog, &c.
**Centre**, **Center**, *s.* (Ll. *centrum;* Gr. *centron*) canol, y canol, craidd, canolbwynt, canolbarth, canolbwnc, alafon, cymherfedd, canolfan, pryffwnt, cnewullyn, pwynt perfedd, rhidd, med, ces.
Centre of attraction—craidd cyrch, craidd y cyrch, craidd attyniad, craidd tyniad.
Centre of gravity—craidd dysgyrchiad, craidd dysgyrchiant, craidd dymgyrch.
**Centre**, **Center**, *v.* canoli, creiddio, canolbwyntio, cymherfeddu; cydgyfarfod; gorphwys ar; cyfeirio, terfynu; cyfarfod yn y canolbwynt.
Their designs centred in peace—at heddwch yr oedd eu hamcanion yn tueddu *neu* yn cyfeirio.
**Centric**, **Centrical**, *a.* (o *centre*) creiddig, creiddiol, canolaidd, cymherfeddol, canolbarthol, cymherfedd, perfeddol.
Centric and eccentric — creiddig ac echreiddig, creiddig ac esgreiddig.
**Centricalness**, *s.* creiddiolrwydd, creiddioldeb, creiddigrwydd, canolrwydd, canoldeb.
**Centrifugal**, *a.* (Ll. *centrum* a *fugio*) canolffo, canolffoawl, creiddffoawl, esgreiddiol, canolochel.
Centrifugal force—gallu canolffo, grym creiddffoawl; y gallu sy'n ffoi, tynu, *neu* yru oddi wrth y canolbwynt.
**Centripetal**, *a.* (Ll. *centrum* a *peto*) canolgyrch, canolgais, creiddgeisiol, canolgyrchol, creiddgyrch.
Centripetal force—y gallu canolgyrch, y grym canolgais; y gallu sy'n tynu tuag at y canolbwynt.
**Centrolinead**, *s.* (Ll. *centrum* a *linea*) creiddlinellyr.
**Centumviral**, *a.* (Ll. *centumviralis*) canbarnorol, cantwyriadol; perthynol i'r Canbarnwr.
**Centumvirate**, *s.* (o *centumviri*) cantwyriaeth, canbarnwriaeth, canbarnoriaeth.
**Centumviri**, **Centumvirs**, *s. pl.* (Ll. *centumviri*) y Canbarnwr (yn Rhufain gynt); y Cantwyriaid, y Canbarnoriaid.
**Centunculus**, *s.* (Ll.) brilys, bril-lys.
**Centuple**, *a.* (Ff. o'r Ll. *centuplex*) canplyg, canmhlyg, cannyblyg, cantro; càn cymmaint; ar ei ganfed.
**Centuple**, **Centuplicate**, *v. a.* canplygu, canmhlygu, cannyblygu; lluosi ganwaith *neu* gantro; canfedu.
**Centurial**, *a.* (o *century*) canrifol; can mlwyddol, canmlyneddol.
**Centuriate**, *v. a.* (Ll. *centurio*) cantranu, canranu, canbarthu; rhanu yn gannoedd.
**Centuriator**, **Centurist**, *s.* (Ff. *centuriateur*, o'r Ll. *centuria*) canrifydd, canrifwr, canrifiadur, canrifiad, canrifiedydd, oeshanesydd; hanesydd à rano ei hanes i ganrifau.
**Centurion**, *s.* (Ll. *centurio*) canwriad; pen ar gant.



**Century**, *s.* (Ll. *centuria*) canrif, (*pl. t.* au, oedd), càn mlynedd, canmlwydd; cant; oes.
The first century—y canrif cyntaf.
By centuries—yn gannoedd; wrth y cannoedd; yn ganrifau.
**Cepa**, *s.* (Ll.) wynwyn.
**Cephalalgic**, *a.* (o *cephalalgy*) perthynol i ddolur pen; penboenus, penystog, pen-guriog.
**Cephalalgy**, *s.* (Gr. *cephalalgia*) dolur pen, cur pen, gwaew pen, penwst, dolur y pen, penboen, pen-gur, penwaew.
**Cephalalgus Occidentalis**, *s.* (Ll.) botymwydd.
**Cephalatomy**, *s.* (Gr. *cephalê* a *tomê*) pendrychiad, penddifyniaeth.
**Cephalic**, *a.* (Gr. *cephalicos*, o *cephalê*, pen) perthynol i'r pen; da rhag dolur pen.
Cephalic medicines — pen-gyfferi, pengyffyriau.
**Cephalic**, *s.* pen-gyffer, pen-gyffyr; cyffer rhag dolur pen.
**Cephalinæ**, *s. pl.* (Gr. *cephalê*) yr heulbysg.
**Cephalo-Extractor**, *s.* pendynyr, penefail.
**Cephalography**, *s.* (Gr. *cephalê* a *graphô*) penddarluniad, penddifyniad.
**Cephaloid**, *a.* (Gr. *cephalê* ac *eidos*) penaidd, penddulliog; ar lun pen; crwn, cynghrwn.
**Cephalology**, *s.* (Gr. *cephalê* a *logos*) penwyddeg, ymenyddiaeth.
**Cephalopoda**, **Cephalopods**, *s. pl.* (Gr. *cephalê* a *pous*) penbedogion, pendroedogion, ambendroedaid, penbedogiaid.
**Cephalopode**, *s.* penbedog, penbedogyn, pendroedyn; un o'r penbedogion.
**Cephalopodic**, **Cephalopodous**, *a.* penbedogaidd, penbedogol, pendroedogol, ambendroedog; perthynol i'r penbedogion.
**Cephalus**, *s.* (o'r Gr. *cephalê*) yr heulbysg, y tesbysg.
**Cepheus**, *s.* (=brenin Ethiopia) cydser gogleddol, yn cynnwys 35 seren.
**Cera**, *s.* (Ll.; Gr. *cêros*) cŵyr.
**Ceraceous**, *a.* (Ll. *ceraceus*) cwyraidd; fel cŵyr.
**Ceraine**, *s.* (Ll. *cera*) cwyrain.
**Cerasin**, *s.* (Ll. *cerasus*) surianlws, suriansug, eirinsug.
**Cerasite**, *s.* (Ll. *cerasus*) ceiriosith, ceiriosfaen; ceirios *neu* suriain wedi ymgaregu.
**Cerastes**, *s.* (Gr.) cyrnig, cyrnog, cyrnsarff, sarff gyrnig.
**Cerastium**, *s.* (Gr. *ceras*) llynorlys, brechlys, gwlyddyn y cywion.
**Cerate**, *s.* (Ff. *cérat;* Ll. *ceratum*) cwyreli, eli cŵyr; suglïan.
**Cerated**, *a.* (Ll. *ceratus*) cwyredig, cwyrog.
**Ceratonia**, *s.* (Gr. *ceration*) y pren Carob; bara Sant Ioan.
**Ceratophyllum**, *s.* (Gr. *ceras* a *phullon*) gwygyrnddail.
**Ceratoptera**, *s. pl.* (Gr. *ceras* a *pteron*) cornasgelliaid, cornasgellogion.
**Cere**, *v. a.* (Ll. *cera*) cwyro; pygo.
**Cere**, *s.* (Ll. *cera*) bylgroen; croen noeth bon pig hebog.
**Cereal**, *a.* (oddi wrth *Ceres*, duwies yr yd) ydronol, ydrawnol, ysronol.
Cereal grasses—ydwellt, grawnwellt.
**Cerealia**, *s. pl.* ydrawn, grawn bwytadwy; yd.
**Cerebel**, **Cerebellum**, *s.* (Ll. *cerebellum*) olymenydd, gormenydd, yr emenydd bychan.
**Cerebites**, *s.* (Ll. *cerebrum*) fflameg yr ymenydd.

**Cerebral,** } *a.* (Ll. *cerebrum*) ymenyddol,
**Cerebrine,** } emenyddol, menyddol, emenydd-aidd.

**Cerebric Acid,** *s.* sur ymenyddig, sur menyddig, sur emenydd.

**Cerebrosity,** *s.* (Ll. *cerebrosus*) penchwidredd, gowallgofrwydd.

**Cerebrum,** *s.* (Ll.) yr ymenydd, yr emenydd, y menydd.

**Cerecloth,** *s.* (Ll. *cera*, a *cloth*) cwyrlïan, sugliïan, pyglïan; siglïan, yssiglïan.

**Cerement,** *s.* (Ll. *cera*, cŵyr) cwyrleni, cwyrlïeiniau, cwyrlïan.

**Ceremonial,** *a.* (Ff. o'r Ll. *ceremonia*) defodol, cynnefodol, arddefodol, deddfol, arddeddfol, moesddefodol, moesffurfiol, moesffurfiog; perthynol i ddefodau.

Ceremonial law — cyfraith ddefodol *neu* gynnefodol; deddf ddefodol, cyfraith defodau, defodraith.

**Ceremonial,** *s.* defodlyfr, cynnefodlyfr, defodiadur, defodur, defodlith, llyfr defodau; ffurf allanol, defod allanol, ffurf.

**Ceremonious,** *a.* (o *ceremony*) defodgar, cynnefodgar, arddefodgar; ffurfiol, moesffurfiol, moesffurfiog, defodaidd, cynnefodaidd, arddefodaidd; ffurfgar, moesog, rhyfoesog, moesgar, rhyfoddus, moddus, dygiadus, moesddefodol, dillynwych, rhyfoesgar; llawn moesau, llawn o foesau, llawn ffurfiau; manylaidd, hydrefn.

**Ceremoniousness,** *s.* (o *ceremonious*) defodgarwch, ffurfioldeb, &c.

**Ceremony,** *s.* (Ll., It., Ysp., a Port. *ceremonia*) defod, cynnefod, arddefod, arfer, hen ddefod, hen arfer, moesffurf, ffurf, ffurf allanol; moesgarwch, rhyfoes, moesddefod, moesarfer, dillynfoes; rhwysg, rhodres; rheol gwasanaeth; defod ac arfer.

Before the ceremony was over—cyn gorphen y gwasanaeth.

I went there only out of ceremony—aethym yno yn unig o ran defod ac arfer.

Without ceremony — heb na rhwysg na rhodres; yn ddïymanerch; heb na moes na defod.

Master of ceremonies—cyfeistyddiwr llys; meistr y chwareon; meistr y moesffurfiau.

**Cereolite,** *s.* (Gr. *cêros* a *lithos*) cwyrfaen.

**Cereopsis,** *s.* (Gr. *ceras* ac *opsis*) y golomenwydd.

**Cereous,** *a.* (Ll. (*cereus*) cwyraidd, cwyraid; fel cŵyr.

**Cerin,** } *s.* (Ll. *cera*) cwyrin, crisgwyr.
**Cerine,** }

**Cerinthe,** *s.* (Ll. *cera*, a Gr. *anthos*) githran, githrog.

**Cerite,** *s.* (o *Ceres*) cerith, ceresfaen.

**Cerium,** *s.* (oddi wrth *Ceres*) delid â gafwyd allan gân Hisinger a Berzelius, yn Sweden, yn 1804.

**Cernuous,** *a.* (Ll. *cernuus*) gogwyddol, llipa, llibin, ar ogwydd.

**Cerographical,** *a.* cwyrysgrifol; cwyrgerfiadol.

**Cerographist,** *s.* cwyrysgrifydd, cwyrysgrifenwr; cwyrgerfiwr, cwyrgrifellydd.

**Cerography,** *s.* (Gr. *cêros* a *graphô*) cwyrysgrifiaeth, cwyrysgrifiad; cwyrysgrifen; cwyrgerfiad.

**Ceromancy,** *s.* (Gr. *cêros* a *manteia*) cwyrddewiniaeth, cwyrarmes, cwyrogan.

**Ceroon,** *s.* (Ysp. *seron*) croensypyn.

**Ceroplastic,** *a.* (Gr. *cêros* a *plasticê technê*) cwyrddelwadol, cwyrluniol, cwyrgynlluniol.

**Ceroplastic,** *s.* cwyrddelwadaeth, cwyrgynllun, cwyrluniad.

**Cerrial,** *a.* (o *cerrus*) chwerdderwin; perthynol i'r dderwen chwerw.

**Cerrus,** *s.* (Ll.) y dderwen chwerw, chwerdderwen, chwerddar.

**Certain,** *a.* (Ff.; Ll. *certus*) sicr, dilys, dïau, dïammheu, dir, diogel, disom, anhysom, diddadl, gwir, cywir, dibetrus, dïymwad, dïammheuol, hysbys, dïos, diball, dinam, diffael, difeth, dïanwadol, dïysgog, ceugant, safadwy; penodol, gosodedig, penodedig, terfynedig, sefydledig, nodedig: rhyw, rhai; un.

A certain person—un, (*pl.* rhai); rhyw ddyn, rhyw wr, rhyw un; y dyn a'r dyn; y gwr a'r gwr; hwn a hwn; hon a hon.

A certain sum—hyn a hyn; rhyw swm.

I am certain of it—dilys genyf; y mae yn ddilys genyf; yr wyf yn sicr, &c.; mi a'i gŵn yn ddilys.

On a certain day—ar ddydd hysbys, penodol, nodedig, *neu* osodedig; ar ryw ddydd; ar y dydd a'r dydd.

Certain days—rhai dyddiau; ennyd o ddyddiau; talm o ddyddiau; rhyw ddyddiau.

After certain years—yn mhen rhai blyneddoedd; yn mhen ennyd o flyneddoedd.

I am as certain as I am alive—môr sicr yw genyf a'm bod yn fyw; cyn wired a'm bod yn fyw.

I am not certain whether I shall return or not—nid oes gwybod a ddychwelaf ai peidio.

Certain men came in—rhai gwŷr a ddaethant i mewn; daeth rhywrai i mewn.

There arose certain—rhai a gyfodasant.

The dream is certain—y breuddwyd sy wir.

There came certain—daeth gwŷr.

A certain rate every day—dogn dydd yn ei ddydd.

There are no certain days of meeting—nid oes dyddiau gosodedig i gyfarfod arnynt.

By a certain number—dân rifedi; wrth *neu* dân rifedi neilltuol.

Certain others—ereill, rhai ereill, rhyw rai ereill, rhywrai ereill.

What seemeth good to God is certain—â fo da gân Dduw sy ddir.

For certain — yn ddïau, yn ddilys, yn wir ddïau, yn sicr, &c.; trwy brawf.

I will certainly do it—gân wneuthur y gwnaf ef.

It will certainly come—gân ddyfod y daw.

**Certainness,** *s.* (o *certain*)=*Certainty.*

**Certainty,** *s.* (o *certain*) sicrwydd, dilysrwydd, dilysdod, dilyswch, dïeurwydd, disomrwydd, dinamedd, hysbysrwydd, dïammheuedd, dïammheuaeth; gwir, gwiredd, arwiriant, dir; gwadalwch.

To leave certainty and stick to chance—gadaw y dilys a chymmeryd yr annilys.

There is no certainty of any thing—nid ceugant dim; nid oes sicrwydd am ddim; nid oes dim sicr.

There is no certainty in him—nid oes ond yr anwadalwch ynddo.

We must go upon certainties only—nid

oes i ni â wnelom ond â'r hyn sy gwbl ddilys a diymwad.
We have now the certainty of his death—gwyddom bellach yn sicr ei farw ef; y mae genym weithian sicrwydd o'i farwolaeth.
I would fain be at some certainty—ewyllysiwn gael hyd yn rhyw fesur fy niogelu; nis mynwn lai na bod i'm hadeilad ryw sylfan.
Certes,† *ad.* (Ff.; Ll. *certè*) yn sicr; yn ddïau; yn wir, &c.; mewn gwirionedd.
Certhia, *s.* (Gr. *ceras*) y grepianog.
Certhiadæ, *s. pl.* (o *certhia*) crepianogion, crepianogryw=rhywogaeth o adar.
Certificate, *s.* (Ff. *certificat*, o'r Ll. *certus*) tystysgrif, tystysgrifen, tystiadur, tysteb, tystlythyr, arwaeseb, arwaesaf, llythyr hysbysrwydd, llythyr dilysrwydd.
Certificate, *v.* ysgrifdystio, tystebu, arwaesu, arwaesafu; dilysu, sicrhau; rhoi tystysgrif i.
Certification, *s.* (o'r Ll. drosgl, *certifico*) sicrhad, dilysiad, dilysiant, ardystiad, arwaesiad, hysbysiad, mynegiad.
Certifier, *s.* (o *certify*) dilyswr, dilysydd, arwaeswr, ardystiwr, ardystydd, &c.
Certify, *v. a.* (Ff. *certifier;* Ll. drosgl, *certifico*) sicrhau, dilysu, ardystio, tystebu, tystio; gwirio, yswirio; hysbysu, mynegu.
Certiorari, *s.* (Ll. *certus, certior*) gwaesafwys, sicrwys = gwŷs i godi cynghaws i lys uwch.
Certitude, *s.* (Ll. drosgl, *certitudo*)=*Certainty.*
Cerulean, } *a.* (Ll. *cæruleus*) nefliw, asur, glas,
Ceruleous, } glasar, glasarol, asurol, glesin, nefliwiog, awyrliw, awyrliwiog; o liw yr wybr.
Cerulific, *a.* (Ll. *cæruleus* a *fio*) asurogol, nefliwiadol.
Cerulin, *s.* (Ll. *cæruleus*) asurain; lliw glas wedi ei ddadgyssoddi mewn sur ufelig.
Cerumen, *s.* (Ll. *cera*) cŵyr clust, cŵyr y glust, clustgwyr.
Ceruse, *s.* (Ff.; Ll. ac It. *cerussa*) plwm gwŷn, gwynblwm; creisblwm, cresblwm.
Cerused, *a.* (o *ceruse*) cresblymedig; gwedi ei olchi â phlwm gwŷn.
Cervical, *a.* (Ll. *cervicalis*, o *cervix*) gyddfol, gyddygol; yn perthyn i'r gwddf; perthynol i'r gwddwg.
Cervical nerves—gïau y gwddf.
Cervicobranchiata, *s. pl.* (Ll. *cervix* a *branchiæ*) gyddfdagellogion.
Cervine, *a.* (Ll. *cervinus*) carwin, carŵaidd, hyddaidd, eilonaidd, cerwydin; perthynol i'r carw.
Cervix, *s.* (Ll.) gwddf, gwddwg, gwddw; gwegil.
Cervus, *s.* (Ll.) carw, hydd, eilon; carwolion, hyddolion, cerwydiaid, rhyw y carw, hyddryw.
Cespititious, } *a.* (Ll. *cespes*) mawnol, mawnog,
Cespitous, } mawnaidd, tywarchol, tywarchlyd, tywarchog, tywarchaidd.
Cespitose, *a.* (Ll. *cespes*) mawndyfol, mawndwf; â dyfa mewn mawn.
Cess, *s.* (llygriad o *assess*) treth, trethiad.
Cess, *v. a.* trethu, ardrethu, trethiadu, gosod treth.
Cess,† *v. n.* (Ll. *cesso*) esgeuluso.
Cessant, *a.* (Ll. *cesso*) peidiol, dysbeidiol, ymbeidiol, ymarbedol.
Cessation, *s.* (Ll. *cessatio*) peidiad, dysbeidiad, peidiant, paid, tor, seibiant, toliad, tawl, ymattaliad, ymattal, ymbaid, ymbeidiad, godor, gorphwysiad, gorphwys, talmiad; saib, hoe.
Cessation of arms—arfymbaid, arfoed, cadymbaid, cadoediad, arfattal, arfattaliad, heddwch dros amser, goheddiad, addoedgyrch, byr gynghrair, cynghreiryn; ymbaid dros ennyd mewn rhyfel; tawl ar gad.
Cessavit, *s.* (Ll. o *cesso*) peidwys, peidysgrif, methwys.
Cesser, *s.* (Ll. *cesso*) peidiad, peidiant; peidiad am ddwy flynedd.
Cessibility, *s.* (o *cessible*) ciliad, ymroddiad, rhoddiad ymaith, gildiad.
Cessible, *a.* (Ll. *cessio, cedo*) ciliol, ciliadol, gildiol, ymroddol.
Cession, *s.* (Ll. *cessio*) ciliad, enciliad, gildiad; ymroddiad, ymroad, rhoddiad i fyny; ymadawiad, gadawiad; trosiad, hawldrosiad, dadrosiad, cyflychiad; gwaghad.
A benefice void by cession—bywoliaeth wag drwy ymadawiad.
Cessionary, *a.* (o *cessio*) ciliadol, enciliol; ymroddiadol, trosiadol, cyflychol, hawldrosiadol.
Cessionary bankrupt—torged ymroddiadol, cyflychol, *neu* hawldrosiadol; methdalwr â roddo ei foddion i fyny.
Cessment,† *s.* (o *cess*) trethiad, treth.
Cessor, *s.* (Ll. *cesso*) trethwr, trethydd; peidiogwr, ymbeidiwr.
Cesspool, } *s.* (It. *cesso*, a *pool*) ceubwll, gwadd-
Sesspool, } odbwll, ysgarthbwll, gwaelodfa.
Cest, *s.* (Ll. *cestus;* Gr. *cestos*) gwregys benyw.
Cestus, *s.* (Ll. o'r Gr. *cestos*) gwregys Gwener; gwregys priodas.
Cestus, *s.* (Ll. *cæstus*) amddyrnau, cobfenyg, menyg dyrnodio.
Cesura, } *s.* (Ll. *cæsura;* Ff. *césure*) gorphwys-
Cesure, } eb, gorphwysfa, saib, gorphwysle, ardransaib; hirodeb; gosaib.
Cesural, *a.* (o *cesura*) seibiol, gorphwysfaol, adransaibiol, goseibiol.
Cetacea, } *s. pl.* (Gr. *cêtos;* Ll. *cetus*) mor-
Cetaceans, } filogion, moranolion, morfilryw, morfronogion.
Cetaceous, *a.* (Ll. *cetus*) morfilaidd, moranaidd; perthynol i'r morfarch *neu* i'r morfilogion.
Cetaceous fishes—moranbysg, morfilbysg, morfilogion, morfronogion.
Cetate, *s.* (o'r Ll. *cetus*) moranaint, morfilaint.
Cetene, *s.* (o'r Ll. *cetus*) moranwy, morfilwy.
Cetic, *a.* (Ll. *cetus*) morfilig, morfilaidd; perthynol i'r morfil *neu* forfarch.
Cetic acid—sur morfilig, sur morfil, sur morfarch.
Cetological, *a.* (o *cetology*) morfilegol, morfilogol, morfildreithol.
Cetologist, *s.* (o *cetology*) morfilegydd, morandreithydd, morfilodydd.
Cetology, *s.* (Gr. *cêtos* a *logos*) morfileg, morfilaeth, morandraith, morfildraith.
Cetosaurians, *s. pl.* (Gr. *cêtos* a *sauros*) morfadfilod.
Cetus, *s.* (Ll.) y Morfil, y Morfarch=cydser yn yr arddrych ddeheuol, yn cynnwys 97 seren.
Chace, *v. a.*=*Chase.*
Chace, *s.*=*Chase.*
Chad, *s.* (Al. *schade*) ysgetyn, corbenwag; math o bysg.

**Chærophyllum**, *s.* (Gr. *chairô* a *phullon*) gorthyfail.
**Chafant**, *a.* (o *chafe*) brochus, ffrochus.
**Chafe**, *v.* (Ff. *chauffer*, *échauffer*) poethi, twymo, brydio, brochi, ffrochi, sori, ffromi, afrywiogi, cythruddo, cyffröi, gwytho, llidio, digio, gorwytho, peri gwytho; cynhyrfu, cyffröi, *neu* gynneu dig; ennyn llid; gwyniasu, brydio, *neu* boethi gàn ddig; rhathu, rhwbio, rhuglo, dyrathu, poethrwbio; terfysgu, ystormi, berwi, cynddeiriogi; bod yn ffrom; gwynafu; rhuo.
  Do not chafe so—na fyddwch mòr ffrom.
  He is apt to chafe—hawdd ganddo ddigio.
  Apt to be in a chafe—ffrom, brochus, ffrochus, ffroch, gwythlawn, gwynafog, gwythog, gorwythog, hyffrom, hyddig, ffromwyllt.
**Chafe**, *s.* dig, digter, soriant, sor, llid, digofaint, ffroch, broch, gẁyth, gwythlonedd, gwythawd, gwŷn, ffromder, ffrom, cythrudd, cynddaredd, cythruddiad, gwynaf; gwres, poethder, twymder, berw.
  He is in a great chafe—y mae yn brydio, yn poethi, *neu* yn gwyniasu gàn ddigofaint; y mae yn ffrom aruthr.
  I was in a chafe within myself—sorais *neu* ffromais ynof fy hun; mi a ymddigiais ynof fy hun.
**Chafer**, *s.* (o *chafe*) ffromwr, sorwr, brochydd, ffrochydd, digiwr, &c.
**Chafer**, *s.* (S. *ceafor;* Al. *käfer*) chwilen, chwil, chwil ddu, chwilen y baw.
**Chafery**, *s.* (o *chafe*) brochfa, barweithfa.
**Chafe-wax**, *s.* cwyrdoddwr, cwyrdoddydd, cwyrddodur, twymwr y cẁyr = swyddog perthynol i lys y Canghellydd.
**Chaff**, *s.* (S. *ceaf;* Is. *kaf;* Al. *kaff*) us, manus, peiswyn; hedion, gwehilion, mwlwg, usion, grawnusion: *sing.* usyn.
  Like driven chaff along the mountain side—fàl manus ar fol mynydd.
  Chaff-heap—usion-grug, eisin-grug, crug usion.
  Chaff-house—usdy, usiondy.
**Chaffer**, *v. n.* (S. *ceapian;* Al. *kaufen*) marchnata, ffeirio, bargena, bargeinio, masnachu, porthmona, cyfnewid; gofyn pris; cynnyg, cynnyg pris; negeseua; prynu a gwerthu.
**Chaffer**,† *v. a.* prynu; cyfnewid.
**Chaffer**,† *s.* masnach, trafnid.
**Chafferer**, *s.* (o *chaffer*) marchnatwr, masnachwr, marchnatäwr, bargenwr, ffeiriwr, porthmon, prynwr, prynydd.
**Chaffern**, *s.* (Ff. *échauffer*) poethiadyr; llestr i dwymo dwr.
**Chaffery**,† *s.* (o *chaffer*) masnach, trafnid.
**Chaffinch**, *s.* (*chaff* a *finch*) gwinc, y winc, asgell arian; bronrhuddyn.
**Chaffless**, *a.* (*chaff* a *less*) di-us, di-fanus; heb us, heb fanus.
**Chaffweed**, *s.* (*chaff* a *weed*) brilys, bril-lys.
  Small chaffweed—brilys coraidd, bril-lys coraidd, corfrilys.
**Chaffy**, *a.* (o *chaff*) usog, uslyd, manusog, manuslyd, usaidd, usionaidd, manusaidd.
**Chafing-dish**, *s.* (o *chafe*) mudalch, mudreidell, mudresel, tânbadell, tânlestr.
**Chagrin**, *s.* (Ff.) cythrudd, blinder, gofid, trallod, trymfryd; anniddigrwydd, drygnwyd, drygnaws, anynadedd, drwg dymmer, anfoddogrwydd, anfoddgarwch, anfoddlondeb, hyddigrwydd; som, somiant, somedigaeth; blinder meddwl.
**Chagrin**, *v. a.* cythruddo, blino, gofidio, anfoddogi, cythryflu; gwneuthur yn anfoddog *neu* anfoddlawn; blino meddwl; peri blinder; anfoddloni; digaloni.
**Chain**, *s.* (Ff. *chaîne;* Ll. *catena*) cadwyn, cadwen, tid, syg, tres, ystid; torch, rhau, rhae, godrwy, rhefog; rhwym, rhwymyn; llyffethyr, llyffethar; rhes, cyfres, cydres; ystof.
  Plough chain—bonsyg.
  Golden chain—eurdorch, torch aur, cadwyn aur.
  Wearing a golden chain—eurdorchog, eurhualog: *pl.* eurdorchogion, eurhualogion.
  The links of a chain—tyrch *neu* ddolenau cadwyn.
  Neck chain—torch gwddf, cadwen gwddwg, gyddfgadwen, gyddfdid, myndid, myndres.
  A small chain—cadwynig, cadwynan, cadwenig, cadwen fechan, cadwyn bychan.
  Continued chain — cadwen ddidor, cynghadwyn.
  A chain of mountains—cyfres o fynyddoedd, rhes o fynyddau, cadwyn o fynyddau.
  Wearing a chain—torchog, cadwynog; yn dwyn *neu* yn gwisgo cadwyn.
  Chain (in land-surveying)—tid, tidfesur, tidres=66 troedfedd.
**Chain**, *v. a.* cadwyno, tido, tresu, godrwyo; rhwymo â chadwyn; caethiwo.
  To chain together—cydgadwyno, cynghadwyno; cadwyno yn nghyd; rhwymo yn nghyd â chadwyn.
**Chain-boat**, *s.* tidfad, tidgwch, tresgwch.
**Chain-bridge**, *s.* tresbont, tidbont, pont gadwynog.
**Chain-cable**, *s.* tidraff angor, tidraff.
**Chainless**, *a.* (*chain* a *less*) digadwyn, digadwen, heb gadwyn, anghadwynog.
**Chain-moulding**, *s.* tidfoldiad, tid-addurngau.
**Chain-pump**, *s.* tidsugnell, tidsugnyr, tidsugnydd.
**Chain-rope**, *s.* tidraff, tidgadwyn.
**Chain-rule**, *s.* tidreol.
**Chain-shot**, *s.* tidergyd; tidbelen; tidbelau, tresbelau.
**Chain-timber**, *s.* tidgoed, rhwymgoed.
**Chain-wales**, *s. pl.* tidestyll.
**Chain-work**, *s.* tidwaith.
**Chair**, *s.* (Ff. *chaire*) cadair, cader; sedd, eisteddfa; cludsedd, cerbydan; caderglud.
  Chair of state—teyrnsedd, teyrngadair, teyrnfainc, breninfainc, gorseddfainc, cadair urddas, breninsedd, breinfainc, urddasfainc, gorsedd, pall.
  Folding-chair—cader hyblyg, cadair blyg, plyg-gader.
  Elbow-chair—cader elinog, cadair ddwyfraich, breichgader, cader freichiog.
  Easy-chair—cader esmwyth, esmwythfainc.
  Curule chair — cludgader (yn Rhufain gynt).
  Belonging to a chair—cadeiriog, cadeiriol.
  To address the chair—anerch y gader; anerch y cadeirydd.
**Chairman**, *s.* (*chair* a *man*) cadeirydd, cadeir-

iwr, caderwr, gwr y gadair; llywydd; llefarydd; caderddygwr.
Chairmanship, *s.* (o *chairman*) cadeiryddiaeth; llywyddiaeth.
Chaise, *s.* (Ff.) cerbydan, cerbydon, cerbyd unmarch.
Chalaza, *s.* (Gr.) llestweb, llestrweb.
Chalcedonic, *a.* (o *chalcedony*) calcedonig, calcedoniaidd.
Chalcedony, *s.* (o *Chalcedon*, tref yn Asia Leiaf) calcedon, calcedonius=gemfaen gwerthfawr.
Chalcedonyx, *s.* (*chalcedon* ac *onyx*) calcedonics, calcedonycs.
Chalcographer, Chalcographist, } *s.* (o *chalcography*) presgerfiedydd, presgerfiwr, presgrifellydd, presysgythrydd.
Chalcography, *s.* (Gr. *chalcos* a *graphô*) presgerfiadaeth, presgerfiaeth, presgerfiad, presgrifelliaeth.
Chaldron, Chaudron, Calder, } *s.* (Ff. *chaudron*) calloraid, peiraid=mesur glo yn cynnwys 36 pwysel.
Chalet, *s.* (Ff.) gwaerdy, gwerindy.
Chalice, *s.* (Ff. ac It. *calice*; Ll. *calix*) caregl, cwpan, cib, cymungib, cwpan y cymun.
Chalk, *s.* (S. *cealc*; Al., D., ac Is. *kalk*; Ff. *chaux*) marm, gwynbridd, calchbridd.
Chalk basin—basarn marm, cae marm, pannyledd marm.
Black chalk—marm du.
Red chalk—marm coch.
French chalk—sebonfaen, marm Ffreinig.
I talk of chalk, you talk of cheese—llo meddaf, llew meddi; llo medd y naill, llew medd y llall.
Chalk, *v. a.* marmu, marmio; nodi â marm; gwrteithio â marm.
To chalk out—tynu allan; nodi allan; cynllunio, dangos, mynegu, dadguddio, amlygu, trefnu, darlunio; llinellu *neu* linynio allan; tori allan.
I might have chalked out a way for others—gallaswn ddangos *neu* ddadguddio ffordd i ereill.
Chalk-cutter, *s.* marmgloddiwr, marmgodwr; cloddiwr, codwr, *neu* dorwr marm.
Chalkiness, *s.* (o *chalky*) marmogrwydd, marmeiddrwydd.
Chalkolite, *s.* (*chalk*, a Gr. *lithos*) marmith, marmddelidfaen.
Chalk-pit, *s.* marmbwll, pwll marm.
Chalk-stone, *s.* marmfaen, maen marm, marmgai; marmen, telpyn o farm.
As chalk-stones that are beaten in sunder—fel ceryg calch briwedig(*Esa.* xxvii. 9).
Chalky, *a.* (o *chalk*) marmaidd, marmog, marmlyd; gwŷn.
Chalky soil—marmdir, marmweryd, marmbridd, tir marmog.
Challenge, *s.* (Norm. *challenger*) her, baidd, beiddiad, heriad, hyr, ymheriad, orn, hew, aws, annog, hereb; hawl, arddelw, holiad; llysiant, anach, nam; trawsgyhudded; ysgaflef.
Letter of challenge—herlythyr, llythyr her, llythyr o her.
He sent him a challenge—anfonodd iddo her; efe a'i galwodd *neu* a'i gwahoddodd i'r maes os beiddiai.
To give a challenge—rhoi her *neu* heriad; herio; rhoddi aws.
Challenge, *v. a.* (Norm. *challenger*) herio, beiddio, rhoi her, rhoi baidd, rhoi hew, hyrio, orni; ymherio i, rhoi her i; galw allan; annog; honi hawl, hawlio, hòni, arddelwi, holi; ymhoni o; ymarddelwi o; gofyn; galw ar; dywedyd ei fod yn eiddo; llysu, gwrthod, gwrthneu; rhoi, gosod, *neu* fwrw yn erbyn.
I challenge you—her i chwi; hew i chwi; rhoaf her i chwi.
I challenge you to do it—gwnewch os beiddiwch.
I challenge you to show me that—dangoswch i mi hyny os beiddiwch.
To challenge one's promise—galw ar un i gyflawnu ei addewid; gofyn gàn un yr hyn a addawodd.
Challengeable, *a.* (o *challenge*) beiddiadwy, heriadwy; hawliadwy, honadwy.
Challenger, *s.* (o *challenge*) heriwr, beiddiwr; beiddur, heriedydd, ornydd; hònwr hawl; hawliwr; gwrthodwr.
Chalybean, *a.* (Ll. *chalybs*) duraidd, durllyd, durol; perthynol i ddur; mysgedig â dur.
Chalybeate, *a.* (Ll. *chalybs*; Gr. *chalups*; o *Chalybes*, pobl o Scythia) duraidd, durllyd, durdde, durog, durus; â blas dur arno.
Chalybeate spring—dur-ffynnon; ffynnon ddurdde, ffynnon dduraidd, ffynnon ddur.
Chalybeate water—dwr duraidd, durddwfr, durddwr, dwfr durdde.
Chalybeate, *s.* dwfr duraidd, dwr durllyd, durddwr, durddwfr, durwy.
Cham, Kham, } *s.* (Pers.) unben Tartaria.
Chamade, *s.* (Ff. ac It. *chiamata*) ymgomsain cymmodsain.
Chamæleon, *s.* (Ll.) cydser ger llaw pegwn y de.
Chamber, *s.* (Ff. *chambre*; Ll. *camera*) ystafell; cell; rhandy: *pl.* ystafelloedd, ystefyll.
A small chamber—ystafellan, ystafellig, ystafell fechan.
Presence chamber—presenfa, y bresenfa, cyfarchfa, ystafell ysgyfala eang.
Bride-chamber—ystafell briodas, priodstafell.
Bed-chamber—ystafell wely, gwelystafell, gwelygell, ystafell gysgu, ystafell gwely, hungell, cysgell, cuddigl, gwelyfan, hunfa, gorweddfa.
Lady of the bed-chamber, Gentlewoman of the bedchamber, } ystafellyddes, ystafelloges.
Dining chamber—ystafell giniawa, ciniawgell, cell giniaw; gwleddgell, gwedd-ystafell.
Guest-chamber—gwestgell, gwest-ystafell, ystafell westa, gwestle.
Privy chamber—ystafell ddirgel, dufewnol, ysgyfala, *neu* anghyhoedd.
Side-chamber—ystlysgell, ochr-ystafell.
Upper chamber—goruch ystafell; llofft.
Chambers of imagery—delwgelloedd (*Esec.* viii. 12).
Chamber of the eye—ceudod *neu* geuedd y llygad; cell y llygad.
The chambers of the south—ystafelloedd y deheu; ystefyll y de.
Star-chamber—ystafell y seren, ser-ystafell.
Chamber-story=*Bed-chamber*.
Chamber-council—cynghor dirgel, cyfrin,

*neu* gyfrinachol; cell-gynghor, cynnadledd gyfrinachol.
Chamber-counsel—cynghorwr cyfrinachol, cynghaws cyfrinachol, cynghawsydd ystafellaidd, cynghawswr ystafell, cellgynghawswr.
Groom of the chamber—gwastrawd yr ystafell, ystafellydd, ystafellwr, ystafellog, trwsgellydd.
Page of the chamber—gwas ystafell, ystafellwas, gwastrodyn ystafell.
The chamber of London—trysorgell Llundain, trysordy Llundain, ystafell Llundain.
Chamber-ful—ystafellaid, llonaid ystafell.
Imperial chamber—ystafell amherodrol, cynnullgell ymherodrol.

Chamber, *v.* ystafellu; trigo mewn ystafell; rhoi mewn ystafell; cydorwedd, ymdrythyllu, trythyllu, llodino, anlladu; bod yn drythyll.

Chamberer, *s.* (o *chamber*) cydorweddwr, trythyllwr, anlladwr, cywestachwr, trythyllwas.

Chamber-fellow, *s.* cydystafellwr, cydystafellydd, cyfystafellydd, cydgellwr, cydgysgwr.

Chamber-hanging, *s.* crogleni ystafell.

Chambering, *s.* (o *chamber*) cydorwedd, trythyllwch, anlladrwydd, cywestach.

Chamberlain, *s.* (Ff. *chambellan;* Ll. *camerarius*) ystafellydd, ystafellwr; ystafellwas, gwas ystafell.
Lord chamberlain—arglwydd ystafellydd, ystafellior, archystafellydd, penystafellydd, gorystafellydd, arlwydd benystafellydd.
Lord high chamberlain—arglwydd arystafellydd, arglwydd brif-ystafellydd, arlwydd archystafellydd, arlwydd ystafellydd, &c.
The chamberlain of North Wales—trysorgellydd Gwynedd, ystafellydd Gwyndud, cyllidior Gogledd Cymru.
Chamberlain of a city—trysorgellydd, trysorydd, *neu* drysorwr dinas; dinasgellwr; ceidwad y trysor cyffredin; goruchwyliwr (*Rhuf.* xvi. 23).

Chamberlainship, *s.* ystafellyddiaeth, swydd ystafellydd.

Chamber-lye, *s.* troeth, trwnc, lleisw, golch sur, golch.

Chambermaid, *s.* morwyn ystafell, ystafellyddes, ystafelles.

Chamber-pot, *s.* troethbot, troethyr, cellbot, pisbot, troethai, troethlestr.

Chamber-practice, *s.* cellbreithiant, cyfrinbreithiant, ystafellbraith, praith ystafell.

Chamblet,† *v. a.* (o *camelot*) amrywio, britho, brithliwio.

Chambranle, *s.* ymyldwdd.

Chambrel, *s.* (It. *gamba*) gàr ceffyl, camar.

Chameleon, *s.* (Ll. *chamæleon;* Gr. *chamaileôn*) edrithfil, lledrithfil, mudfil, mudfall, mudliw, mudliwiad.
Chameleon mineral—mudfwnid.

Chameleonize, *v. a.* (o *chameleon*) lledrithio, edrithio, mudliwio, symmudliwio, newidliwio, amryliwio, amliwio.

Chamfer, *v. a.* (Ff. *chanfreiner, chanfrein*) rhigoli, rhychu, rhygnu, cwyso, pillrychu, gylfu, ffosi, sylchu, pannoli; rhygnu *neu* gwyso colofn; crychu.



Chamfer, } *s.* rhigol, sylch, rhych, rhwgn,
Chamfret, } rhygn, ffosig, rhign, pillrych, pillgwys, pillrigol; osgo, llethr, llechwedd.

Chamfrain, *s.* (Ff. *chanfrein*) cadwisg pen march, penarfwisg, ffrwynarfwisg.

Chamois, *s.* (Ff.; It. *camozza*) gwillafr, creigafr, alpafr, gwylltafr, gafr wyllt.

Chamomile, *s.* (Gr. *chamai* a *melon*) camri, milwydd.
Wild chamomile—amranwen, bronwen.
Stinking chamomile—camri y cwn.
Ox-eye chamomile—llygad yr ych.

Champ, *v.* (Ff. *champayer*) cnoi, mallgnoi, tymmigo, dygnoi.
He is ever champing upon the bit—y mae efe byth yn cnoi, yn dygnoi, *neu* yn deintio haiarn y ffrwyn.

Champ, *s.* arwynebedd gwastad, gwastadlawr, asafweb.

Champagne, } *s.* (=talaeth yn Ffrainc) gwin
Champane, } Champagn, gwin Champân.

Champaign, } *s.* (Ff. *campagne*) gwastadedd,
Champain, } gwastattir, bro, brodir, rhos, gwlad ddigoed agored, tir digoed, tir iâl, gwaen, gwaent. [bröig.

Champaign, *a.* gwastad, agored, ial, broaidd,
Champaign country=*Champaign, s.*

Champain, *s.* anaddwynnod.

Champer, *s.* (o *champ*) cnöwr, dygnöwr, mallgnöydd.

Champertor, *s.* (o *champerty*) hawlranog, hawlranydd, cyttreulgwynwr; cydbleidiwr, cynneiliad.

Champerty, *s.* (Ff. *champart*) cynghaws cyttraul, cyttreulgwyn, hawlraniad; hawlbryniad.

Champignon, *s.* (Ff.) math o faesrin, neu fwyd y barcud.

Champion, *s.* (Ff.) campwr, campiwr; pencampwr; rhyswr, ornestwr, cysbwywr; ymdrechwr; gwron, arwr, rhuon; cawr.
When the Philistines saw their champion was dead—pan welodd y Philistiaid farw o'u cawr.
Champion of the king—campwr *neu* ryswr y brenin.

Champion, *v. a.* campwrio; herio i ornest; chwareu y campwr.

Championess, *s.* (o *champion*) campwres; gwrones.

Championship, *s.* (o *champion*) campwriaeth, rhyswriaeth; gwroniaeth.

Chance, *s.* (Ff.) damwaen, damchwaen, dygwydd, dygwyddiad, hap, chwaen, dychwaen, amchwaen, hab; tynged; ffawd; anffawd; cyfle, cyfleusdra; dichonolrwydd, galledigaeth; tebygolrwydd; cynnyg, ergyd; llam, syrth, maig.
Good chance—damwaen dda, ffawd, cynrabad, mad ddamwaen, tynged dda, dygwydd da.
Ill chance—damwaen ddrwg, drwg ddamwaen, anffawd, drwg dynged, dygwyddiad drwg, tynged ddrwg, trychineb, annawn, anmhorth, trychni.
The doctrine of chances—athrawiaeth tebygolion.
By chance—o ddamwaen, o ddygwydd, o ddygwyddiad; yn ddamweiniol, yn ddygwyddiadol; fel y damweiniodd *neu* y dygwyddodd; ar ddamwaen *neu* ddygwydd.

By mere chance—o wir ddamwaen, &c.; yn ddamweiniol hollol; yn hollol ddygwyddiadol.
Dire chance—damwaen erchyll, oer chwaen.
Whatever chance may happen—pa beth bynag a ddygwyddo; deued à ddel; beth bynag a ddelo.
We have but one chance—nid oes genym ond un cynnyg *neu* ergyd; nid oes i ni ond un ddamwaen.
Every chase is a chance—damwaen pob hely.
To take care of the main chance—gofalu am yr eiddo *neu* y peth penaf.
It is a chance if he come this way—odid iddo ef ddyfod y ffordd hon; damwaen y daw efe y ffordd yma.
I shall take my chance—anturiaf, deued à ddel; cymmeraf fy hynt *neu* antur; anturiaf; bwriaf *neu* rhoddaf ar ddamwaen; rhedaf fy rhwysg; gwnaf gynnyg.
At all chances—dygwydded à ddygwyddo; bydded à fyddo; bid à fo; deued à ddel; doed à ddelo; bid y canlyniad y peth y bo.
You have no chance—nid oes genych obaith *neu* debygolrwydd; nid oes un modd *neu* ffordd i chwi; nid oes genych un cynnyg.
What a poor chance have I?—pa mòr wàn *neu* fychan yw y cynnyg sy genyf? pa mòr annhebyg i dycio yw y cynnyg sy genyf? pa nifer o ddamweiniau sydd i'm herbyn? pa mòr wàn yw fy ngobaith?
To get by chance—cael wrth goelbren; cael o ddamwaen, &c.
The chance of arms is uncertain—annilys tynged arfau; tynged *neu* ddyben rhyfel pwy a'i gŵyr?
To try the chance of—gwneuthur prawf o; anturio ar; rhoi ar brawf; profi; bwrw ar dynged, ar dyngedfen, *neu* ar ddamwaen.
Happening by chance=*Chance, a.*
Chance, *a.* damweiniol, dygwyddol, dygwyddiadol, hapiol, damchweiniol; à ddel o ddamwaen; annysgwyledig; yn dyfod heb ddysgwyl am dano.
Chance, *v. n.* dygwyddo, dygwydd, damweinio, hapio, damchweinio, dychweinio, cymmeryd lle.
It may chance—ysgatfydd, agatfydd, efallai, dichon.
I may chance to go thither—efallai yr af yno; efallai yr awn yno.
To chance upon—damweinio, dygwydd, *neu* ddygwyddo ar; dyfod o ddamwaen ar; damweinio am ben; dyfod o ddamwaen am ben *neu* ar draws.
As it chanceth, / As it may chance, } fel y damweinio; fel y dygwyddo; fel y bo y peth, y mater, *neu* yr achos yn gofyn; fel y bo yr achos yn galw.
If any man chance to ask—o *neu* os dygwydd i neb ofyn.
Chanceable, *a.* (o *chance*) damweiniol, dygwyddol, dygwyddiadol, hapiol, chwaenol.
Chance-comer, *s.* damweiniwr, dygwyddwr; un annysgwyledig; un à ddelo ar ddamwaen.
Chance-customer, *s.* prynydd, prynwr, *neu* fasnachwr damweiniol.
Chanceful, *a.* (*chance* a *full*) enbyd; darostyngedig i ddamwaen; haplawn, damweinus.
Chancel, *s.* (Ff.) canghell, cafell; cyssegrfa.
Chancel of a church — canghell eglwys, llogawd eglwys.
Chancellor, *s.* (Ll. *cancellarius;* Ff. *chancelier*) canghellydd, canghellor, canghellwr.
Lord Chancellor—Arglwydd Ganghellydd, Arglwydd Ganghellor, y Prif-ganghellydd.
Lord high Chancellor—Arglwydd Arganghellydd, Arlwydd Brif-ganghellwr.
Vice-chancellor — isganghellydd, rhagganghellwr, adganghellor.
Chancellor of the Exchequer—Canghellydd y Trysorlys, Canghellor yr Argedlys, Canghellwr y Sylltty.
Chancellor of a University—Canghellwr Prifysgol.
Chancellor of the Duchy of Lancaster—Canghellydd Dugiaeth Hirgaer; Canghellwr Duciaeth Lancaster.
Chancellor of a cathedral — canghellwr eglwys gadeiriol.
Chancellor of an ecclesiastical court — canghellydd llys eglwysig.
Chancellor of the order of the Garter—canghellor urdd y Gardas.
Chancellorship, *s.* canghelloriaeth, canghellyddiaeth, canghellwriaeth.
Chance-medley, *s.* (*chance* a *medley;* neu Norm. *chaudemellé*) anoddeu, hapladdiad, damweinladdiad; llofruddiaeth ddamweiniol *neu* ddifwriad.
Chancery, *s.* (Ff. *chancellerie;* Ll. *cancellaria*) canghellys, canghell-lys, canghellorlys, canghellfa, llys y canghellydd; llys unionder.
Chancre, *s.* (Ff.) chwantachlwg, anlladlynor, yslynor.
Chancrous, *a.* (o *chancre*) yslynoraidd; llynoraidd, gorfaog, llynorog.
Chandelier, *s.* (Ff.) canwyllyr, goleuddal, ceincganwyllyr, canwyllarn cangenog.
Chandler, *s.* (Ff. *chandelier*) canwyllydd, canwyllwr; masnachwr.
Tallow chandler—gwer-ganwyllydd, canwyllwr gwer.
Wax chandler—cŵyr-ganwyllydd, canwyllwr cŵyr.
Corn chandler—gwerthwr yd, yd-werthydd, yd-werthwr.
Chandlery, *s.* (o *chandler*) nwyddau canwyllwr; canwyllolion.
Chandry, *s.* (o *chandler*) canwyllfa, canwyllfan.
Chanfrin, *s.* (Ff. *chanfrein*) talcen ceffyl, gwyneb march, marchweb.
Change, *v.* (Ff. *changer*) newid, newidio, cyfnewid, cyfnewidio, arallu, amgenu, troi; ymnewid, ymnewidio; ffeirio.
To change one's colour *or* countenance—newid ei liw; newid ei wedd; drygliwio, amliwio; newid lliwiau.
His countenance changes—y mae efe yn drygliwio; y mae ei wedd yn ymnewid.
To change lodgings—symmud *neu* newid lletty; newid *neu* symmud trigias.
To change often — cyfnewidial; mynych newid; newid yn fynych.
To change one's mind often—anwadalu,

gwamalu; hwntian *neu* fwhwman yn ei feddwl; bod yn anwastad yn ei feddwl; newid ei feddwl yn fynych.
To change one's manners—diwygio ei foesau *neu* ei fuchedd; ymddiwygio; newid er gwell; ymadnewyddu; newid ei foesau.
To change one's name—troi *neu* newid ei enw.
To change for the worse—newid er gwaeth; dirywio, lledrywio, afrywio, afrywiogi; gwaethygu; myned yn waeth.
To change the night into day—gwneuthur y nos yn ddydd.
To change one's opinion—newid ei farn, ei dyb, *neu* ei ddaliad; gwyro oddi wrth ei gynfarn.
To change one's purpose—newid ei amcan; tynu oddi wrth ei amcan.
To change out of one form into another—ymrithio, lledrithio, gweddnewidio, gweddnewid, dullnewidio, ymddyeithro; newid ei ddull, ei wedd, ei ddrych, *neu* ei olwg; troi o'r naill lun i'r llall.
I change not—ni'm newidir; ni newidiaf; nid ymnewidiaf.

Change, *s.* newid, newidiad, cyfnewidiad, cyfnewid, aralliad, amgeniad; tro, tröedigaeth, troad; symmud, symmudiad; amrywiaeth, amrywiad, amryfaliad; newidiaeth, cyfnewidiaeth, newidwriaeth; trynewidiaeth, rhifnewidiad; newidfa, cyfnewidfa, newitty, newidle; trafn.
The change of the moon—newid *neu* newidiad y lleuad.
Change of weather—newid *neu* newidiad tywydd; symmud *neu* symmudiad tywydd.
A change of garments—pâr o ddillad.
Change of officers—newid swyddogion; symmudiad swyddogion.
Given to change=*Changeable.*
The changes and chances of this mortal life—cyfnewidiau a damweiniau y bywyd marwol hwn; cyfnewidion a damweinion y fuchedd farwol hon.

Changeability, *s.* (o *changeable*)=*Changeableness.*

Changeable, *a.* (o *change*) cyfnewidiol, newidiol, cyfnewidiog; newidadwy; ansefydlog, oriog, ansafadwy, anhysaf, hydro, syfal, trohydyn, anwastad, ysgoewan, gwamal, anwadal; symmudliw, newidliw, amryliw, amliwiog, amliw.
Not changeable—anghyfnewidiol, digyfnewid; sefydlog, safadwy, &c.
Changeable colour—symmudliw; newidliw.

Changeableness, *s.* (o *change*) cyfnewidioldeb, newidiolrwydd, newidiolder, newidioldeb; anwadalwch, anwadaledd, anwadalrwydd, anwastadrwydd, &c.

Changeful, *a.* (*change* a *full*) cyfnewidiol, cyfnewidiog, newidiol, newidiog; hydro, anhysaf, anwastad, anwadal, oriog, gwamal, ysgoewan, trohydyn, ansefydlog.

Changeless, *a.* (*change* a *less*) digyfnewid, anghyfnewidiol, annewidiol; dïanwadal, dïysgog, gwadal, dinewid, anoriog, ffyddlawn, dïymmod, disigl, sefydlog.

Changeling, *s.* (*change* a *ling*) plentyn newid, plentyn ffugiol, ffugblentyn; anwadalyn, un anwadal, anwadalddyn; dyn anwadal, oriog, gwammal, *neu* ysgoewan; dyn anwastad ei feddwl; un â dry gyda phob awel; cadafael, hurtan, hurtyn, symlyn, (*f.* symlen, symlogen), hurthgen, ffwlcyn, ffwl.
He is no changeling—gwr yw efe â geir byth yn debyg iddo ei hun; un dïanwadal yw; ni cheir anwadalwch ynddo; efe a saif wrth â ddywedo; efe a saif wrth ei air.
He is a mere changeling—symlyn *neu* hurtyn yw.

Changer, *s.* (o *change*) newidiwr, cyfnewidiwr, arallydd, &c.

Channel, *s.* (Ff. *canal;* Ll. *canalis*) eglan, meinfor, lleinfor, cyfyngfor; canol; dyfrle, ystrym, ystrych, rhedle, dyfrwely, ffrydle; gŵyth, gwythred; ffos, rhewin, rhin; rhych, rhigol, cwys, gwlf, pillrych, colofrych, pillgwys, pillrigol, sylch; cyfrwng, cyfryngau, moddion.
Channel of a river—brwynen afon, gwely afon, hoewal afon, canol afon, ffrydle afon, llyr afon, rhedle afon; dyfrle.
English Channel—Môr Udd.
Bristol Channel—Môr Hafren.
St. George's Channel—Eglan Sant Siór; Lleinfor Sant Georg; Môr Sant Georg.
Irish Channel—Môr Iwerddon, Môr Gwerddonig.
Chop of a channel—aber; geneu afon, ceg afon.
Channels of a ship—tidestyll llong.

Channel, *v. a.* rhigoli, rhychu, rhychio, cwyso, pannoli, pannelu, pillrychu, pillgwyso, rhygnu, sylchu.
Channel-leaved—rhychddeiliog, cwysddeiliog, rhigddail, rhigddeiliog.

Chanson, *s.* (Ff.) cân, caniad, canu.

Chant, *v.* (Ff. *chanter;* Ll. *canto*) canu; côrganu, achanu, llafarganu; pyncio, telori, perori, cathlu, emynu; canu yn llafar.
They chant to the sound of the viol—dadganant *neu* pynciant gyda llais y nabl.

Chant, *s.* cân; côrgan, llafargan, melodeg, melawd, mwynen; persain, erddygan, dygan, mawlgan, pergan; gwasanaeth yr eglwys: *pl.* melodion.

Chanter, *s.* (o *chant*) ceiniad, côrgeiniad, côrgantor, llafargeiniad, ceiniad côr; canor, cantor, cantwr, caniadydd, caniedydd; prifgantor, blaengeiniad, blaengeiniad y côr; achanor.

Chanticleer, *s.* (o *chant* a *clear*) claergeiniad, crochgeiniad, yr uchelgainc, ceiliog.

Chanting, *s.* (o *chant*) côrganiadaeth, côrganiaeth, côrganiad, achaniad, llafarganiad; caniad, canawd.

Chantress, *s.* (o *chant*) ceiniades, canores, cantores, caniadyddes, caniedyddes.

Chantry, *s.* (Ff. *chantrerie*, o *chant*) côrgafell, côrgell, côrgapel, capel côr.

Chaology, *s.* (Gr. *chaos* a *logos*) tryblitheg; treithawd ar dryblith.

Chaos, *s.* (Ll. a Gr.) tryblith; cymmysgedd, cymmysgfa, dyfysgi, annhrefn, amrygymmysg, cymmysg.

Chaotic, *a.* (o *chaos*) tryblithig, tryblithog, tryblithaidd; cymmysg, didrefn, annhrefnus, cydgymmysgedig, rhwystrus.

Chap, *v.* (Al. ac Is. *kappen;* D. *kapper*) agenu, ymagenu, ymagor, hollti, ysgardio, egori,

agor, ymegori; bregu, tori; hollti yn agau neu agenau.
Chap, *s.* agen, hollt, gagen, ag, ysgard, breg, tor, egoriad.
A small chap—agenig, holltyn, ysgardyn, agen fechan.
Chaps in the heels—terig ar sodlau; y gibwst, y gibi.
Full of chaps—agenog, gagenog, holltog; llawn agenau.
Chap, *s.* (S. *ceafl*) turs, tursyn, gen; y safn, y gweflau; gen uchaf ac isaf; gen anifel.
Chap, *s.* (byriad o *chapman*) hogyn, llanc, llencyn, gwelchyn; gwr; prynydd, maelier.
Chap,† *v. n.* gofyn pris; maeliera.
Chapbook, *s.* (*chap* a *book*) edwiclyfr.
Chape, *s.* (Ff.) attalfach, dalfach, cliced, clicied, daliedydd, dalyr; blaenwain.
Chapeau, *s.* (Ff.) het, hed, toc, cap, talaith.
Chapel, *s.* (Ll. *capella;* Ff. *chapelle*) capel; eglwysan, addolfa, iolfa, addoldy, ioldy.
A small chapel—capelan, capelyn, capel bychan.
Chapel of ease—capel anwes.
Parochial chapel—capel plwyfol, capel plwyf.
Free chapels—capelau rhyddion, capeli rhydd.
Domestic chapel—capel teuluaidd, capel teulu, addolfa deuluol.
Chapel royal—capel breninol, eglwysan freninol; capel y brenin *neu* y frenines.
Chapel (among printers)—capel argraffdy, capel argraffyddion.
College chapel—capel coleg, addolfa clasgor, clas-gapel.
Chantry chapel—côrgapel, capel côr.
Chapel, *v. a.* capelu; gosod mewn capel.
Chapeless, *a.* (o *chape* a *less*) digliced, dïafael, diddalfach.
Chapelet, Chaplet, } *s.* (Ff. *chapelet*) dwyar, gwarthaflau.
Chapellany, *s.* (o *chapel*) capelaniaeth.
Chapeliing, *s.* llongdroad.
Chapelry, *s.* (o *chapel*) capeliaeth, capelogaeth, plwyf capel.
Chaperon, *s.* (Ff.) cap *neu* gwfl marchog y gardas.
Chaperon, *v. a.* gweinyddu ar rian mewn cynnulleidfa gyhoeddus; rhianweini.
Chapfallen, *a.* (*chap* a *fall*) llaeswefl, llaeswefl-og, gwefl-lacs, bochlaes; yn crogi ei en; digalon, llwfr, llwrf, llipa, llibin; â thaw arno.
Chapiter, *s.* (Ff. *chapiteau;* Ll. *capitellum*) heiliog, penclwm, penglwm, argon, argwn, pen colofn; rhybuddeg ynad.
Chaplain, *s.* (Ll. *capellanus;* Ff. *chapelain*) caplan, capelwr, capelydd, offeiriad teulu.
Family chaplain—caplan teulu, caplan teuluaidd, offeiriad teulu, ty-offeiriad.
Chaplain in ordinary to the queen—caplan cyffredin y frenines; capelwr teuluaidd y frenines; offeiriad teulu i'r frenines.
Chaplains of the Pope—caplaniaid y Pab, capelwyr y Pab.
Army chaplain—caplan y fyddin; capelwr i'r fyddin; llu-offeiriad.
Navy chaplain—caplan y llynges; capelwr llyngesol; capelwr i'r llynges.
Chaplancy, *s.* (o *chaplain*) caplaniaeth, capelyddiaeth, capelwriaeth, ty-offeiriadaeth.
Chaplainship, *s.* (o *chaplain*) caplaniaeth; capelogaeth, bywoliaeth capelwr.
Chapless, *a.* (*chap* a *less*) diweflau, disafn, diwefl, cegnoeth.
Chaplet, *s.* (Ff. *chapelet*) pendel, coronrwy, coronig, talaith, taleithig, taleithrwy, coronbleth; paderlinyn, padergadwen, gleinres; paderau; siobyn, tyffyn; creirgell, capelan.
Chapman, *pl.* Chapmen, *s.* (S. *ceapman*) maelier, masnachwr, prynydd, ymbrynydd, cynnygiwr; gwerthwr, marchnatwr.
Chapournet, *s.* (Ff. *chaperonnet*) cromran, crymran.
Chappy, *a.* (o *chap*) agenog, gagenog, holltog, agog; llawn agenau; agored; wedi ymagor.
Chaps, *s. pl.* (o *chaps*) y genau, y gweflau, y safn, turs.
Chapter, *s.* (Ff. *chapitre;* Ll. *capitulum,* o *caput*) pennod.
Chapter and verse—pennod ac adnod.
Chapter by chapter—bob yn bennod; wrth y bennod.
Chapter, *s.* cabidwl, glwysgor, offeiriadgor; cynnullgor, clerigfa.
Dean and chapter—deon a glwysgor; deon a chabidwl; y deon a'i gôr.
Chapter-house, *s.* cabidyldy, cabidwl, cadeirdy, ty cadeiriog, glwysgordy, cynondy.
Chaptrel, *s.* (o *chapitre*) mydargwn, mydargon, mydheiliog, crymheiliog, penclwm dàn fwa.
Char, *s.* (S. *cerre, cyrr?*) hapwaith, gorchwyl, gorchwylyn, haporchwyl, tasg.
Char, *v.* hapweithio; gweithio wrth y gorchwyl; gorchwylio, gorchwyl-weithio, dyddweithio; gwneyd mân orchwylion.
Char-woman — hapweithes, odweithes, gorchwyles, hurwraig, gwraig hur, gorchwyl-wraig, benyw hur, gweithwraig hur.
Char, *s.* torgoch, y pysg torgoch.
Char, *v. a.* (Ff. *charrée*) golosgi, dylosgi; llosgi yn löyn.
Charred wood—dylosgoed, coed dylosg, golosgoed.
Chara, *s.* (Ll.) rhawn yr ebol.
Charact, Charect, } † *s.* (Gr. *charactêr*) arysgrifen, arysgrifiad, craifft, argraifft.
Character, *s.* (Ll. a Gr.) nodweddiad, nodwedd, cymmeriad, gair, enw; bri, gair da, enw da, enw mawr; bucheddnod; teithi, atheithi, anian, ansawdd, natur, naturiaeth, tymmer, ardymmer, rhâl, nawd, cynneddf; nod, marc, arwydd; llythyren, coel, coelen, teb, ffugr; dull, arddull, llun; argraff; dull ar ymadroddi *neu* ysgrifenu; dynsawd; sodwedd; rhinfynag, moesddull.
Good character—nodweddiad da, gair da, gair mawr, enw da, enw mawr; clod, bri.
Bad character—nodweddiad drwg, gair drwg, drygair, anair, anghlod; hort, sarhad.
To give a good character—rhoi gair da; rhoi nodweddiad *neu* gymmeriad da; rhoi clod; rhoi gair mawr; dadgan *neu* gyhoeddi cynneddfau da; moli, canmawl, clodfori.
To give a bad character—rhoi gair drwg; rhoi cymmeriad *neu* nodweddiad drwg; rhoi drygair *neu* anair; rhoi gair twn; rhoi drwg enw *neu* enw drwg; cablu, hortio, enllibio, difenwi.
To act in character—ymddwyn yn debyg

iddo ei hun; ymddwyn fel y gweddai iddo; ymddwyn fel efe ei hunan; ymddwyn yn gysson â'i alwad, â'i alwedigaeth, â'i swydd, â'i sefyllfa, *neu* â'i broffes; ymddwyn fel y gweddai i'w alwad, &c.

To act out of character—ymddwyn yn annhebyg iddo ei hun; ymddwyn yn anghysson â'i alwad, &c.

All men give him that character—pawb a roddant iddo y gair hwnw; pawb a roddant iddo hyny o air; pawb yn gytun a roddant iddo hyny o air.

This is the character he generally bore—dyma y gair â gerddodd yn gyffredinol am dano; hyn oedd ei nodweddiad cyffredin; dyma y gair oedd iddo yn gyffredin.

To this was annexed an excellent character of him—at hyn y chwanegwyd casgl cyflawn o'i ragorol gynneddfau *neu* rinweddau.

He bears a great character—y mae efe yn dwyn enw mawr; y mae iddo enw mawr; y mae son mawr am dano; y mae gair mawr iddo; y mae yn dwyn enw *neu* air mawr.

He had the character of a good orator—cyfrifid ef yn areithydd da; yr oedd iddo y gair o fod yn areithiwr da.

A man of strange character—dyn o râl rhyfedd; dyn hynod ei nodweddiad.

Leading character—cynnawn, cyndeithi, prif nodwedd, prif deithi.

Roman characters—llythyrenau Rhufeinig, coelion Rhufeinig, tebau Rhufeinaidd.

Italic characters—llythyrenau Italig *neu* Italaidd; Italigion, Eidaligion.

Character, *v. a.* darlunio, dysgrifio, dynodi; gwahaniaethu; cerfio, creifftio, nodi.

Characterism, *s.* (o *character*) nodweddiant, nodoldeb, nodoledd, arbenigder; gwahaniaeth nodweddiad.

Characteristic, } *a.* (Gr. *charactêristicos*) nodweddol, nodweddus, nod-
Characteristical, } weddiadol, nodiadol, nodiannol, nodiannus, arbenigol, dynodol, dysgrifiol, nodadwy, nodedig, rhinnodol, priodol, dosbenol, deffiniol, hynodol, hysbysol.

Characteristic, *s.* nodwedd, nodeb, nodweddiad, sodwedd, arwyddnod, nod, arwydd, rhagornod, gwahanred, argynddwl, hynodeb, rhâl, rhaledd, priodnod, hysbysnod; parthyd; nod gwahan: *pl.* teithi, atheithi, arbenigion, nodweddion, nodweddau, penodolion.

Characteristicalness, *s.* (o *characteristical*) nodweddolrwydd, nodweddoldeb, nodoldeb, nodolrwydd, nodebusrwydd, nodiannusrwydd, nodoledd, nodweddusrwydd.

Characterization, *s.* (o *characterize*) nodweddoliad, nodweddusiad, nodebiad, gwahanredoliaeth.

Characterize, } *v. a.* (Gr. *charactêrizô*) nod-
Characterise, } weddu, nodi, dynodi, nodoli, nodebu, nodiannu, nodiadu, dysweddu, argynnelwi, arwyddnodi, priodlunio, hynodi, darlunio, hynodoli, rhalu, gwahanredoli, gwahanredu, gwahaniaethu, rhagornodi, dosbenu, deffinio, priodfanu, priodnodi; cerfio, argraffu.

Characterless, *a.* (*character* a *less*) dinodwedd, dinodweddiad, digymmeriad, &c.

Charactery,† *s.* argraff, nod; gwahaniaeth.

Charade, *s.* (Ff.) gwersameg, gwersddameg, geirameg; mwysair.

Charcoal, *s.* (*char* a *coal*) golosg, golosged, golosgoed, llosged, dylosg.

Animal charcoal, } milddylosg, duloeg es-
Bone-black, } gyrn, dylosg esgyrn, mileidlosg, golosg esgyrn, esgyrnlosg.

Chard, *s.* (Ff. *charde*; Ll. *carduus*) ysgallddail; clymddail dofysgall; blaendardd marchysgall y gerddi.

Chard beet—gorfetys, betys blaendardd.

Charge, *v. a.* (Ff. *charger*) gorchymyn, erchi, annog, rhybuddio, cynghori; rhoi gorchymyn i; erchi i; peri i; archiadu; rhoi ar, dodi ar, gosod ar, bwrw ar; rhoi yn erbyn; gosod yn erbyn; llwytho; ergydio; rhoi llwyth *neu* ergyd mewn; gorlwytho; pwyso ar; rhoi llwyth ar; ymddiried, ymddiriedu; ymddiriedi i; tyngedu, tyngu; cyhuddo; dyledu; rhoi *neu* osod ar un i dalu; gofyn; costio; gofyn tâl; cyfrif i *neu* ar; beio, bwrw bai; ymosod ar, rhuthro ar, gosod ar, cyrchu ar, rhuthro, dwyn cyrch, ymosod; dwyn lluchynt ar; ymgyrchu yn erbyn; dechreu y frwydr; gwneuthur y cynosod.

To charge with—rhoi, rhoddi, bwrw, gosod, *neu* daflu yn erbyn; bwrw, rhoi, *neu* daflu ar; edliw i, cyfedliw i, lliwied i, ymliw i, dannod i; cyhuddo; cyhuddaw o; argyhoeddi o; achwyn, cwyno, *neu* feio ar; cyfrif i; rhoi yn maich; rhoi *neu* rhoddi i gadw at; rhoi yn nghadw gydag; rhoi yn nghadwraeth; rhoi yn ngofal; rhoi mewn ymddiried i *neu* i law; cymmynu i; gorchymyn i *neu* i law; bwrw *neu* roi gofal ar; rhoi yn adneu i; rhoi swydd *neu* orchwyl i.

To charge the enemy—rhuthro, gosod, ymosod, *neu* gyrchu ar y gelyn; dwyn lluchynt ar y gelyn; ymgyrchu yn erbyn y gelyn; dechreu ymgydio â'r gelyn; cynosod ar y gelyn.

To charge the enemy in the rear—gosod, ymosod, rhuthro, cwympo, *neu* syrthio ar oliaid y gelyn; cyrchu ar gefn y gelyn; taraw y gelyn yn ei gefn; taraw y gelyn o'r tu cefn iddo.

To charge the enemy roundly, } —
To give the enemy a round charge, } rhuthro yn awchus, yn esgudlym, *neu* yn bybyr yn erbyn *neu* ar y gelyn; rhedeg ar *neu* yn erbyn y gelyn.

He charged furiously—efe a yrodd yn mlaen yn gynddeiriog.

To charge goods—prisio nwyddau; rhoi, gosod, *neu* ddodi pris ar nwyddau.

To charge a gun—llwytho gŵn; ergydio dryll; rhoi ergyd mewn dryll; rhoi ergyd *neu* lwyth mewn gŵn.

To charge by an oath—tyngu; tyngedu drwy lw.

To charge a constable with one—rhoi un yn llaw heddgeidwad; rhoi un dan law heddwas; gosod un yn ngofal heddgeidwad.

She charged her brother with the writings—hi a roddodd yr ysgrifeniadau i gadw at ei brawd; rhoddodd yr ysgrifau yn adneu i'w brawd.

He charged her twopence—rhoddodd arni ddwy geiniog; rhoddodd arni ddwy

geiniog i'w talu; rhoddodd arni dalu dwy geiniog; gofynodd hi o ddwy geiniog.
To charge not to do a thing—gwahardd, gwardd, *neu* warafun gwneuthur peth; gorchymyn *neu* erchi nas gwneler peth.
To charge falsely—camgyhuddo; camachwyn ar; cyhuddo ar gam; enllibio, athrodi.
To charge beforehand—rhagorchymyn, rhagrybuddio; rhagorchymyn *neu* rhagerchi i.
His angels he charged with folly—yn erbyn ei angelion y gosododd ynfydrwydd.
She charged him with the meanness of his birth—edliwiodd iddo ei ledach.
He was charged with theft—cyhuddwyd ef o ladrad.
He charged him with great matters—dug achwynion trymion yn ei erbyn.
He charged him with being a liar—taerodd mai dyn celwyddog oedd.
I charged him to watch an opportunity—perais iddo wylied odfa.
I charged them not to do it—rhybuddiais hwynt nas gwnelent; dywedais wrthynt yn ddiffael am beidio â'i wneuthur.

Charge, *s.* (Ff.) gorchymyn, archiad, arch, annogaeth, rhybudd, rhybuddeg, archiadeg; gofal, carc, cadwraeth, cadwedigaeth, ceidwadaeth, gwarchodaeth, ymddiried, gofaledd, gofalwch; golygiad; swyddogaeth, swydd, dyledswydd; goruchwyliaeth, gorchwyliaeth, gorchwyl, neges, gwasanaeth, gweinidogaeth, rhan; awdurdod, cwyn, achwyn, cyhudded, cyhuddiad; ymgyrch, cyrch, rhuthr, ymosod, ymosodiad, rhysgyr, lluchynt, gosod; ergyd, llwyth; baich, pwys, pwn; goreilid; traul, cost; gofyn, y gofyn; arfluniau, arflun; adneu; gwrthrych gofal; y peth à rodder i gadw; cyrchnod; sigenaint.
In charge—yn ngofal; yn nghadwraeth; yn nghadw; yn *neu* mewn ymddiried; i ofal; i gadw; ar ymosod, ar gyrch; parod i ruthro.
Bishop's charge—rhybuddeg esgob, archiad esgob, archiadeg esgob.
Judge's charge—rhybuddeg barnwr.
To have the charge of a thing, / To have charge of a thing, } bod ar beth; bod yn gwylied ar beth; bod yn golygu, yn goruchwylied, yn darbod, yn dyddori, yn rheoli, *neu* yn llywodraethu peth; bod yn gofalu am *neu* dros beth; bod â gofal peth arno; bod dàn ofal peth.
To commit to one's charge—rhoddi dàn ofal, dàn olygiad, dàn law, *neu* dàn lywodraeth un; ymddiried i un am; rhoddi i gadw yn llaw *neu* dàn law un; rhoi yn ngofal *neu* yn nghadwraeth un; rhoddi i gadw at un; rhoi yn nghadw gydag un; rhoddi yn nghadwraeth un; rhoi yn ngofal un, &c.
To take the charge of a thing, / To take charge of a thing, } cymmeryd peth arno; cymmeryd peth yn *neu* mewn llaw; cymmeryd gofal *neu* olygiad peth arno; cymmeryd gorchwyl, neges, *neu* fater arno.
Under our charge—dàn ein dwylaw, ein hymgeledd, *neu* ein gofal ni.
He drew up a charge against me—lluniodd gwyn i'm herbyn.
The charge was sounded—canwyd y cyrn cychwyn.
First charge—cyn-gyrch, cynosod, cynymgyrch, cynruthr, blaen-gyrch, cynrysgyr; yr ymgyrch cyntaf.
To stand a charge—dàl, sefyll, *neu* ymgynnal yn erbyn cyrch y gelyn; gwrthsefyll, gwrthwynebu, gwrthladd, *neu* wrthrynu rhuthr *neu* ymgyrch y gelyn; sefyll cyrch.
The first charge is ever the hottest—y cyn-gyrch byth yw y tanbeidiaf.
My charge is to receive strangers—fy rhan, fy ngwaith, *neu* fy swydd i yw derbyn dyeithriaid; arnaf fi y mae derbyn dyeithriaid; i mi y perthyna derbyn dyeithriaid.
Lay what charge you will upon me—rhoddwch arnaf y pwys *neu* y dasg à fynoch.
Without charge—yn rhad, yn ddidraul, yn ddigost; heb draul, heb gost.
The charge of victuals and clothes—traul daint ac ystlys; traul bwyd a dillad; cost bwyd a dillad.
He was at a great charge—efe a dreuliodd *neu* a wariodd lawer; bu arno draul *neu* gost fawr.
He lives at great charges—y mae efe yn byw yn dreulfawr *neu* gostus.
Be at charges with them—gwna draul arnynt.
At as little charge as possible—mòr ddidraul ag y byddo modd; cyn rhated ag y byddo ddichonadwy.
That was not a penny charge to him—ni chostiodd hyny geiniog iddo.
I have a great charge—y mae cost fawr arnaf; nid bychan yw y gost *neu* draul y sydd arnaf.
To execute a charge—cyflawnu gorchymyn; gwasanaethu *neu* gyflawnu swydd; cyflawnu *neu* wneuthur dyledswydd; cyflawnu *neu* wneuthur gair, arch, *neu* archiad.
To lay to one's charge—rhoi, rhoddi, bwrw, gosod, *neu* daflu yn erbyn un; bwrw, taflu, *neu* osod ar un; edliw i un; edliwio i un; cyfedliw i un; lliwied i un; ymliw i un; dannod i un; cyhuddo un; cyhuddo un o; argyhoeddi un o; achwyn ar un; cwyno ar un; beio ar un; cyfrif i un; rhoi yn maich un.
They laid to my charge things that I knew not—holasant i mi yr hyn nis gŵn oddi wrtho (*Salm* xxxv. 11.)
The assignment of a charge—rhoddiad swydd.
So great a charge—cymmaint pwys gorchwylion.
It is less charge—rhatach yw; llai costus *neu* dreulfawr yw; haws yw.
The people of his charge—pobl ei ofal.
Charge of a gun—ergyd gŵn, llwyth dryll.
Charge of lead—llwyth o blwm; 36 clamp *neu* hwch o blwm.

Chargeable, *a.* (o *charge*) gofynadwy, gofynol; cyhuddadwy; i'w gyhuddo; à ellir ei gyhuddo; à ellir achwyn arno; agored i gyhuddiad; treulfawr, costus, costfawr; drud, prid; trwm, pwysfawr, yn pwyso; gormesol.
Lest we be chargeable to thee—rhag i ni

ormesu arnat; rhag pwysaw o honom arnat.
That we might not be chargeable to any of you—fel na phwysem ar neb o honoch.
Duty is chargeable on wine—y mae cyllid ar win; gofynir toll ar win.
He is chargeable with something worse—mae efe yn gyhuddadwy *neu* yn euog o rywbeth gwaeth.
Chargeableness, *s.* (o *charge*) treulfawredd, costfawredd, traul, cost, costusrwydd, prisfawredd, mawrgost.
Chargé d' Affaires, *s.* (Ff.) perwylfodog, negesiadur, isgenad, isgenadwr,
Chargeful, † *a.* (*charge* a *full*) costus, treulfawr, costfawr, drud.
Chargeless, *a.* (*charge* a *less*) didraul, digost, anghostus; rhad; heb draul.
Charger, *s.* (o *charge*) cadfarch, rhyfelfarch, aerfarch, march rhyfel.
Charger, *s.* dysgl; cawg.
Charientism, *s.* (Gr. *charientismos*) anhagreb.
Chariness, *s.* (o *chary*) gocheliad, gofal, pryder, pwyll, darbwyll, hybwylledd, gochelgarwch; manylwch, neisrwydd; petrusder.
Chariot, *s.* (Ff.) cerbyd; hannerglud, carrod.
War chariot, Chariot of war, } cadgerbyd, aergerbyd, rhyfelgerbyd, cerbyd rhyfel.
Chariots armed with hooks — cerbydau bachog (2 *Mac.* xiii. 2).
Chariot-race—cerbydred,‖ rhedegfa cerbydau, rhedfa cerbydau.
Charioteer, *s.* (o *chariot*) cerbydwr, cerbytai, cerbydydd; gyrwr cerbyd.
Chariot-man, *s.* cerbydwr, cerbydydd, gyrwr, cerbyd-yrwr, cerbytai.
Charitable, *a.* (Ff.) hael, haelionus; elusengar, elusenol, elusenaidd, alwysengar, cardodol, cymmwynasol, athrugar; cariadus, caredig, caredigol, cariadlawn, cariadus, hynaws, tyner, tirion, diragfarn, clau; tyner *neu* dirion ei farn; haelfrydig, cleufryd; trugarog, tosturiol; parod i dybied *neu* i feddylied y goreu; elus.
Charitable institution—sefydliad elusenol, elusenfa.
Charitably inclined—elusengar, &c.; parod i gynnorthwyo y tlodion.
To judge charitably—barnu yn dyner, yn gariadus, yn hynaws, yn gariadlawn, *neu* yn ddiragfarn.
Charitableness, *s.* (o *charitable*) elusengarwch, elusendod; cymmwynasgarwch, haeledd, haelioni; caredigrwydd, cariadlondeb, hynawsedd, tiriondeb; tiriondeb *neu* dynerwch barn.
Charites, *s. pl.* (Gr.) Teleidesau, Teleidiaid, Teleidion, Lladesau.
Charity, *s.* (Ll. *charitas;* Ff. *charité*) cariad; elusen, alwysen, elwysen, cardod, elusendod, eluseni, elusenwaith; haeledd, haelioni, ciried, rhodd, cirwn; ewyllys da, cymmwynasgarwch, rhadlonedd; tynerwch, caredigrwydd, tiriondeb, anwylserch, hynawsedd, tegwch, haelfrydedd, rhyddfrydedd; sefydliad elusenol, elusenfa.
Charity school—ysgol rad, ysgol elusenol.
To give charity—cardodi.
To ask charity—cardota.
Charity-box — cyff elusen, elusen-gist, elusgist; coffr *neu* flwch elusen.
Charity envieth not—nid yw cariad yn cenfigenu.
In charity with all the world—mewn cariad perffaith â phob dyn; mewn cariad â phawb; heb ddymuno *neu* ewyllysio drwg i ddyn ar y ddaiar.
Charity begins at home—nesaf i bawb eu nesaf; nes penelin nag arddwrn; nes elin nag arddwrn; nes i mi fy nghrys na'm pais; nid hael ond hael gartref; gartref y dechreu haeledd.
Chark,† *v. a.* (*char?*) golosgi, dylosgi; llosgi yn löyn.
Charlatan, *s.* (Ff.) crachfeddyg, ffugfeddyg, gwibfeddyg; ymhonwr, coeghonwr, gwagymhonwr, gwagffrostiwr, twyllwr, hudol.
Charlatanical, *a.* (o *charlatan*) ymhonol, ymhoniadol, gwagymffrostiol; crachyddol, crachfeddygol; anwybodus, crachwybodus; crach-.
Charlatanry, *s.* (o *charlatan*) crachyddiaeth; gwaghoniaeth, coeghoniadaeth, coeghoniad, ymhoniaeth; crachfeddygiaeth; twyll, truth.
Charles's Wain, *s.* Llun y Llong, y Llong foel, Men Carl, saith seren y gogledd, y saith seren ogleddol.
Charlock, *s.* (S. *cerlice*) cadafarth, cedw gwyllt, cedw yr yd, cethw yr yd.
Jointed charlock—rhuddygl gwyllt, heddig gwyllt, bysedd yr iar.
Charm, *s.* (Ff. *charme;* Ll. *carmen*) swyn, rhin, cyfaredd, hudoliaeth, hud, llith, swynogl, swyngyfaredd, gorchan, swynoliaeth, llithiad, deniad, ystremp, serchlithiad; serchdyniad; swyngan, hudolgan.
A charm to cause love—swyn serch.
Charm, *v. a.* swyno, rhinio, rhino, swynogli, cyfareddu, llygattynu, hudo, llithio, denu, boddio, dyhuddo, lloddi, llinaru, lloni, llonychu; tynu *neu* ennill serch; rhempio, ystrempio, arganfod, rheibio; gorchanu, cynghanu, cynghanseinio.
Charmer, *s.* (o *charm*) swynwr, rhinwr, rhiniwr, cyfareddwr, darswynwr, hudwr, hudolydd, hudolwr, hudol, dyhuddwr, dyhuddai, hudolyn, denwr, llithiwr, boddiwr, boddhäwr.
Charmeress, *s.* (o *charmer*) hudoles, swynwraig, swynyddes, swynoges, rhinwraig, swynoles, swynogles, dyhuddes, dyhuddwraig.
Charmful, *a.* (*charm* a *full*) swynlawn, hudlawn, swynog, swynol, rhinfawr; llawn swyn, &c.
Charming, *a.* (o *charm*) swynol, hudol, hudolus, hudolaidd, rhinfawr, swynog, hudlawn; hyfryd, hyfrydol, hyfrydlon, boddhaol, boddhäus, cariadlon, dyddan, trahyfryd, hyfrydlwys, rhagorol, odiaeth, melusber; yn boddhau yn fawr dros ben; yn boddio tu hwnt i fesur.
Charmingness, *s.* (o *charming*) swynolrwydd, swynoldeb, hudolrwydd, hudolusrwydd, hyfrydlonedd, &c.
Charmless, *a.* (*charm* a *less*) diswyn, anhudol; heb swyn, &c.
Charnel, *a.* (Ff.) cnodig; burgunaidd; perthynol i gnawd; yn cynnwys burgunod.
Charnel-house, *s.* esgyrndy, esgyrnle, esgyrnfa.
Charpie, *s.* (Ff.) llieinrwd, nadd llian, llian rwd.
Charr, *s.* torgoch, y pysg torgoch.
Charry, *a.* (o *char*) golosgaidd, dylosgaidd, golosgol.

**Chart**, *s.* (Ll. *charta*) morlen, morlun, morddarlun; argraffilen.
Sea chart—morlen, morlun, morddarlun.
Selenographic chart—lleuadlen, lleuadlun.
Topographic chart—parthlen, parthlun, parthlenas.
Globular chart—cronforlen, crynforlun.
Hydrographical chart—orlen, costlen, mordudlen, arforlen.
Mercator's chart—morlen Mercator.
**Charta**, *s.* (Ll.) breintlen, deflen.
Magna Charta—y Freintlen Fawr, y Ddeflen Fawr.
**Charter**, *s.* (Ff. *chartre*, o'r Ll. *charta*) breintlen, breintysgrif, breintiadur, breinlen, breinteb, deflen; braint, breintiolaeth, rhagorfraint.
**Charter**, *v. a.* llonglogi; breintlenu, breintioli, breinio.
**Chartered**, *a.* (o *charter*) breiniog, breiniol, breintiedig, breintlenog.
**Charterland**, *s.* tir braint, breinttir, breindir, breiniordir.
**Charter-party**, *s.* (Ff. *charte-partie;* Ll. *charta partita*) llongrwymeb, llong-ammodeb; cytundeb rhwng masnachwr a meistr llong.
**Chartism**, *s.* (o *charter*) breintleniaeth, breintebiaeth, breintgeisiaeth, defleniaeth, breintoniaeth.
**Chartist**, *s.* (o *charter*) breintleniad, breintebydd, breintebwr, breintgeisiwr, breintoniad, breinleniad: *pl.* breintleniaid, breintlenwys, breintgeisiaid, deflenwyr, defleniaid, &c.
**Chartless**, *a.* (*chart* a *less*) diforlen; heb forlen *neu* forlun; dïargraffilen.
**Chartulary**, *s.* (Ff. *chartulaire*) cofgeidwad, cofnodgeidwad, ceidwad breintleni; coflyfr.
**Char-woman**, *s.* hapweithes, gorchwyles, hurwraig, odweithes, gwraig hur, benyw hur, gorchwylwraig, gweithwraig hur.
**Charry**, *a.* (S. *cearig*) gofalus, gochelgar, gwagelog, ymogelgar, pryderus, cynnil, arbedol.
**Chasable**, *a.* (o *chase*) heladwy, ymlidadwy; hydarf; hawdd ei darfu; hawdd ei yru ar gil, &c.
**Chase**, *v. a.* (Ff. *chasser*) hela, hely; ymlid, erlid, erlyn, erlidio, tarfu, gyru; casnori; gyru ar ffo; gyru i ffo, i ffoi, i gilio, ar encil, ar gil, ar grwydr, *neu* ymaith; peri cilio, peri ffoi; cilio; dylyn: delgerfio.
To chase forward—gyru yn mlaen; gyru rhagddo. [tarfu.
To chase away—gyru ar ffo, &c.; gwasgaru,
To chase back—gyru yn ol, &c.; ciliorni.
A sword to chase a foe—cadgno i gilio gelyn.
One chased away—enciliad, ciliad, cilydd, enciliwr.
To chase metals—delgerfio, delidgerfio, delgrwydro.
Gold-chased—eurgrwydr, eurgerfiedig.
Gold-chased cross—croes eurgrwydr, croes eurgerf, croes eurgerfiedig.
**Chase**, *s.* hely, hela, helfa, heliad, helwriaeth, helwaith, erlyn, erlyniad, ymlid, ymlidfa, ymlidiad, tarf, tarfiad, gyriad ymaith; ysgafaeth; yr hyn a helir; helfaes, helwig, helgoedwig, gwig, coedwig, coedfa; pelodrig, pelorphwys, ystod y bel.
Chase gun—tafl-gyflegr, cyflegr ymlid, hel-gyflegr.
Beasts of chase—helfilod, anifeiliaid hely, maesfilod, miledion; milod, bwystfilod, *neu* anfeiliaid y maesdir; anifeiliaid *neu* fwystfilod y maes; preiddiawr; helfa.
Wild-goose chase—hela gŵydd wyllt; erlyn ynfyd a difudd; brwd hely heb olwg ar ddâl; brwd hela heb obaith am ddala.
**Chase**, *s.* (Ff. *chasse;* Ysp. *caxa*) pillgaes, pillgloer, tebgaes, dalenwain.
Chase of a gun—hyd ceuedd gŵn, ceuhirder dryll.
**Chaser**, *s.* (o *chase*) heliwr, helydd; ymlidiwr, erlyniwr, tarfydd, tarfwr, erlidiwr, gyrwr ymaith; delgerfiwr, delgerfiedydd, delgrifiwr.
**Chasing**, *s.* (o *chase*) delgerfiad, delgerfiaeth, delidgerfiad, delgrifiad, tlysgerfiad, argerfiad; delgerfwaith.
**Chasm**, *s.* (Gr. a Ll. *chasma*) agen, hollt, gagen, agendor, gagendor, bwlch, adwy; gwagle, cyfwng; coll.
Chasm in the earth—daiardor.
**Chasmed**, *a.* (o *chasm*) agenog, gagenog, holltog, bylchog.
**Chasmy**, *a.* agenog, holltog, adwyog, bylchog; llawn agenau, &c.
**Chasselas**, *s.* (Ff.) math o winrawn.
**Chasseur**, *s.* (Ff.) helfilwr, chwimfilwr.
**Chaste**, *a.* (Ff.; Ll. *castus*) diwair, dihalog, dilwgr, pur, dihalogedig, gwyrf, gwyryf, gwyryfaidd, gwyryfol, gwylaidd, gwâr; cynnwynol, anllygredig, dinam; dilediaith, diledryw, digymmysg, syberw, syber, purlan, gwyrin.
Chaste-tree—gwarchlys, gwarchwydd, diweirlys, diweirwydd.
Chaste language—iaith ddiwair, bur, ddiledryw, *neu* ddigymmysg.
**Chaste-eyed**, *a.* llygadwyl, llygad-ddiwair; diwair ei llygad.
**Chasten**, **Chastise**, *v. a.* (Ff. *châtier*, am *chastier*) ceryddu, cystwyo, cospi, cystuddio, anghreifftio, ystwyo, sardio, dwrdio; cyweirio, adgyweirio, puro, gwella beiau; darostwng, gostwng, iselu; marweiddio.
**Chastener**, **Chastiser**, *s.* (o *chasten*) ceryddwr, cospwr, cospadur, cospydd, cystwywr, cystuddiwr, sardiwr, cyweirydd.
**Chasteness**, *s.* (o *chaste*) diweirdeb, diweiredd; purdeb, puredd.
**Chastening**, *a.* (o *chasten*) ceryddol, cystwyol, cospadurus; cyweiriadol, gwelliannol.
**Chastening**, *s.* cerydd, cystwy, cystudd; ceryddiad, cospad, cystwyad, cystuddiad, cystwyaeth, cyweiriad.
**Chastisable**, *a.* (o *chastise*) ceryddadwy, &c.; yn haeddu cerydd, cosp, *neu* gystwy.
**Chastise**, *v. a.*=*Chasten.*
**Chastisement**, *s.* (Ff. *châtiment*) cerydd, cystwy, cosp, cospad, cospedigaeth, cyweiriad, cystwyad, cystwyaeth, ceryddiad, cystwyedigaeth, cospaduriaeth, argystwy, cospawd, adgyweiriad, ceryddawd.
Slight chastisement—gogerydd, cerydd ysgafn.
Without chastisement—heb gerydd, heb gystwy, anghystwy, digerydd.
**Chastiser**, *s.* (o *chastise*)=*Chastener.*
**Chastity**, *s.* (Ll. *castitas;* Ff. *chasteté*) diweirdeb, diweiredd, purdeb, puredd, dïanlladrwydd, dihalogrwydd, dinwyfiant, gwyryfdod, gwyryd, gwyryfedd; anserthedd.

The chastity of the gospel—purdeb yr efengyl.
Virgin chastity—gwyryfdod.

**Chasuble**, *s.* (Ff.) casul, arwenwisg, arofferenwisg.

**Chat**, *v. n.* (o *chatter?* Gr. *côtíllô?*) siarad, siared, chwedleua, ymddyddan, clebran, sisial, ymgomio, ymchwedleua; baldorddi, baldorfi, pepru, clebran, chwaldodi, llolian, gwagsiarad, ofersiarad, ffregodi; cogor, trydar; dàl pen chwedl; dàl pen rheswm.
A chatting gossip—gwraig dafodiog, dynes wagsiaradus, benyw siaradus, clapwraig, clepai, benyw wagsiaradus, clecai, chwedleuwraig, benyw chwedleugar.
To chat together—ymchwedleua, cydsiarad, ymgomio, cydchwedleua, ymchwedlu; dàl pen chwedl *neu* reswm.

**Chat**, *s.* siarad, ymddyddan, ymgom, clebar, sisial; siaradach, gwagsiarad, chwaldod, ffreg, ffrec, ffregod, bugeilres, pepraeth, chwaldordd, baldordd; cogor, trydar.
Idle chat—gwagsiarad, siaradach, coegsiarad, chwaldod, ofersiarad, llol, ffreg, &c.
Whin-chat—clochdar yr eithin, crec yr eithin.
Wood-chat—y cigydd glas.
Lesser wood-chat—y cigydd bach, y barfog.

**Chat**, *s.* (S. *cith*) ysbrigyn, brigyn, ysbricyn.

**Chateau**, *s.* (Ff.) gwlatty, maenordy; castell.

**Chatelet**, *s.* (Ff.) castellan, castellyn.

**Chatellany**, *s.* (Ff. *châtellenie*) rhandir *neu* faenor castell; castellaeth.

**Chatoyant**, *a.* (Ff. *chat* ac *œil*) cathlygeidiol, cathdremaidd; lliwdonog; fel llygad cath yn y tywyll.

**Chatoyant**, *s.* cathlugfaen; lliwdonfaen.

**Chatoyment**, *s.* (Ff.) lliwdoniad, lliwchwariad, chwareuad lliwiau, cathlugiad.

**Chattah**, *s.* gwlawlen (yn yr India).

**Chattel**, *s.* (Norm. *catal*, *chastel*, *chatters*) da, daoedd; da symmudol, da cyffro; elyf, anlloedd, eiddo, pethau.
Moveable chattels—da symmudol, da cyffro, da cyfodedyn, daoedd symmudadwy, da cychwynol.
Immoveable chattels—da anghyffro, da digyffro, da ansymmudol, da anghyfodedyn, da anghychwyn; tir.
Chattels real—da perthynasol, daoedd perthynol, da tirol, da anghyffro.
Chattels personal—da personol, daoedd ansodol, da cychwynol, da symmudol, da cyffro, daoedd cyfodedyn.
Goods and chattels—da ac elyf; daoedd a moddion.

**Chatter**, *v. n.* (Ff. *caqueter*) bragaldian, bragaldio, baldorddi, baldorfi, chwaldodi, pepru, pepra, ffregu, ffregodi, llolian, brygawthu, gwagsiarad, ofersiarad, dadwrdd; cogor, cograch, trydar, trydaru, ffregsiarad; lleisio fel aderyn; ymddadwrdd, ymrwgnach; curo yn nghyd; ymguro, ymffusto, *neu* grynu gàn annwyd.
To chatter as a jackdaw—cogor fel cogfran.
To chatter like a magpie—ysgrechain fel pia.
My teeth chatter—y mae y deintgryd arnaf; mae fy nannedd yn curo gàn annwyd; y mae fy nannedd yn ffusto wrth eu gilydd; yr wyf yn ffusto fy nannedd yn nghyd gàn annwyd.

**Chatter**, *s.* cogor, trydar, ffregsiarad, cograch, ffrill; gwagsiarad, ofersiarad, ffreg, ffrec, pepraeth, pebre, peprwn, dadwrdd, siarad, siaradach, baldordd, clincwm.
Stone-chatter—clochdar y ceryg, clochdar y graig, tinwyn y garn.
Chatter-pie—pioden ddadyrddus, piogen ysgrechog.

**Chatterbox**, *s.* (*chatter* a *box*) pepryn, bragaldiwr, baldorddwr, clebardwr, siaradydd diddiwedd; ffol ei wefusau: *f.* pepren, clebren, chwaldodes, dynes glebarddus, clebardden.

**Chatterer**, *s.* (o *chatter*) siaradwr, siaradydd, pepryn, bragaldiwr, baldorddwr, gwagsiaradwr, ffregodydd, chwaldodwr, clepai, clebryn, (*f.* clebren); trydarydd, cogorydd, cogrwr, trydarwr; un siaradus *neu* faldorddus, &c.
Chatterer (a bird)—sidan-gynffon.
Chatterers—ffrillednod, ffrilliaid, ffrillogion.

**Chattering**, *s.* (o *chatter*) cogor, trydar, cograch, ffrill; llais adar; gwagsiarad, siaradach, clebar, peprwn, pepraeth, pebre, pepriad, llol, ffiloreg, ffreg, dadwrdd, clec, baldordd, chwaldod; deintgryd, deintgur.
Chattering of the teeth—deintgryd, deintgur.

**Chatty**, *a.* (o *chat*) siaradus, ymadroddus, ymgomiol, geiriolus; gwagsiaradus, baldorddus, clebarddus, dadyrddus, dadyrddol, chwaldodus, siaradgar, siaradaidd, trydarllyd, ffregaidd.

**Chatwood**, *s.* (*chat* a *wood*) tanwydd, briw-wydd, cynnud.

**Chauffer**, *s.* (Ff.) poethogell, ffyrnes fferyllaidd.

**Chaumontelle**, *s.* (Ff.) math o beren.

**Chaun**, † *s.* (S. *geonan*) adwy, agen, agoriad.

**Chawn**, † *v. n.* agor, agor pen, ystwyro.

**Chaussé**, *p. p.* (Ff.) archenog; sodolog.

**Chavender**, } *s.* (Ff. *chevesne*) y penci, twb y
**Cheven**, } dail, cochgangen.

**Chaw**, *v. n.* (S. *ceowan*; Al. *kauen*) cnoi, adgnoi, cnoi cil; † adfeddylied, adsynied.

**Chaw**, *s.* safn, gen, bochgern, cilfoch; tamaid, safnaid.

**Chawdron**, *s.* (Ff. *chaudron*) coluddion, perfedd, tripa, ymysgar, coludd, penyg, syrth.

**Cheap**, *a.* (S. *ceap*) iselbris; â newid arno; rhad, isel, hybryn; gwael, sal, salw, diwerth, dibris, dïelwig, anmhrid, dïystyr, dibarch, cyffredin.
Very cheap—â newid mawr arno; â mawr newid arno; yn isel iawn ei bris; yn isel iawn; yn rhad iawn; am ychydig; â digon o newid arno.
Dog-cheap—â newid y ci arno; â mawr newid arno; dàn draed; tra iselbris; rhad y ci.
Corn is dog-cheap—y mae yr yd â newid y ci arno; y mae mawr newid ar yr yd; y mae yr yd yn gwerthu dàn draed; mae yr yd yn gwerthu am ganu; y mae yr yd yn isel dros ben.
To sell too cheap—gwerthu dàn draed, am chwibanu, *neu* am anober; gwerthu yn rhy rad *neu* isel; tànwerthu.
To sell very cheap—gwerthu yn rhad *neu* iselbris iawn, &c.; rhoi ceiniogwerth ar beth; rhoi pridwerth i un ar beth; rhoi i un â fyno ei hun am ei arian; rhoi bargen *neu* newid ar beth.

To buy cheap—prynu yn rhad, &c.; prynu am ychydig; prynu â newid arno; prynu *neu* gael bargen ar beth.

**Cheap**, *s.* newid, bargen, pryniad.
To be good cheap—bod yn iselbris *neu* rad; bod yn ysgafn-bris; bod â digon o newid arno; bod yn rhad ei wala.
When things were better cheap—pan oedd pethau yn rhatach.

**Cheapen**, *v. a.* (S. *ceapian*) gofyn pris; cynnyg am; cynnyg ar; marchnata, masnachu, ambrynu; cynnyg prynu; bargena, bargeinio; iselbrisio, dibrisio; iselu pris; lleihau gwerth.

**Cheapener**, *s.* (o *cheap*) gofynwr *neu* gynnygiwr pris; marchnatwr, ambrynwr, bargenwr, ymbrynwr, marchnatäwr, ffeiriwr, prynydd.

**Cheaping**, † *s.* (o *cheap*) marchnadfa, masnachfa.

**Cheaply**, *ad.* (o *cheap*) yn iselbris, &c.; yn rhad iawn; am ryw ychydig; am ychydig; am ryw beth bach; am bris isel.
To buy cheaply—rhadbrynu; prynu yn isel; prynu yn bur rad.
You shall not come off so cheaply another time—ni ddïengwch wrth gyn fychaned cosp y tro nesaf; ni ddïangwch mòr rhwydd dro *neu* bryd arall.
I came off very cheaply—dïangais yn well nag yr haeddaswn; dïangais wrth lai o gosp nag a haeddaswn.

**Cheapness**, *s.* (o *cheap*) newid, iselder pris, ysgafnder pris, rhadedd, hybrynedd, dïelwant, iswerth, iselwerth, rhadbrynedd.
Over-cheapness—tranewid, gornewid.

**Chear**, *s.*=*Cheer*.

**Cheat**, *v. a.* (S. *ceatt*) twyllo, hocedu, somi, seithugio, coegio, castio, camgolledu, camattal, chwiredu; difeddiannu *neu* ddifuddio drwy dwyll a dichell; sychu trwyn un; twyllwerthu, maeldwyllo.

**Cheat**, *s.* twyll, hoced, dichell, cast, hud, som, somiant, somedd, ystryw, chwired; hocedydd, hocedwr, twyllwr, somwr, coegiwr, ffugiwr, hudolydd, ffuantydd.

**Cheatableness**, *s.* (o *cheat*) hydwylledd, hysomedd.

**Cheat-bread**, *s.* twyll-fara, hud-fara.

**Cheater**, *s.* (o *cheat*) twyllwr, twyllydd, hocedwr, hocedydd, somwr, coegiwr, ffugiwr, ffuantwr, hudolydd, hudwr; dyn hocedus, twyllodrus, dichellgar, *neu* gyfrwysddrwg; twyll i'w gyfaill *neu* gydymaith; twyllwerthydd.

**Cheating**, *s.* (o *cheat*) hoced, twyll; hocediaeth, twyllyddiaeth, twyllwriaeth, twyllofaint, somiant, somedigaeth.
One cheating trick drives out another—y naill wenwyn a ladd y llall.

**Check**, *v.* (Ff. *échec*) attal, nadael, cyfattal, cadw, rhwystro, ystwyo, ffrwyno, lluddias, lluddio, llestair, llesteirio; cadw i mewn, dàl i mewn, dàl yn dyn, cadw i lawr; gwahardd, gwarafun, arafu, dofi, rhabu, twyo, cymmedroli; aros; ymdrafod; ceryddu, anghreifftio, dwrdio, argyhoeddi, senu, sardio; gwrthnodi; iawnu; llaesu.
She checks (in falconry)—mae hi yn somi *neu* ffuantu.

**Check**, *s.* attal, rhwystr, attaliad, attalfa, rhagod, ystwy, lludd, arludd, gwardd, gwahardd, gwarafun, twy, rhab, ffrwyn, llywodraeth, hybiad; cerydd, argyhoeddiad, sen, sard; twyeb, rhablen, talbar; cyfoddim, cyfaddurnnod; gwrthbarth, gwrthgoflyfr; croeslïan, cwarlïan, rhwyllnwydd, llian croesfarog; llysiant.
Check (at chess)—rhwystr, rhagod, gwarchae.
Check, } gweinidlyfr, gweinidres,
Check-roll, } rhablyfr.
Clerk of the Check—ysgrifur yr Ystwy.
To keep a check upon one—cadw un dàn law; attal un rhag myned yn benrydd; cadw y ffrwyn *neu* y warllost yn dyn ar wàr un; cadw un dàn wab; cadw un o fewn terfynau.
To give one's passions a check—dofi *neu* ffrwyno drygnwydau; dofi drwg anwydau.
To take a check—digio, ymddigio, sori, anfoddloni, tramgwyddo; cymmeryd yn chwith.
Check of conscience—ystwy, pigad, tymmig, tymmigiad, *neu* gerydd cydwybod.
To give one a check—rhoi hwb ar un; ceryddu *neu* ystwyo un; rhoi cerydd i un; attal *neu* ffrwyno un.
Check (in falconry)—llysiant, somiant.

**Check-rail**—lluddreilen.

**Checker**, *v. a.* (o *check*; Ff. *échiquier*) croeslinio, cwarlinio, ffristweithio, pedrarnu; amrywio, amrywioli, amliwiogi, amryfalu.

**Checker**, } *s.* (o *check*) attaliwr, rhwystrwr,
**Chequer**, } lluddiwr, ystwywr; argyhoeddwr, ceryddwr, &c.; tawlbwrdd.

**Checker**, } *s.* ffristwaith, rhwyllwaith,
**Checker-work**, } rhwydwaith, diswaith, gwaith y gwenyn, croeslinwaith, gwaith ffristialaidd.

**Checkered**, *a.* (o *checker*) amryliw, amliwiog, brithedig, rhwyllog, brith.

**Checkers**, } *s. pl.* chware gwyddbwyll, chwareu
**Chequers**, } tawlbwrdd; croeslinau amryliw.

**Checkless**, *a.* (o *check*) dïattal, dirwystr, anattaladwy, anrhwystradwy; digerydd, heb ystwy.

**Checkmate**, *s.* (*check*, ac Ysp. *mate*) argae, attalyn, cynllwyn; argae ar y brenin (yn chware gwyddbwyll); trechiad.

**Checkmate**, *v. a.* diweddu, gorphen; amgylchynu o bob parth.

**Checky**, } *s.* (o *check* neu *cheque*) ffristaes, dis-
**Chequy**, } faes, barogfaes.

**Cheek**, *s.* (S. *ceac, ceoca;* Is. *kaak*) grudd, boch, cern, bochgern.
The two cheeks—y deurudd, y ddwyrudd, y ddwy rudd; y gruddiau.
Ruddy cheeks—gruddiau ffuon, gruddiau rhosliwiog, gruddiau rhosliw, gruddiau lliw rhos, gruddiau cochion; gruddiau gwridog *neu* wridgoch.
Cheek by jole, } penben, pen yn mhen,
Cheek by jowl, } bochfoch, grudd yn nghrudd, ochr yn ochr, ystlys yn ystlys.
Cheeks of a balance—gafael tafal, hespen clorian.
Hog's cheek—cern, lledben, *neu* en mochyn.
Ox's cheek—cern *neu* ledben eidion; gen eidion *neu* ych.
The cheek will not conceal the anguish of the heart—ni chel grudd gystudd calon.

Cheek-bone, *s.* aelgerth, gràn, asgwrn grudd, asgwrn cern.
The fall of the cheek-bone—llethr grudd.
Cheeked, *a.* (o *boch*) bochog, bochol; ger y foch.
Red-cheeked—bochgoch.
Ruddy-cheeked—bochrudd, bochgoch.
Blub-cheeked, Blubber-cheeked, } bochog, bochdew, bochglug.
The blub-cheeked boy—y bachgen bochdew.
Full-cheeked — bochdew, bochog, bochlawn.
Flabby-cheeked—bochlaes, bochlipa.
Pale-cheeked—bochlwyd, bochwelw.
Hollow-cheeked — bochlipa, bochlibin, bochlaes; â bochau llipa iddo.
Fair-cheeked—ceinrudd, tegrudd, gruddwyn, (*f.* gruddwen), granwyn, (*f.* granwen), ceinruddiog, tegruddiog, tlosrudd, gruddlandeg, gruddfirain, teg ei grudd, ceinwen.
Blow on the cheek—cernod, cernhep.
Cheek-tooth, *s.* bochddant, cilddant, dant malu.
Cheep, *v. n.* (o'r sain) ffrillio, trydar, yswitian; lleisio fel aderyn bychan.
Cheer, *v.* (Ff. *chère*) lloni, sirioli, llonychu, adloni, llawenu, llawenychu, sirio, darloni, llawenhau, adfywio; dadebru; dyddanu, difyru, darfoddio; gwneuthur yn llawen, yn siriol, yn llon, *neu* yn llawen, &c.; rhoi calon, hoen, *neu* yni yn; annog, calonogi, cefnogi, hawntio; ymloni, ymlonychu; cysuro, rhoi cysur; cynhesu.
To cheer up=*Cheer.*
To cheer up one's self—ymloni, ymsirioli, ymsirio, ymlonychu, ymlawenychu, ymlawenu, &c.
Cheer up yourself—ymlonwch; codwch eich calon; byddwch lawen.
Let thy heart cheer thee—llawenyched dy galon.
To cheer one's self daintily—byw yn fwythus *neu* foethus; ymröi i ddifyrwch a mwythau; cymmeryd byd da yn helaethwych beunydd; gwneuthur duw o'i fol.
Cheer, *s.* hoen, hoender, llonder, sir, gorhoen, sirioldeb, arial, yni; calon, calondid; lloddiant, cysur, croesaw; arlwy, darmerth, bwyd; arfoll, arfolliant, gwest; bloddest, cymmeradwyaeth, lloneb.
Good cheer—byd da, byd gwych, bwyd da, sir dda, gwychfyd, danteithrwydd, gwledd, danteithfwyd.
Small *or* slender cheer—arlwy prin, cynnil, cyrrith, eiddil, tlawd, gwael, *neu* fychan.
To make good cheer—gwledda; gwneuthur gwledd; wttresa, gloddesta.
Dainty cheer—ammeuthynion, ammoethau, danteithion, moethfwyd, almes, bwyd ammeuthyn; seigiau yn llawn o sugar.
To make one good cheer—croesawu un âg arlwy mawr; gwneuthur gwledd ddeintaidd i un.
To make but slender cheer—gwneuthur adwledd; byw ar ymborth *neu* arlwy gwael, sal, salw, tlawd, *neu* anneintaidd; gwneyd sir wanaidd.
Cold cheer—croesaw tlawd, gwael, oeraidd, oerllyd, *neu* ygus; sir wanaidd.
To make one poor cheer—croesawu un yn oerllyd, *neu* oeraidd; gwneyd croesaw *neu* arlwy tlawd, cyrrith, *neu* wanaidd i un.
His cheer is gone—gwedd ei wyneb a newidiodd.
To be of good cheer—ymloni, ymwroli, ymgysuro, ymlonychu, ymsirioli, cymmeryd calon, cymmeryd cysur; bod yn hoenus, yn orhoenus, yn llon, yn gysurus, yn gysurol, yn galonog, *neu* yn heinif.
Be of good cheer—ymwrolwch; na lyfrhëwch.
Heavy cheer—trymder, trymfryd, pruddineb, tristyd, prudd-der, tromfron.
Cheerer, *s.* (o *cheer*) siriolydd, siriolwr, llonwr, &c.
Cheerful, *a.* (*cheer* a *full*) siriol, llon, hylon, hoenus, llawen, gorhoenus, gorawenus, dyddan, difyr, hyfryd; heinif, gwych, bywiog, calonog, arialus, hawntus, llonwych; cysurus, cysurol, cysurlawn; tirion.
Cheerful countenance — gwyneb llon, llawen, *neu* siriol; hoen.
Cheerful feasts—uchelwyliau hyfryd *neu* hylon; uchelwyliau daionus (*Sech.* viii. 19).
To make one's self cheerful—ymloni, ymsirioli, ymlonychu, &c.
To make cheerful—sirioli, lloni, llonychu, llawenu, llawenhau, lloneiddio, &c.; gwneuthur yn siriol, &c.; darfoddio.
Extremely cheerful — gorlon, tra siriol; siriol iawn, &c.
Somewhat cheerful — ledlon, lledseiniol, gosiriol, golon, golawen.
Cheerfully, *ad.* yn llon, &c.
To look cheerfully — ymloni, ymsirioli, ymhoeni, llygadloni; bod yn llygadlon *neu* yn llygadlawen; edrych yn siriol, &c.
Cheerfulness, *s.* (o *cheerful*) sirioldeb, llonder, sirioledd, siriolder, llawenydd, llonedd, llondra, lloniant, llonychdod, hoenusrwydd, hoenusder, hoewder; hoen, gorhoen, gorawen; bywiogrwydd, bywyd, arial, hawnt, nwyfusrwydd, hawnt, calondid; difyrwch, dyddanwch, darfoddiant, adferthwch.
Cheeriness, *s.* (o *cheery*)=*Cheerfulness.*
Cheerishness,† *s.* (o *cheer*) siriolrwydd, sirioledd, siriolusrwydd, llonychdod.
Cheerless, *a.* (*cheer* a *less*) anhylon, aflawen, annifyr, annyddan, trist, athrist, prudd, tristlawn, digysur, anghysurus, dihoen, anhoenus, ansiriol, digalon, anfywiog, anghalonog; caddugol.
Cheerly, Cheery, } *a.* (o *cheer*) llon, siriol, llawen, llonwych, hoenus, siriolus, bywiog, nwyfus, arialus, calonogol, llonol, llonaidd, llonychol, lloniannol.
Cheese, *s.* (S. *cese*, *cyse*; Ll. *caseus*) caws.
A cheese—cosyn.
Cream-cheese — caws hufen, caws drwy hufen.
Cheese-house—cawsdy.
Cheese-beggar—cawsai.
Dealer in cheese=*Cheese-monger.*
Cheese-cloth—llian caws, tywel caws, cawslïan, cynfas caws.
I talk of chalk, you talk of cheese—llo meddaf, llew meddi; llo medd y naill, llew medd y llall.
Cheese-cake, *s.* teisen gaws, cawsdeisen, cawsdais, teisen gawsog.

**Cheese-curds**, *s.* caws gwŷn, ceulfraen, gwyngaws.
**Cheese-hopper,** } *s.* cawsgleren, cawsgylionen.
**Cheese-fly,** }
**Cheese-monger**, *s.* cawswr, cawswerthydd, cawswerthwr, gwerthydd caws, gwerthwr caws, cawsfaelur.
**Cheese-paring**, *s.* crofen caws, cawsgroen, cawsgrawen.
**Cheese-press**, *s.* cawswasg, cawswryf, gwryf caws, peus, gwasg caws.
**Cheese-rennet**, *s.* ceulon, ceulion, briger twynau, briwydd felen, llysiau y cywer, cywer y llaeth; cywer llaeth, cywerdeb llaeth, ceuled, blochta, cywer, cywair.
**Cheese-vat**, *s.* cawsellt, cawslestr, cawslyst, cosellt.
**Cheesy**, *a.* (o *cheese*) cawsaidd, cawsog.
**Chef-d'Œuvre**, *s.* (Ff.) gorchestwaith, campwaith, prifwaith, priforchwyl, pengorchwyl; gorchwyl *neu* waith penigamp.
**Chegoe,** } *s.* (Ysp. *chiquito*) cosdrychfil, cosrilionen.
**Chigo,** }
**Chegre,** }
**Cheilites**, *s.* (Gr. *cheilos*) gwefusdandde, fflameg y gwefusau.
**Cheiragra**, *s.* (Gr. *cheir* ac *agra*) llofwst, llawwst.
**Cheiranthus**, *s.* (Gr. *cheir* ac *anthos*) y murwyll, llysiau y llaw, llawlys.
**Cheirology**, *s.* (Gr. *cheir* a *logos*) llawiaith, bysiaith, llawebiaeth, amneidiaeth.
**Cheiromys**, *s.* (Gr. *cheir* a *mus*) llawlyg, lloflyg, llawlygoden = un o bedrybedion Madagascar.
**Cheiropodist,** } *s.* (Gr. *cheir* a *pous*) cornfeddyg, llawbedwr, pedfeddyg, pettrinydd, troedfeddyg.
**Chiropodist,** }
**Cheiropter**, *s.* (Gr. *cheir* a *pteron*) llawednog, llofednog, llawednogyn; un o'r ystlumod.
**Cheiroptera**, *s. pl.* llawednogion, llofednogion; ystlumod.
**Cheiropterous**, *a.* llawednogaidd, llawednogol, llofednogaidd.
**Cheirotherium**, *s.* (Gr. *cheir* a *thērion*) llawfil, llawfilyn.
**Chelerythrine**, *s.* llwydlasnur.
**Chelidon**, *s.* (Gr.) gwennolwiban.
**Chelidonic Acid**, *s.* sur llygadlys, sur dilwydd, sur dilwyddig.
**Chelidonine**, *s.* (Gr. *chelidonion*) llygadlysnur.
**Chelidonium**, *s.* (Gr. *chelidonion*) = *Celandine.*
**Cheliferous**, *a.* (Gr. *chēlē*, Ll. *chela*, a Ll. *fero*) crafangog, ewinog, bachog.
**Cheliform**, *a.* (Ll. *chela* a *forma*) crafangaidd, ewinaidd.
**Chelodina**, *s. pl.* (Gr. *chelōnē*) gwygrwbanod, crwbanod yr afon.
**Chelonia,** } *s. pl.* (Gr. *chelōnē*) crwbanolion, crwbanogion, crwbanryw.
**Chelonians,** }
**Chelonides,** }
**Chelonia**, *s. pl.* crwbanrilion, crwbanwyfon.
**Chelonian**, *a.* crwbanogol, crwbanogaidd, crwbanodol.
**Chelonidæ**, *s. pl.* (Gr. *chelōnē*) morgrwbanod.
**Chely**, *s.* (Gr. *chēlē*) pysg-grafanc, pysg-graff, pysg-graf, crafanc crogenbysg.
**Chemical,** } *a.* (Ff. *chimie*) fferyllol, fferyllawl, fferyllaidd, fferyllig; cyfferïol.
**Chemic,** }
  **Chemical attraction** — attyniad fferyllol, attyniad fferyllaidd; attyniad cystlynol; tyniad *neu* attyniad detholig.



Chemise, *s.* (Ff.) hefys, crys benyw, crys merch; gwrthfur.
Chemist, *s.* (Ff. *chimiste*) fferyll, fferyllt, fferylliad, fferyllydd, fferyllwr.
Chemistical, *a.* (o *chemist*) fferyllol, fferyllawl, fferyllaidd, fferyllig.
Chemistry, *s.* (Ff. *chimie;* Ysp. *chimia;* Gr. *chēmeia*) fferylliaeth, ferylltiaeth.
  Agricultural chemistry—fferylliaeth amaethyddol.
  Electro-chemistry—trydanfferylliaeth, fferylliaeth drydanol.
  Animal chemistry—milfferylliaeth, fferylliaeth anifeilig.
  Vegetable chemistry — llysfferylliaeth, fferylliaeth dyflysol, fferylliaeth tyfolion, fferylliaeth hydyfiaid.
  Philosophical chemistry — fferylliaeth athronyddol, fferylliaeth ofyddol.
  Theoretical chemistry—fferylliaeth ddamanol *neu* ddamcaniadol; fferylliaeth anymarferol; fferylliaeth athronyddol.
  Applied chemistry—fferylliaeth ymarferol, fferylliaeth gymhwysiadol, fferylliaeth gymhwysedig.
  Organic chemistry—fferylliaeth gyfluniol, ardumig, ardumiol, ermigol, *neu* gymheiriannol.
  Inorganic chemistry—fferylliaeth anghyfluniol, anardumig, annhumiol, *neu* anermigol.
  Physiological chemistry—fferylliaeth anianyddol, anianodol, *neu* anianegol.
Chenopodium, } *s.* (Gr. *chēn* a *pous*) troed yr ŵydd, gwydd-droed.
Goosefoot, }
Cheque, *s.* (Ff. *échec*) twyeb, talbar, rhablen.
Cheque, *s.* croeslïan, barlïan, cwarlïan, rhwylllïan, llïan croesfarog, rhwyllnwydd.
Chequer, } *s.* = { *Checker.*
Checker, } { *Chequer.*
Cherif, } *s.* archoffeiriad yn mhlith y Mahometiaid.
Cheriff, }
Cherish, *v. a.* (Ff. *chērir*) achlesu, amgeleddu, coleddu, coledd, ymgeleddu, noddi, amwesu, anwesu, mynwesu, monwesu, cofleidio; maethu, meithrin, meithrino, magu; cynhesu, twymdwyro; cysuro, dyddanu, lloni, sirioli, cirio; llettya, rhoi lle; cefnogi, calonogi; amddiffynu; lloddi.
Cherisher, *s.* (o *cherish*) achlesydd, achleswr, amgeleddwr, &c.
Cherishing, *s.* (o *cherish*) amgeledd, achles, coledd, nawdd; maeth, magwraeth, cynnaliaeth; cefnogaeth; calondid; cysur; achlesiad, amgeleddiad, &c.
Cherishment,† *s.* (o *cherish*) cefnogaeth, cynnaliaeth; cysur.
Cherleria, *s.* (oddi wrth Ioan Henri *Cherler*) eilun briweg.
Cheropotamos, *s.* (Gr. *chēr* a *potamos*) gwyddraenog, afonddraenog.
Cherry, *s.* (Ff. *cerise;* Ll. *cerasus*) ceirios, suriain, siriain; surian, sirian.
  A single cherry—ceiriosen, surianen, sirianen.
  Cherry tree—ceirioswydden, surianwydden, sirianwydden, sidanwydden, ceiriosen, sirianen, pren ceirios, surianbren.
  Black cherry — ceirios *neu* surian du; huddgwyr.
  Bird cherry — rhuddwern: *sing.* rhuddwernen, llyngwren.

Winter cherry — surain codog; surian godog, y suran godog.
Dwarf cherry—corgeirios, corsuriain.
Dwarf cherry-tree—corgeirioswydden, corsurianbren, &c.
Cornelian cherry—surian y cwyros, siriain y cwyros, grawn y cwyros.
Egriot cherry—ceirios sur, sirian sur.
Cherry bay—llawrsurian, llawrsirian.
Wild cherry—ceirios gwyllt, suriain gwylltion.
Ground cherry—ceirios y ddaiar, surian gorweddol.
Fine-toothed cherry—ceirios manddaint.
Sand cherry—ceirios y tywod.
Spreading cherry—ceirios ymdaenol.
Choke cherry—ceirios tag, tagsirian.
Cherry orchard—ceirioslan, gardd geirios, ceirioslwyn, surianlle, perllan geirios.
Cherry wine — ceirioswin, sirianwin, surianwin, gwin ceirios.
Cherry stone — careg ceirios, deincodyn surian.

**Cherry,** *s.* sirianwy, ceirioswy, ceirioslyn.

**Cherry,** *a.* ceiriosliw, sirianliw, ffuon, coch, rhudd, gwridog, rhuddgoch, purgoch; o liw y sirian *neu* y ceirios.
Cherry cheeks—gruddiau ffuon, gruddiau ceirios, gruddiau gwridog, &c.

**Cherry-cheeked,** *a.* bochgoch, bochrudd, bochsirian, bochgeirios, rhosfochog, rhuddfochog.

**Cherry-pit,** *s.* chware ceirios.

**Chersonese,** *s.* (Gr. *chersonêsos*) gorynys, meisynys, göynys, myniwle; penryn.
Cimbric Chersonese, Cimbrica Chersonesus. } Gorynys Gimbrig, yr Orynys Gimbrig, Penryn y Cimbriaid=Iutland.
Tauric Chersonese, Taurica Chersonesus, } Gorynys Twyr = Crimea.
Golden Chersonese, Aurea Chersonesus, } yr Orynys Aur, yr Orynys Euraid, y Penryn Aur.

**Chert,** *s.* cornfaen, creigellt, creigallestr, math o gareg dân.

**Cherty,** *a.* (o *chert*) cornfaenaidd, corfeinin, callestraidd, creigelltaidd.

**Cherub,** *pl.* Cherubs, Cherubim, *s.* (H.) cerub, cerubyn: *pl.* cerubiaid, cerubion.

**Cherubic, Cherubical,** } *a.* (o *cherub*) cerubaidd, cerubig; angelaidd, angylaidd, engylain, elaidd; nefol.

**Cherubim,** *s. pl.* cerubiaid, cerubion, cerubim.

**Cherubin,** *a.* (o *cherub*) cerubaidd, cerubig, cerubin; angelaidd; nefol, nefolain.
Her cherubin look—ei hangylaidd odrem; ei threm angelaidd.

**Cherubin,** *s.* cerub, cerubyn, cerubin.

**Cherup,** *v.*=*Chirp.*

**Chervil,** *s.* (S. *cerfille,* o'r Ll. *chærophyllum*) gorthyfail.
Wild chervil—cegiden fenyw.
Great chervil—cegiden wèn, gwŷn y dillad, Sisli per.
Smooth chervil—gorthyfail llyfn.
Rough chervil—gorthyfail garw.
Needle chervil — creithig, nodwydd y bugail.
Sweet-scented chervil—creithig berarogl.

**Chesible,** *s.* (Ff. *chasuble*) berwenwisg, corwenwisg; casul.

**Cheslip,** *s.* gwrach y lludw, gwrach y coed, gwrach y twca, tyrchyn llwyd.

**Chesnut,** *s.*=*Chestnut.*

**Chess,** *s.* pawrwellt Americaidd.

**Chess,** *s.* (Ff. *échecs*) gwyddbwyll, y wyddbwyll.
To play at chess—chwareu gwyddbwyll, chwareu tawlbwrdd, chwareu y wyddbwyll.

**Chess-board,** *s.* tawlbwrdd, clawr y wyddbwyll, tawlfwrdd.

**Chess-men,** *s.* gwerin y wyddbwyll, gwŷr tawlbwrdd, gwerin tawlbwrdd.

**Chessom,** *s* (?) ffaethdir, ffaethdud, ffaethbridd.

**Chess-player,** *s.* chwareuwr gwyddbwyll.

**Chess-tree,** *s.* tawlbren.

**Chest,** (S. *cest, cyst;* Ll. *cista;* C. *cist*) cist, coffr, coffor, blwch; cistaid, coffraid; y ddwyfron, cledr y ddwyfron.
The human chest—y ddwyfron, cledr y ddwyfron, clwyd y ddwyfron, y ddwyfron ddynol.
Pain in the chest—bronwst; poen yn y ddwyfron.
Chest of drawers—treillgist, cist logellog, llogellgist.
A small chest—llawgist, cist fechan, prenfol, coffryn, cofforyn.
Tea-chest—tegist.
To put in a chest=*Chest, v. a.*

**Chest,** *v. a.* cistio, coffri; rhoi mewn cist *neu* goffr.

**Chested,** *a.* (o *chest*) bronog, dwyfronog.
Broad-chested — bronlydan, bronllydan, broneang, llydanfron; bronfawr, dwyfronfawr; llydan ei fron; llydan ei bron.
Narrow-chested—brongul, culfron; cul ei fron; cul ei bron.
Flat-chested — bronisel, iselfron; isel ei fron; lleddfron.
High-chested—bronuchel, uchelfron; uchel ei fron.
Full-chested—bronlawn, bronog.
Thick-chested—tewfron, brondew; tew ei fron.

**Chest-foundering,** *s.* marcheisglwyf; ysgyfeinwst.

**Chestnut,** *s.* (Ll. *castanea;* S. *cystel*) castan; castanwydd; castan-gnau, pipgnau.
Chestnuts — pipgnau, castan-gnau, cnau castan, castanau, cnau castanwydd: *sing.* pipgneuen, castan-gneuen, &c.
Chestnut-tree—castanwydden, pipwydden, pren castan, castanbren: *pl.* castanwydd, coed castan, pipwydd, &c.
Chestnut-grove, Chestnut-plot, } castanllwyn, perllan gastanwydd.
Dwarf chestnut — corgastan; corgastanwydd.
Rose-chestnut — rhosgastan; rhosgastanwydd.
Horse-chestnut—castan y meirch, marchgastan; castanwydd y meirch; cnau ceffylau.
Spanish chestnut—castan ber; castanwydd Yspaen.

**Chestnut,** *a.* castanlliw; o gastanwydd; llychwineu, gowineu; o liw castanwydd.
Chestnut chest — cist gastanwydd; cist o goed castan; cist gastan.
Chestnut colour—castanlliw; lliw castan *neu* gastanwydd; lliw gowineu, llychwineu.
Chestnut bay—llwydwineu, castanwineu, llychwineu.

**Chetah**, *s.* hel-lewpard yr India.
**Chettik**, *s.* gwenwyn y pren Upas.
**Chevachie**,† *s.* (Ff.) marchwysgyrch.
**Cheval**, *pl.* Chevaux, *s.* (Ff.) march, ceffyl.
Cheval de frise, } marchbigogyr, cadlys
Chevaux de frise, } drain.
**Chevalier**, *s.* (Ff. o *cheval*) marchog; gwron, mabon.
Chevalier (in heraldry) — crudfarchog, marchog amarfog.
**Cheven**, *s.* (Ff. *chevesne*) y penci, twb y dail, cochgangen.
**Cheveril**, *s.* (Ff. *chevreau*) croen myn, myngroen, mynledr, gafrledr; myn.
**Cheveril**, *a.* ystwyth, hyblyg; mòr ystwyth a mynledr.
**Cheverilize**, *v. a.* (o *cheveril*) ystwytho; gwneuthur mòr ystwyth a lledr myn.
**Cheveronny**, *s.* (o *cheveron*) cebronbarthiad, cebrraniad; aesraniad.
**Chevisance**, *s.* (Ff. *chevir*) cytundeb, bargen; anturiaeth; cyflawniad, gweithred; cytundeb anaddwyn.
**Chevron**, } *s.* (Ff.) cwpl, cebron.
**Cheveron**, }
He bore, *or*, a chevron, *azure*, between three nags' heads, *gules*—efe a ddug, *aur*, cwpl, *asur*, tri phen march, *rhufon*.
**Chevroned**, *a.* (o *chevron*) cyplog, cebronog.
**Chevronel**, *s.* (o *chevron*) cyplyn, cebren, cebronyn, cwpl bychan: *pl.* cyplynau, cebrenau, cebronos, man-gyplau.
**Chevrotain**, *s.* (Ff. *chevre*) gafrewigan, crychgornan.
**Chew**, *v.* (S. *ceowan*; Al. *kauen*) cnoi, argnoi; malu â dannedd; adgnoi, cnoi cil.
To chew the cud—cnoi cil, cnoi y cil, adgnoi, eilgnoi, cilgnoi.
To chew upon—cnoi cil ar; myfyrio ar; dwys ystyried.
To chew often—cnoi yn fynych; mynych gnoi; dygnoi; cnofain.
**Chew**, *s.* cno, tamaid, tam.
**Chewet**, *s.* (o *chew*) briwbastai, briwsaig.
**Chiaro-oscuro**, *s.* (It.) claerwyll, claerwylliad.
**Chiastolite**, *s.* (Gr. *chiastos* a *lithos*) ymgroesfaen, ceusgerfaen.
**Chibbal**, *s.* (Ff. *ciboule*) corwynwyn, wynwyn bychain: *sing.* wynionyn, sibylyn, sibylen.
**Chicane**, } *s.* (Ff. *chicane*, *chichanerie*) cecr-
**Chicanery**, } aeth, ymgecraeth, cecri; twyllеb, twyllresymiad, cyfrwysddadl, somddadleu, cyfrwys ddadlyddiaeth; dichelldrin; ystranc, cast, ystryw, ymdro, ysgoad, cyfrwysder.
**Chicane**, *v. n.* cecru, ymgecru; twyllebu, twyllresymu, somresymu, twyllddadlu, cyfrwysddadlu, cyfrwys-ochel.
**Chicaner**, *s.* (Ff. *chicaneur*) cecrydd, ymgecrydd; twyllebydd, twyllresymwr, twyllddadlwr; castiwr, ystranciwr, ymdröwr; dadleuwr hocedus.
**Chiches**, *s. pl.* (Ll. *cicer*) corbys, ydbys mân.
**Chichling**, } *s.* ydbys tragwyddol.
**Chickling vetch**, }
**Chick**, } *s.* (S. *cicen*; Is. *kuiken*) cyw, cyw
**Chicken**, } iar: *pl.* cywion.
A chick in the shell—cyw yn y plisg; cyw yn y plisgyn; cyw yn ei gogwrn.
Chick's foot—troed y cyw.
Chicken grape—y winwydden galonddail.
**Chick**, *v. n.* tarddu allan, blaguro, egino, blaendarddu.
**Chickaree**, *s.* gwiwer goch America.
**Chicken-hearted**, *a.* digalon, llwfr, cywgalon, meddal, ofnus, ofnog, annewr.
**Chicken-pox**, *s.* brech y ieir, brech yr ieir.
**Chickling**, *s.* (o *chick*) cywen, cywenan, cywenig, cyw bach.
**Chick-pea**, *s.* gwygbys, pys y llygod, llygbys, llygodbys.
**Chickweed**, *s.* (*chick* a *weed*) gwlydd; gwlyddyn.
Common chickweed—brechlys, llynorlys, gwlydd y cywion, gwlyddyn y cywion, tafod yr edn canolig.
Speedwell chickweed—mur-rwyddlwyn.
Germander chickweed—rhwyddlwyn gorweddol.
Berry-bearing chickweed—gwlyddyn gronynog.
Chickweed toad-grass—Bwffonia, Buffonia.
Water chickweed—dyfrwlyddyn, gwlyddyn y dwfr, dyfrwlyddyn y ffynnon.
Mouse-ear chickweed—cornwlyddyn, clust llygoden, gwlyddyn blewog.
Broad-leaved mouse-ear chickweed—cornwlyddyn llydanddail, clust llygoden llydanddail.
Narrow-leaved mouse-ear chickweed — cornwlyddyn culddail, clust llygoden culddail, cornwlyddyn gludiog.
Little mouse-ear chickweed—cornwlyddyn coraidd; cornwlyddyn coraidd â blodeuddail gwahanedig; clust llygoden goraidd â blodeuddail gwahanedig.
Pentandrous entire-petaled mouse-ear chickweed — cornwlyddyn mân â blodeuddail cyfain; clust llygoden mân â blodeuddail cyfain.
Tetrandrous mouse-ear chickweed—cornwlyddyn pedrwryw, cornwlyddyn pedwar-gwryw, clust llygoden pedwargwryw.
Umbelliferous chickweed—gwlyddyn llydanfrig.
Field chickweed—cornwlyddyn yr yd.
Chickweed winter-green—gwerddig.
Sea chickweed—gwlyddyn arfor.
**Chicory**, *s.* (Gr. *cichôrê*, *cichôrion*) ysgellog.
Wild chicory—ysgellog gwyllt, ysgallen y meirch.
**Chide**, *v.* senu, dwrdio, ysdwrdio, ceryddu, sardio, dondio, ystwrio, argyhoeddi, coddi, cystwyo, beio, anghreifftio; rhoi sen, sard, *neu* gerydd; tafodi, cynhenu, ymgecru, ymserthu, ymryson, ymsenu, clewtio, ymgynhenu, ymremial, ymsywyn, ymsenu; cadw swn; dadyrddu, clocho.
He will not always chide—nid byth yr ymryson efe.
**Chide**, *s.* grwgnach, gremial, grymial, manson, dadwrdd, cerydd, sen, sard, cawdd, dwrdd.
**Chider**, *s.* (o *chider*) senwr, ceryddwr, dwrdiwr, dondiwr, sardiwr, beiwr, coddwr; clewtiwr, ymsenwr.
**Chideress**,† *s.* (o *chider*) senwraig, &c.
**Chiding**, *s.* (o *chide*) seniad, ceryddiad, dwrdiad, dondiad, beiad, sardiad; sen, sard, cerydd, cawdd; clewtiad, cynheniad, tafodiad, ymserthiad; cweryl, ymryson, cynhen.
**Chief**, *a.* (Ff. *chef*) penaf, prif, pen, arbenig, blaenaf, cyntaf, uchaf, goreu, rhagoraf, mwyaf; arch-, ar-, pen-.
Chief priest—archoffeiriad.

The chief priests—yr offeiriaid penaf, y prif offeiriaid; yr archoffeiriaid.
Chief musician—pencerdd.
Chief rule—penllywodraeth, penrheolaeth, penaduriaeth, penllywyddiaeth, unbenaeth.
Chief ruler—penllywiawdwr, penllywiadur, penllywydd, penarglwydd, penllywodraethwr, penrheolwr, goruchreolwr.
Chief places—prif leoedd, lleoedd penaf.
Chief fathers—penau cenedl (*Num.* xxxvi. 1).
Chief justice—penynad, prifynad, prifyngnad, arfrawdur.
Lord chief justice — arglwydd benynad, arlwydd brifynad.
Chief captain, } penciwdod, cadlywydd,
Captain general, } pendragon, pencadlyw, penllywydd llu, penaeth llu.
Chief captain—pencadben.
Chief heir — yr etifedd cyntaf, y cynetifedd, y prif etifedd.
Chief butler—pentrulliad.
Chief men—goreugwyr, gorafwyr, goreuwyr, arbenigion, arbenigiaid, dyledogion, gwŷr mawrion, boneddigion dyledog, bonedd, pendefigion y bobl.
The chief of the things which should have been utterly destroyed—blaenion y ddifrodaeth (1 *Sam.* xv. 21).
The chief good—penllad, y da penaf, y daioni penaf. [fendith fwyaf.
The chief blessing — rhad penllad; y
Chief mansion, seat, *or* palace—pencyfeistedd, penplas, penllys, penpalas.
Chief magistrate—penswyddog; penllywydd.
Chief commander—pencadlyw, penciwdod, pencadlywydd, cadflaenor, pentywysog.
The chief soldier, } arbenig milwyr,
The chief of soldiers, } penmilwr.
Chief corner stone—pen conglfaen.
Chief spices — rhagorol berlysiau (*Can.* iv. 14).
Chief festival—gŵyl arbenig; un o'r gŵyliau arbenig *neu* benaf.

Chief, *s.* pen, penaeth, penadur, peniadur, blaenor, penaethiad, llywydd, penaig, penog, llyw, glyw, arweinydd, llywiadur, cyniad, cun, cuniad, alcun, udd, rhwyf, arglwydd, arlwydd, pencun, pryffwnt, naf; penllywydd, cadlywydd, penciwdod, pencadlyw; y rhan fwyaf *neu* benaf.
Commander in chief—penciwdod, cadlywydd, pencadlyw, pendragon, priflywydd, penllywydd.
He then commanded in chief—efe oedd benciwdod *neu* benaeth y pryd hwnw; efe oedd yn penrheoli y pryd hwnw; efe a briflywiai yr amser hwnw.
Chief of a house—penteulu, penaeth ty.
Patriotic chief—madlywydd, matteyrn; penaeth gwladgarol.
Chief, } rhactal; y pen, y top, rhan uchaf,
Chef, } penran, talran. [wr.
Chief falconer—penhebogydd, penhebog-
Chief of a clan — pencenedl, pencordd, penteulu, pentylwyth, pencenal, penllwyth, penaeth llwyth, pencenedlaeth.
Tenant in chief, } pendeiliad, prifddeiliad
Chief tenant, } =un à ddaliai dir yn ddigyfrwng oddi gàn y brenin.

The chief of their strength—blaenion eu nerth (*Salm* lxxviii. 51).
Chief, *ad.* yn benaf; gàn mwyaf; yn fwyaf.
Chiefage, } *s.* (o *chief*) peniant, treth penau,
Chevage, } pendreth.
Chief-baron, *s.* penbaron, pen baron, prif farwn, prif faron, pen barwn, prifynad.
Chiefdom, *s.* (o *chief*) penaduriaeth, peniaduriaeth, penogaeth, blaenoriaeth, penllywodraeth, unbenaeth, penaethiaeth, pendodaeth, arbenigedd, arbeniaeth, cyniadaeth.
Chiefess, *s.* (o *chief*) penadures, penaethes, penoges, blaenores, llywyddes, llywodres.
Chief-justiceship, *s.* penynadaeth, penyngnadaeth, prifynadaeth, penyngneidiaeth.
Chiefless, *a.* (*chief* a *less*) dibenaeth, dibenadur; heb benaeth, heb benadur.
Chiefly, *ad.* (o *chief*) yn benaf; gàn mwyaf; yn fwyaf; yn arbenig, yn arbenigol, yn enwedig, yn enwedigol, yn hysbysol, yn bendifaddeu; yn anad dim; o flaen pob peth; o flaen pob dim.
Chiefrie, *s.* (o *chief*) cundreth, penogrent.
Chieftain, *s.* (o *chief*) penaeth, pen, penadur, peniadur, blaenor, penaig, penog, tywysog, cadben, glyw, llyw, udd, llywydd, arlwydd, arglwydd, cyniad, cun, cuniad, adwn, adon; penciwdod, cadlywydd, pencadlyw, cadflaenor, pentywysog.
Chieftainry, } *s.* (o *chieftain*) pendodaeth,
Chieftainship, } penogaeth, blaenoriaeth; cadbeniaeth, cadbenaeth, penciwdodaeth, cadlywiaeth, cadflaenoriaeth.
Chievance,† *s.* (Norm. *chivisance*) cytundeb anaddwyn; bargen anghyfreithlawn.
Chieve, } † *v. n.* (Ff. *chevir*) dyfod i ben;
Chive, } dyfod; llwyddo, ffynnu, ffynu.
Chiffy, } *s.* cythrym, meityn, eiliad, mynydyn,
Jiffy, } rhyned.
Chilblain, *s.* (*chill*, S. *cele*, a *blain*) cibwst, cibi, malerth, maleithr, malaith, llosg eira, llecheira.
Child, *pl.* Children, *s.* (S. *cild*) plentyn; maban, baban; dyn bach; mab bychan; bachgen, bachgenyn, herlod, llanc, llencyn: *pl.* plant: *f.* merch fechan, llances, hogen, bachgenes.
Male child, } plentyn gwryw; mab; mab
Man-child, } bychan.
Female child, } plentyn benyw; merch;
Woman-child, } merch fechan.
Little children—plantos, plantach; plant bychain.
Foster child, } plentyn maeth; mab maeth,
Nursed child, } maethfab; merch faeth, maethferch.
Fatherless child—plentyn amddifad o dad, plentyn didad; plentyn amddifad.
Grand-child — ŵyr: *f.* ŵyres: *pl.* ŵyrion.
Step-children—llysblant.
With child, } beichiog; tromfeichiog,
Big with child, } trom, amdrom, colegid; tàn ei gofal.
To get with child—beichiogi; gwneuthur *neu* beri yn feichiog; trymhau.
To be the father's own child—bod yn fab ei dad yn llwyr; bod yn wir fab ei dad; tebygu i'w dad; bod yn debyg i'w dad; bod yn ferch ei thad yn llwyr, &c.
To bring *or* bear children—planta, dwyn plant.

To get children — planta; ennill plant, cael plant.
From a child—er yn blentyn; er yn fachgen; o'i febyd; o'i grud; o'i gawell.
Child born before the time — erthyl, plentyn annhymmig.
To bereave of children—diblanta; amddifadu o blant.
A burnt child dreads the fire—à losgodd ei fys a ochel y tân; arfog à gaffo rybudd.
He is past a child—y mae wedi gadael teganau plant; y mae wedi gadael ei faboed; gadodd ei blentyndod.
The fond language of nurses to children—mabiaith.
Loving children—mabgar, plantgar.
Love of children—mabgarwch, plantgarwch.
The Song of the Three Children—Cân y Tri Llanc.
Childbearing, *a.* (*child* a *bear*) yn planta; yn dwyn plant; plantog; heb adael planta; heb adael dwyn plant.
Childbearing, *s.* esgoriad, esgoriant, esgorfa; dygiad plant; dygiad plant i'r byd.
She is past childbearing—y mae hi wedi myned dros oedran planta; mae hi wedi gadael planta; aeth hi dros amser planta.
Childbed, *s.* (*child* a *bed*) gwely esgor; esgorfan, esgorfa, gwelyfod, etifeddwely; gwelyfiad.
A woman in childbed—gwraig ar *neu* yn ei gwely esgor; gwraig ar ei gwely; gwraig yn ei gwelyfod; gwraig ar ei hetifeddwely; gwraig etifeddog; gwraig yn gorwedd i mewn.
Childbirth, *s.* (*child* a *birth*) esgor, esgorfa, esgoredigaeth, genedigaeth; genedigaeth plentyn; gwelyfod.
The pains of childbirth—gwewyr esgor, gloesion esgor.
Time of childbirth—tymp, amser esgor, pryd geni.
Childe, *s.* (S. *cild*) pendefig ieuanc.
Childermas-Day, *s.* (*child*, a *mass*, *day*; S. *cildamæssa dæg*) Gŵyl y Gwirioniaid, dydd Gŵyl y Gwirioniaid, Gŵyl y mil Feibion= Rhagfyr 28.
Childhood, *s.* (S. *cildhad*) mebyd, maboed, plentyndod, plentynoed, mabolaeth, mabolaeth, mabiaeth, mabanoed, ieuenctyd, cynnyddoed, mabdod.
From his childhood—o'i febyd, o'i faboed; er yn blentyn; er yn fachgen; er yn faban.
Infancy, childhood, youth, and manhood—mabandod, mebyd, ieuenctyd, a gŵryd.
Childish, *a.* (o *child*) plentynaidd; mabanaidd, babanaidd, mabaidd, bachgenaidd; plentynol.
Childish sports — teganau, chwareuon, chwareon, difyrwch, difyrion, *neu* dyddanion plant; teganau *neu* chwareuon plentynaidd.
Childishness, *s.* (o *childish*) plentyneiddrwydd, mabaneiddrwydd, bachgeneiddrwydd, mabeiddrwydd, plentyndra, plentyndod, plentynrwydd, mabanrwydd, mabineiddrwydd, mabinedd.
Child-killing, *s.* plantladdiad.
Childless, *a.* (*child* a *less*) diblant; anmhlant, anfab, dïepil.
Childlessness, *s.* (o *childless*) diblantrwydd, anmhlantedd; diffyg plant, amddifedi o blant; dïepiledd.
Childlike, *a.* (*child* a *like*) plentynaidd, mabaidd, mabolaidd; fel plentyn.
Childly, *a.* (o *child*) plentynaidd, mabanaidd, mabaidd.
Children, *s. pl.* (o *child*) plant; *sing.* plentyn.
Chiliad, *s.* (Gr. *chilias*) mil, milrif; milflwyddiant, miliadaeth.
Chiliagon, *s.* (Gr. *chilia* a *gônia*) milongl, milonglon, milonglan.
Chiliahedron, *s.* (Gr. *chilia* a *hedra*) milochr, milochron, milochran.
Chiliarch, *s.* (Gr. *chiliarchos*, o *chilia* ac *archos*) milwriad; penaeth mil, pen ar fil.
Chiliarchy, *s.* (Gr. *chiliarchia*) mil o ŵyr, myntai o fil, miliadaeth, milrifiant.
Chiliasm, *s.* (Gr. *chilia*) milflwyddiant, miliant, miliadaeth.
Chiliast, *s.* (Gr. *chilia*) milflyneddwr, milflwyddwr, miliennydd.
Chill, *s.* (S. *cele*, *cyle*, *cyl*) annwyd, rhyndod, fferdod, rhyn, ffer, oerni, oerder, lledoerni, oerllydrwydd.
Chill, *a.* oerllyd, oeraidd, lledoer, rhynllyd, fferllyd, oer, addoer; yn crynu gàn annwyd; fferedig.
Chill, *v. a.* oeri, fferu, rhynu, addoeri, sythu, iasu; rhewi; mallu âg oerfel; llyfrhau.
To chill the blood—oeri *neu* fferu y gwaed; peri i'r gwaed sefyll; peri i'r gwaed rewi.
Chilling fright—oerfraw.
Chilliness, } *s.* oerni, oerder, annwyd, oerllydrwydd, addoeriant, rhyndod, fferdod, rhynllydrwydd, fferllydrwydd, ffer, annwydedd, oerfel, lledoeredd.
Chillness, }
Chilly, *a.* (o *chill*) oeraidd, rhynllyd, fferllyd, addoer, lledoer, annwydaidd, annwydol, annwydog, oer, rhynaidd, oerfelog, oerfelaidd.
Chilopoda, } *s. pl.* (Gr. *cheilos* a *pous*) gwefusbedogion, gwefusbedion, gweflbedogion.
Chilopods, }
Chime, *s.* (D. *kimer*) cynghanedd, cynghansain, cyssonsain, cyngheiniedi; clychgynghanedd, clychseiniad, clychgynghaniad; cynghanglych, cynghan-glychau.
A chime of bells—cynghan-glych.
Chime, *v.* cynghordio, cynghanu, cynghaneddu, cydseinio, cynghanseinio; clychseinio, clychgynghanu; cytuno, cyttaraw, cyduno, cyfateb.
To chime bells—cynghanu clych; clychseinio, clychgynghanu.
Chime, *s.* (Is. *kim*; Al. *kimme*) ymyl baril *neu* drwpa; pen yr estyll; yr erwydd.
Chimer, *s.* (o *chime*) cynghanwr, cynghaneddwr; clychseinydd; cydseiniwr.
Chimera, } *s.* (Ll. *chimæra*; Gr. *chimaira*) geulun, anghenfil; dychymyg, geudyb, gwag-asbri, coeg ddychymyg, coegdyb, gwagdyb, ffolgrebwyll; castell yn yr awyr; breuddwyd effro.
Chimæra, }
Chimere, *s.* (It. *ciamare*) simwr, gwisg.
Chimerical, *a.* (o *chimera*) dychymygol, disail, gorwag, geudybiol, gwagdybiol, geuluniol, geuluniaidd.
Chiminage, *s.* (Ff. *chemin*) prysdoll, coedwigdoll, prysgdoll, ffrithdoll.

**Chimney**, *s.* (Ff. *cheminée*) sawell, simnai, simne, simdde, llumon, mygdwll, corn mwg, ffumer, ffynetr.
Funnel of a chimney — ceg simnai, ceg sawell, llwnc simne, ffynell simnai, ffynel sawell.
Breast of a chimney—cefn y tân, cefn y pentan, bron y sawell.
Covings of a chimney—ochrau y pentan; cornelau y tân.
**Chimney-board**, *s.* clawr y simnai, cauad y sawell, clawr lle tân.
**Chimney-corner**, *s.* congl y simnai, cornel y sawell; pentan, pentanfaen.
In the chimney-corner—yn nghil y tân; yn nghil y pentan; yn ysgil y pentan.
**Chimney-flue**, *s.* pibell simnai, corn sawell, twll simnai, twll y llumon, twll y mwg.
**Chimney-hook**, *s.* bachau crochan, bachau.
**Chimney-jambs**, *s.* gorsinau sawell; ochrau y pentan; ochrau lle y tân.
**Chimney-money**, *s.* treth simneiau, treth y mwg, treth aelwyd, tâl aelwyd.
**Chimney-piece**, *s.* cladde, mantell simnai.
**Chimney-shaft**, *s.* paladr sawell, hirgorn simnai.
**Chimney-sweeper**, *s.* ysgubwr simneiau.
**Chimpanzee**, **Chimpansee**, *s.* (enw Affricaidd) dynab, dynepa=math o epa tebyg i ddyn.
**Chin**, *s.* (S. *cinne;* Al. *kinn*) gen, elgeth, aelgeth, aelgerth; crondal.
Double chin—tagell.
Having a double chin—tagellog.
Having a long chin—genhir, genog; âg iddo en hir.
**China**, **China-ware**, *s.* (=gwlad fawr yn Asia) priddlestri China; llestri pridd Sina; meinbriddion, teglestri pridd.
**Chinch**, *s.* (Ll. *cimex*, It. *cimice?*) fflurgynronyn, blodeuril, blodril: *pl.* fflurgynron, blodrilion.
**Chincloth**, *s.* (*chin* a *cloth*) genlïan; myswrn.
**Chincough**, *s.* (Is. *kind* a *kuch*) pas, y pas, sychbeswch.
**Chine**, *s.* (Ff. *echine;* It. *schiena*) glain cefn, asgwrn y cefn; cefnddryll, cefnddarn, cefnarn; trum.
**Chine**, *v. a.* cefnddryllio, cefndori; tori yn gefnddrylliau; tori glain y cefn.
**Chined**, *a.* (o *chine*) cefnol; perthynol i'r cefn.
**Chingle**, *s.* (Al. *schindel;* Ll. *scindula*) gro, manro, graian, graenon.
**Chink**, *s.* (S. *cina;* Gr. *chainô*) agen, gagen, hollt, ag, gorimyn, rhwyg; ageniad, holltiad.
**Chink**, *v.* agenu, hollti, gagenu, agu, ymhollti, ymagor, ymagenu, gorimynu; tincio, tincian, tincial.
**Chinkapin**, *s.* corgastan; corgastanwydd, corbipwydd.
**Chinky**, *a.* (o *chink*) agenog, gagenog, holltog, gorimynog, agog; llawn agenau, agau, gagau, *neu* holltau; tyllog.
**Chinned**, *a.* (o *chin*) genfawr, genhir, genog.
**Chinse**, *v. a.* carthlenwi, carthsecu; bryslenwi agau llong â charth.
**Chints**, **Chintz**, *s.* (Al. *zitz;* Is. *chits*) cotlïan, brithgotwm; cotwm brithedig â mwy na dau liw.
**Chionanthus**, *s.* (Gr. *chiôn* ac *anthos*) eiriawl, cloch maban, eiryddos.
**Chioppine**, *s.* (Ysp. *chapin*) llopan; esgid uchel, arferedig gynt gàn rianod.

**Chip**, *s.* (Al. *kappen?*) asglodyn, ysglodyn, esglodyn; twc, cilcyn, difyn, adnadd, ffloch-en: *pl.* asglodion, ysglodion, esglodion, ysglawd, esglod, asglod, ysglod.
Chip of a plough—cwar arad, gwadn arad, cwar aradr.
Chip-axe—neddai, neddyf, bwyell naddu.
A chip of the old block—mab ei dad; ysglodyn o'r hen gyff; asglodyn o'r hen foncyff.
He is like a chip in porridge—dyn diddrwg didda ydyw; y mae efe fel esglodyn mewn cawl.
He sits as a chip upon a block—y mae efe yn eistedd mâl wy ar drosol.
To cut into chips=*Chip*, *v.*
**Chip**, *v.* asglodi, esglodi, ysglodi, naddu, ysglodioni, asglodioni; cilcynio, briwdasgu.
**Chipper**, *s.* (o *chip*) naddwr, ysglodwr, twciwr.
**Chipping**, *s.* (o *chip*) asglodyn, esglodyn, ysglodyn, cilcyn, difyn, dernyn: *pl.* naddion.
**Chiragra**, *s.* (Gr. *cheir* ac *agra*) llofwst, llawwst.
**Chiragrical**, *a.* (o *chiragra*) llofystog, llawystog, llofystol.
**Chirk**, *a.* (Is. *circken*) bywiog, llon, siriol; cysurus.
**Chirk**, † *v.*=*Chirp*, *v.*
**Chirm**, † *v. n.* (S. *cyrman*) canu fel aderyn; ednleisio.
**Chirograph**, *s.* (Gr. *cheir* a *graphô*) llawysgrifeb, llofweithred; llofddirwy.
**Chirographer**, *s.* (Gr. *cheir* a *graphô*) llawysgrifydd, llofysgrifydd, llawysgrifenwr, llawysgrifenydd, ysgrifenydd, ysgrifenwr.
**Chirographic**, **Chirographical**, *s.* (o *chirography*) ysgrifenol, ysgrifyddol, ysgrifeniadol, llofysgrifol.
**Chirographist**, *s.* (o *chirography*) llawddewin, palfddewin.
**Chirography**, *s.* (Gr. *cheir* a *graphô*) ysgrifeniaeth, llawysgrifiaeth, llofysgrifiaeth, ysgrifwaith, ysgrifiadaeth.
**Chirological**, *a.* (o *chirology*) llawieithol, bysieithol, llofieithol, amneidiol.
**Chirologist**, *s.* (o *chirology*) llawieithydd, bysieithwr, llofebydd; ystumieithydd, amneidydd.
**Chirology**, *s.* (Gr. *cheir* a *logos*) llawiaith, llofiaith, bysiaith; ystumiaith, amneidiaith, amneidiaeth.
**Chiromancer**, *s.* (o *chiromancy*) llawddewin, llofddewiniwr, palfddewin.
**Chiromancy**, *s.* (Gr. *cheir* a *manteia*) llawddewiniaeth, llawarmes, llofarmes, palfarmes.
To practice chiromancy — llawddewinio, llofddewino.
**Chiromanist**, **Chiromantist**, *s.* llawddewin, llawddewiniwr: *f.* llawddewines.
**Chiromantic**, *a.* (Gr. *cheir* a *manteia*) llawddewiniol, llawddewinol.
**Chironectes**, *s. pl.* (Gr. *cheir* a *nectos*) creinbysg.
**Chironia**, *s.* (oddi wrth *Cheiron* neu *Chiron*, y Centawr) canri, arlladlys.
**Chironomic**, *a.* (Gr. *cheironomos*) llawystumiol, llawfunudiol, llofysgogol.
**Chironomy**, *s.* (Gr. *cheironomia*) llawystumiaeth, llofystumiaeth, llawfunudiaeth, llawfydumiaeth, llawysgogiaeth.
**Chiropedist**, **Chiropodist**, *s.* (Gr. *cheir* a *pous*, Ll. *pes*) cornfeddyg, llawbedwr, pedfeddyg, troedfeddyg, pettrinydd.

**Chiroplast**, *s.* (Gr. *cheir* a *plassô*) llawlunon, llawlunweddyr=offeryn i ffurfio neu ddysgu y llaw i chwareu perdoneg.
**Cheirosophist**, *s.* (Gr. *cheir* a *sophos*) llawddewin, darllenwr tesni.
**Chirostoma**, *s.* (Gr. *cheir* a *stoma*) llofeneuaid.
**Chirp**, *v.* (Al. *zirpen*) trydar, trydaru, yswitian, yswitio, cathlu, meinleisio; pyncio; ednleisio, lleisio fel aderyn bychan, grillian, grillio, cricellu, gwichio, gwichleisio; cogor, cograch, clochdar, clochdaru; lloni, sirioli.
**Chirp**, *s.* trydar, ffrill, cogor, cograch, yswitiad; grill, grilliad, clochdar; meinlais adar, cathl adar mân.
**Chirper**, *s.* (o *chirp*) trydarydd, trydarwr, cethlydd, ffrillydd, ffrilliedydd, grilliedydd; siriolydd.
**Chirping**, *s.* (o *chirp*) trydar, ffrill; trydariad, ffrilliad, yswitiad, pynciad, grilliad; meinlais adar.
**Chirurgeon**, *s.* (Gr. *cheirourgos*) llawfeddyg.
**Chirurgery**, *s.* (Gr. *cheirourgia*) llawfeddygiaeth, llawfeddyginiaeth, llawfeddygiant.
**Chirurgic**, } *a.* (o'r Gr. *cheirourgos*) llaw-
**Chirurgical**, } feddygol, llawfeddygin.
**Chisel**, *s.* (Ff. *ciseau*, *ciseler*) cŷn, gaing, trychgyn, croper; cŷn cerfio, gaing gerfio.
**Chisel**, *v. a.* cynio, geingio; trychu â gaing; naddu â chŷn; ysgythru, trychnaddu.
**Chisleu**, *s.* (Ff.) Cisleu=y nawfed mis o flwyddyn eglwysig yr Iuddewon, a'r trydydd o'r un wladol.
**Chit**, *s.* (S. *cith*) eginyn, blagur, baldardd; plentyn, maban; coryn, (*f.* coren) coryn bach, coegyn bach; brychni, brych; mân; holltyr.
**Chit**, *v.* egino, baldarddu, blaguro, blaendarddu; dechreu gwreiddio, egino, *neu* dyfu.
**Chit-chat**, *s.* siaradach, gwagsiarad, ofersiarad, ffregsiarad, prepraeth, pebre, chwaldod, ffreg, dwndwr, llol, clebar; ymgom.
**Chitons**, } *s. pl.* (Gr. *chitôn*) llurigolion,
**Chitonidæ**, } lluriglwyth, llurigryw.
Chiton tribe=*Chitons*, *Chitonidæ*.
**Chitter**, *v. n.* (Is. *kittern*) crynu; crydu gàn annwyd.
**Chitterling**, *s.* (o *chitter*?) crychion cryslain, crysgrychion, crychaddurn.
**Chitterlings**, *s. pl.* (Al. *kuttel*) monoch, penyg, perfedd, coludd, coluddion; selsigod.
**Chitty**, *a.* (o *chit*) plentynaidd, mabanaidd, babanaidd, mabanllyd, brych, brychlyd, brycheulyd, mànog.
**Chivalric**, } *a.* (o *chivalry*) marchŵraidd,
**Chivalrous**, } marchofyddol, marchŵrol, marchofyddig, marchorol, marchogol; marchurddasol; gwibfarchogol; gwronol, gwronaidd, arwraidd, milwraidd, dewr, hyf, glew, rhyfelaidd, dewrwych, calonog; anturus.
**Chivalry**, *s.* (Ff. *chevalerie*) marchofyddiaeth, marchwriaeth, marchoniaeth, marchoriaeth, marchogiaeth, marchogaeth, marchoni; marchurddas, marchogurdd, marchogurddas, urddas filwraidd; gwibfarchogaeth, crwydfarchogaeth; cadweini, cadweinid; ostidiaeth; gwroniaeth, arwriaeth, heroniaeth, gwrolgamp, gwrolaeth, calondid milwraidd, glewdid, dewredd, dewrwychedd.
**Chive**, *s.* (Ff. *cive*; Ll. *cepa*) corwynwynyn, wynionyn, wynionyn bychan, sibylyn; ceninen syfi.
Chive-garlick—cibellyn, cibellys, corwynwyn.
**Chives**, *s. pl.* blodlinion, llinion, brigerlinion, brigwallt, briger blodau, gwullflewiach, manedafedd, briger, cenin syfi.
**Chlamydosaurus**, *s.* (Gr. *chlamus* a *sauros*) hugfadfall.
**Chlamyphorus**, *s. pl.* (Gr. *chlamus* a *phoreô*) llurigwadd, hugwadd, huganwadd.
**Chlamys**, *s.* (Ll.; Gr. *chlamus*) toron, toryn, mantell, cochl, hugan; ysgwyddwisg: twygrilion, twygfilod.
**Chlora**, *s.* (Gr. *chlôros*) canri felen.
**Chloral**, *s.* (Gr. *chlôros*, ac *alcohol*) glaswirf, llaswirf=hylif o barotoad y Dr. Liebig.
**Chloramile**, *s.* (Gr. *chlôros*) cenlasnur.
**Chlorate**, *s.* (Gr. *chlôros*) hoegaint, glasnwyaint, llashalan.
**Chloric**, *a.* (o *chlorine*) glasnwyol, hoegnwyol.
Chloric acid—sur glasnwy, sur hoegnwyol.
Chloric gas=*Chlorine*, *Chlorin*.
**Chloride**, *s.* (Gr. *chlôros*, gwyrdd, glas) llasnur, hoegnur, glasnur, glasured, egrhalid.
Chloride of sodium—halen, halen cyffredin.
Chloride of lime—calchlasnur, canlwch, canffylor.
**Chloridic**, *a.* (o *chloride*) glasnurig, glasuredig, hoegnurig.
**Chlorindine**, *s.* (o *chlorine*) glasnurlwch.
**Chlorine**, } *s* (Gr. *chlôros*) llasnwy, glasnwy,
**Chlorin**, } hoegnwy, lleblasnwy; halnwy, sur egrhalig.
**Chlorodic**, *a.* (*chlorine* a *iodine*) hoeglyrgrisig.
**Chloriodic acid**, } *s.* hoeglyrgris, hoegfillnwy,
**Chloriodine**, } llasfillnwy, glasnwy a llyrgris.
**Chloris**, *s.* (Gr. *chlôros*) y llinos werdd, llinosen werdd, pila gwyrdd, y gegid.
**Chlorite**, *s.* (Gr. *chlôros*) hoegddelfaen, hoegith; hoegid, hoeghalan.
**Chloro-carbonic**, } *a.* llasulwig, glasulyfig,
**Chloro-carbonous**, } glasulyfaidd, hoegulwin.
**Chlorocyanic**, *a.* (Gr. *chlôros*, a *cuanos*) hoeglasig.
**Chloroforme**, *s.* (Gr. *chlôros*, a Ff. *forme*) gwirflaswy.
**Chlorometer**, *s.* (Gr. *chlôros* a *metron*) llasfesur, hoegfeidyr, hoegiadyr.
**Chlorometry**, *s.* (Ff. *chlorometrie*) llasfesuriaeth, hoegfesuriaeth, hoegfeidraeth.
**Chloromys**, *s.* (Gr. *chlôros* a *mus*) lleblyg, lleblygoden: *pl.* lleblygod.
**Chloro-nitrous**, *a.* glasfloraidd, llasflorog, hoegflorog.
**Chloropal**, *s.* (Gr. *chlôros*, ac *opal*) llasfflamfaen, glasfflamfaen, glasliwem.
**Chlorophane**, *s.* (Gr. *chlôros* a *phainô*) hoegysger.
**Chlorophyll**, } *s.* (Gr. *chlôros* a *phullos*) tyflas,
**Chlorophyle**, } glasddefnydd, glesni dail.
**Chlorosis**, *s.* (Gr. *chlôros*) glaswst, y glesni, glasglwyf.
**Chlorotic**, *a.* (Gr. *chlôrotês*) glasglwyfus, glasystog.
**Chlorous**, *a.* (o *chlorine*) llasnwyaidd, hoegnwyaidd, glasnwyog.
**Chloroxalic**, *a.* (o *chlorine* ac *oxalic*) hoegsuranig, llassuranig.
**Choanite**, *s.* (Gr. *choanê*) marmlysfil.
**Chock**, (o *choke*) barilgyn, casglettem; llettem.
**Chock**, † *s.*=*Shock*.
**Chocolate**, *s.* (Ysp.; Ff. *chocolat*; o *cocoa* neu

*cacao*) cocolad, cocolud, cocobaill; cocoaw, cocoswy, cocoslyn, cneulyn.
Chocolate-house — cneulyndy, cocofa, gwerthdy cocoaw.
Chocolate-nut — y gneuen Cocoa *neu* Cacao.

Choice, *s.* (Ff. *choix ;* S. *cyse*) dewis, dewisiad, etholiad, detholiad, etholiant, ethol, etholedigaeth; amrywiaeth; rhagoriaeth.
Take your choice—cymmerwch eich dewis; dewiswch; cymmerwch yr un *neu* y sawl â fynoch.
If it were put to your choice—pe rhoddid ef ar eich dewisiad chwi; pe caech chwi eich dewis.
The choice is yours — chwi bïau dewis; chwychwi bïau ethol; i chwi y perthyn dethol.
She may take her choice—mae yn rhydd iddi ddethol *neu* ddewis; geill hi gymmeryd ei dewis.
He has great choice of these commodities —y mae ganddo amrywiaeth ddigon *neu* helaeth o'r nwyddau hyn.
Here is a choice for you—dyma i chwi le i gael eich dewis; y mae yma le i chwi ddewis.
You will there have a choice of good things —cewch yno amryw ddewis o bethau rhagorol.
To make a choice of—dewis, dethol, ethol, gorddethol.
Of one's own choice—o'i ddewis *neu* ddewisiad ei hun; o hono ei hun; o ddewis, o ddewisiad.

Choice, *a.* dewisol, dewis, dethol, dewisedig, etholedig, detholedig, ethol; rhagorol, godidog, od, odiaeth, ardderchog, da dros ben; cynnil, manwl, dichlyn, gofalus, gorddethol; gwerthfawr.
Choice words—geiriau dewisol, detholedig, *neu* ragorol.
He adorned his sermons with choice expressions — harddodd ei bregethau â geiriau ardderchog ac ymadroddion detholedig.
Choice things—detholion, dewision, dewis bethau, dewisolion, pethau dewisol, pigion.
Choice men—etholedigion, gwŷr dewisol, gwŷr dethol, gwŷr etholedig.
The choicest — y goreuon, y pigion, y dewision, detholedigion, y goreu; pryffwnt.
The choicest vine—y winwydden oreu; y ber winwydden.
The choicest of the market—y goreu ar *neu* yn y farchnad; pryffwnt y farchnad; pigion y farchnad.
To be choice of—bod yn ofalus am *neu* o; bod yn ddichlyn *neu* fanwl yn; bod yn gwylio ar.
He that is choice of his time, will be choice of his company—â fo bryderus *neu* ofalus am ei amser, a fydd bryderus *neu* ofalus am ei gyfeillach.
He that is choice of his works, will be choice of his words too—â fo ddichlyn yn ei weithredoedd, a fydd ddichlyn yn ei ymadrodd hefyd.

Choiceless, *a.* (*choice* a *less*) diddewis; heb ddewis.

Choiceness, *s.* (o *choice*) dewisoldeb, detholrwydd; rhagoriaeth, rhagoroldeb; godidogrwydd, gwerthfawredd.

Choir, *s.* (Gr. *choros ;* Ll. *chorus ;* S. ac Al. *chor*) côr; côrgeiniaid, côrganorion, côrganoriaid, côrgantorion, côrfyntai; myntai, côr, *neu* goraid o gantorion; côrgell, côrgafell, y côr; y cantorion.
Choir-service — côrwasanaeth, côrganiadaeth.

Choke, *v.* (S. *aceocan*) tagu, mogi, mygu, llindagu, ystagu, sagmurnio, sagfurnio, sagio, gwasgu ceg, attal anadl; tramgwyddo.
They were choked in the sea—fe'u boddwyd yn y môr (*Marc* v. 13).
To choke up—cau i fyny; llenwi i fyny; cau *neu* lenwi ceg; croni yn ngheg.
To be choked for want of drink—tagu, trengu, *neu* farw gàn syched.

Choke, *s.* tag, sag, llindag; tag dofysgall, saglinion.

Choke-cherry, *s.* tagsirian, ceirios tag.

Choke-damp, *s.* tagnwy, trengnwy, tagdawch, tanchwa, ulyfnwy, nwy sur creisin.

Choker, *s.* (o *choke*) tagydd, tagwr, mogydd.

Chokeful, *a.* (*choke* a *full*) mòr llawn byth ag y gellir; dàn sag; saglawn, gorlawn.

Choke-pear, *s.* tagberen, tagberan, peren dag.
To give one a choke-pear—rhoi i un beth i'w gnoi; rhoi tag ar un; peri petrusder yn un; taflu maen tramgwydd yn ffordd un.

Chokeweed, *s.* (*choke* a *weed*) taglys, tagwydd.

Choky, *a.* (o *choke*) taglyd, tag, tagedigol.
Choky pear—peren daglyd, tagberen, tagberan.

Cholagogue, *s.* (Gr. *cholēgagos*) tarferi.

Choleic, *a.* (Gr. *cholē*) gerïol, gerig.
Choleic acid—sur geri, sur gerig.

Choler, *s.* (Gr. a Ll. *cholera*) geri; bustl; digder, gŵyth, llidnaws, dig, llid, irllonedd, digofaint, digllonrwydd, broch, blwng.
Black choler—geri du, y geri du.
Yellow choler—geri melyn, y geri melyn.
He was moved with choler against him—efe a fu chwerw wrtho (*Dan.* viii. 7).

Cholera, *s.* (Ll. a Gr.) geri, y geri, gerïwst, haint y geri, gerilif, haint gorliferi.
Cholera morbus—y geri marwol.
Asiatic cholera—y geri Asiaidd.
Spasmodic cholera — y geri gwynegol, y geri gwrystol.
Cholera asphyxia — y geri llesmeiriol, y geri masaidd.
English cholera—y geri Prydeinaidd, y geri Brytanaidd.
Bilious cholera—y geri gerïaidd.

Choleric, *a.* (o *choler*) gerïog, gerïaidd, gerïol, llawn geri; digllawn, digofus, dig, digus, irllawn, llidiog, llidus, gwynafog; hyddig, hylid, hygawdd, cythruddadwy, ffrom, drygnaws, drygnawsus, ffromwyllt, anynad, nawswyllt, nwydwyllt; hawdd ei ddigio; drygnwydus.

Cholericness, *s.* (o *choleric*) hyddigrwydd, cythruddedd, hylidiogrwydd; digllonedd, digder, llid, digofaint, irllonedd, llidiogrwydd, gwythlonedd; gwynafogrwydd, anniddigrwydd, anynadrwydd, drygnawsedd.

Cholesteric, *a.* (o *cholesterine*) geriflonig.
Cholesteric acid — sur geriflonig, sur geriflawn.

Cholesterine, } *s.* (Gr. *cholê* a *stereos*) geriflawn,
Cholesterin, } gerifras; brasder, *neu* flawn geri.
Choliambic, *s.* (Gr. *chôliambos;* Ll. *choliambi*) cloffiambus, coliambig, coliambus=math o gorfan mewn mydryddiaeth.
Chondrine, *s.* (Gr. *chondros*) madruddain.
Chrondrology, *s.* (Gr. *chondros* a *logos*) madruddeg, madruddiaeth, hanes madruddion.
Chondropterygians, } *s. pl.* (Gr. *chondros*
Chondropterygii, } a *pterux*) madruddog-
Cartilaginei, } ion, madruddasgellion, mwythanbysg.
Choose, *v. a.* (S. *ceosan;* Al. *kiesen*) dewis, dethol, ethol, detholi, etholi, dewiso, pigo, dichlyn, dichlynu; tynu allan, casglu allan, pigo allan; cymmeryd iddo *neu* iddi.
To choose out—dewis allan, &c.; tynu y goreu *neu* y gwaethaf o fysg ereill; gorddethol, dydoli, neillduo; pigo y gwaethaf *neu* y goreu o blith ereill.
Choose which of the three you please—dewiswch yr un â fynoch o'r tri; cymmerwch eich dewis o'r tri.
You are to choose—chwi bïau y dewis; chwychwi bïau ethol; i chwi y perthyn dewis.
Choose the best — cymmer iti y goreu; dewisa y goreu.
I cannot choose but weep—nis gallaf attal wylo; nis gallaf attal rhag wylo; nis gallaf lai nag wylo; nis gallaf beidio âg wylo; nis gallaf ymattal rhag wylo.
He cannot choose but stay—nis gall efe lai nag aros.
I choose rather—gwell genyf; dewis yw genyf; mwy dymunol yw genyf; y mae yn well genyf; gwell yw genyf.
Chooser, *s.* (o *choose*) dewisydd, dewiswr, detholwr, etholwr, dichlynwr.
Beggers must not be choosers—nid y derbyniwr a bïau dewis.
Choosing, *s.* (o *choose*) dewisiad, dewis, detholiad, etholiad, ethol, etholiant, detholiant.
Chop, *v.* (Al. ac Is. *kappen;* Ff. *couper;* S. *ceapian*) trychu, darnio, dryllio, tori, manddryllio, manddarnio, mandori, briwo, manfriwo; briwo yn fân; tameidio, catio; tori ymaith; hollti, agenu, agor, hacio, bregu; gwancio, llawcio, llewa, glewa, cegu; newid, cyfnewid, cyfnewidio, cyfnewidial, prynu, bargena, amgyfnewid; troi, ymnewid; rhuthro *neu* ymosod yn ddisymmwth; ymgecru, ymeirio, ymdaeru; † caffio.
To chop at †—ceisio gafael *neu* graff ar.
To chop about — chwyldroi, cylchdroi; newid; chwildroi.
To chop logic—dadleu, dadlu, ymddadleu, ymgomio, ymresymu, rhesymegu, argymhenu.
Leave off your chopping of logic—gadëwch eich argymhenu; peidiwch â'ch rhesymeg.
To chop short—tori yn fyr; tori yn fyrach; cwtogi, byrhau, rhagdori.
To chop off—tori, trychu, taraw, *neu* ladd ymaith; ysgymmynu.
To chop up—gwancio, llawcio, cegu, bochlwytho, bolrythu, tryfolio, glythinebu.
Chopped off—trychedig ymaith; toredig ymaith; trychedig, trwch.
To chop in—rhuthro i mewn yn ddisymmwth; dyfod *neu* daro i mewn heb ddysgwyl am dano.
Chop, *s.* dernyn, cetyn, difyn, dryll, dryllyn, darn, tameidyn, telpyn; cigddryll, cigarn, cigddernyn, trychgig, cyllyn; toriad, trychiad; dyrnod; hollt, agen, gagen, breg, hac, holltiad; bochgern, y safn, gweflau, geneu, (*pl.* genau).
The chops — turs, y safn, y gweflau, y genau, y bochgernau.
Chops of a river—geneu afon, ceg afon, aber.
Mutton chops—golwyth mollt, cigddryll mollt, golwyth o gig mollt, golwyth cig myharan.
Chop, *s.* (Chinaeg) ansawdd, teithi; trwydded, cenadeb.
Chop-church, *s.* glwysnewidiwr, newidialydd eglwysi, cyfnewidialydd bywoliaethau eglwysig; un yn mynych newid ei eglwysi; glwysnewidiad.
Chop-fallen, *a.* llaeswefl, llaesweflog, gwefllaes, bochlaes, gwefl-lipa; yn crogi ei en; digalon, llwfr, llwrf, llipa, llibin; â thaw arno.
Chop-house, *s.* bwytty, ymborthdy, trychdy, golwythdy.
Chopin, *s.* (Ff. *chopine*) gwlyb-fesur yn Ffrainc, yn cynnwys tua pheint o fesur Caerwynt.
Chopper, *s.* (o *chop*) trychgyllell, cyllen, cyllan, cyllyr, eisgai, ysgïan.
Chopping, *a.* (o *chop*) cryf, gwrygiannus, gwrol, heinif, hoenus, pybyr; iachus; llyfnwedd, tew, efras, cnodig.
A chopping boy—bachgen bochog, plentyn gwrygiannus, &c.
Chopping, *s.* (Ysp. *chapin*) llopan; esgid ffaluchel, arferedig gàn foneddesau yn Italia.
Chopping, *s.* (o *chop*) trychiad, toriad, darniad, drylliad, manddrylliad; holltiad, ageniad.
Chopping and changing — cyfnewidial; mynych newid, newid yn fynych.
Chopping board—trychfwrdd, trychford, briwfwrdd, trestl, bwrdd trychu.
Chopping-block, *s.* trychgyff, briwgyff, ysgymmyngyff, cyllgyff, trestl; cyff trychu, darnio, *neu* ddryllio.
Chopping-knife, *s.* honfas, trychgyllell, briwgyllell, cyllell drychu, cyllell gig, cyllell cog.
Choppy, *a.* (o *chop*) agenog, holltog, agog, gagenog, tyllog, haciog, llawn agenau.
Chopstick, *s.* (*chop* a *stick*) bwydbren, geneubren; pren bwyta (yn China).
Choragic, *a.* (o *choragus*) côrawl, côrgeiniol.
Choragus, *s.* (Ll.; Gr. *chorêgos*) côrflaenor, côrben, pencor.
Choral, *a.* (o *chorus*) côrawl, achor, côrgafellaidd, cafellaidd, côraidd; cydgerddol, cydgorawl, cydgorol, cydgeiniadol, cyngherddol, cydganiadol.
Vicar choral — côrebrwyad, côrbrwyad, ebrwyad côrawl, côrberiglor.
Chord, *s.* (Ll. *chorda;* Gr. *chordê*) tant, (*pl.* tannau); cord, cyssain, cydsain, cyngherdd.
Chord (in geometry)—cord, cromlin, cromlinell.
Chord (in music)—cord, cyssain.
Chord, *v. a.* tantio, tannu.
Chordee, *s.* (o *chord*) llostgawd, crymgyfod.
Chorea, *s.* (Ll.) dawns Sant Gwyd; dirystumiad.

**Choregraphy**, *s.* (Gr. *choreia* a *graphô*) dawnsnodiant, dawnsnodiaeth.
**Chorepiscopal**, *a.* (Gr. *chôros* ac *episcopos*) rhagesgobol, parthesgobol; perthynol i esgob lleol.
**Chorepiscopus**, *s.* rhagesgob, parthesgob, esgob lleol.
**Choreus**, *s.* (Ll.; Gr. *choreios*) corfan rhywiog, corfan disgynedig=corfan o ddwy sill, y flaenaf yn hir a'r olaf yn fèr.
**Choriamb**, **Choriambus**, **Choriambic**, } *s.* (Gr. *choreios* ac *iambos*) corfan dyrchrywiog, coriambus=corfan o bedair sill, y flaenaf a'r olaf yn hir, a'r ddwy ganol yn fyr.
**Choriambic**, *a.* dyrchrywiog; perthynol i gorfan dyrchrywiog; coriambig.
**Chorion**, *s.* (Gr.) ambilen, amgolen, ambrilen; pilen allanol y milrith.
**Chorist**, **Chorister**, } *s.* (Ff. *choriste;* o'r Ll. *chorus*) côrgeiniad, côrydd, côrganor, côrgantor, ceiniad côr; cydgeiniad.
**Chorographer**, *s.* (Gr. *chôros* a *graphô*) broddosbarthydd, brograffydd, partharluniwr, broddarluniwr.
**Chorographical**, *a.* broddosbarthol, broddarluniol, partharluniol, brograffiadol.
**Chorography**, *s.* (Gr. *chôros* a *graphô*) broddosbarth, partharluniaeth, partharluniad, broddarluniad, brograffiad, brograffyddiaeth.
**Choroid**, *s.* (Gr. *chorion* ac *eidos*) gobilen.
**Chorus**, *s.* (Ll.; Gr. *choros*) côr; cydgor, cydgan, cydgerdd, cyngherdd; cydgeiniaid, cynghantorion, cydgantorion, côraid.
**Chose**, *s.* (Ff.) hawlfeddiant, hawleiddo; peth à ellir ei hawlio a'i fynu wrth y gyfraith.
**Chosen**, *p. a.* (o *choose*) dewisedig, etholedig, detholedig; dewisol, dewis, dethol, ethol.
Chosen men—etholedigion, detholedigion, dewisedigion, gwŷr dewisol, gwŷr etholedig, gwŷr dethol.
**Chough**, *s.* (Ff. *choucas*) cogfran, coegfran, palores, cawci.
Cornish chough — brân big goch, brân Cernyw.
He chatters like a chough — y mae yn cogor fàl cogfran.
**Choule**, *s.* (S. *ceole*) cern, bochgern; crombil.
**Chouse**, *v. a.* (Tyrc. *chiaous*) twyllo, somi, coegi, hudo, hocedu; seithugio.
**Chouse**, *s.* symlyn, hurthgen, hurtyn, hurtan, ffwlcyn, gwirionyn, gwirionddyn; twyll, hoced, som, somiant, twyllofaint, hud, seithug; cast.
**Chowter**, *v. a.* (o'r sain) grymial fel creiniog; grwgnach, gremial, grymial, grwytho, gryngian.
**Chrematistics**, *s.* (Gr. *chremata*) cyfoetheg, goludaeth, goludeg.
**Chrestomathy**, *s.* (Gr. *chrêstomatheia*) rhagweiniadur; detholion.
**Chrism**, *s.* (Gr. *chrisma*) enaint, segrolew, glwysolew, yr olew santaidd; eneiniad.
**Chrismal**, *a.* (o *chrism*) eneiniol, glwyseneiniol, segrolewaidd.
**Chrismation**, *s.* (o *chrism*) eneiniad, glwyseneiniad.
**Chrismatory**, *s.* eneinflwch, blwch yr enaint, blwch enaint, eneintyr.
**Chrisom**, *s.* (Gr. *chrisma*) baban enaint; misyriad; plentyn à fo farw o fewn mis i'w enedigaeth: llian bedydd.
Chrisom-cloth — llian bedydd, talaith fedydd, brethyn bedydd.
**Christ**, *s.* (Gr. *Christos*) Crist; Eneiniog, yr Eneiniog, y Messïah.
**Christen**, *v. a.* (S. *cristnian*, o'r Gr. *chriô*, eneinio) bedyddio; enwi, rhoi enw.
**Christendom**, *s.* (S. *cristendom*) cred, y byd cristionogol, gwledydd cred, credbarthau, y byd crediniol.
A country out of christendom — gwlad anghred, anghred, gwlad anghristionogol.
**Christening**, *s.* (o *christen*) bedydd, bedyddiad.
**Christian**, *s.* (Gr. *christianos;* S. *cristen*) cristion, cristian, criston, cristyn, credadyn: *pl.* cristionogion, cristianogion, cristioniaid, cristoniaid.
Half a christian—hanner cristion, brith gristion, cristyn hannerog.
All christians—pob cristion, pawb o gristionogion, cristionogion oll, holl gristioniaid.
**Christian**, *a.* cristionogol, cristianogol, cristianus, cristionol, cristianog; Cristaidd.
Christian name—enw bedydd.
Christian life and conversation—buchedd ac ymarweddiad cristionogol.
Courts christian—llysoedd eglwysig, llysoedd cristionogol.
Christian religion—y grefydd gristionogol; cristionogaeth, cristionogrwydd; crefydd Crist.
Christian architecture — adeilyddiaeth gristionogol, adeiloniaeth gristianus.
**Christian**,† *v. a.* bedyddio.
**Christianism**, *s.* (Gr. *christianismos*) cristionaeth, y grefydd gristionogol, cristianaeth, cristionogaeth; cristionogion.
**Christianity**, *s.* (o *christian*) cristionogaeth, cristianogaeth, cristionogrwydd, cristianogrwydd, cristynogrwydd; y grefydd gristionogol.
**Christianization**, *s.* (o *christianize*) cristioneiddiad, cristianeiddiad, cristionogiad, cristianusiad.
**Christianize**, *v. a.* (o *christian*) cristionogi, cristioneiddio, cristianeiddio, cristianuso, cristionoli.
**Christianlike**, **Christianly**, } *a.* cristionogaidd, cristianaidd, cristionol, cristionog, cristiolus, cristianus, cristianogaidd, cristionogol; fel y gweddai i gristionogion.
**Christianography**,† *s.* (*christianos* a *graphô*) cristionyddiaeth, darluniad o gristionogion.
**Christicolist**, *s.* (Ll. *Christus* a *colo*) Cristaddolwr, Cristiolydd, addolwr Crist.
**Christless**, *a.* (*Christ* a *less*) digrist, heb Grist.
**Christmas**, *s.* (*Christ* a *mass*) Nadolig, y Nadolig.
Christmas day—dydd Nadolig.
Christmas holidays—gŵyliau Nadolig.
Christmas gift—calenig, rhodd Nadolig, cyfarwys Nadolig.
Christmas box—calenig, rhodd Nadolig.
Christmas carol—carol Nadolig.
Christmas flower—hylyf, hylithr, blodyn Nadolig.
Christmas rose—pelydr du, rhosyn Nadolig.
Christmas comes but once a year—ni cheir dydd Sul beunydd.
To keep christmas all the year—byw yn hocw-wych drwy 'r flwyddyn; cynnal gŵyliau drwy 'r flwyddyn; gwledda

drwy'r flwyddyn; cymmeryd byd da yn helaethwych drwy'r flwyddyn.
Christology, *s.* (Gr. *Christos* a *logos*) cristiolaeth, cristiaeth; treithawd yn nghylch Crist.
Christ's-thorn, *s.* draenen Crist.
Chroastaces, *s. pl.* (Gr. *chroa*) lliwemau.
Chromate, *s.* (Gr. *chrôma*) lliwaint, lliwhalan.
Chromatic, *a.* (Gr. *chrômaticos*) lliwol, lliwiol, lliwig; goslefol, hannertonol, seinraddol.
Chromatic scale — seinradd, goslefradd, graddfa orseiniol.
Chromatic, *s.* hannertoneg, seinraddeg, goslefal: *pl.* tryhannerau.
Chromatics, *s. pl.* lliweg, lliwiaeth, lliwoniaeth, lliwofyddiaeth, gwyddor lliwiau.
Chromotography, *s.* (Gr. *chrôma* a *graphô*) lliwiadaeth, lliwdraith, treithawd ar liwiau.
Chrome, } *s.* (Gr. *chrôma*) gneddelid, lliwddelid, lliwddel, Cromium.
Chromium, }
Chromic, *a.* (o *chrome*) lliwddelig, gneddelig.
Chromic acid—sur lliwddelig.
Chronic, } *a.* (Gr. *chronicos*; Ff. *chronique*) parhaol, hirbarhaol, hirbarhäus, hirbara, arosol, hirarosol, hen, henaidd, o hir barhad; sefydlog.
Chronical, }
Chronic disease—clefyd hirbarhäus, arosol, sefydlog, *neu* barhaol.
Chronicle, *s.* (Gr. *chronos*) brut, brud, brudlyfr, amserlyfr, oeslyfr, brudhanes, cronicl; hanes.
The Chronicles—y Croniclau, llyfrau y Cronicl.
Chronicle of the Princes—Brut y Tywysogion.
Chronicle, *v. a.* coflyfru, cofnodi, brutio, brudlyfru, croniclo, oeslyfru, oesrestru, brudhanesu, hanesu; ysgrifenu mewn brudlyfr.
Chronicler, *s.* (o *chronicle*) brutiwr, brudiwr, brudai, brudlyfrydd, oeslyfrwr, oesrestrydd, croniclwr; hanesydd, brudhaneswr; ysgrifenydd brutiau; cofnodydd.
Chronique, *s.* (Ff.)=*Chronicle.*
Chronogram, } *s.* (Gr. *chronos* a *graphô*) brudlythyriad, brudargraff, brudgreifften, cofargraff.
Chronograph, }
Chronogrammatic, } *a.* brudlythyrol, brudgreifftiol, brudargraffol, cofargraffol.
Chronogrammatical, }
Chronogrammatist, *s.* (o *chronogram*) brudlythyrydd, brudgreifftydd.
Chronographer, *s.* (Gr. *chronos* a *graphô*) amserydd, amseriedydd, brudiedydd.
Chronography, *s.* amseryddiaeth, brudiaeth.
Chronologer, } *s.* (o *chronology*) amserydd, amseriedydd, brudiaethwr, brudiedydd.
Chronologist, }
Chronologic, } *a.* amseryddol, brudiaethol, prydredol, brudiol, brutiol; yn ol trefn amser.
Chronological, }
Chronology, *s.* (Gr. *chronologia*) amseryddiaeth, brudiaeth, amsereg, prydred.
Scripture chronology — amseryddiaeth ysgrythyrol.
Chronometer, *s.* (Gr. *chronos* a *metron*) awdiadyr, awdfesur, prydiadyr; amseriadyr; oriadyr, orlais; orfynag.
Chronometric, } *a.* (o *chronometer*) awdiadyrol, awdfesurol, awdfydrol.
Chronometrical, }
Chronometry, *s.* awdfesuriaeth, prydfesuriaeth; awdiadyriaeth.
Chrysalis, *s.* (Ll.) elindys, llindys, chwiler, chwileryn, chwileren.
Chrysammic, *a.* (Gr. *chrusos* ac *ammos*) eurlychic, eurdywodig.
Chrysammic acid—sur eurlychig, sur eurdywod.
Chrysanthemum, *s.* (Gr. *chrusos* ac *anthos*) gold, aban.
Chrysoberyl, *s.* (Gr. *chrusos* a *bêrullos*) eurferyl.
Chrysochloris, *s.* (Gr. *chrusos* a *chlôros*) gwadd y Penryn; yr eurwadd.
Chrysocolla, *s.* (Gr. *chrusocolla*) eurlud.
Chrysocoma, *s.* (Gr. *chrusos*, a Ll. *coma*) peneuraid, peneuraidd.
Chrysogaster, *s.* (Gr. *chrusos* a *gastêr*) eurfologion, eurfoliaid.
Chrysography, *s.* (Gr. *chrusos* a *graphô*) eurysgrifiaeth, eurysgrifiad, eurysgrifeniad.
Chrysoleptic Acid, *s.* (Gr. *chrusos* a *lepis*) sur eurgenig.
Chrysolite, *s.* (Gr. *chrysolithos*) eurfaen, pridfaen; chrysolithus (*Dad.* xxi. 20).
Chrysophyllum, *s.* (Gr. *chrusos* a *phullon*) serafal.
Chrysoplenium, } *s.* (Gr. *chrusos* a *splênê*) eglyn.
Chrysosplenium, }
Chrysoprase, *s.* (Gr. *chrusoprasos*) eurlas, eurgeninem; chrysoprasus (*Dad.* xxi. 20).
Chrysostoma, *s.* (Gr.) eureneu, eureneuod=math o libogion neu feddalogion.
Chrysotype, *s.* (Gr. *chrusos* a *tupos*) eurdeb, eurdebiaeth.
Chub, *s.* (Ff. *chabot*) penci, twb y dail, cochgangen.
Chubbed, } *a.* (o *chub*) penfawr, pendew, penfras, pendrwm, byrdew, tewgrwn.
Chubby, }
Chub-cheeked, *a.* bochdew, bochog, bochlawn.
Chub-faced, *a.* bochdew, gwynebdew, gwyneblawn, bochlawn.
Chuck, } *v.* (o'r sain) crecian, fflegu, clwcian, clocian, clegar; lleisio fel iar *neu* betrusen.
Chuckle, }
Chuck, } *v. n.* crechwenu, chwerthin, croch chwerthin, chwerthin yn groch; greffio; hoffiochi, cocri, anwylo.
Chuckle, }
Chuckling hen—iar fflegain.
Chuck, *v. a.* (Ff. *choquer*) cnithio, cisio; taraw.
Chuck, *s.* crec, ffleg, clegar, clwciad; cnith, cis; cis *neu* gnith dàn en; anwylyn.
Chuck-farthing, *s.* chware plant, chwareu bechgyn.
Chuck-hole, *s.* traul *neu* ol pedrolfen.
Chuckle-head, *s.* pendew, penfawr, hurthgen, penbwl, symlyn, penfras.
Chud,† *v. a.* cnoi, dygnoi.
Chuet, *s.* (o *chew*) brysgig.
Chuff, *s.* (C. *cyff?*) buach, delff, lleban, taiog, drel, drelyn, penbwl, sarigyn, cerlyn.
Chuffiness, *s.* (o *chuffy*) sarigrwydd, sarigedd, taiogrwydd, dreldod, gwladeiddrwydd.
Chuffy, *a.* (o *chuff*) sarig, buachaidd, taiogaidd, drelaidd, delffaidd, costogaidd, taiog, blwng, afrywiog, cuchiog, anfoesog, pwl ei foes.
Chum, *s.* (Llyd. *chomm, chommein*) cydystafellydd, cydystafellwr, cydwely, cywely, cydymaith; cyssaig.
Chump, } *s.* (*stump?*) cippill, cippillyn, boncyffyn, talp, cyffyn.
Chunk, }
Church, *s.* (S. *circe, circ, cyric*; o'r Gr. *curiacon*, o *curios*, arglwydd) eglwys, llan; addolfa: *pl.* eglwysi, eglwysau.
Established church—eglwys sefydledig.

Church of England, English church, } Eglwys Lloegr, Eglwys Loegr.
The united church of England and Ireland—Eglwys gyfunol Lloegr ac Iwerddon.
British church — yr Eglwys Brydeinig, Eglwys Prydain.
Church of Rome, Romish Church, Roman Church, } Eglwys Rhufain, yr Eglwys Babaidd, yr Eglwys Rufeinaidd.
The Catholic church—yr Eglwys Gyffredinol, yr Eglwys Gydolig, yr Eglwys Gatholig.
Greek Church—Eglwys Groeg, yr Eglwys Roeg, yr Eglwys Roegaidd.
Gallican Church — Eglwys Ffrainc, Eglwys Gâl; yr Eglwys Ffrengig *neu* Ffreinig.
Christian church—eglwys gristionogol, yr eglwys gristianogol.
Presbyterian Church—yr Eglwys Henuriadol, Eglwys Henadurol.
State - church — teyrn - eglwys, eglwys wladol.
Free church—eglwys rydd.
The Free Church of Scotland — Eglwys Rydd yr Alban; yr Eglwys Rydd Ysgotig.
The Western church—yr Eglwys Orllewinol; yr Eglwys Ladinaidd.
The Eastern church—yr Eglwys Ddwyreiniol.
A parish church—eglwys blwyfol, eglwys plwyf, eglwys blwyf.
The parish church—eglwys y plwyf, yr eglwys blwyfol.
Jurisdiction of a church — plwyfogaeth, eglwysogaeth.
Church village—llandref, corddlan.
Village church—treflan.
Cathedral church — eglwys gadeiriol, esgoblan.
High church—areglwys.
States of the Church—Pabogaeth, Pebydiog, Pebyttir; y Taleithiau Pabaidd, Tiriogaeth yr Eglwys, Tiroedd yr Eglwys.
Church authority—awdurdod yr eglwys.
In church and state—mewn llan a llys; mewn gwlad ac eglwys; yn yr eglwys a'r wladwriaeth.
Church is done — darfu y gwasanaeth; deryw yr eglwys; deryw, e dderyw, fe dderyw, fe ddarfu, *neu* e ddarfu y gwasanaeth; y mae'r gwasanaeth drosodd.
The nearer the church the farther from God—nesaf i'r eglwys, pellaf o baradwys; â fo nesaf i'r eglwys, fydd bellaf oddi wrth baradwys.
Of the church — eglwysaidd, eglwysig, eglwysol.
Church time—pryd eglwys, amser eglwys, pryd gwasanaeth, amser y gwasanaeth.
The pale of the church—argae, caerau, amgaerau, *neu* achwre yr eglwys.

Church, *v. a.* eglwysa, eglwyso; rhyddhau.
Church-ale, *s.* llanwyl, cofwyl eglwys; gwirod.
Church-attire, *s.* eglwyswisg, llanwisg, clerigwisg, glwyswisg.
Church-bench, *s.* mainc eglwys, llanfainc, porthfainc.
Church-book, *s.* llyfr eglwys, llyfr plwyf, y llyfr gwŷn.
Church-burial, *s.* claddedigaeth eglwysig; claddedigaeth yn ol ffurf yr eglwys.
Church-discipline, *s.* dysgyblaeth eglwysig, dysgyblaeth eglwys.
Churchdom, *s.* (*church*, a S. *dom*) eglwysiaeth, eglwysaeth; llywodraeth *neu* awdurdod yr eglwys.
Church-founder, *s.* sylfeinydd eglwys, sylfaenwr eglwys, llanseilydd.
Church-goer, *s.* llangyrchwr, llanfynedydd, eglwysgyrchydd; mynedydd i'r eglwys; un â arfero fyned i'r eglwys.
Church-going, *a.* llangyrch, llangyrchol, eglwysgyrch; llanfynedol; yn arfer myned i'r eglwys.
Church-history, *s.* hanes eglwysig; hanes yr eglwys.
Churching, *s.* (o *church*) eglwysa, eglwysad, eglwysiad, eglwysfa.
The churching of women—eglwysa gwragedd; eglwysad gwragedd; rhyddhad gwragedd.
Churchism, *s.* (o *church*) llanyddiaeth, eglwysyddiaeth.
Church-judicatories, *s. pl.* llysoedd eglwysig (yn yr Alban).
Church-land, *s.* tir eglwys, tir yr eglwys, tir llan, clasdir, eglwysdir, tir clas, tir y clas, llandir.
Churchlike, *a.* (*church* a *like*) eglwysaidd.
Churchman, *s.* (*church* a *man*) eglwyswr, eglwysydd; gwr eglwysig, eglwysog, eglwysur; esgobydd.
Churchmanship, *s.* (o *churchman*) eglwyswriaeth, eglwysyddiaeth, eglwysuriaeth.
Church-member, *s.* aelod eglwys, aelod eglwysig.
Church-membership, *s.* aelodaeth eglwysig, aelodiaeth eglwysig.
Church-music, *s.* cerddoriaeth eglwysig, peroriaeth eglwysig, glwysalaw, alaw eglwys.
Church-rate, *s.* treth eglwys, y dreth eglwys.
Church-service, *s.* gwasanaeth eglwysig, gwasanaeth yr eglwys; y gwasanaeth.
Churchship, *s.* (o *church*) llanyddiaeth, eglwysyddaeth.
Church-warden, *s.* eglwys-wardan, eglwyswardain, parcatwr, golygwr eglwys, gwarcheidwad eglwys; gwardan, gwardain; gwardydd.
Church-way, *s.* ffordd eglwys.
Church-work, *s.* arafwaith, gwaith araf, gwaith eglwys.
Churchyard, *s.* (*church* a *yard*) monwent, mynwent, claddfa, corfflan, claddle, claddfan, beddlan, beddrawd, beddle, corddlan, monwent eglwys.
Churl, *s.* (S. *ceorl*; Al. *kerl*; D. *carl*) delff, drel, taiogyn, drelyn, drelddyn, taiog, drengyn, buach, cuall, ystelff, cabrotyn, costog, sarigyn; dyn gwlaidd, drelaidd, trwsgl, *neu* ddelffaidd; cybydd, carl, cerlyn, crinwas, mab y crinwas, gwr crin, dyn crintach, dyn llawgauad, bawai.
To put a churl upon a gentleman—wedi medd yfed maidd.
Churlish, *a.* (o *churl*) delffaidd, drelaidd, taiog, taiogaidd, costogaidd, cuall, dreng, blwng, sarig, afrywiog, sur, anfoesgar, difoes, anfoneddigaidd, diserch, anynad, anfwyn, garw, gerwin, blwng, (*f.* blong), croes, anhyblyg, cyndyn, ystyfnig, gygus, trwsgl,

dèr; annhyner, creulawn, caled, dideimlad, didrugaredd; afreolus, anystywallt; cybyddlyd, cybyddaidd, crinwasaidd, crintach, anhael, crin, llawgauad; hunanol.
Churlishness, *s.* (o *churlish*) taiogrwydd, delffeiddrwydd, dreleiddrwydd, dreldod, delffder, costogrwydd, afrywiogrwydd, sarigrwydd, blyngder, anynadrwydd, anfwynder, surni, anhynawsedd, dideimladrwydd, gerwinder, cybyddiaeth, cybydd-dra, &c.
Churly, *a.* (o *churl*) taiog, taiogaidd, anfoesog; trystiog, dadyrddus; afreolus.
Churme, } † *s.* (S. *cyrm*) swn, dwndwr, dadChirm, } wrdd, trwst; trydar.
Churn, *s.* (S. *ciern, cyrin;* Is. *karn*) buddai; cordd.
Churn, *v. a.* (S. *cernan*) corddi.
Churning, *s.* (o *churn*) corddad, corddiad.
Churn-staff, *s.* gordd gorddi, ffon gorddi, gordd buddai, ffon buddai, gordd.
Churrworm, *s.* (S. *cyrran,* a *worm*) rhinc y tes, rhinc y llin.
Chuse, *v. a.*=*Choose.*
Chusite, *s.* (Gr. *chuô*) gwallofith.
Chute, *s.* (Ff.) cwymp, syrth, disgyniad.
Chyazic Acid, *s.* (o gynlythyrenau *carbon, hydrogen,* ac *azote*) sur cresulflorig.
Chylaceous, *a.* (o *chyle*) ceulaidd, ceuledaidd.
Chyle, *s.* (Gr. *chulos*) caul, ceuled; treulsug; y sylwedd llaethog.
Chylifaction, *s.* (*chyle,* a Ll. *facio*) ceulad, ceuladaeth, ceuliadaeth, ceulbariad.
Organs of chylifaction—ceuladon, ceuliadon, peiriadau ceuladol, ceulgludion.
Chylifactive, *a.* ceuladol, ceuliadol.
Chyliferous, *a.* (*chyle,* a Ll. *fero*) ceulgludol, ceulddygol, ceulddwyn.
Chylopoetic, *a.* (Gr. *chulos* a *poieô*) ceuladol, ceuliadol, ceulbarol, ceulbair.
Chylous, *a.* (o *chyle*) ceulaidd.
Chyme, *s.* (Gr. *chumos*) tewsudd, maethsudd; sudd.
Chymic, *a.*=*Chemic, Chemical.*
Chymist, *s.*=*Chemist.*
Chymistry, *s.*=*Chemistry.*
Chymification, *s.* (Gr. *chumos,* a Ll. *fio*) tewsuddiad, tewsugiad, maethsuddiad.
Chymify, *v. a.* (Gr. *chumos,* a Ll. *fio*) tewsuddio, tewsugio, maethsuddio.
Chymous, *a.* (o *chyme*) tewsugaidd, tewsuddaidd, maethsuddaidd.
Cibarious, *a.* (Ll. *cibarius*) bwytadwy, bwytaol, ymborthol; perthynol i fwyd *neu* ymborth.
Cibol, *s.* (Ff. *ciboule;* Ll. *cepula*) sibol, sibwl, wynwynwyn, corwynionyn.
Ciborium, *s.* (Ll. o'r Gr. *cibôrion*) arlladgib, arladgib, arladged; monadail, anghysbabell; ffâen yr Aifft.
Cicada, *s.* (Ll.) hobelogion; ceiliogod rhedyn.
Cicadella, *s.* (o *cicada*) hobeligion.
Cicadula, *s.* (o *cicada*) hobleuen.
Cicatrice, } *s.* (Ll. *cicatrix;* Ff. *cicatrice*) Cicatrix, } craith; crachen: *dim.* creithen.
Cicatricle, *s.* (Ll. *cicatricula*) creithan; pribwyn, y rhith, hadrith.
Cicatricose, *a.* (Ll. *cicatricosus*) creithiog; crachenog.
Cicatrisive, *a.* (o *cicatrice*) creithiadol, creithiol; crachenol.
Cicatrizant, *s.* (o *cicatrize*) creithgyffer, creithgyffyr, creithydd.
Cicatrization, *s.* (o *cicatrize*) creithiad, creithiant; crachenad.
Cicatrize, *v.* (Ll. *cicatrizo*) creithio; crachenu; myned yn graith; iachâu *neu* wella yn graith.
Cicely, *s.* Sisli, cegiden wên, gwŷn y dillad.
Sweet Cicely—Sisli per.
Cicer, *s.* (Ll. a Gr.) pys y llygod, llygbys, llygodbys.
Cicerone, *s.* (It. oddi wrth M. T. *Cicero*) cyfarwyddwr, fforddwr, hyfforddwr; cyfarwyddor dyeithriaid.
Cichoraceous, *a.* (o *cichorium*) ysgellogaidd.
Cichorium, *s.* (Gr. *cichôrê, cichôrion*) ysgellog.
Cicisbeism, *s.* (o *cicisbeo*) carodiaeth, cariadfabiaeth, cariadwasiaeth, cariadoriaeth.
Cicisbeo, *s.* (It.) carodwas, cariadwas, merchetwas, gordderchwas, gordderchwr, gwreigsimerwr; cariadfab gwraig briod yn yr Ital.
Ciconia, *s.* (Ll.) y chwibon, y ciconia; y chwiboniaid.
Cicurate, *v. a.* (Ll. *cicuro*) dofi, hyweddu, gwarhau, gwaru, arafu.
Cicuration, *s.* (o *cicurate*) dofiad, hyweddiad, gwarhad, arafiad.
Cicuta, *s.* (Ll.) cegid.
*Cicuta virosa*—cegid y dwr, cegyr mawr, buladd, bumustl.
Cid, *s.* (Ysp. o'r Ar. *El Seid.*) penaeth, pen; arwr; cadflaenor, penciwdod; penaeth Arabaidd.
Cidaris, *s.* (Ll.) corgap, capan côr; hetgoron; meitrogion.
Cider, *s.* (Ff. *cidre, sidre*) osai, afalwy, dïod afalau.
Ciderist, *s.* (o *cider*) oseiwr, gwneuthurydd osai.
Ciderkin, *s.* (o *cider*) adosai.
Ci Devant, *ad.* (Ff.) gynt; yn ddiweddar; hyd yn hyn.
Cierge, *s.* (Ff.) canwyll gorymdaith, trawdganwyll.
Cigar, *s.* (Ysp. *cigarro*) ceglys, myglysrol, mygrolen, (*pl.* mygrolau): *dim.* ceglysen, myglysen.
Cilia, *s. pl.* (Ll.) geilflew, blew amrant, amrantflew, minflew, aelflew; amrantau.
Ciliary, *a.* (Ll. *cilium*) amrantol, amrantaidd, geilaidd.
Ciliary processes—geilblygion.
Ciliated, *a.* (Ll. *cilium*) geilflewog, amrantflewog, aelflewog.
Cilicious, *a.* (Ll. *cilicium*) rhawnog, rhawnaidd, blewog, garw.
Ciliograda, *s. pl.* (Ll. *cilium* a *gradior*) geilysgogiaid, geilysgogion.
Cilium, *s.* (Ll.) amrant, gail, clawr y llygad.
Cilosis, *s.* (Ll. *cilium*) geilgryd, amrantgryd, geilwyneg.
Cimbal, *s.* (It. *ciambella*) math o deisen.
Cimeliarch, *s.* (Gr. *ceimêliarchês*) pridgeidwad, ceidwad pridion bethau eglwys.
Cimicifuga, *s.* (Ll. *cimex* a *fugo*) trogendarf.
Cimiter, } *s.* (Ff. *cimiterre;* It. *scimitarra*) Scimitar, } crymgledd, crymgleddyf, crom-Scymitar, } fidog, camgleddeu; cleddyf y Tyrciaid a'r Persiaid.
Cimmerian, *a.* (Gr. *Cimmerios*) gordywyll, trydywyll, trathywyll.
Cimmerian darkness—tywyllwch trydew, tywyllwch gorddu, tywyllwch hydeiml.

**Cimolite**, *s.* (Gr. a Ll. *cimolia*, oddi wrth ynys *Cimolus*) cimolglai, iddyfglai.
**Cinchona**, *s.* (oddi wrth yr Iarlles *Cinchon*) Cinchona, Sincona, Sincon.
**Cinchonina,** **Cinchonine,** **Cinchonia,** } *s.* (oddi wrth yr Iarlles *Cinchon*) goalcali â geir o risg y pren Cinchona neu Sincona.
**Cincture**, *s.* (Ll. *cinctura*) gwregys, rhwymyn, amrwym; pillrwy, pillrwym, colofrwym, celffrwy.
**Cinder**, *s.* (S. *sinder;* Ff. *cendre;* Ll. *cinis*) marworyn, rhysodyn, marwaryn, eiriesyn, llosgludw, tanludw, henlo, golosg: *pl.* marwor, marwydos, marwar, rhysod, ulw, rhebres; sinidr.
Burning cinders—marwor tanllyd.
Cinders of a forge—sindw, lludw gefail, marwor gefail.
**Cinder-wench,** **Cinder-woman,** } *s.* lludwraig, lludferch, lludwraig, llances ludw.
**Cindrous**, *a.* (o *cinder*) marworaidd, rhysodaidd, sinidraidd.
**Cinefaction**, *s.* (Ll. *cinefacio*) lludŵad, lludwoliad; troad yn lludw.
**Cineraria**, *s.* (Ll. *cinis*) chweinlys, magl chwanen, llysiau y lludw.
**Cinerary**, *a.* (Ll. *cinereus*) lludwol, lludŵol; perthynol i ludw.
**Cineration**, *s.* (Ll. *cinis*) lludwad, lludŵad; marworiad; llosgiad yn lludw.
**Cineritious**, *a.* (Ll. *ceneraceus*) lludliwiog, llwydwyn, lludŵol.
**Cinerulent**, *a.* (Ll. *cinis*) llawn lludw, llawn o ludw, lludŵog.
**Cingle**, *s.* (Ll. *cingula;* Gw. *ceangal*) cengl, ceingel, tengl.
**Cinnabar**, *s.* (Gr. *cinnabari;* Ll. *cinnabaris*) sinobl, sinopr, mwn arian byw; claergoch.
**Cinnabarine**, *a.* (o *cinnabar*) sinoblaidd, o sinobl.
**Cinnamate**, *s.* (o *cinnamon*) canelaint, hal canel.
**Cinnameine**, *s.* (*cinnamon*) canelain.
**Cinnamic,** **Cinnamonic,** } *a.* (o *cinnamon*) canelig, cinamonig.
Cinnamic acid—sur canelig, sur canel.
**Cinnamon**, *s.* (H. a Gr.; Ll. *cinnamonum*) canel, cinamon, sinamon; math o chwaethrisg.
Cinnamon-tree—canelwydd, y pren cinamon.
Cinnamon-stone—canelfaen.
Cinnamon-water — canelwy, cinamonwy, dwfr cinamon.
White cinnamon—canel gwŷn, cinamon gwŷn.
**Cinnamule**, *s.* (*cinnamon*, a Gr. *hulê*) canelsawd.
**Cinque**, *s.* (Ff.) pump, pum.
Cinque-point—y pumllygad, y pum pwnc, y pumpwynt, y pump.
**Cinquefoil**, *s.* (Ff. *cinque*, a Ll. *folium*) pumdalen, pumnalen, pumbys=math ar feillion.
Marsh cinquefoil—llygad ysgyfarnog, corsgudyn.
Common cinquefoil—pumbys, pumdalen, pumnalen, pumnalen gyffredin.
Common creeping cinquefoil—pumnalen gyffredin ymlusgaidd, pumdalen ymlusgaidd.
**Cinquefoiled**, *a.* pumdalenog, pumnalenog, pumdeiliog, pumneiliog.
**Cinquepace**, *s.* (Ff. *cinque* a *pas*) pumcam, pumcamre; math o ddawns araf.
**Cinque-Ports**, *s. pl.* y Pum Porthladd, y Pumporth=Dover, Hastings, Romney, Hythe, a Sandwich; at y sawl y chwanegwyd Rye a Winchelsea.
Barons of the Cinque Ports—baroniaid y Pum Porthladd, arglwyddi y Pum Porthladd.
Lord-warden of the Cinque Ports—arglwydd-geidwad y Pum Porthladd; gwaladr y Pum Porthladd; argeidwad y Pum Porth.
**Cinque-spotted**, *a.* pummanog, pum-ysmotiog.
**Cintre**, *s.* (o *centre*) creiddwanas.
**Cion,** **Scion,** } *s.* (Ff.) impyn, imp, bywullyn, blaendardd, ysbrigyn, brigyn, blaguryn, balennyn, bal.
**Cipher**, *s.* (Ff. *chiffre;* Al. *ziffer;* D. *cifer*; o'r Ar. *sifr*) goddim; gwagnod; nod; celnod, dirgelnod=0.
**Cipher**, *v.* rhifyddu, rhifyddegu, bwrw cyfrifon, bwrw cyfrif, rhifyddiaethu, cyfrif; celnodi, cuddnodi; dynodi, nodebu, nodweddu.
Cipher key—agoriad celnodau.
**Ciphering**, *s.* (o *cipher*) rhifyddiaeth, rhifyddeg, rhifiadaeth, cyfrifyddiaeth, cyfrifyddiad, bwriad cyfrifon.
**Cipolin**, *s.* (It. *cipolla ?*) hoegfynor, llasfynor.
**Cippus**, *s.* (Ll.) bryncyn, twyn, twmpath; pawl; mynegbill.
**Circæa**, *s.* (o *Circe*, yr hudoles, merch yr Haul a Perseis) swynyddlys, swynlys, llysiau Stephan, llysiau Ystyffan.
**Circean**, *a.* (o *Circe*) swynol, hudol, cyfareddol, cyfareddus; gwenwynig, gwenwynol, gwenwynllyd.
**Circensian**, *a.* (Ll. *circensis*, o *circus*) cemmaesol, cemmaesaidd; perthynol i'r cemmaes.
The circensian games — campau y cemmaes; y chwareon cemmaesol.
**Circinal**, *a.* (Ll. *circinus*) crygylchol, ymgylchol, ymdrogylchol.
**Circinate**, *v. a.* (Ll. *circino*) cylchu, cylchynu, cwmpasu, amgylchu, amgylchynu, crynhau.
**Circinate**, *a.* ymdrogylchol, crygylchol, crychymdroawl, amgornol, ymgornol.
**Circination**, *s.* (Ll. *circinatio*) cylchiad, trogylchiad, damchwyliad, darchwyliad.
**Circinus**, *s.* (Ll.) y Compodau=cydser nid neppell o begwn y de.
**Circle**, *s.* (Ll. *circulus*, o *circus;* Gr. *circos;* Ff. *cercle*) cylch, cant, cwmpas, amgylch, amgant, amgylchedd, cylchyn, cylchwy, cantell, cwmp, comp, trwn, tron, crwn, rhod, côr, coras; cylchlin; cylchedd, cylched, cylchyned, amgylchiad, cylchyniad; torch, modrwy; cronen, cronell, clob; amgylchiaith, amgylchiaeth; cylchdaith.
Hoary circle, } awrgylch, orgylch, cylch
Hour circle, } oriol.
Polar circle—cylch y pegwn, y cylch pegynol.
Arctic circle—cylch y gogledd, y cylch gogleddol.
Antarctic circle — cylch y de, y cylch deheuol.
Circles of longitude—cylchau hydred, hydgylchau, hydredgylchau.
Circles of latitude — cylchau lledred, lledgylchau, lledredgylchau.

**Circles of altitude—cylchau uchder, uchdergylchau.**
Circle of perpetual occultation—cylch arguddiad gwastadol.
Circle of perpetual apparition — cylch lledrithiad gwastadol, cylch ymddangosiad parhäus.
Diurnal circles—cylchau dyddiol, cylchau peunyddiol.
Circle of illumination—lleufergylch, cylch y lleufer, cylch llewychiant.
Circle of the sphere — pelgylch, cylch y gronen, cronellgylch, clobellgylch, clobgylch.
Circle of declination—cylch osgoad, cylch gogwyddiad.
Circles of the German empire—Cylchau *neu* Gylchoedd amherodraeth yr Almaen; Taleithiau yr amherodraeth Almaenig.
Druidical circles — cylchau derwyddol, cylchau derwyddonol, cylchau y derwyddon.
The circle of the stars—cylch y ser, sergylch, rhygylch y ser.
The circle about the moon — gnotai, y gnotai, lloergylchen.
Come into the circle—dere i'r crwn.
Outer circle—cylch allanol, gorgylch.
To make a circle—gwneuthur, tynu, *neu* lunio cylch; gwneuthur crwn; cylchu.
To form into a circle — gwneuthur yn gylch; llunio yn gylch.
To form *or* cast itself into a circle—troi yn gylch, yn dorch, *neu* yn grwn; ymdroi yn gylch, yn dorch, *neu* yn grwn; ymdorchi, ymgylchu, dolenu, ymddolenu, dolystumu, dolystumio, cylchdroi.
To turn round in a circle — chwyldroi, cylchdroi; troi yn grwn, yn gylch, yn sidell, *neu* yn sidyll.
To move in a circle — symmud mewn cylch; troi mewn cylch; cylchymdroi, amdroi, coroli; ymdroi mewn cylch.

**Circle**, *v.* amgylchu, amgylchynu, cylchynu, cwmpasu, cylchu, coreddu, dargylchu, cantio, cantellu; cylchdroi; cau i fewn; amgau, cau am, cau ar.
To circle in—cau i fewn; cadw i fewn; caethiwo; cadw yn nghyd.

**Circled**, *a.* (o *circle*) cylchog, crwn, cylchaidd.

**Circler**, *s.* (o *circle*) clerfardd, pastynfardd, crachbrydydd, gofardd, cylchfardd, culfardd.

**Circlet**, *s.* (o *circle*) cylchig, cylchen, cylchyn, torch; cylch, cronen.

**Circling**, *a.* (o *circle*) cylchol, cylchaidd, cylchynol, amgylchol, crwn.

**Circuit**, *s.* (Ff.; Ll. *circuitus*) amgylchedd, cylchedd, cylch, cylched, cylchyn, cylchen, amgylch, amgant, cwmpas, trogylch, cylchdro, cylchynt, cylchyd; amgylchiad, cylchyniad, amgylchyniad, cwmpasiad; cylchdaith, chwyldaith, amdaith, amred; torch, modrwy, corynrwy.
To go a circuit — cylchdeithio, chwyldeithio; myned i'w gylchdaith; myned ar gylchdaith.
Judge of a circuit—cylch-ynad, ynad teithiol, barnwr amdeithiol, barnydd amdeithiog, barnwr cylchdeithiol.
Circuit of minstrels — cylch clera, cylch cler, cylch clerfeirdd, cylch amgeiniaid.
Circuit court—cylchlys.
Circuit of action—cylch hawl, cylchedd cwyn.

**Circuit**, *v.* amgylchu, amgylchynu, cylchynu, cwmpasu, cylchu, dargylchu, coreddu, amdroi, chwyldroi, cylchdroi; myned o amgylch; cerdded oddi amgylch; myned o gylch, myned o gwmpas.

**Circuiteer**, *s.* (o *circuit*) cylchdeithydd, cylchdeithiwr, cylchgrwydrai, cylchwibiwr, amdeithiwr.

**Circuition**, *s.* (Ll. *circuitio*) amred, cylchred, amgylchiaeth, amrediad, cylchdeithiad, mynediad oddi amgylch, cylchsymmudiad, amgylchedigaeth.

**Circuitous**, *a.* (Ll. *circuitus*) amgylchol, cylchynol, cwmpasog, cwmpasol, cylchol, cylchredol, amrediadol, cylchdroawl, cylchdroiog.

**Circuity**, *s.* (Ll. *circuitus*) amred, cylchred, amgylchred, cylchynred, amsymmudiad, cylchsymmudiad, cylchdroad, amdroad, mynediad o amgylch.

**Circular**, *a.* (Ll. *circularis*) cylchol, cylchaidd, cylchynol, crwn, cynghrwn, crwn fel cylch, cyrfol, cynghrynol; perthynol i gylch; cylch-, am-; cyffredin, gwerinol, gwaer, gwael; olynol, oliannol.
Circular letter—cylchlythyr, llythyr cylchynol.
Circular motion—amred, cylchdro, cylchymdro, cylchdroad, cylchsymmudiad, amsymmudiad, amsymmud.
Circular course — cylchred, cylchrawd, cylchredfa, amchwylfa.
Circular view—cylcholwg, amolwg.
Circular cut—cylchdor.
Circular whirl—chwildro.
Circular poet—clerfardd, gofardd, pastynfardd, crachfardd, crachbrydydd, cylchfardd, culfardd, cyrchynfardd.
Circular lines—cylchlinellau, cylchlinau.
Circular numbers — cylchrifau, cylchrifnodau, amrifebion.
Circular sailing—amhwyliad, amfordwyad, cylchfordwyad, cylch-hwyliad, tramhwyliad, tramforiad.
Circular arc — cylchgrom, amgromell, cylchgromell.
Circular velocity—cylchfuander.
Circular instruments — cylchoffer, offer cylchynol.

**Circular**, *s.* cylchlythyr.

**Circularity**, *s.* (o *circular*) cylcholrwydd, cylchogrwydd, cylcheiddrwydd, cylchynoldeb, crynder, cynghrynder, cyrfolder; cylcheidddra, coreddusrwydd.

**Circulate**, *v.* amlifo, cylchlifo, amredeg, cylchredeg, amdroi, cylchgerdded, damredu, amlifeirio, cylchlifeirio, amdeithio, cylchdeithio, amgynniwair, amgynnired, coreddu, amlenwi, chwyldroi; llifo, rhedeg, cerdded, treiglo, amdreiglo, cylchdramwy; myned o amgylch; myned o law i law; gwasgaru, chwalu, taenu, rhanu; cylchanfon.
The blood circulates very briskly—y mae y gwaed yn amlifo *neu* yn amredeg yn dra chwyrn.
Money circulates but poorly now-a-days—nid oes nemawr o arian yn myned, yn cerdded, *neu* yn pasio y dyddiau hyn; nid oes ond ychydig o arian yn myned *neu* yn cerdded y dyddiau hyn; nid

oes nemawr o drafod ar arian y dydd heddyw; nid oes ond ychydig o drafod *neu* drin ar arian y dydd heddyw.
To circulate a report — taenu chwedl; taenu hanes ar led; lledaenu hanes.
Circulating, *a.* (o *circulate*) damredol, amredol, amlifol, cylchynol, cylchredol, cylchrediadol, cylchfynedol, amdröedig, coreddus, amgylchol; oliannol.
Circulating decimals — corddegiadau, ad-ddegiadau; corddegiadaeth, ad-ddegiadaeth.
Circulating library — lloglyfrgell, cylchlyfrgell, llyfrgell gylchredol, llyfrfa dreigl, llyfrgell gylchynol.
Circulating medium—tâl cylchynol, treinwerth, cyfrwng train, arian damred.
Circulation, *s.* (Ll. *circulatio*) cylchrediad, amrediad, amdroad, cylchdroad, damred, damrediad, amlifad, amlifiant, amlifiad, cylchlifiad, cylchlifiant, amdreiglad, treiglad, damgylchiad, coreddiad; rhediad, mynediad; cylcharian, cylchdal; taeniad, gwasgariad, lledaeniad.
Circulation of the blood—amlifad y gwaed, amrediad y gwaed, cylchrediad y gwaed, gwaedrawd, gwaedre.
Organs of circulation—amrediadon, peiriadau amrediad.
Gold in circulation—aur damred, aur ar drain.
Circulatorious, *a.* (Ll. *circulatorius*) cylchdeithiol, amdeithiol, cylchdeithiog, amdeithiog; yn teithiaw o fàn i fàn.
Circulatory, *a.* (Ll. *circulatorius*) cylchynol, cylchynaidd, cylchredol, amredol, amgylchynol, cylchanfonol, damredol, amgylchol, coreddol.
Circulatory letter — cylchlythyr, llythyr cylchanfon, llythyr cylchynol.
Circulatory, *s.* damredell=math o lestr fferyllig.
Circum, (Ll.) rhagddawd yn dynodi *am, cylch, amgylch, oddi amgylch, yn nghylch, o amgylch, o bob tu.*
Circumagitate, *v. a.* (Ll. *circum* ac *agito*) amgyffröi, amgynhyrfu, amysgogi.
Circumambiency, *s.* (Ll. *circum* ac *ambio*) amgylcholdeb, amgylchynoldeb, cylchynoldeb, cylchynolrwydd, cylchyniad, amgylchyniad, amgylcholrwydd, cylchrediad, amredoldeb, cwmpasiad.
Circumambient, *a.* amgylchol, amgylchynol, cylchynol, cylchredol, amredol, cwmpasol, amgylchyniadol, cylchynedig.
The circumambient air — yr awyr o'n hamgylch; yr awyr amredol, yr awyr amgylchol, yr awyr amgylchynol.
Circumambulate, *v. n.* (Ll. *circumambulo*) amrodio, cylchrodio, darymred, amredeg, rhodiaw o amgylch, amwibio, tramwyo, amdramwy.
Circumambulation, *s.* (o *circumambulate*) amrodiad, cylchrodiad, amdramwyad, amdreiniad, amwibiad.
Circumcellians, *s. pl.* (Ll. *circum* a *cella*) Amgelliaid, Amgellwibiaid=rhyw bobl anwybodus à ymlynent wrth y Donatiaid, yn y pedwerydd canrif.
Circumcise, *v. a.* (Ll. *circumcido*) enwaedu; enwaedu ar; cylchdori, blaendori.
To circumcise one's self—ymenwaedu.
Circumciser, *s.* (o *circumcise*) enwaedydd, enwaedwr.
Circumcision, *s.* (Ll. *circumcisio*) enwaediad; cylchdoriad, blaendoriad.
Circumclusion, *s.* (Ll. *circumcludo*) amgauad, amgaead, cylchedigaeth.
Circumcursation, *s.* (Ll. *circum* a *curso*) daramred, darymrediad, daramrediad; rhediad yn ol ac yn mlaen.
Circumduct, *v. a.* (Ll. *circumduco*) diddymu, difodi, dilëu, dirymu, dïeffeithio; gwneyd yn ddïeffaith; amdrosi, cylcharwain, amarwain, amdywys, damdywys.
Circumduction, *s.* (Ll. *circumductio*) diddymiad, difodiad, dilead, dirymiad; amarweiniad, amdywysiad, cylcharweiniad.
Circumfer,† *v. a.* (Ll. *circumfero*) amgario, amgludo, amgywain.
Circumference, *s.* (Ll. *circumferentia*) amgylchedd, cylchedd, rhygylch, cylch, amgant, cwmpas, cylched, coras, cant, tronad, dargylchiad, gogylch, gogylchedd.
Circumference,† *v. a.* cylchedu, gogylchu, gogylchiadu.
Circumferential, *a.* (o'r Ll. *circumferentia*) cylchiadol, cylcheddol, amgylchol, amgantol, amgylchiadol, gogylchiadol, cwmpasol, cylchedol, rhygylchol.
Circumferentor, *s.* cylchedydd, cylchedyr, congliadyr, amgylchyn.
Circumflect, *v. a.* (Ll. *circumflecto*) hirnodi, hiracenu; gosod acan amgylchedig ar.
Circumflex, *s.* (Ll. *circumflexus*) hirnod, hiracan, hiracen, acan hir, acan amgylchedig, acen hirdon, tôn amgylchedig, fforchnod=ˆ.
Circumflex, *v. a.* hirnodi, hiracenu; hirseinio, hirgynanu.
Circumflexed accent, } =*Circumflex, s.*
Circumflected accent, }
Circumfluence, *s.* (Ll. *circumfluens*) amlifeiriad, amlifeiriant, cylchlifeiriant, cylchlifeiriad, damlifiant, cylchlifad, amffrwd, damffrwd, llifad o amgylch, dyfrgylchyniad.
Circumfluent, } *a.* (Ll. *circumfluo*) amlifeiriol,
Circumfluous, } cylchlifeiriol, amlifol, cylchlifol, amlifiannol, amddyfrol, amddyfrog, amddyfrwys, amffrydiol, dyfrgylchynol, damffrydiol, damlifol.
Circumforanean, } *a.* (Ll. *circumforaneus*) am-
Circumforaneous, } wibiol, amgrwydrol, cylchgrwydrol, gwibiol, crwydrol, cylchfynedol, cylchdramwyol, amryred, crwydredigol; yn gwibiaw o dy i dy.
Circumforaneous fiddler—crythor crwydr, ffilor crwydrad.
Circumfulgence, *s.* amdywyniad, cylchdywyniad, amlewyrchiad, damlewyrch, amleufer.
Circumfulgent, *a.* (Ll. *circumfulgeo*) amdywynol, amlewyrchol, damlewyrchol, cylchdywynol, amlachar, damdywynol, damlewyrchol.
Circumfuse, *v. a.* (Ll. *circumfundo*) amdywallt, cylchdywallt, amwallofi, amsoddi, damdywallt; tywallt o amgylch; amdaenu; amgylchu, cylchynu.
Circumfusile, *a.* (Ll. *circumfusus*) amdywalltadwy, amhydywallt, amdywalltol, cylchdywalltol, amhydaenol, amwallofol, amdaenadwy.
Circumfusion, *s.* (o *circumfuse*) amdywalltiad, cylchdywalltiad, amwallofiad, damdywalltiad; amdaeniad.

**Circumgestation**, *s.* (Ll. *circum* a *gestatio*) amgludiad, amgariad, amgyweiniad; dygiad *neu* gludiad o gylch; amborthiad.

**Circumgyrate**, } *v. a.* (Ll. *circum* a *gyrus*) am-
**Circumgyre**, } dreiglo, cylchdreiglo, amrolio, amdroi, amdreillio, amrolian.

**Circumgyration**, *s.* (o *circumgyrate*) amdreiglad, cylchdreiglad, amdreilliad, amroliad, cylchdroad.

**Circumition**, *s.* (Ll. *circumitio*) amfynediad, cylchfynediad, chwyliad.

**Circumjacent**, *a.* (Ll. *circumjacens*) amorweddol, cylchorweddol; yn gorwedd o amgylch; à orwedd o amgylch; amgyffiniol, amminiog, argyffiniol.

**Circumligation**, *s.* (Ll. *circum* a *ligatio*) amrwymiad, cylchrwymiad, damglymiad; amrwymyn, cylchrwymyn.

**Circumlocution**, *s.* (Ll. *circumlocutio*) cylchymadrodd, amgylchiaith, gogylchiaith, amgylchiaeth, amiaith, cylchareithiad, cylchlafariad, ammrawdd, ameiriad, amair.

**Circumlocutory**, *a.* cylchymadroddol, amgylchieithol, amieithol, ameiriog, ammroddol, cylcheiriog.

**Circummured**, *a.* (Ll. *circum* a *murus*) amgaerog, amgadarn, ammuriedig, amfuriedig, cylchfuriedig, caerog, damgaerog, damgaerol.

**Circumnavigable**, *a.* (Ll. *circumnavigo*) amfordwyadwy, amfordwyol, cylchfordwyol, amhylong, damfordwyol.

**Circumnavigate**, *v. a.* (Ll. *circumnavigo*) amfordwyo, cylchfordwyo, amhwylio, cylchhwylio, amforio, amlongwrio, damfordwyo; hwyliaw o amgylch.

**Circumnavigation**, *s.* (o *circumnavigate*) amfordwyad, cylchfordwyad, amhwyliad, cylchhwyliad, amfordwyaeth, amforiad.

**Circumnavigator**, *s.* (o *circumnavigate*) amfordwywr, cylchfordwywr, amhwyliwr.

**Circumplexion**, *s.* (Ll. *circumplexus*) amblygiad, cylchblygiad, damblygiad.

**Circumplication**, *s.* (Ll. *circumplico*) amblygiad, cylchblygiad, amleniad, amdwygiad, amduddiad, amgaeniad.

**Circumpolar**, *a.* (Ll. *circum*, a *polar*) ambegynol, cylchbegynol; am y pegwn; oddeutu *neu* o gylch y pegwn.

**Circumposition**, *s.* (Ll. *circum* a *positio*) cylchosodiad, amgyflead, amosodiad, cylchgyflead.

**Circumrasion**, *s.* (Ll. *circumrasio*) amnaddiad, amrasglad, amrwbiad, ameilliad.

**Circumrotary**, } *a.* (Ll. *circum* a *rota*) amdro-
**Circumrotatory**, } awl, cylchdroawl, amroliadol, amdreigladol, chwyldroawl.

**Circumrotation**, *s.* (Ll. *circum* a *rotatio*) amdroad, cylchdroad, amdreiglad, cylchdreiglad, chwyldroad, amdröedigaeth, amdro, damdreilliad.

**Circumscissile**, *a.* (Ll. *circumscindo*) amholltol, amholltadwy, amholltaidd.

**Circumscribe**, *v. a.* (Ll. *circumscribo*) amgau, amgyffinio, amgylchu, damgylchu, amgylchiadu, amgylchynu, damgylchynu, cylchynu, terfynu; rhoi, cadw, *neu* attal o fewn terfynau; gosod terfyn; tynu o fewn llinellau; terfynu â llinellau; cyfyngu, argyfyngu; cyffinio, ffinio; amysgrifenu, cylchysgrifenu.

**Circumscribable**, *a.* (o *circumscribe*) terfynadwy, amgauadwy, amgylchadwy, damgylchadwy.



Circumscription, *s.* (Ll. *circumscriptio*) terfyniad, cyffiniad, amgauad, terfyn, cyffin, ffiniad, amgae, amgylchyniad, cylchyniad, damgylchiad; mesur; gosodiad terfyn *neu* derfynau; cyfyngiad; amysgrifeniad, cylchysgrifeniad; amddarluniad.

Circumscriptive, *a.* (Ll. *circumscriptus*) terfyniadol, terfynol, amgauol, amgauedig, cyffiniadol, ffiniadol, cylchynol, cylchynedig, cyfyngol, cyfyngedig, damgylchiadol.

Circumspect, *a.* (Ll. *circumspectus*) amwel, amgraff, amgraffus, amgall; gochelgar, gwiliadwrus, ymogelgar, gwagelog, amgelog; gofalus, rhagofalus, darbodus, pryderus; pwyllog, ystyriol, hybwyll, dïesgeulus, call, doeth, pwyllus, synwyrol; yn edrych o'i flaen ac o'i ol; yn edrych yn ei gylch *neu* o'i amgylch; gwyliadwrus o bob tu.

To be circumspect—bod yn ochelgar, &c.; rhagddarbod, rhagofalu, gwilio, gwiliied, gwylio, ymgadw; edrych o'i flaen; edrych yn ei gylch; ceinadu, amweled, damdremio.

Circumspection, } *s.* (Ll. *circumspectio*) gochel-
Circumspectness, } garwch, gwyliadwriaeth, gwiliadwriaeth, gocheliad, gofal, pryder, pwyll, ystyriaeth, callineb, doethineb, callder, rhagofal, darbodaeth, rhagddarbodaeth, cynnarbod, hybwylledd, ystyrioldeb, amgraffineb, amgraffder, amsyniad, amweliad, amwelediad, rhagbryder, rhagbryderiad, ceinad; edrychiad o amgylch.

Circumspective, *a.* (Ll. *circumspectus*) gochelgar, gwiliadwrus, gwyliadwrus, darbodus, gofalus, rhagofalus, call.

Circumstance, *s.* (Ll. *circumstantia*) amgylchiad; dygwyddiad, dygwydd; cyflwr, sefyllfa, helynt, ansawdd, cyflwrw; peth, mater, achos; ham, damwaen, chwaen, amchwaen, hap, traill; cylchiad, cylchsafiad, amberthynas.

Circumstances being so—gàn fod y peth, y mater, yr achos, *neu* yr amgylchiad felly; gàn fod y peth *neu* y mater yn sefyll felly.

In tolerable circumstances—yn ddïangen, yn ddiddiffyg; mewn amgylchiadau gweddol.

Circumstances are such—mae y peth *neu* yr amgylchiad yn sefyll felly.

I am in that unhappy circumstance—yr wyf yn y cyfryw gyflwr *neu* ansawdd annedwydd.

He is in good circumstances—y mae efe mewn amgylchiadau da; y mae mewn ansawdd da; y mae yn dda ei ansawdd; mae efe yn gyfoethog; mae efe yn gynhes yn y byd.

He is in bad circumstances—y mae efe mewn amgylchiadau drwg; y mae yn ddrwg ei ansawdd *neu* sefyllfa; y mae mewn sefyllfa ddrwg; y mae mewn cyflwr drwg; mae mewn cyflwr helbulus; y mae efe mewn anghyflwr.

Circumstance, *v. a.* amgylchiadu; gosod mewn amgylchiad, cyflwr, *neu* sefyllfa; gosod yn y cyflwr a'r cyflwr; gosod mewn sefyllfa neilltuol; cylchynu gàn ddamweiniau priodol.

I being thus circumstanced—a mi yn y sefyllfa hon; a mi yn y cyflwr hwn; a mi yn sefyll fel hyn; a mi yn yr amgylchiadau hyn.

**Circumstant**, *a.* (Ll. *circumstans*) amgylchol, cylchynol.
**Circumstantial**, *a.* (Ll. *circumstans*) amgylchiadol, cydfynedol; perthynasol; dygwyddiadol, dygwyddol, damweiniol; gogylchiadol, cylchynol; helaethlawn, cynnwysfawr; manwl, penodol, neilltuol; anhanfodol.
Circumstantial mistake—amryfusedd *neu* gamsyniad mewn amgylchiadau; camsyniad amgylchiadol.
Circumstantial evidence—prawf amgylchiadol; eglurder amgylchiadol.
Circumstantials—dygwyddolion, amgylchiadolion, amgylcholion; pethau amgylchiadol; pethau nad ynt hanfodol.
**Circumstantiality**, *s.* (o *circumstantial*) amgylchiadoldeb, amgylcholrwydd; manylder, manoldeb, manylwch, manylrwydd; penodoldeb, neilltuolrwydd.
**Circumstantiate**, *v. a.* (o'r Ll. *circumstantia*) arddangos, amgylcholi, amgylchiadu; darlunio yn amgylchiadol; darlunio peth yn nghyd â'i amgylchiadau; rhoi mewn amgylchiad; cyflawn egluro; manwl egluro; manylu ar; arbenodi; darlunio, dadgan, *neu* egluro ansawdd, cyflwr, *neu* gynneddf; amgylchnodi.
**Circumterraneous**, *a.* (Ll. *circum* a *terra*) amddaiarol; am y ddaiar; amddaiardrig.
**Circumundulate**, *v. a.* (Ll. *circum* ac *undulatus*) amdonogi, cylchdonogi, amlifeirio.
**Circumvagant**, *a.* (Ll. *circumvagus*) amgrwydrol, cylchgrwydrol, amlwybrol, amwib, damgrwydrol.
**Circumvallate**, *v. a.* (Ll. *circumvallo*) amgloddio, damgloddio, cylchgloddio.
**Circumvallation**, *s.* (Ll. *circumvallo*) amglawdd, cylchglawdd, gwarchglawdd; amgaer; amgloddiad, damgaeriad, damgloddiad.
**Circumvection**, *s.* (Ll. *circumvectio*) amgludiad, damgludiad, cylchgludiad, cludiad oddi amgylch.
**Circumvent**, *v. a.* (Ll. *circumvenio*) twyllo, hocedu, somi, camgolledu, hudo; damgylchu, amgylchu.
**Circumvention**, *s.* (o *circumvent*) hocediad; twyll, hoced, hocediaeth, somiant, twyllofaint, disodliad;† lluddiad, rhwystr, rhagflaeniad.
**Circumventive**, *a.* (o *circumvent*) twyllodrus, hocedus, hudolus.
**Circumvest**, *v. a.* (Ll. *circumvestio*) amwisgo, amddilladu, amdrwsio, amdöi, amguddio.
**Circumvollation**, *s.* (Ll. *circumvolvo*) amhediad, amhedeg, amehedeg, amhedfan, amhedegiad.
**Circumvolution**, *s.* (Ll. *circumvolo*) amdreiglad, cylchdreiglad, amdreilliad, amrod, amchwyl, amdro, amdroad, cylchrediad, cylchdroad, chwyldro, chwyldroad, amdraill, amroliad, amdreigl, cylchdro, damdreiglad.
Circumvolution (in architecture)—amrod, amdraill.
**Circumvolve**, *v. a.* (Ll. *circumvolvo*) amdreiglo, amdreillio, amdroi, cylchdreiglo, cylchdroi, cylchdreillio, amrodi, chwyldroi, amchwylo, amrolio; treiglaw o amgylch.
**Circus**, *pl.* Circuses, *s.* (Ll.; Gr. *circos*) cemmaes; camplanerch, campasfa, chwarcule.
Circus Maximus—y Cemmaes Mawr (yn Rhufain gynt).
**Çirl**, *s.* math o aderyn Italig.
**Cirrhigrada**, *s. pl.* (Ll. *cirrus* a *gradus*) crycheddogion, crychysgogiaid.
**Cirrhiped**, **Cirriped**, *s.* (Ll. *cirrus* a *pes*) crychbedog, siderbedog, blewbedog.
**Cirrhipeda**, **Cirripeda**, *s. pl.* crychbedogion, siderbediaid, crychdroedogion.
**Cirrhopoda**, *s. pl.* (Ll. *cirrus*, a Gr. *pous*) crychbedogion, blewbedogion, blewdroediaid.
**Cirrhopode**, *s.* crychdroed, crychbedog, blewbedog, blewbedogyn.
**Cirriferous**, *a.* (Ll. *cirrus* a *fero*) amglymog, llysglymog, amdorchog, amglymddwyn.
**Cirrigerous**, *a.* (Ll. *cirrus* a *gero*) crychgudynog, crychlofnog, llofnog, cudynog.
**Cirro-cumulus**, *s.* brithgwmwl, mân-gwmwl.
Cirro-cumulo-stratus — gwlawgwmwl, cwmwl crychdarth.
**Cirro-stratus**, *s.* cilgwmwl, sarngwmwl, crychwasarn, traethawyr.
**Cirrose**, **Cirrhose**, **Cirrhous**, **Cirrous**, *a.* (Ll. *cirrosus*) amglymaidd, amdorchaidd, llysdorchaidd, llysglymaidd, llysrwyaidd; crychderfynol.
**Cirrus**, *s.* (Ll.) crychgragen, crychgrogen.
**Cirrus**, *s.* (Ll.) amdorch, amglwm, amglymydd, amdorchiad, amdorchydd; llysrwy.
**Cirrus**, *s.* (Ll.) crychgwmwl, plugwmwl, cwmwl blaengam, cwmwl blew geifr.
**Cirsocele**, *s.* (Gr. *cirsos* a *cêlê*) torhadbib.
**Cissoid**, *s.* (Gr. *cissos* ac *eidos*) eiddewgom.
**Cissus**, *s.* (Gr. *cissos*) gwylltrab, grabwydd gwyllt.
**Cist**, *s.* (C.; Ll. *cista;* Gr. *custis*) cod, gwain, coden, gwysigen, crawngod, crawngoden, llidgai, gorgai; cornwyd.
**Cistern**, *s.* (Ll. *cisterna*) dyfrgist, dyfrgerwyn, cerwyn; pydew, pydaw, ffynnon, pwnt, cronfa.
**Cistic**, *a.* (o *cist*) gorgeiol, llidgeiol, crawngodog.
**Cistus**, *s.* (Gr. *cistos*) creigros, corros; creigrosyn, corrosyn, rhosyn y graig.
Common cistus, Common rock-rose, creigros cyffredin, corros cyffredin; creigrosyn cyffredin.
Hoary dwarf cistus—corrosyn lledlwyd, creigrosyn lledlwyd.
Spotted-flowered cistus—corrosyn rhuddfanog, creigrosyn rhudd mânog.
**Cit**, *s.* (talfyriad o *citizen*) dinesydd, dinaswr; bwrdais.
**Citadel**, *s.* (Ff. *citadelle*, It. *citadella*) castell, amddiffynfa, diffynfa, tŵr, arfle, arforsaf, arfgell.
**Cital**, *s.* (o *cite*) cerydd, sen; cyhuddiad; dyfyn, gwŷs; dyfyniad, geirallebiad; llythyr gwŷs *neu* ddyfyn.
**Citation**, *s.* (Ll. *citatio*) gwŷs, dyfyn, dyfyneb, glwyswys, gwyslythyr, llythyr gwŷs, llythyr dyfyn; dyfyniad, dyfynawd, gwysiad, arwysiad; geirallebiad, allebiad; dygiad tystiolaeth *neu* awdurdod; cyfrifiad, crybwylliad, crybwyll.
To neglect to answer to a citation—tremygu gwŷs.
**Citatory**, *a.* (o *cite*) dyfynol, dyfyniadol, gwysiol, gwysiadol, arwysiol, dyfynodol, geirallebol; galwadol; yn galw ger bron.
Letters citatory—gwyslythyrau, llythyrau dyfyn, llythyrau gwŷs.
**Cite**, *v. a.* (Ll. *cito;* Ff. *citer*) dyfynu, gwysio, arwysio, dyfyn; galw; galw ger bron; geirallebu, allebu; gorchymyn, erchi, cyfar-

wyddo, annog; cymhell; dwyn tystiolaeth *neu* awdurdod; rhybuddio.
Citer, *s.* (o *cite*) dyfynwr, dyfynydd, gwysiwr, gwysiedydd, rhingyll; geirallebydd.
Citess, *s.* (o *cit*) dinesyddes, dinasyddes, dinaswraig.
Citharistic, *a.* (Gr. a Ll. *cithara*) telynol, telynaidd, telanaidd.
Citharoxylum, *s.* (Gr. *cithara* a *xulon*) crythwydd.
Cithern, Cittern, } *s.* (Gr. a Ll. *cithara*) telynan; math ar offeryn cerdd dannau ar arfer gynt.
Citicism, *s.* (o *cit*) dinasfoesau, moesau dinesydd, moesau dinasol, moes y ddinas, moes y dref.
Citied, *a.* (o *city*) dinasol, dinasog, dinasaidd.
Citigrade, *a.* (Ll. *citus* a *gradus*) buanred, mythred, mythredol.
Citigrade, *s.* mythredion, mythredolion, mythsymmudiaid, corynod buanred, mythysgogiaid
Citizen, *s.* (Ff. *citoyen*, o'r It. *citta*) dinesydd, dinasydd, dinaswr; bwrdais, bwrgais; trefwr; trigiannydd.
Fellow-citizen—cyd-ddinesydd.
Citizen, *a.* dinesyddol, dinasyddol, dinasfreintiol, dinasfreiniol.
Citizenize, *v. a.* (o *citizen*) dinesyddio, dinesyddu, dinasfreintio; gwneyd yn ddinesydd.
Citizenship, *s.* (o *citizen*) dinasfraint, dinesyddiaeth, dinasyddiaeth.
Citole, *s.* dwsmel.
Citrate, *s.* (Ll. *citrus*) llebronaint, hal llebafal, coedronaint.
Citrene, *s.* (o *citron* neu *citrus*) llebronul, hedolew eurafal.
Citric, *a.* (Ll. *citrus*) llebronig, eurafalig, eurfalig, coedronig, llebafalig, aeronig.
Citric acid—sur llebronig, sur eurfalau.
Citril, *s.* cethlydd tlws yn Italia.
Citrination, *s.* (o *citrine*) llebliwiad, eurliwiad, melynliwiad.
Citrine, *a.* (Ll. *citrinus*) llebronol, llebronaidd, llebliw, llebliwiog, melynliw, eurliw; o liw yr eurafal; glasfelyn.
Citrine, *s.* llebrisial, llebgris, melyngris.
Citron, Citrus, } *s.* (Ll. *citron, citrus, citreum, citrum;* Ff. *citron*) llebron, llebrawn, coedron, llebafal, llebfal; eurafal, eurfal.
Citron-tree—llebronwydden, llebfalwydden, eurfalwydden: *pl.* llebronwydd, llebafalwydd, eurafalwydd, eurfalwydd.
Citron-water—llebronwy, llebafalwy, dwr llebron.
Citrul, Citrule, } *s.* (Ll. *citrus*, a Gr. *hulē*) melon, mwlon, pompiwn.
City, *s.* (Ff. *cité;* It. *citta;* o'r Ll. *civitas*) dinas; caer, caerdref, tref gaerog, din.
Chief city — prifddinas, pendinas, mamddinas, prifgaer, pencaer, mamdref, dinas benaf.
City freedom, Freedom of a city, } dinasfraint.
To make one free of a city—dinasfreintio; gwneuthur un yn ddinasfreiniol; gwneyd un yn gyfranog o ddinasfraint; derbyn un i'r gymdeithas ddinasol.
Royal city—dinas freninol, dinas freiniol, llysddinas, llysddin.
The city is up in arms—y mae gwŷr y ddinas oll mewn arfau; y mae y ddinas oll dàn arfau.
A small city—dinasan, dinas fechan, corddinas, trefan, cordref.
Walled city—dinas gaerog.
A city of defence—dinas gadarn; dinas gaerog; dinas amddiffyn, dinas amddiffynol.
City, *a.* dinasol, dinasaidd, dinesig.
City court—dinaslys (yn y Taleithiau Cyfunol).
City manners — moesau dinasol, moesau dinesig; moesau y ddinas; moes y dref.
City life—buchedd ddinesig.
Citysin, *s.* (o *cytisus*) eurongyfog, llebgyfog.
Cives, *s. pl.* (Ff. *cive;* Ll. *cepa*) cenin Pedr, cenin syfi, cenin Ffrainc; sibwl, sibol, corwynwyn.
Civet, *s.* (Ff. *civette;* Al. *zibeth;* Per. *zabad*) cathfwsg, cathystor, milfwsg.
Civet-cat, *s.* pergath, y gath ber, ystorgath.
Civic, *a.* (Ll. *civicus*) dinesig, dinasol, dinasaidd; gwladol.
Civic crown—coron ddinesig=coronbleth o gangau derw à roddid gàn y Rhufeiniaid i un à achubasai fywyd dinesydd.
Civil, *a.* (Ll. *civilis*) dinasol, dinasaidd, dinesig; gwladol, gwladaidd, gwledig; moesog, moesgar, hyfoes, moeswych, moddgar, moddus, dygiadus, dillynwych, moeswymp, moesweddol, moesol, boneddigaidd, syber, syberw; hynaws, rhywiog, rhywiogaidd, gweddaidd, cyweithasol, rhadlawn, mwynaidd, mwynlan, mwyn, caruaidd; gwaraidd, gwareiddiol, gwareiddiedig; difrifol, difrif, sobr, syber, symul; diwair, gŵyl; mewnol, cartrefol; hawliadol.
Civil war—rhyfel cartrefol, rhyfel ciwdodol, rhyfel teisban, rhyfel teyrnasol.
Civil law—cyfraith wladol, cyfraith lëyg, cyfraith fyd, cyfraith y byd, bydraith, gwladraith; y gyfraith Rufeinig.
Doctor of civil law—doethor cyfraith lëyg; doethor cyfraith wladol; doethor y *neu* yn y gyfraith lëyg.
Civil and ecclesiastical — gwladol ac eglwysig; gwledig ac eglwysig; gwladaidd ac eglwysig; gwladol ac eglwysol; mewn gwlad ac mewn eglwys.
Civil list—cynnaliaeth y goron, traul y goron; brenindraul, teyrndraul; y rhes wladol, traul y wladwriaeth, talion gwladol.
Civil architecture—adeilyddiaeth ddinesig, adeiladaeth ddinasol, adeiloniaeth wladol.
Civil engineer—peiriannydd dinesig, peiriannydd dinasaidd.
In civil causes—mewn materion dinasol *neu* wladol.
Civil suit—cwyn gwladol, hawl ddinasaidd; cwyn hawliadol, cynghaws gwladol, cynghaws gwledig.
Civil rights—iawnderau gwladol, defion gwladol.
Civil society—brodoriaeth, gwledigaeth, y gymdeithas wladol; cymdeithas wareiddiol.
Civil constitution—cyfansoddiad gwladol, cyngosodiad gwladol, ffurflywodraeth, gwladoldeb, gosodiad gwladol.
Civilian, *s.* (o *civil*) rheithofydd, bydreithiwr, cyfreithiwr gwladol, gwladreithiwr; gwr o gyfraith fyd; doethor cyfraith lëyg; cntraw

cyfraith wladol; rheithysgolor, ysgolor y gyfraith wladol.
**Civilist**, † *s.*=*Civilian*.
**Civility**, *s.* (Ll. *civilitas*) moesgarwch, moesogrwydd, hyfoesedd, moeswychedd, moddgarwch, moddusrwydd, dillynwychedd, dygiadusrwydd, moes, moes ac arfer, cyflysdod, mynogaeth, syberwyd; hynawsedd, addfwynder, mwyneidd-dra, caredigrwydd, cyweithasrwydd, rhadlonedd, mwynedd, mwyneiddwch, mwynder, boneddigrwydd, boneddigeiddrwydd, gweddeidd-dra; gwareiddiant.
To offend against custom and civility—troseddu yn erbyn moes ac arfer y byd.
I was willing to perform this part of civility towards him — yr oeddwn yn ewyllysio gwneuthur hyn o garedigrwydd *neu* wasanaeth iddo.
Civilities — gweithredoedd o foesgarwch, &c.
**Civilization**, } *s.* (o *civilize*) gwareiddiad, gwar-
**Civilisation**, } eiddiant, moesoliad, gwaredd, gwareidd-dra, gwareddogaeth, moesogiad, gweddeiddiad, hyweddiad, gwarhad; † gwladoliad.
**Civilize**, *v. a.* (Ff. *civiliser*; It. *civilizzare*) gwareiddio, moesoli, gwareddu, gwareddoli, hyweddu, gweddeiddio, gwarhau; moesogi.
**Civilized**, *a.* (o *civilize*) gwareiddiedig, gwareiddiol, gwareiddig, moesedig, gwareddig, hyweddedig, moesoledig, moesol, diwygiedig, gwâr.
**Civilizer**, *s.* (o *civilize*) gwareiddiwr, moesolwr, &c.
**Civism**, *s.* (Ll. *civis*) gwladgarwch, brolwydd, cariad gwladol.
**Clabber**, *s.* (Gw. *clab*, *claba*; Al. *lab*) enwyn sur, llaeth enwyn sur, llaeth sur.
**Clachan**, *s.* (Gael.) llandref, corddlan.
**Clack**, *s.* (Ff. *claquer*; C. *clec*) clec, clep, clap, clegar, clegr, clegyr, dadwrdd, clebar, twrdd, dwndwr; clecai, clepai, clappren, tafod.
Mill-clack—clap melin, clepai melin, clappren melin.
Clack-valve—clapgaffell, clepddor.
Thy clack never lies still—nid oes byth daw ar dy glap; nid oes byth daw ar dy dafod.
**Clack**, *v. n.* clecian, clepian, clapian, clepio, clegru, clegr, clegyr, clegrain; clebran, clolian, dadwrdd, dadyrddu, baldordd, trystio, bragaldian; † nod-docio, tori y nod ymaith.
**Clacker**, *s.* (o *clack*) clepiwr, clapiwr, clepai, cleciwr, clecai; clebrwr; clepydd, clepiedydd, clappren.
**Clacking**, *s.* (o *clack*) clepiad, clapiad, clap, clec, dadwrdd, siaradach, baldordd, llol.
**Claim**, *v. a.* (Ll. *clamo*; S. *hlemman*) arddelwi, arddelw, arddel, hawlio, hawlu; hòni hawl; rhoi hawl ar; gofyn; holi, ceisio; ymarddelwi o; ymhoni o; dyly; honi, mynu; gwneyd arddel; † galw; † cyhoeddi.
That which nobody claims — dïarddelw, dïarddel, dihawl.
**Claim**, *s.* hawl, arddelw, ymarddelw, arddel, arddelwad, gofyn, dyled, dylyed; braint; † galwad.
To lay claim to=*Claim*, *v. a.*
Pending claim—hawlir, hawl anfarnedig.
Defunct claim—hawl wywedig.
Having no claim—difraint.
**Claimable**, *a.* (o *claim*) hawladwy, arddelwadwy, arddeladwy, gofynadwy, holadwy.
**Claimant**, } *s.* (o *claim*) arddelwr, arddelwydd,
**Claimer**, } ymarddelwr, hawlwr, hawlydd, ymhonwr, ymhonydd, gofynwr, gofynydd, holiedydd, holwr.
**Claimless**, *a.* (*claim* a *less*) dihawl; difraint; heb hawl.
**Clair-obscure**, *s.*=*Clare-obscure*.
**Clairvoyance**, *s.* (Ff.) claerweliad; claerganfod, claerganfodiad, tryweliad, tryweliant, tryweledìad; athreiddiad, treiddiad, dirnadaeth=y bummed radd mewn Mesmeriaeth.
**Clairvoyant**, *a.* claerwel, claerganfodol, claerganfyddol, trywel, tryweliannol, tryweliadol; treiddiol, athreiddiol, dirnadol.
**Clam**, *v. a.* (S. *clæmian*; Al. *klamm*) glynu, gludio, cyngludio, gludu, gwydnu, gwydnhau, gwydno, clymu, ewydno; gludluddio; lleithio; bod yn llaith; gludseinio.
**Clam**, *s.* glybysg, gludbysg, rhython y brain.
Clam-shell — glygragen, gludgragen: *pl.* glygregyn, glygragod.
**Clamant**, *a.* (Ll. *clamo*) gwaeddol, llefol, gwaeddfan; deisyfol.
**Clamber**, *v. n.* (o *climb*, neu o'r Is. *klampen*) dringo; dringo ar draed a dwylaw; dringaw o braidd; ymgripio, ymgripian.
**Clamminess**, *s.* (o *clammy*) gludiogrwydd, gwydnedd, gludrwydd, ewydnedd, gludedd, gwydnolrwydd, gwydnogrwydd, glynolder.
**Clammy**, *a.* (o *clam*) gludiog, gwydn, ewydn, gwydnol, gwydnaidd, glynol, ymlynol, ymgydiol, gafaelus; yn glynu, yn gludio; toeslyd.
**Clamorous**, *a.* (o'r Ll. *clamor*) dadyrddus, trystfawr, gwaeddgar, bloeddfawr, dadyrddol, seinfawr, bloeddgar, aedd, aeddfawr, croch, soniawr, trystiog, gorddyar, rhuadus, crochlefol, gwaeddfan, iwin, garmus, annystaw, siaradus; terfysgus, cyffroawl, brochus; haerllug, rhydaer.
**Clamorousness**, *s.* (o *clamorous*) trystforedd, gwaeddgarwch, bloeddforedd, seinforedd, trystiogrwydd, dadyrddusrwydd, dadyrddiant, annystawrwydd, &c.
**Clamour**, *s.* (Ll. *clamor*) dadwrdd, twrdd, twrf, trwst, dwrdd, dwndwrdd, dwndwr, swn; gwaedd, bloedd, dolef, banllef, llef, arwaedd, crochlef, gwaeddolef, garm, gawr, ysgarm, ynglef, diaspad, nad, dysgri, cri, dysgreth, argynan, dïas, annystawrwydd, llefain.
**Clamour**, *v.* dadyrddu, trystio, tyrddu, rhuo, diaspedain, gwaeddi, bloeddio, llefain, nadu, diasped, drygnadu, crochlefain, gwaddolef, ebychu, dylefain, goddolef, germain, ysgermain, gawri, garmu, garmio, crio, dysgrïo, cadw swn, dwndro, arwaeddi; byddaru *neu* syfrdanu â swn.
To clamour against — llefain yn erbyn; gwrthlefain, gwrthgrïo, gwrthdyrddu, gwrthodyrddu; gwaeddi yn erbyn.
To clamour bells—dadyrddu clych.
**Clamourer**, *s.* (o *clamour*) dadyrddwr, &c.
**Clamp**, *s.* (Is. *klamp*) rhingwar; cryfas, clymydd, cyfrwymydd.
Clamp of bricks—rhingwar o briddfeini, odynaid o briddfeini.
Clamp-irons—rhinghaiarn, clymhaiarn.
Clamp-nails—clymhoelion, rhinghoelion.
**Clamp**, *v. a.* rhingwaru, cryfasio, cryfasu, cyfrwymo, cydgylymu.

**Clams**, *s. pl.* (D. *klemmer*) hoelgraff, gwrthrimyn; dalgraff: rhython y brain, glybysg.

**Clan**, *s.* (Gw. a Gael. *clann*) llwyth, tylwyth, ciwdod, gwelygordd, cenal, teulu, epil, hil, hiliogaeth, cystlynan, cenedl, pynas, ach, cenel; gosgordd, cordd; plaid, cydymlynwyr.
  Chief of a clan—pencenedl, pencordd, pentylwyth, penteulu, pencenal, penllwyth, penaeth llwyth.
  Royal clan—breninllwyth, llwyth breninol, teyrnlwyth.
  That old philosopher and his clan—yr hen athronydd hwnw a'i asgordd, a'i blaid, a'i ganlynwyr, *neu* a'i ddysgyblion.

**Clancular**, *a.* (Ll. *clancularius*) dirgel, anghyhoedd, cyfrinachol, cuddiedig, lledradaidd.

**Clandestine**, *a.* (Ll. *clandestinus*) dirgel, celedig, cuddiedig, cuddiadan, dystaw, cyfrinachol, dïarwybod, lladradaidd, dàn llaw, cel, cudd.
  Clandestine marriage—priodas wyllt, priodas guddiadan.

**Clandestineness**, *s.* (o *clandestine*) dirgeledd, dirgelrwydd, celedigrwydd, cuddiedigrwydd, celedigaeth.

**Clang**, *v. a.* (Ll. *clango*; Gr. *claggô*; Al. *klang*) cloncio, clongio, tolseinio, crochseinio, clincian.

**Clang**, } *s.* (Ll. *clangor*) clonc, clong, tolsain, crochsain, llymsain.
**Clangour**, }

**Clangorous**, } *a.* (o *clangor*, *clang*) clonciol, clongiol, tolseiniol, crochseiniol, llymseiniol, crochsain.
**Clangous**, }

**Clank**, *s.* (Ll. *clango*) clonc, tinc, crasdinc, clec, crasglec.

**Clank**, *v. a.* cloncio, tincio, tincian, tincial, crasdincio, crasdincian; crochdyrddu, crochddadwrdd.

**Clannish**, *a.* (o *clan*) ciwdodaidd, ciwdodol, tylwythaidd; unedig, tyn-unedig, cydymlynol; fel un teulu.

**Clannishness**, *s.* (o *clannish*) ciwdodeiddrwydd, ciwdodoldeb, cytteuluaeth; cydunolrwydd, tyn-unolrwydd, cydlynoldeb.

**Clanship**, *s.* (o *clan*) ciwdodaeth, tylwythdod, cenaldod, ceneldod.

**Clansman**, *s.* (*clan* a *man*) ciwdodwr; un yn perthyn i lwyth *neu* dylwyth neilltuol.

**Clap**, *v.* (Is. ac Al. *klappen*) curo, clapio, clepio, dulio, taraw, taro, ergydio, ffusto, pwyo; bwrw, taflu, dodi, rhoi, gosod; gwthio, hyrddu, hyrddio, gyru; brysdaflu; prysuro, brysio; canmawl, cyforddylio; poethredu, llosfrechu.
  To clap hands—curo dwylaw; cyforddylio.
  To clap on—dodi, gosod, rhoddi, *neu* rhoi ar *neu* wrth; clapio ar; gafaelyd yn *neu* ar; hoelio ar.
  To clap down—rhoi, dodi, *neu* osod i lawr; bwrw, taflu, *neu* daro i lawr; gwasgu i lawr; secu i lawr; clapio i lawr.
  To clap in—bwrw, dodi, rhoddi, rhoi, taro, *neu* glapio i mewn.
  To clap spurs to—ysbarduno; rhoi ysbardunau ynddo *neu* wrtho; brathu ysbardunau mewn *neu* yn.
  To clap up—gwneuthur ar frys; clapio i fyny; cyflawnu, cwblhau; gwneyd i fyny; gwneuthur heb na rhwysg na rhodres.
  To clap up in prison—carcharu; dodi, gosod, rhoi, *neu* daro yn ngharchar; bwrw, taflu, rhoi, *neu* rhoddi mewn carchar; bwrw *neu* daflu i garchar; bwrw *neu* daflu yn ngharchar; cau mewn carchar.
  To clap a door to—cau drws yn chwyrn; chwyrndaraw drws; taro drws yn nghyd *neu* yn nghauad.
  To clap the wings—curo adenydd, ffusto adenydd; curo *neu* ffusto adenydd yn nghyd; curo *neu* ffusto ei adanedd, ei edyn, *neu* ei adenydd.
  To clap on sails—codi hwyliau.
  To clap close to—gwasgu, dodi, dàl, rhoi, *neu* daro yn dyn wrth *neu* yn erbyn.
  To clap one on the back—curo, ffusto, taro, pwyo, *neu* gnithio cefn un; llochi, gorlyfnu.
  To clap up together—plygu, sypio, *neu* sypynu yn nghyd.
  To clap hands on—rhoi, gosod, *neu* ddodi dwylaw ar; dàl yn garcharor.
  To clap a writ on one's back—rhoi ysgrifwys ar gefn un; rhoi ysgrifwys i un; rhoi cyfraith i *neu* ar un; dodi cyfraith ar un.
  Clapping of hands—cyforddyl, curiad dwylaw.

**Clap**, *s.* (Al. *klapp*) clap, clep, clonc, twrf, trwst, diaspad; gwth, hyrddiad; cnoc, dul, ffat, cis, ysbonc, ergyd; isfyl.
  Clap of thunder—twrf taran, trwst, (*pl.* trystau), taranglap, taranglep, clap taran, talym, talm, tarandwrf, tarandrwst.
  At one clap—ar unwaith; ar un ergyd.
  After-clap—olglap, eilddyrnod, eildarawiad, ergyd yn ol llaw, dygwyddiad disymmwth.

**Clap**, *s.* (Ff. *clapoir*; Is. *klapoor*) hadred, poethred; llosfrech, anlladwst, poethwst, poethglwyf.

**Clap-board**, *s.* erwydden, astyllen erwydd, estyllen baril; to-erwydden, to-astell.

**Clap-dish**, *s.* dysgl bren, cawg pren, ffiol bren.

**Clap-doctor**, *s.* meddyg llosfrech, poethredfeddyg.

**Clap-net**, *s.* claprwyd, rhwyd ehedydd, rhwyd hedydd.

**Clapper**, *s.* (o *clap*) clapiwr, clepiwr, clapiedydd, clap, clepai, clappren, clecai, tafod, clepdafod; ystwffwl; †cwning-gaer.
  Bell-clapper—tafod cloch, clap cloch.
  The bell-clapper—tafod y gloch, clap y gloch.
  Door-clapper—ystwffwl, morthwyl drws, dorglap, dorglecai, cnocyr.
  Mill-clapper—clap melin, clappren melin.
  Bird-clapper—adarglap, clap adar.

**Clapperclaw**, *v. a.* (*clap* a *claw*) difrïo, difenwi, tafodi, ymdafodi â, clewtian, danneddu, cecru.

**Clap-trap**, *s.* clapdelm, clepdag.

**Clarenceux**, } *s.* (oddiwrth ddugiaeth *Clarence*) yr ail arwyddfardd, yr ail arffrenin, arwyddfardd Clarens, defrenin pen beirdd.
**Clarencieux**, }

**Clare-obscure**, *s.* (Ll. *clarus* ac *obscurus*) claerwyll, claerwylliad.

**Claret**, *s.* (Ff. *clairet*) claered, claerwin, ffuonwin.

**Clarichord**, *s.* (Ll. *clarus* a *chorda*) claerdant, claergord.

**Clarification**, *s.* (o *clarify*) teriad, gloewad, claerad, cleiriad, purad, dïanmhurad.

Clarifier, *s.* (o *clarify*) teriedydd, terydd, claerydd, gloewydd; terlestr.
Clarify, *v.* (Ff. *clarifier;* Ll. *clarifico*) teru, gloewi, puro, puriannu, claeru, cleirio, dïanmhuro; ymderu, ymloewi, goleuo; tynu yr ewyn, dïewynu.
  To clarify honey—teru mêl.
  Clarified honey—mêl ter.
Clarinet, } *s.* (Ff. *clarinette*) tolgorn, tolbib.
Clarionet, }
Clarion, *s.* (Ff. *clairon ;* Ysp. *clairin*) rhueinell, claergorn, udgorn meinllais.
  Clarion of war—llugorn, cadfan, cadgorn, udgorn cad.
Clarisonous, *a.* (Ll. *clarisonus*) claerseiniol, llafarseiniol, llafarleisiol, croewseiniol, llafargroew, llafarglaer, crochlafar, croch, llafar; arianllais.
Claritude, } *s.* (Ll. *claritudo, claritas*) terineb, claerineb, gloewder, gloewineb, purder, claerder.
Clarity, }
Clary,† *v. n.* (Ll. *clarus*) crochleisio, banllefain.
Clary, *s.* (Ll. *clarus*) gwerddonell, ceidwad, claer.
  Wild English clary—torfagl, claer, gorchwyraid, gorchwyraidd, gorchwyrydd, llygad Crist, clais Mair, had y llygad.
  Purple clary—cochlas, clais y moch, clych Durham.
  Meadow clary—gwerddonell y waen.
Clary-water, *s.* claerwy.
Clash, *v.* (Is. *kletsen ;* Al. *klatschen*) gwrthdaraw, gwrthdaro; taraw wrth, taraw yn erbyn; targio, targu, trystio, grillio, seinio; anghytuno, anghydsynio, anghordio, anghytgytynu, amrafaelio; gwrthgyfarfod.
Clash, *s.* gwrthdaraw, gwrthdarawiad, targ, trwst; anghydfod, anghordiad, anghytundeb, amrafael, amryson, anundeb, gwrthwynebiad.
  Clash of arms—trwst arfau, grill arfau, targ arfau, llach arfau; trwst, swn, grill, *neu* sain arfau yn curo *neu* yn taro yn erbyn eu gilydd; ymgur arfau.
Clashing, *a.* (o *clash*) targiol, gwrthdarawol; gwrthwynebol, croes, anghytunol, anghordiol, amrafaelus, anghydsyniol, ymyrol, gwrthawl.
Clashing, *s.* targiad, gwrthdarawiad, gwrthergydiad; anghordiad, anghytunad; amryson, amrafael, anghydfod, anundeb; gwrthwynebiad, gelyniaeth; mawrdrwst.
Clasp, *s.* (Gw. *clasba*) gwäeg, craff, creffyn, tytmwy, amfach, boglyn, boglwm, dalfach, gafaelfach, clymgraff, gwanas, llaing; cofleidiad, coflaid, gwasgiad.
  The hook of a clasp—ewinfach, dalfach, gafaelfach, gafael; dant, bach, *neu* ewin gwäeg.
Clasp, *v. a.* gwaegu, amfachu, tytmwyo, boglymu, boglynu, dalfachu, craffu, gafaelfachu, byclu; cofleidio, breicheidio; cau am, amgau, gwasgu, tynwasgu, argau, cau; plethu, cynghlymu, amglymu.
  To clasp one's hands—plethu ei ddwylaw.
  To clasp about—amglymu, amdorchi, amfachu, amblethu, amgydio, amrwyo; ymglymu am, ymblethu am, cymhlethu am, ymdorchi am; ymrwyo am; ymafael â.
  She clasped him about the neck—hi a daflodd, a blethodd, *neu* a gymblethodd ei breichiau am ei wddf.
  To clasp to one's bosom—monwesu, mynwesu, twymfynwesu, twymgofleidio; cofleidio yn ei fonwes; gwasgu yn ei fonwes.
  To clasp together—ymrabinio, ymrabin, cydymwasgu, cydgofleidio, ymgofleidio; ymwasgu yn nghyd.
Clasper, *s.* (o *clasp*) amdorch, amglwm, amglymydd, amdorchydd, amdorchiad, amglymiad, llysdorch, llysrwy, llysdorchiad: *pl.* amdyrch, amdorchau, amglymau, amglymiaid, amglymyddion, &c.
Claspered, *a.* (o *clasper*) amdorchog, amglymog, amdorchedig.
Clasping, *a.* (o *clasp*) amdorchol, amglymol, amdorchiadol, amglymiadol; yn amglymu.
Clasp-knife, *s.* ceu-gyllell, cyllell gau, cyllell yn cau yn y carn, cyllell blyg.
Clasp-nails, *s. pl.* clymhoelion, hoelion cloplydan, clobhoelion.
Class, *s.* (Ll. *classis ;* It., Ff., ac Al. *classe*) dosbarth, trefn, gradd, rhestr, rhes, rhest, rheng, rhenc, urdd; cenedl, cenel; mainc; desebres, desebradd.
  The first class—y dosbarth blaenaf; y fainc flaenaf *neu* uchaf.
  He is in the second class—mae efe yn yr ail ddosbarth; y mae efe ar yr ail fainc.
  Labouring classes—gwŷr gwaith a gorchwyl; y bobl weithgar; y werinos, y werin, y werin bobl; y dosbarthau *neu* y graddau llafurus *neu* lafuriol; y bobl weithiol *neu* lafuriol.
Class, *v. a.* trefnu, dosbarthu, rhestru, rhesu, rhesraddu; meincio.
Classic, } *a.* (Ll. *classicus ;* Ff. *classique*) uchawdurol, uchadurol, prifawdurol, arddysgrid, prifraddol, uchraddol, awdurol, awduraidd, awdurog, awduredig; arlenorol; coeth, coethedig, purieithol, pur, caboledig, tlysgoeth, ceinwych, gorwych, coethwych; safonol; profedig, hyglod, arglodig; cymmeradwy, profadwy; cymmanfaol.
Classical, }
  Classical literature—arddysg, arlenoriaeth, arlenyddiaeth, uchlenoriaeth, arddysgeidiaeth, llenddysg; llenoriaeth uchawdurol *neu* arddysgaid, &c.
  Classical languages—yr ieithoedd uchawdurol *neu* arddysgaid, &c.; ieithoedd Groeg a Rhufain; Groeg a Lladin; y Lladin a'r Groeg; yr ieithoedd dysgedig.
Classic, *s.* uchawdur, uchawdwr, prifawdur, arddysgur, arddysgeidur; awdur tlysgoeth, coethwych, *neu* goethieithol; awdur o'r radd uchaf; arddysglyfr, arddysgeidlyfr, saflyfr.
Classicality, } *s.* (o *classical*) uchawduroldeb, uchadurolrwydd, arddysgeidrwydd, prifraddoldeb, awduroldeb; coethineb, purdeb, tlysgoethni, tlysieitholdeb, &c.
Classicalness, }
Classific, *a.* (o *classify*) dosbarthol, dosbarthus, dosbarthedigol, dosbarthiannol, trefniadol, trefnol.
Classification, *s.* (o *classify*) dosbarthiad, dosbarthiant, trefniad, rhestrad, desraddiad.
Classify, *v. a.* (Ll. *classis* a *facio*) trefnu, dosbarthu, dosbarthiannu, trefnoli, desraddio, rhestru, graddu.
Classis, *s.* (Ll.) dosbarth, trefn, gradd; math, rhyw; cynnullfa, cymmanfa.

Clatter, *v.* (Is. *klateren, kletteren*) clewtian, clewtio; diaspedain, clechdyrio; baldorddi, baldorfi, clolian, dadyrddu, dadyrddain, tyrddu, dwndro, dadwrdd, crochddadwrdd, gwag-ddwndro, rhuo, cecru, ymgecru, amrafaelio, ymserthu, ymdafodi, mauson, grymial, ymlef-lef; trystio, clecian, treisglo, darstain, darsteinio, deldrystio, clychdaro, clychdori, clechdori.

To clatter and break things—clechdyrio, clechdori, clychdori, tori yn glechdyr.

Clatter, } *s.* diaspad, twrdd, trwst, tyrdd-
Clattering, } glep, dadwrdd, clec, clewt, ffreg, dadsain, ysgort, godwrdd, godwrf, cynhwrf, treisglad, darstain, darsteiniad, deldrwst, ergydsain, baldordd, baldorf, ffregod; clechdyriad, clechdyr.

Clatterer, *s.* (o *clatter*) clewtiwr, darsteiniwr, clewtydd, &c.

Claudent, *a.* (Ll. *claudens*) cauol, caeol, caudadol, ymgauol; cyttynol, cydymdynol.

Claudent muscle—cyhyr cyttynol.

Claudicant, *a.* (Ll. *claudicans*) cloff, clunlaes, hecianol, clunheciol, gogloff.

Claudicate, *v. n.* (Ll. *claudico*) cloffi, clunhecian, hecian, gogloffi.

Claudication, *s.* (Ll. *claudicatio*) cloffni, cloffi, hecian, clunhecian, gogloffni.

Clause, *s.* (Ff.; Ll. *clausura*) adran, dosran, gosran, adranig; erthygl, pwynt, pwnc, penran, pyncyn; bannod, adnod, gwers, gwersig; aelod, rhan, darn, *neu* gymmal o ymadrodd; broddegran, adfrawdd, ameg; trofiad, trofiaden.

By short clauses—yn doriadau; yn ddarnau bychain; yn rhanau bychain; yn wersi byrion; yn fyrwersi; bob yn aelod *neu* gymmal; bob yn adran, &c.

Claustral, *a.* (Ll. *claustrum*) clasorol, clwysol, clasol, clwysalyol, clasdyol, achuddol, clasaidd; monachlogaidd; perthynol i glwysdy *neu* grefyddfa.

Claustral prior—prior clwysdy, clwys-brior, prior clwys, prior clwysol.

Clausural, *a.* (Ll. *clausura*) adranol, dosranol, gosranol; bannodol, pynciol, bannodog, penranol.

Clausure, *s.* (Ll. *clausura*) cauad, cauedigaeth; ceubibell, annhrybibell, pibell gauedig.

Clavate, } *a.* (Ll. *clava*) clwpaog, clwpaidd,
Clavated, } clobaidd, clopaidd, clopaol.

Clave, *s.* (Ll. *clavus*) ystol saer llongau.

Clavellated, *a.* (Ll. *clava*) clwpedig, clobedig, clopedig, clwpaog.

Claver, *s.* (Ll. *clavus*) meillionen gragenog, llysiau y myheryn, maglys amrywedd.

Claviary, *s.* (Ll. *clavis*) gofodradd, llinellradd; engraddeg, llinellang.

Clavichord, *s.* (Ll. *clavis* a *chorda*) cyweirdant, cyweirgord=offeryn cerdd.

Clavicle, *s.* (Ll. *clavicula*) pont yr ysgwydd, pont ysgwydd, trybedd yr ysgwydd.

Clavicornes, *s. pl.* (Ll. *clavus* a *cornu*) clobgornogion=math o drychfilod.

Clavier, *s.* (Ll. *clavus*) cyweirsain, cynghywair.

Claviger, *s.* (Ll.) allweddor, allwyddor, allweddog, agoriawdwr, agoriawdr.

Claw, *s.* (S.; Al. *klaue*) ewin, crafanc, carnewin, craf, bach, ysbag, palf: *pl.* ewinedd, ewinod, crafangau, &c.

Having red claws—crafrudd, crafgoch; coch ei grafangau.

Having strong and sharp claws—ewinddrud.

Claw, *v. a.* crafu, crafangio, crafangu, cripio, cripian, ewino, palfu, bachu; rhwygo; †truthio, gwenieitho.

To claw off *or* away—difrïo, clewtian, tafodi, cecru, danneddu; cosi; talu i; cael gwared o; dïanc rhag; troi at y gwynt.

Clawback, *s.* (*claw* a *back*) truthiwr, gwenieithwr.

Clawed, *a.* (o *claw*) crafangog, ewinog, bachog, ysbagog, ysbachog; crafangedig, cripiedig.

Clawless, *a.* (*claw* a *less*) digrafanc, digrafangau, dïewin, anghrafangog.

Clay, *s.* (S. *clæg*; Al. *kley, klei*) clai.

Potter's clay—priddgist, clai y crochenydd, pridd y crochenydd, cleigist, gwynglai.

Fuller's clay—pridd y panwr, clai y panwr, priddgalch, priddgalch y panydd, pridd gogarth.

Black clay—tombridd, tomdail.

Pipe clay—pibglai; clai pibau *neu* bibelli.

To cover with clay—cleio; gorchuddio *neu* wrteithio â chlai.

Full of clay—cleiog, llawn clai, llawn o glai, cleilawn.

Houses of clay—tai o glai, tai clai, cleidai.

Man is but a lump of clay—nid yw dyn ond telpyn o glai; nid yw dyn ond talp o bridd.

Clay, *v. a.* cleio; cuddio â chlai; puro â chlai.

Clay-built, *a.* clei-adeilog, clei-adeiledig; adeiledig o glai; â adeilwyd â chlai.

Clay-cold, *a.* oer fal y clai; cân oered a'r clai; cleioer; oer, difywyd, anfyw, marw.

Clayes, *s. pl.* (Ff. *claie*) plethglwydau, clwydau.

Clayey, *a.* (o *clay*) cleiog, cleilyd, cleiol; o glai.

Clayey soil—cleibridd, cleidir, cleiweryd, tir cleiog, daiar gleiog.

Clay-ground, *s.* cleidir, cleiddaiar, cleilawr, cleidud.

Clayish, *a.* (o *clay*) cleilyd, cleiog, cleiaidd, cleiol.

Clay-land, } *s.* cleidir, cleibridd, cleiweryd, tir
Clay-soil, } cleiog, tir clai, pridd cleiog, daiar gleiog.

Clay-marl, *s.* cleifarl.

Claymore, *s.* (Gael. *claidhcamh mòr*) gleifawr, cledd mawr; cleddyf llafnllydan Ucheldiriaid yr Alban.

Clay-pit, *s.* cleibwll, pwll clai, pwll y clai, cleiglawdd.

Clay-slate, *s.* cleilech, cleilechfaen, llech glai.

Clay-stone, *s.* cleifaen.

Clean, *a.* (S. *clæne*) glân; gloew, purlan, coeth, ter, terydd, pur, glain; glanwaith, taclus; dihalog, diwair; diwyg, disothach, dinam, dilwgr, difrycheulyd, llwys; clws, tlws, del, dillyn, destlus, syberw, syber, syw, teg, glandeg; hylaw, medrus, deheu.

As clean as a penny—cân laned a'r lamp.

To make clean—*Clean, v. a.*

Clean, *ad.* yn lân; yn hollol, yn llwyr, yn gwbl, achlân, yn llwyrgwbl; yn llwyr ac yn gwbl; yn llwyr achlân; o'r sylfaen, o'r

**gwaelod, o'r gwraidd, o'r gwreiddyn, o'r gwadn; yn hylaw, yn fedrus, yn ddeheu.**
Is his mercy clean gone for ever?—a ddarfu ei drugaredd ef dros byth? (*Salm* lxxvii. 8).
He hath made it clean bare — gàn ddynoethi dynoethodd hi (*Ioel* i. 7).
Clean and neat—glanwaith, glanwedd.
Clean, *v. a.* glanhau; puro, glanburo, glanweithio, teru, gloewi, coethi; dadfânu, dirydu; arloesi, chwynu; hoewi, pincio; diheuro, esgusodi; golchi yn lân; golchi ymaith; sychu, sychu ymaith; lluganu, llugeinio.
To clean shoes—glanhau esgidiau, sychu esgidiau.
Clean-handed, *a.* llawlan; glân ei ddwylaw.
Clean-hearted, *a.* glangalon, purgalon, calonlan; glân ei galon; glân o galon.
Clean-limbed, *a.* meindwf, tlws, gosgeddig; glân ei aelodau.
Cleanliness, *s.* (o *cleanly*) glendid; glanweithdra, glanweithdod, taclusrwydd, dillynder, destlusrwydd, sywder, sywdra, syberwyd, pefredd, tlysni; purdeb, purder, puredd.
Cleanly, *a.* (o *clean*) glân; glanwaith, glanwedd, glanweddus; pur, puraidd; diniwed, digymmysg; glanhaol; hylaw, medrus, deheuig; †tlws, nais, clws, cyfrwys.
Cleanly, *ad.* yn lân; yn bur, &c.
Cleanness, *s.* (o *clean*) glendid; purdeb, puredd, purder, purdra; gloewedd, gloewder; diniweidrwydd, gwiriondeb; manyldeb, manylwch, cywirdeb, cyweirdeb; tlysni, destledd, destlusrwydd, pefredd; diweirdeb; uniondder, uniondeb.
Cleansable, } *a.* (o *cleanse*) glanadwy, puradwy.
Cleansible, }
Cleanse, *v. a.* (S. *clænsian*) glanhau; puro, coethi, teru, gloewi, pureiddio; arloesi, dygarthu, gogarthu, carthu, dysgarthu; golchi; hidlo; iachäu; symmud ymaith.
To cleanse from chaff—nithio; digibo.
To cleanse from dregs—diwaddodi, diwaelodi; dïanmhuro, teru, puro, pureiddio; glanhau oddi wrth waddodion.
To cleanse from dross—disorodi; coethi, puro, glânburo; glanhau oddi wrth sorod.
To cleanse by straining—hidlo.
Easily cleansed—hawdd ei lanhau; hygarth, hylan.
Cleanser, *s.* (o *cleanse*) glanhäwr, purwr, coethwr, coethiedydd, golchwr, glanweithiwr, purydd, coethydd, coethai, purai: *pl.* coetholion, purolion, glanhaolion, glanweithiolion, coetheion.
Cleansing, *a.* (o *cleanse*) glanhaol, purol, coethol, teriadol, pureiddiol, puriadol; à lanhao, &c.
Cleansing spud—carthbren.
Cleansing, *s.* glanhad; purad, puredigaeth; glanweithiad, coethiad, golchiad; arloesiad.
Clean-timbered,† *a.* gwiwgyfartal, cywirwedd.
Clear, *a.* (C. *claer*; Ff. *clair*; Ll. *clarus*) eglur, amlwg, goleu, hysbys, hywel, honaid, dïargel, dilys; claer, gloew, dysglaer, ffloew, llachar, llathr, claerdeg, ter, pur, ysblan, ysblenydd, annhywyll; glân, cain, glain; araul, digwmwl, digaddug, anghymylog, digymylau, teg, tawelglaer; croew, llafar, eglurlawn, anghryg; rhydd, rhwydd, dirwystr, dinidr; diddyled, allan o ddyled; pur, digymmysg, purlan; dïeuog, dïargywedd, difai, gwirion, diddrwg, dilwgr, rhyddedig, diniwed, anllygredig, digwl; agored, iâl, gâl, gaith, oeth; difyngial, difyngus; craff, craffus, hyddeall, trywel; tawel, esmwyth, llonydd; iach, diglefyd; dïammheu, dibetrus, anwadadwy; difrychau, difrycheulyd; diragfarn.
Thoroughly clear — tryloew, tradysglaer, dysglaer drwyddo, claer drwyddo, gloew drwyddo, tragoleu, trallewyrchedig; hyglaer, hyloew, canloew.
Clear of sight—craff *neu* graffus ei olwg; llygadgraff; teryll *neu* gyflym ei olwg.
Clear of understanding — craff ei ddeall; craffus ei ddeall; parod *neu* gyflym ei synwyr; bywiog ei feddwl; call, synwyrol, synwyrgraff, deallgraff, doeth, parodbwyll, pwyllgraff, hyddeall.
Clear shining—llewyrchiad.
Clear of trouble—didrafferth, didrallod, dïofid, digaeth, didres; wrth ei fodd ei hun; rhydd oddi wrth drafferth *neu* drallod.
Clear voice—llais croew, llais llafar, llafarlais, llais anghryg, llais hyseiniol.
Having a clear voice—croewlais, eglurlais, pedrylef, llafarlef; â chanddo lais croew, &c.
Clear weather—tywydd teg, tywydd goleu, hin deg, hin oleu, hin araul, tywydd claer, hinon, hindda, hin dda, cynnwll; sychin.
A clear night—noswaith oleu, nos oleu, nos ddigaddug, noswaith serloew, noswaith serloer, noswaith serigl.
Clear glass—gwydr goleu, gwydr gloew.
As clear as crystal—mòr loew, mòr glaer, mòr ddysglaer, *neu* mòr eglur a'r crisial.
As clear as the day—mòr oleu a'r haul; mòr eglur a'r haul; mòr oleu a'r dydd.
In the clear day—liw dydd goleu; ar ganol dydd goleu.
It is a clear case—mater diddadl ydyw; mater eglur *neu* amlwg yw; mae yn amlwg; mae yn eglur; mae yn ddilys.
The matter is clear—y mae y peth yn eglur; nid oes lle i ymddadleu yn nghylch y peth.
He embarassed a very clear case—efe a dywyllodd fater eglur iawn; efe a dywyllodd yr hyn oedd ar y cyntaf mòr amlwg a'r haul yn dysgleirio ar hanner dydd.
Clear conscience — cydwybod lân; cydwybod lân ddirwystr; asgre lân.
Safe is the owner of a clear conscience—asgre lân, diogel ei pherchen.
Clear character — nodweddiad dïargyhoedd; cymmeriad gloew; gair da dïenllib, dïogan, dinam, dinag, dihort, *neu* ddifefl.
Clear estate — treftadaeth rydd, treftadaeth ddiddyled; treftadaeth rydd ddiddyled; tiriogaeth ddiddyled; tir heb ddyled arno.
Clear forehead—talcen digrychni; talcen digrych; talcen agored; gwyneb llawen, araul, *neu* siriol; talcen hywel.
A woman of a clear complexion—gwraig

Club-haul, *v. a.* llobdaclu.
Club-headed, *a.* penglwpa, penfras, penfawr.
Club-house, *s.* cyfrindy, cyfrinfa, cyfrinfan, cymdeithdy, cyfrinasdy, cyfrinasfa.
Club-law, *s.* cyfraith y pastwn; trechaf treisied, gwanaf gwaedded; cyfraith arfau; ffustad, ffonodiad.
Club-moss, Snake-moss, *s.* cnwpfwsogl, clwpfwsogl, cnwpfwswn, clwpfwswn, clobfwsog, palf y blaidd.
Fir club-moss—cnwpfwsogl syth mwyaf, ffeinidfwsogl, cnwpfwsogl anhyblyg.
Prickly club-moss—cnwpfwsogl syth lleiaf, cnwpfwsogl siderog.
Common club-moss—palf y blaidd, corn carw y mynydd, cnwpfwswn cyffredin.
Alpine club-moss—cnwpfwsogl y graig.
Club-room, *s.* cymdeithgell, cyfringell, cyfrinfa, cyfrinfan.
Club-rush, *s.* clwpfrwynen, cnwpfrwynen: *pl.* clwpfrwyn, cnwpfrwyn.
Marsh creeping club-rush—clwpfrwynen y gors.
Many-stalked club-rush — clwpfrwynen galafog.
Scaly-stalked club-rush—clwpfrwynen y fawnog, clwpfrwynen fawnog.
Chocolate-headed club-rush—clwpfrwynen gochddu.
Least club-rush—clwpfrwynen leiaf. [wy.
Floating club-rush—clwpfrwynen nofiad
Glaucous club-rush — tostfrwynen arfor, clwpfrwynen oleulas.
Small club-rush—clwpfrwynen fechan.
Salt marsh club-rush — clwpfrwynen y morfa.
Club-shaped, *a.* clwpanaidd, clwpaidd, clobaidd, clopaidd; clwpaog, cnwpaog, clwpaol; ar ddull clwpa.
Cluck, *v.* (S. *cloccian;* Al. *glucken*) clwcian, clocian, clochdar, clegar, clochdarddain, crecian; galw ar gywion.
Clue, Clew, *s.* = *Clew.* *Clue.*
Clump, *s.* (Al. *klump*) cwlff, cnwff, clamp, talp, telpyn; bagadwydd, swpwydd, terfyllgoed; cleidalp.
Clumper, *v. a.* (o *clump*) cnwffio, clampio, talpio.
Clumps, Clumperton, *s.* (o *clump*) clwpa, clopa, hurthgen, cadafael, penbwl, pendew, cuall, delff, delbren, catwrdd; lleban, llabwst, llabi.
Clumsiness, *s.* (o *clumsy*) trysgledd, trwstanwch, trwstanrwydd, chwithigrwydd, anfedrusrwydd, anfedrusder, anneheurwydd, annestlusrwydd, lledchwithder, echwithder, lledchwithrwydd, clogyrnedd, bonglerwch, carbyledd; anmharodrwydd; musgrellni, anystwythder.
Clumsy, *a.* (o *clump*) trwsgl, (*f.* trosgl), trwstan, clogyrnaidd, clogyrnog, anfedrus, anghelfydd, annestlus, anhylaw, anhyfedr, anneheu, lledchwith, chwithig, echwith, asw, carbwl, annhaclus, bongleraidd, llymsi, afluniaidd; anmharod, musgrell; gwrthun, anolygus, aflerw, anghywrain, anghryno, anffurfaidd, garw, bonfras; byr a llydan.
Very clumsy—gorchwithig, tra chwithig, chwithig iawn, &c.
Clumsy woman — benyw drosgl, dynes drwstan.
Clunch, *s.* cleidalp.
Clung, *v. n.* (S. *clingan*) crinsychu, crinosychu, crinellu, celffeinio, gwystno; cori, ymgrynoi, tynu ato.
Clung, *a.* celffain, crinsych; culfain.
Clupeidæ, *s. pl.* penweigolion, penweiglwyth.
Cluster, *s.* (S.) swp, magwy, bagwy, bagad, pwnc, pynga, pwng, pyngyn, twff, sypyn, clysdwr, grab, sob, swba, rhawol, rhafol; haib, haid, lluaws; twr, cyttwr, crug, pentwr, twysg; cwlwm, clwm, cwlm.
Cluster of grapes—swp o rawnwin, swp grawnwin, grawnswp, (*pl.* grawnsypiau); grawn-gangen.
Cluster of islands—haib o ynysoedd, swp o ynysoedd, twr o ynysoedd.
Cluster of people—twr o bobl; haid o bobl.
Cluster of bees—cwlwm o wenyn.
Full of clusters — bagadog, bagwyog, magwyog, pyngog, sypiog; llawn sypiau, &c.
Cluster-grape—grawnwin Burgwyn, grawnwin duon.
A little cluster—bagedyn, pyngyn.
Cluster, *v.* ymdyru, cyttyru, bagwyo, magwyo, bagadu, pyngu, pyngo, pyngad; ymsypio, sypio, cydymsypio, cydymdyru, clysdyru, siobynu, sobi, tyru, heidio, twysgo; *casglu;* tyfu yn fagwyon.
To cluster together—cydymdyru, cydymsypio, &c.
Clustered trees—coed bagwyog, magwyog, bagadog, *neu* byngog.
Clustered column—colofn fagwyog, &c.
Clustery, *a.* (o *cluster*) bagwyog, magwyog, bagadog, pyngog, clysdyrog, cyttyrog; bagwyol, magwyol, bagadol, pyngol, clysdyrol, cyttyrol, ymdyrol, twysgol; llawn o fagwyon; yn tyfu yn fagwyon.
Clutch, *v. a.* (S. *gelæccan*) crafangio, crafangu, pawenu, ysbachu, ysbagu, ewino, cigweinio, cigfachu, grabinio, crafu; gafaelu.
As much as can be clutched—crafangaid.
Clutch, *s.* crafanc, pawen, cigwain; crafangiad, ysbachiad, cigweiniad, cigweiniawd; gafael, gafaeliad, daliad; ysbach.
Clutch-fisted—crafanglawiog, crafanglaw; crafangog, crafangiog, cigweiniol.
Clutches, *s. pl.* crafangau, ewinedd, ysbachau, cigweiniau, cigfachau, pawenau, ysbagau.
To fall into one's clutches — syrthio i grafangau *neu* fachau un; syrthio i ddwylaw un.
Clutter, *s.* (C. *cluder*) pentwr, cruglwyth, cadgamlan, cluder, crug annyben; annybendod; dadwrdd, dwndwr, godwrdd, baldordd, twrf, twrdd, trwst, cynhwrf, cythrwfl, terfysg.
Clutter, *v.* cludeirio; cyttyru yn annhrefnus; gwneyd cymmysgfa; annhrefnu, annybenu; dadyrddu, dwndro, dadwrdd, trystio, terfysgu, cynhyrfu; ymdyru, ymgasglu.
Clypeaster, *s.* (Ll. *clypeus* ac *astrum*) asddraenog.
Clypeate, *a.* (Ll. *clypeatus*) tarianaidd, tarianddull; ar ddull tarian.
Clypeus Sobieski, *s.* Tarian Sobiesci=enw cydser.
Clysmic, *a.* (Gr. *chlusma*) golchol, golchiadol; glanhaol.
Clyster, *s.* (Ll.; Gr. *clustēr*) rhefrolch, llafrolch; llafrelliad.
Clysterize, *v. n.* (o *clyster*) rhefrolchi, llafrellu, chwistrellu y rhefr.

**Clyster-pipe**, *s.* rhefrell, llafrell, rhefrbib, rhefrchwistrell.
**Clysterwise**, *ad.* fel llafrell, fel rhefrbib.
**Cnicus Benedictus**, *s.* ysgallen fendigaid.
**Co, Col, Com, Con, Cor,** blaenddodion Lladin yn cyfateb i *cyd, cym, cyf, cys, cy, cyn, yn nghyd, cyng, gyda*, yn y Gymraeg.
**Coacervate**, *v. a.* (Ll. *coacervo*) pentyru, crugio, tyru, cyttyru, tyru yn nghyd; cynnodi, chwanegu.
**Coacervate**, *a.* (Ll. *coacervatus*) pentyrol, crugiol, crugiog, athyrol, cyttyrol, cynnulledig.
**Coacervation**, *s.* (o *coacervate*) pentyriad, crugiad, crugiant, tyriad, cyttyriad, dasyliad.
**Coach**, *s.* (Ff., Port., ac Ysp. *coche*) cerbyd; clud.
 Mail coach — llythyrglud, llythyrgerbyd, cerbyd llythyrddwyn.
 Stage coach—teithglud, teithgerbyd.
 Hackney coach—cerbyd llog, hurgerbyd, hurglud, llog-gerbyd, clud llog, cerbyd hur.
 Mourning coach — galarglud, alaethglud, cerbyd galar.
**Coach, Couch,** *s.* olgell (mewn cadlong).
**Coach**, *v.* cerbydo; cludo; clutteithio, cerbytteithio; teithio mewn cerbyd; cludgario, cerbydgario; cario mewn cerbyd.
**Coach-box**, *s.* cerbydgist, cludgist, cludsedd, eisteddle cerbydwr.
**Coachful**, *s.* (*coach* a *full*) cerbydaid, llonaid cerbyd.
**Coach-hire**, *s.* cluttal, cerbyttal, hur cerbyd.
**Coach-horse**, *s.* cerbydfarch, cludfarch, march cerbyd.
**Coach-house**, *s.* cerbytty, clutty, ty cerbydau.
**Coachmaker**, *s.* (*coach* a *maker*) saer cerbydau, cerbydsaer, cludsaer, gwneuthurwr cerbydau.
**Coachman**, *s.* (*coach* a *man*) cerbydwr, cerbydydd, cerbytai, cludyrwr.
**Coachmanship**, *s.* (o *coachman*) cerbydwriaeth, cludyriadaeth; medrusrwydd i yru cerbydau.
**Coact**,† *v. a.* (Ll. *coacto*, o *con* ac *ago*) cydweithredu, cyfweithredu, cydweithio.
**Coaction**, *s.* (Ll. *coactio*) cymhelliad, cymhelliant, diriad, dirgymhelliad, gorfod, gorfodiad, dirdra, dirni.
**Coactive**, *a.* (Ll. *coacto*) cymhelliadol, cymhellol, gorfodol, argymhelliadol; cydweithredol, cydweithiol, cyweithiol.
**Coadjument**, *s.* (Ll. *con* ac *adjumentum*) cymhorth, cynnorthwy, cydborth, cysborth, cyffrwy.
**Coadjutant**, *a.* (Ll. *con* ac *adjutans*) cynnorthwyol, cymhorthol, cannorthol, cydborthol, cyffrwyol, cyfnerthol; cydweithiol, cyweithiol.
**Coadjutor**, *s.* (Ll. *con* ac *adjutor*) cynnorthwywr, cynnorthwr, cymhorthwr, helpwr, cannorthwr, cynnorthydd, cyfnerthydd, cyfnerthwr, cydgynnorthwywr, cydswyddog, cyffrwywr, cydhelpwr, cydgymhorthydd.
**Coadjutorship**, *s.* (o *coadjutor*) cynnorthyddiaeth, cannorthyddiaeth, cymhorthiant, cannerthiant.
**Coadjutrix**, *s.* (o *coadjutrix*) cynnorthwyes, cymhorthes, cannorthyddes, &c.
**Coadjuvancy**, *s.* (Ll. *con* ac *adjuvans*) cydgymhorth, cydgynnorthwy, cyffrwy, cydborth, cysborth, cymhorth, cynnorthwy, cydborthyd.
**Coadunate**, *a.* (Ll. *coadunatus*) bongydiol, bonunedig; cyfasedig.
**Coadunition**, *s.* (Ll. *con*, *ad*, ac *unitio*) cynghydiad, uniad, unad, cynghasgliad, cyttaliad, cynhalpiad, defngydiad, casgliad yn nghyd.
**Coadventurer**, *s.* (Ll. *con*, ac *adventurer*) cydanturiwr, cydlyfaswr, cyflyfaswr, cydarfeiddiwr.
**Coafforest**, *v. a.* (Ll. *con*, ac *afforest*) cydbrysori, cydfforestu, troi yn goedwig; prysori, fforestu.
**Coagent**, *s.* (Ll. *con* ac *agens*) cydweithredydd, cydweithydd, cydoberwr, affeithiwr.
**Coagment**, *v. a.* (Ll. *coagmento*) cyttyru, cydbentyru, cydgrugio; tyru *neu* fwrw yn nghyd; gwneuthur yn un tŵr, yn un garn, yn un corff, *neu* yn un clamp; cydgyssylltu; cyssylltu yn nghyd.
**Coagmentation**, *s.* (o *coagment*) cyttyriad, cydbentyriad, cydgrugiad; tyriad *neu* fwriad yn nghyd, &c.
**Coagmented**, *a.* (o *coagment*) cyttyrog, cyttyredig, pentyrog, crugiog, crugiedig; cyttalpiedig.
**Coagulability**, *s.* (o *coagulable*) ceulogrwydd, hygeulogrwydd, ceiadolrwydd, ceuladwyoldeb.
**Coagulable**, *a.* (Ll. *coagulo*) ceuladwy, cawsadwy, ceiadwy, tolchadwy, fferadwy; cyttyradwy.
**Coagulate**, *v.* (Ll. *coagulo*) ceulo, ceuledu, cawsio; troi yn geuled; peru ceulo; ceio, tolchi, cyttyru; fferu; cyttewychu, ymdewychu; cydgasglu.
**Coagulated**, *a.* ceuledig, cawsiedig, tolchedig, ceulog, cawsiog, tolchog.
**Coagulation**, *s.* (o *coagulate*) ceulad, cawsiad; cyttewychiad, ceiad, cynghorffoliad, cynghorffiad, cyttyriad; fferad, fferdod; tolchiad, tolcheniad; tolch, tolchen.
**Coagulative**, *a.* ceuladol, cawsiadol, ceulediadol, cyttewychol, tewychiadol, cyttyriadol; â bair geulo.
**Coagulator**, *s.* ceuledydd, ceuledyr, ceulydd, cyttewychydd.
**Coagulum**, *s.* (Ll.) ceuled, caul; cywer; tolch, tolchen.
**Coak**, *s.*=*Coke*.
**Coaking**, *s.* cesgydiad.
**Coaks**, *s. pl.* trodyllau; hirdrumiau.
**Coal**, *s.* (S. *col*, *coll*; Al. *kohle*) glo: *dim.* glöyn.
 Bind coal, Binding coal, glo rhwym.
 Cannel coal, Candle coal, glo rhinc, glo rhing, glo canwyll, glo ffaglog.
 Burning coal, Live coal, glo byw; rhysod, marwor, marwydos, marwor tanllyd.
 Blind coal, Stone coal, Glance coal, Anthracite, glo caled, glo careg, caledlo, maenlo, glo maen.
 Flaky coal—glo ysbagog.
 Splint coal—ysgyrlo.
 Small coal, Culm, glo cwlwm, glo cwlm, glo clwm, cwlwm, cwlm.
 Cob coal—glo clampiog.
 Coked coal—glo golosg, golosglo.
 Black coal, Bituminous coal, pyglo, glo du, glo duglist.
 Brown coal, Lignite, glo llwyd, llwydlo, coedlo, coedlo duglistaidd.

Jet coal—glo muchudd, glo much.
Coals of fire—marwor tanllyd.
As coals are to burning coals—fel glo i'r marwor.
To carry coals to Newcastle—iro blonegen; bwrw heli i'r môr; bwrw heli yn y môr; bwrw dwfr i, i'r, *neu* mewn afon; cyrchu *neu* nol dwr dros afon; gwneuthur gorchwyl afraid.

**Coal**, *v. a.* golosgi; llosgi yn olosg; glonodi; nodi â golosg.
**Coal-basin**, *s.* basarn glo, pannyledd glo, globant, haenbant glo, pant glo; cae glo.
**Coal-basket**, *s.* basged glo, basged lo; basged golosg.
**Coal-black**, *a.* mòr ddu a'r glo; càn ddued a'r muchudd; gloddu, gorddu, gloewddu, duddu, gloliw.
**Coal-box**, *s.* hawg glo, crwth glo, ysgutell glo, ysgutell lo, cafn glo, hawg, ysgutell, ysgutyll.
**Coal-cart**, *s.* cart glo, glo-gart.
**Coalery**, *s.* (o *coal*) gwaith glo, glofa, glowaith, globwll, pwll glo, clawdd glo.
**Coalesce**, *v. n.* (Ll. *coalesco*) cyduno, cydymuno, cyfuno, ymgyduno, uno yn nghyd; ymlynu, cydlynu, glynu, ymgyssylltu; cyttyfu, cyfdyfu, ymgyttyfu; tyfu yn un *neu* yn nghyd; myned yn un *neu* yn nghyd.
**Coalescence**, *s.* (o *coalesce*) cyduniad, cydymuniad, cyfuniad, unad, uniad, uniant, undeb, ymgyduniad; uniad yn nghyd; ymlyniad, glyniad, ymgyssylltiad, cyssylltiad, cynghorffiad; cyttyfiad, cyfdyfiad; tyfiad yn nghyd.
**Coalescent**, *a.* (Ll. *coalesco*) ymunol, cydunol, cyfunol; cyttwf, cyttyfol, undwf; yn tyfu yn un *neu* yn nghyd; yn myned yn un *neu* yn nghyd.
**Coal-eyed**, *a.* llygadlo, dulygeidiog, llygad-ddu; â'i lygaid mòr ddu a'r glo; glo-lygeidiog.
**Coal-field**, *s.* cae glo, maes glo, glofaes.
**Coal-fire**, *s.* tân glo.
**Coal-fish**, *s.* globysg.
**Coal-formation**, *s.* glowanafau, gwanafau glo, [haenau glo.
**Coal-gas**, *s.* glo-nwy, nwy glo.
**Coal-hod**, *s.* ysgutell lo, hawg glo.
**Coal-hole**, *s.* glodwll, twll glo.
**Coal-house**, *s.* ty glo.
**Coalier**, / **Coallier**, } *s.* (o *coal*) glöwr.
**Coalite**,† *v. a.* uno, cyfuno.
**Coalition**, *s.* (Ll. *coalesco*) cyfuniad, cyduniad, cydymuniad, cyfymuniad, cyssylltiad, cydiad, ymgydiad, uniad, unad, undeb, ymuniad.
**Coalitioner**, *s.* cyfymunwr, &c.
**Coally**, *s.* (Ll. *con*, ac *ally*) cydblaid, cydbleidiwr, cymhleidydd.
**Coal-measure**, *s.* mesur glo.
**Coal-measures**, *s. pl.* glowanafau, gwanafau glo, haenau glo, glofesurau.
**Coal-meter**, *s.* glofesurydd, golygwr mesur glo.
**Coal-mine**, *s.* globwll, gloglawdd, pwll glo, globwll.
**Coal-miner**, *s.* glöwr, glofwnwr.
**Coal-mouse**, *s.* y benlöen lygliw, penlöyn llygliw, yswigw benddu, yswidw benddu.
**Coal-office**, *s.* swyddfa glo, glo-swyddfa.
**Coal-pit**, *s.* globwll, pwll glo, gloglawdd, glowaith, gwaith glo.
**Coal-plants**, *s. pl.* globlanigion, glolysiau, llysiau glo.
**Coal-scuttle**, *s.* hawg glo, crwth glo, ysgutyll glo, cafn glo, ysgutell glo, hawg, ysgutell.
**Coal-ship**, *s.* llong lo, llestr glo.
**Coal-stone**, *s.* glofaen.
**Coal-tar**, *s.* tàr glo, ulbyg glo.
**Coal-work**, *s.* gwaith glo, glowaith, glofa, globwll, gloglawdd, pwll glo.
**Coaly**, *a.* (o *coal*) gloaidd.
**Coal-yard**, *s.* buarth glo.
**Coamings**, *s. pl.* (?) ymylau gorddor, ymylau clorddrws.
**Coannex**, *v. a.* (Ll. *con*, ac *annex*) cydattodi, cyfatddodi, cydgyssylltu, dodi wrth.
**Coapprehend**, *v. a.* (Ll. *con*, ac *apprehend*) cydamgyffred, cyd-ddirnad, cyd-ddeall.
**Coaptation**, *s.* (Ll. *con* ac *apto*) cyfaddasiad, cydaddasiad, cymmesuriad, addasiad, cydgymhwysiad.
**Coarct**, / **Coarctate**, } *v. a.* (Ll. *coarcto*) cydwasgu, cywasgu, cyngwasgu; crugio, pentyru; cyfyngu, caethiwo, caethu; rhwystro, attal, lluddias, nadael.
**Coarctation**, *s.* (o *coarctate*) cydwasgiad, cywasgiad, cyngwasgiad; caethiwad, caethiad, cyfyngiad; attaliad, attalfa, attal, rhwystr, lludd, cwtogiad.
**Coarse**, *a.* (Ll. *crassus*) garw, braisg, bras; trwsgl, (*f.* trosgl), trysglaidd, gwrthun, trwstan, taiog, taiogaidd, anfoneddigaidd, difoes, difwyn, anfoesog, afledneis, annillyn, annestlus, annillynwych, anhyfoes; gwael; anghoethedig, anghoethus, anghoeth, anmhur; anfedrus, anhyfedr.
Coarse cloth—brethyn garw; llian garw, lliain garw.
Coarse thread—edeu fraisg, edaf fraisg, edef fraisg, edef fras.
Coarse wool—gwlan garw, bras-wlan, gwlan bras.
Coarse language—iaith drosgl, trosgliaith, iaith anghoeth, iaith anfoneddigaidd.
Coarse behaviour—ymddygiad trwsgl, ymddygiad anfoneddig, ymddygiad difoes, ymarweddiad anfoneddigaidd, &c.
Coarse metal—mettel anghoeth *neu* anghoethedig; adwyn anmhur.
**Coarseness**, *s.* (o *coarse*) garwedd, gerwinder, breisgedd; trysgledd, taiogedd, taiogrwydd, anfonedd, anfoneddigrwydd, anfoesedd, anfoesogrwydd, afledneisrwydd, annillynedd, anharddwch; anghoethedd, anghoethineb, anmhurdeb, gwaelder, gwaeledd, gwaelineb.
**Coassessor**, *s.* (Ll. *con*, ac *assessor*) cydeisteddwr, cyfeisteddog, cyfeisteddwr; cyttrethwr.
**Coassume**, *v. a.* (Ll. *con* ac *assumo*) cydgymmeryd; cydgymmeryd ar *neu* at; cydamryfu.
**Coast**, *s.* (Ll. *costa;* Ff. *côte;* Al. *küste*) goror; arfordir, mordir, glàn y môr, morlan, arfordwy, cost; bro, gwlad, ardal, parth, tuedd, tiriogaeth; terfyn, cyffin, or, ymyl; cwr, ymyl, eithaf, min, *neu* derfyn gwlad; blaenau, minion, *neu* gyffiniau gwlad; ystlys, ochr; eithafdir.
Sea-coast—arfordir, mordir, glàn y môr, arfordwy, traeth, tywyn, morfin, morlan, morfan, ardalwy, dyarfor, mordai, ardudwy.
The inhabitants of the sea-coast—trigolion y mordir (*Iudeth* ii. 28).
Towns along the coast—arfordrefi, trefi arfor, trefi arforol.
Towards the north coast—ar dueddau y gogledd; ar ororau y gogledd; ar duedd y gogledd; ar gost y gogledd.

In our coasts—yn ein hardaloedd; yn ein parthau, &c.
The coasts of the earth—ystlysau y ddaiar (*Jer.* xxv. 32).
The coast is clear—nid oes neb yma; yr ydym ni yma yn gwbl ddiogel *neu* ddiberygl; darfu'r perygl; aeth y gelyn i'w gilfach; mae'r cost yn rhydd.
**Coast**, *v.* glànforio, orhwylio, gororhwylio; morio *neu* fordwyo gyda'r tir; hwylio gyda'r làn; gerhwylio, ori; hwylio ger llaw, wrth, *neu* yn agos i.
To coast along — morio, mordwyo, *neu* hwylio gyda'r tir; morio gyda'r làn.
**Coaster**, *s.* (o *coast*) orlong, arforlong; glànforwr, hwyliwr gyda'r tir.
**Coasting-trade**, *s.* ordrafnid, gororfasnach; masnach arfor *neu* arforol.
**Coasting-vessel**, *s.* orlong, llestr arfor; llong à hwylio gyda'r tir.
**Coast-rock**, *s.* orgraig, arforgraig, craig arfor.
**Coast-sediment**, *s.* orwaddod, costwaddod, gwaddod arfor. [cwnsallt.
**Coat**, *s.* (Ff. *cotte;* It. *cotta*) hugan, coban, côb, hug, hugyn, pais; amwisg, arwisg, twyg, honffest, telyw; tudded, caen, caenen, rhuchen, huchen, rhuch, crawd, haen, haenen, gorchudd, gwisg; carden.
Coat of arms—pais arfau, achen, arfbais, arfeb; cwnsallt.
Coat of mail—llurig, cadbais, pais ddur, durbais, cynddyl, crys mael, crys dur, llurig emog; curas.
Wearing a coat of mail, } llurigog; dur-
Armed with a coat of mail, } gaen, durgaenog, durgaenedig, cynddylog.
To put on a coat of mail—llurigo, gwisgo llurig, ymlurigo; ymwisgo à *neu* mewn llurig.
To strip one of his coat of mail—dadlurigo un, dilurigo un; dihatru un o'i lurig.
Herald's coat—tabar, pais arwyddfardd;
Riding coat — côb farchogaeth, hugan farchogaeth.
Travelling coat — teithgob, teithgoban, teithbais, hyntbais.
Great coat—côb uchaf, hugan fawr, côb fawr, argoban, uchgoban, uchbais.
Dress coat—trwsgob, trwsgoban, trwsbais.
Frock coat—mantgoban, mantbais.
Waist-coat—gwasgod; berdwyg, crysbais.
Loose coat—llaesgob, llaesgoban, llaesbais, hugan laes.
Close coat—tynhug, tynhugan, tyngoban, coban den.
Petticoat—pais benyw, pais merch, pais bun, pais.
Coat of many colours — hugan fraith; siaced fraith (*Gen.* xxxvii. 3).
Turn-coat—enciliad, ciliad, ffoadur, encilydd, gwrthgiliwr, pleidgiliwr.
Horse's coat—blew ceffyl, blew march.
To cast his coat—bwrw ei henflew; ysgythru ei hen flew.
A hawk of the first coat—hebog dwyflwydd; gwalch dwyflwydd oed.
Coat-feathers—plu, pluf, mânesgyll.
Coat of a mast—amwisg yr hwylbren; amwisg bon hwylbren.
To put on a coat—gwisgo hugan; gwisgo *neu* roi pais am dano; dilladu à hugan *neu* bais; rhoi gwisg am *neu* ar; gwisgo.
Cut your coat according to your cloth—tor dy bais yn ol dy frethyn; oni elli wneuthur fel y mynot, gwna fel y gallot.
My coat must pay for that—fy nghroen i a orfydd dalu; arnaf fi y syrth y gosp am hyn.
Near is my coat, but nearer is my skin—nes i mi fy nghrys na'm pais; nes penelin nag arddwrn; agos fy nghrys, agosach fy nghroen.
**Coat**, *v. a.* caenu, caenenu, gwisgo; rhoi gwisg am *neu* ar; gorchuddio, huddo; taenu dros; gorchuddio dros; tuddedu, tuddo; rhucho, rhuchio.
**Coat-armour**, *s.* pais arfau, achen, arfbais, arfeb; cwnsallt, arfarwyddion, arwyddion bonedd.
**Coating**, *s.* (o *coat*) gorchudd, gorchuddiad, toad, caeniad, tuddad, gwisgad, amwisgad; caen, haen; llurigad; brethyn huganau, defnydd cobau, brethynion.
**Coax**, *v. a.* (C. *cocri*) coegio, gwenieitho, gwenieithu, cocri, truthio, hudo, boddio, gwenfoddio, hudfoddio, twyllfoddio, llithio, lloddi, pratio; tynu drwy deg; hudo â geiriau teg.
**Coaxation**, *s.* (o *coax*) coegiad, cocraeth, cocr, truthiad, gwenieithad, boddiad, deniad.
**Coaxer**, *s.* (o *coax*) coegiwr, gwenieithydd, truthiwr, hudwr, llithiwr, denwr, hudfoddiwr, pratiwr, cocrwr.
**Cob**, *s.* (C.; Al. *kopf*) pen, y pen, cop, còb, copa, top; crinwas, cybydd, gwr crin; pelen, pelan, pel, bwl; blanc, ebol annysbaidd; merlyn, corfarch; còr, pryf copyn, còryn; cleiwellt; breichfasged, breichgesten; maenan.
Herring cob—penwegyn, penweigyn; ysgadenyn ieuanc heb gyrhaedd ei lawn dwf.
**Cob**, *s.* (It. *gabbiano*) hucan, gwylan lwyd.
**Cob**, *v. a.* fflangellu âg astell, llafrastellu.
**Cobalt**, *s.* (Al. ac Is.) cobalt=math o ddelid brau, o liw cochlwyd neu lwydwyn.
Cobalt-bloom—fflur cobalt. [cobaltog.
**Cobaltic**, *a.* (o *cobalt*) cobaltig, cobaltaidd,
**Cobalto-cyanide**, s. cobaltlesid.
**Cobble**, } *s.* (o *cop;* C. *cob, cop*) crynfaen,
**Cobble-stone**, } grofaen, treiglfaen, treigfaen,
**Copple-stone**, } caregan, maenan, treiglarn,
**Cob-stone**, } creigarn: *pl.* crynfain, crynfeini, grofeini, grofain, caregos, cerygos, creigarnau, &c.
**Cobble**, } *s.* (S. *cuople*) cwch pysgota, pysgod-
**Coble**, } fad; ceubal.
**Cobble**, *v. a.* (D. *kobbler*) clytio, brasglytio, brasdaclu, brasgyweirio, brasdrwsio, trwsio.
To cobble old shoes — clytio, taclu, *neu* gyweirio hen esgidiau.
**Cobbler**, *s.* (o *cobble*) clytiwr, brasglytiwr, brasdaclwr, brasdrwsiwr, brasbwythwr, cyweiriwr trwsgl; bongler, bwngleryn, bongleryn; gweithiwr anghelfydd; gwaelyn.
Let not the cobbler go beyond his last—digon i bob un ei gelfyddyd ei hun.
**Cobby**, † *a.* (o *cob*) cryf, pybyr, gwrdd; bywiog, sionc.
**Cobcal**, *s.* llopan ddwyreiniol; sandal benyw yn y Dwyrain.
**Cobcoals**, *s. pl.* glo clampiog.

Cobelligerent, *a.* (Ll. *con*, *bellum*, a *gero*) cydryfelog, cydryfelus, cyfryfelog, cydryfelgar, cyflueddog, cydlüyddog, cydlueddus.
Cobelligerent, *s.* cydryfelblaid, cyfryfelog, cydaerallu; cenedl *neu* deyrnas yn cydryfela.
Cobiron, *s.* (*cob* ac *iron*) gobed, brigwn.
Cobishop, *s.* (Ll. *con*, a *bishop*) cydesgob, cyfesgob.
Cobitis, *s.* (Ll. *cobio*) llyfrothod, llyfrothogion.
Coble, *s.* (S. *cuople*) cwch pysgota, pysgodfad.
Cobloaf, *s.* (S. *cop*, a *loaf*) torth afreolaidd, anwastad, *neu* grofenog.
Cobnut, *s.* (*cob* a *nut*) y gneuen orchfygol (mewn chwareu).
Coboose, *s.* =*Caboose.*
Cobra da Capello, } *s.* (Port.) y sarff gycyllog,
Cobra Capello, } peithwiber, hwfwiber, peithsarff.
Cob-stone, *s.*=*Cobble, Cobble-stone,* &c.
Cobswan, *s.* (*cob* a *swan*) cob-alarch, penalarch, alarch blaen; alarch gwryw.
Cobwall, *s.* (*cob* a *wall*) cleifur, mur clai, gwàl glai.
Cobweb, *s.* (o *cob* a *web;* Is. *kopweb*) gwe y còr, gwe'r còr, gwe'r copyn, gwe'r coryn, gwe copyn, gwe y pryf copyn, copwe, adargopwe, copynwe, rhwd y pryf copyn, còrwe, cyffiniden; magl.
Cobweb, *a.* copweaidd, copweol; fel gwe'r còr; fel rhwyd y pryf copyn; teneu, gwàn, llymsi, masw, gwecry, main, disgraff.
Cobwebbed, *a.* (o *cobweb*) copweog, copweaidd, copynweog.
Cobwebby, *a.* (o *cobweb*) copweog, copynweog, copweaidd; troellog, troellenog; gorchuddiedig â chopwe; ar ddull rhwyd pryf copyn.
Coca, *s.* sychddail gwydden â dyf yn Periw, hynod am beri cwsg.
Cocagne, *s.* (Ff.) gwlad llaeth a mêl; gwlad ddychymygol o segurdod a gorlewnded; Llundain a'i maesdrefi.
Cocalon, *s.* (Ff. *cocon*) gorlindyswe, llindyswe fawr, chwilerwe.
Coccides, *s. pl.* (Ll. *coccus*) llysdrogod, llysdrogenod.
Cocciferous, *a.* (Ll. *coccus* a *fero*) grawnddygol, grawnddwyn, grawnddygus, aeronddwyn, aeronog, baconog, eirinog, llusddygol.
Coccinella, *s.* (Ll. *coccinus*) cochrilion.
Coccolite, *s.* (Gr. *coccos* a *lithos*) gronfaen, aeronfaen.
Coccothraustes, } *s.pl.* (Gr. *coccos* a *thraustos*)
Coccothraustinæ, } y pig-gelyd, y gylfin-gelyd, y gylfinbraff.
Coccus, *s.* (Ll.) grarilion: cell, hadgell.
Coccygeal, *a.* (Gr. *coccux*) cogylfog, cogylfinog; fel gylfin *neu* big y gog.
Coccygeal bones—esgyrn cogylfin.
Coccyx, *s.* (Gr. *coccux*) asgwrn cogylfin, cogylfin.
Coccyzinæ, *s. pl.* (Gr. *coccux*) cogau camylfin, cogau cambig, cogau pig gam.
Cochineal, *s.* (Ysp. *cochinilla;* Ff. *cochenille;* o'r Gr. *coccos*) eirosbryf, cochbryf; eirosnwydd, eirosne, airosne, eirosliw.
Cochineal fig—ffigys y cochbryf, y Nopal.
Cochlea, *s.* (Ll.) cogwrn y glust, clust-gogwrn; cogyrndro.
Cochlean, *a.* (Ll. *cochlear*) llwyaidd.
Cochleare, *s.* (Ll.) llwyaid, llonaid llwy.
Cochlearia, *s. pl.* (Ll. *cochlear*) llwylys, lleynlys, morlwyau, llysiau y llwy.
Cochleary, } *a.* (Ll. *cochlea*) cogyrnog, cogyrn-
Cochleate, } ol; nydd-droawl, dynyddol,
Cochleated, } nydd-droellog, grisdroawl, troellog, ymnyddol, nydd-dröedig, sidrwyol.
Cochlite, *s.* (Gr. *cochlias*) malwenfaen, malweneu.
Cock, *s.* (S. *coc;* Ff. *coq*) ceiliog; *pl.* ceiliogod: dwsel.
Cock (in composition with the names of birds)—gwryw, gwrywol; ceiliog.
A little cock—ceiliogyn, cyw ceiliog.
Cock of the wood—ceiliog y coed, ceiliog coed.
Black cock, } ceiliog du, ceiliog myn-
Black game, } nydd, ceiliog y mynydd,
Black grouse, } ceiliog du y mynydd,
Grouse cock, } ceiliog y grugieir: *f.*
Heath cock, } grugiar, iar fynydd.
Cock of the rock—ceiliog y graig.
Weather cock—ceiliog gwynt; chwafynag.
Wood-cock—cyffylog.
Game cock—ceiliog ymladd.
Turkey cock—ceiliog Twrci.
Cock-pigeon—colomen wryw.
Cock's tread, } gorllydd, rhith.
Cock's treadle, }
Cock's wattles — tagellau ceiliog, tegyll ceiliog.
Cock's spur—ysbardun ceiliog.
Cock of a dial—nodwydd, dangoseg, dangosai, bys, *neu* fynegbost heulfynag.
Cock of a bow—rhigol bwa, rhygn bwa, gwlf bwa.
Cock of a cistern—dwsel, ceg y dwsel, ceiliog y pistyll.
Cock of an arrow—gwlf saeth.
Cock of a gun—teryn gŵn, cnicyn dryll, morthwyl clo gŵn, tândarawydd.
Cock of a hat—gwalc het.
Cock of hay — mwdwl o wair, mwdwl [gwair.
A little cock of hay—mydylyn o wair.
The young cock croweth after the old one —â gre y frân fawr a gre y frân fechan.
Cock a hoop, } gorfoleddus gàn
Cock on the hoop, } lwyddiant; yn ei gyflawn orfoledd; yn eithaf ei lawenydd; yn uchel ei grib; yn uchel ei ben; ar adenydd ffawd; â'r byd wrth ei fodd; yn nofio mewn gwynfyd; yn *neu* wedi chwyddo gàn falchder; gorhoenus, gorllawen; ar ei uchelfanau.
A story of a cock and a bull—chwedl y ceiliog a'r tarw; chwedl heb na phen na chynffon; chwedl heb na dyben na dosbarth; chwedl ddilun.
Cock, *v.* gwalcio, sythgodi, sythu, codi, ymgodi, dyrchafu; troi i fyny; torchi i fyny; ymylgodi, byldorchi; cafnu; codi y pen i fyny; pensythu; mydylu; edrych yn sur *neu* flwng; edrych yn fras, yn fawr, *neu* yn sarig; † cocri.
To cock a gun—codi cnicyn dryll; cod morthwyl gŵn.
To cock an arrow—addasu saeth i'r bwa; trecio saeth.
To cock a hat—gwalcio het; codi ymylau hed; cafnu het ar i fyny; ymylgodi het.
To cock hay—mydylu gwair.
Cockade, *s.* (Ff. *cocarde;* Ysp. *cocarda*) hetrosyn, hetnodyn, hedrosyn, swyddrosyn.
Cockaded, *a.* hetrosynog, hetrosog, hetnodog.
Cockal, *s.* math ar chwareu.

**Cockatoo**, *s.* (oddi wrth ei lais) coccatŵ, tyff-barrot=math o barrot.
**Cockatrice**, *s.* (Ff. *cocatrix*) ceiliog neidr, y fad felen, teyrnsarff=math o sarff neu wiber â ofergoelid ei bod yn cael ei chynnyrchu o ŵy ceiliog.
**Cock-bill**, *s.* gollyngbig.
**Cockboat**, *s.* (It. *cocch*, C. *cwch*, a *boat*) cwch bach, bad bychan; cwch, bad, cwch llong, còrgwch, còrfad.
**Cockbrained**, *a.* (*cock* a *brain*) penchwiban, chwidr, chwibwrn, ehud, ysgoewan, byr-bwyll.
**Cockbroth**, *s.* (*cock* a *broth*) cawl ceiliog, potes ceiliog.
**Cockchafer**, *s.* (*cock* a *chafer*) chwilen y baw, chwilen y dom, chwil, chwilen.
**Cock-crow**, } *s.* caniad ceiliog, caniad y
**Cock-crowing**, } ceiliog; pylgain, plygain.
**Cocker**, *v. a.* (C. *cocri*) cocri, anwesu, maldodi, llochi, anwylo, pratio; porthi mwythau; porthi nwythau; gwneuthur anwes i; magu yn foethus; dwyn i fyny yn foethus; tramawrhau; mawrhau yn ormodd; rhoi gormod o'r ffrwyn *neu* o'r ffordd i.
Cockered child—plentyn anwesog; anwesog.
**Cocker**, *s.* (o *cock*) ceiliogwr, ceiliogydd, ymladdwr ceiliogod: socas; ysnidgi.
**Cockerel**, *s.* (bychanig o *cock*) ceiliogyn, ceiliog ieuanc, cyw celiog, cyw-geiliog.
**Cockering**, *s.* (o *cocker*, *v. a.*) anwes, cocr, cocraeth, maldodaeth, maldod, llochiad, darfoethiant.
**Cocket**, *s.* (Ff. *cachet?*) tollysgrif, tollysgrifen; sel cyllitty; breinsel; trafnwarant, trafndocyn, tollwarant; gwarant; cyllitty, cyllidfa, tolldy; gollyngeb.
**Cocket**, *a.* hoew, bywiog, heini, chwim, nwyfus, gweisgi, esgudlym; cymhen; tafodrydd, pert.
**Cocket-bread**, *s.* bara manbaill, bara man-gan.
**Cock-fight**, } *s.* ymladd ceiliogod, ymladdfa
**Cock-fighting**, } ceiliogod.
**Cock-headed**, *a.* penceiliog; â phen fel pen ceiliog iddo.
**Cock-horse**, *a.* ar gefn ceffyl; ar geffyl; ar gefn ei geffyl; ar ei uchelfanau; gorfoleddus; yn eithaf ei lawenydd; yn uchel ei grib; yn uchel ei ben; â'r byd wrth ei fodd; yn uchel ei rwysg; yn uchel ei drem; yn benuchel.
**Cocking**, *s.* (o *cock*) ymladd ceiliogod.
**Cockle**, *s.* (S. *coccel*, *cocel*, *cocle*) bulwg, ydig, gith; llèr, efrau, efre, efr: *sing.* efryn, lleren: *pl.* efrau.
Corn cockle—bulwg Rhufain, ydig, pabi'r gwenith.
**Cockle**, *s.* (Gr. *cochlos*; Ll. *cochlea*; Ff. *coquille*) cocos, rhython: *sing.* cocosen, cocysen, rhythonen:† ceiliogyn.
Hot-cockles—llawdaro, llawdaraw.
To play at hot-cockles—chwareu llawdaro.
**Cockle**, *v.* crychu, ymgrychu, cori, ymgrynöi; tynu ato; tolcio.
**Cockled**, *a.* crych, crychiog, crychedig, ymgrychedig; nyddawl, troawl; cregynog, rhythonog.
**Cockle-oast**, *s.* odyn hopys, odyn bensag.
**Cockler**, *s.* (o *cockle*) rhythonwr, cocosydd; gwerthydd rhython *neu* gocos.
**Cockle-stairs**, *s. pl.* grisiau tro, nyddrisiau, grisiau tröedig.
**Cockloft**, *s.* (*cock* a *loft*) croglofft, coeglofft, nenawr; ystafell hen gelfi.
**Cock-master**, *s.* magwr ceiliog, ceiliogfagwr, megidydd ceiliogod ymladd.
**Cock-match**, *s.* ymladd ceiliogod, ymladdfa ceiliogod.
**Cockney**, *s.* (Ff. *cocagne*; Ll. *coquina*, cegin?) Llundeinydd, Llundeiniad; dyn meddfaeth; plentyn anwesog; cocryn; un nas gŵyr wahaniaeth rhwng ceiliog yn canu a march yn gweryru.
Cockney dialect — llafarwedd Llundain, llafariaith Llundain.
**Cockney-like**, *a.* Llundeinaidd; meddfaeth, anwesaidd, cocraidd.
**Cockneyism**, *s.* (o *cockney*) Llundeiniaeth; anwesogaeth, cocrynaeth.
**Cock-paddle**, *s.* morddylluan, morddalluan, clamppysg.
**Cockpit**, *s.* (*cock* a *pit*) cadlas ceiliogod; ymladdle, cadfa, midlan, *neu* dwmpath ceiliogod; trinfa.
**Cockroach**, *s.* (*cock* a *roach*) rhufchwilen, archwilen.
**Cockscomb**, *s.* (*cock* a *comb*) crib ceiliog; cribell; coegyn.
**Cock's-foot Grass**, *s.* byswellt, grugwellt, troed y ceiliog, dant y ci.
**Cockshead**, *s.* (*cock* a *head*) codog.
**Cockshut**, *s.* (*cock* a *shut*) cyflychwyr; pryd yr ä yr ieir i gysgu *neu* i'r glwyd; cyfliw gwr a llwyn.
**Cockspur**, *s.* (*cock* a *spur*) ysbardun ceiliog.
**Cocksure**, *a.* cwbl sicr, tra hyderus; hyderus, sicr, diogel.
**Cockswain**, *s.* (*cock*, cwch, a *swain*) badlywydd.
**Cockweed**, *s.* (*cock* a *weed*) pupyrlys, pybyrlys.
**Cocoa**, } *s.* (Ysp. Port. *coco*) Cocoa, Coco,
**Cacao**, } Cacao, Cocos, dwyfyswydd=math o balmwydden: cocoswy, cneulyn.
**Cocoa-nut**, *s.* cneuen Cocoa, cocöen; cneuen *neu* ffrwyth y pren Cocoa; cocosgneuen.
**Cocoic Acid**, *s.* sur cocöig, sur cocosig.
**Cocoon**, *s.* (Ff. *cocon*) llindyswe, chwilerwe.
**Cocoonery**, *s.* (o *cocoon*) gweudy sidanbryf.
**Cocos**, *s.* (Ysp. *coco*; o *macoco*, gair Portugeig am epa) y pren Cocoa, Cocos, Cocoswydd.
**Coctible**, *a.* (Ll. *coctibilis*) berwadwy, hyferw, hygras; hawdd ei ferwi, ei bobi, *neu* ei grasu.
**Coctile**, *a.* (Ll. *coctilis*) crasedig, cras, pob, pobedig.
**Coction**, *s.* (Ll. *coctio*) berwad; traul, treuliad.
**Cod**, } *s.* (Ll. *gadus*) y penfras, y pysg
**Cod-fish**, } penfras.
Cod's head—dyn pendrwm, dyn pendew, clwpa, hurthgen.
**Cod**, *s.* (C.; S. *codd*) cod, cibyn, cib, masgl, paisg, plisglyn, ponar; coden, cwd; ceillgod, caill; gobenydd, clustog.
**Cod**, *v. a.* codenu, cibynu; cau mewn masgl.
**Coda**, *s.* (It.) adgload, adglwm.
**Codded**, *a.* (o *cod*) codog, codenog, peisgog, masglog; codenedig, masgledig, peisgedig.
**Codder**, *s.* (o *cod*) peisgydd, peisgwr, cibeuwr.
**Coddy**, *a.* (o *cod*) masglog, cibog, plisgog, peisgog, cibynog.
**Coddy-moddy**, *s.* gwylan yn mhluf ei blwyddyn gyntaf.
**Code**, *s.* (Ff.; Ll. *codex*, *caudex*) rheithlyfr, deddflyfr, deddfres; llyfr *neu* gasgl o gyfreithiau; llyfr; greal, greawd, greant.
The Theodosian code—deddflyfr Tewdws, rheithlyfr Theodosius.

Code of laws—deddfres, rheithres, rheithlyfr.
Codeia, Codeina, Codeine, s. (Gr. *cŏdeia*) nillalcali, nillwrthsur, llysalcali nillaidd, cysgalcali.
Codex, s. (Ll.) ysgriflyfr; llawysgrif.
Codger, s. (Ysp. *coger?* o *cottager?*) buach, delff, taiog, cabrotyn; cybydd, crinwas, cerlyn, crintachwr.
Codicil, s. (Ll. *codicillus*) olwyllys, atwyllys, chwanegiad at ewyllys.
Codicillary, a. (o *codicil*) olwyllysiol, atwyllysiol; chwanegol at ewyllys.
Codification, s. (Ll. *codex* a *facio*) deddflyfriad, rheithlyfriad, deddfodiad.
Codifier, Codist, s. (o *code*) deddflyfrwr, rheithlyfrwr, deddfodydd.
Codify, v. a. (Ll. *codex* a *facio*) deddlyfru, rheithlyfru, deddfodi, rheithgasglu; greodi, greannu.
Codille, s. (Ff.) enw ar chwareu cardiau.
Codle, Coddle, v. a. (Ll. *coctulo*) goferwi, lledferwi, berwi.
Codle,† v. a. mawrhau, maldodi.
Codling, Codlin, s. (o *codle*) còrafal rhagaddfed; afal berwadwy; afal hyferw *neu* oferwedig; afal berwedig; afal cynnar.
Codlins and cream—helyglys per, helyglys panog.
Codling, s. (o *cod*) penfresyn, penfras ieuanc.
Coefficacy, s. (Ll. *con*, ac *efficacy*) cydeffaith, cydeffeithioldeb, cydeffeithrwydd, cydnerthineb, cydnerthedd, cydnerthusrwydd, cydallu, cyfallu.
Coefficiency, s. (*con*, a *cefficiency*) cydweithrediad, cyweithrediad, cydeffeithiad, cydeffeithioldeb, cydeffaith, cydachosiaeth, cyfachosiad, cydberiadaeth, cyfallwyedd.
Coefficient, a. (Ll. *con* ac *efficiens*) cydweithredol, cyweithiol, cydweithiol; cydachosol, cydeffeithiol; à gydweithio; yn cydweithio; cyfallwy.
Coefficient, s. cyweithydd, cydweithydd, cydeffeithydd.
Coelder, s. (*con* ac *elder*) cydhenuriad, cydhenadur.
Coelection, s. (*con* ac *election*) cydetholiad, cydetholiant, cydetholedigaeth, cyd-ddewisiad.
Cœlature, Celature, s. (Ll. *cœlo*) cerfiadaeth, crifiadaeth; crifelliad, cerfiad, cerfwaith, crifellwaith.
Cœliac, Celiac, a. (Gr. *coiliacos*) bolaidd, bolyol, bolaol, rhumenol, ceudodol; coluddol, perfeddol; perthynol i'r bol.
Cœlogenus, s. (Gr. *coileô* a *gennaô*) y ceuanogion.
Coemption, s. (Ll. *coemptio*) ollbryniad, hollbryniad, cyfanbryniad.
Coenjoy, v. a. (*con* ac *enjoy*) cydfwynhau, cydfeddu.
Coequal, a. (Ll. *con* ac *æqualis*) gogystal, gogyfurdd, gogyfuwch, cyfartal, cydgyfartal, gogyfartal, cydradd, cydraddol, cystal, cystadl, cyfeisor, cydwastad, gogyfiol.
Coequal, s. cystedlydd; un cydradd, &c.
Coequality, s. (*con* ac *equality*) cydraddoldeb, gogystalrwydd, cyfartalrwydd, cydgyfartaledd, cydgyfartalrwydd, gogyfurddiant, gogyfartaledd, cydraddwch, cystadledd, cydgystadledd, cydwastadrwydd, gogyfioldeb.
Coerce, v. a. (Ll. *coerceo*) attal, rhwystro, nadael, arattal, gorfodi, gorfodogi, ffrwyno, ystwyo, lluddias; cymhell, dirio; cadw i lawr.
Coerceableness, s. (o *coerceable*) attaliadwyedd, attaliadolrwydd.
Coercible, Coerceable, a. (o *coerce*) attaliadwy, rhwystradwy, gorfodadwy, ffrwynadwy, cymhelladwy.
Coercion, s. (o *coerce*) attaliad, attal, cyfattaliad, rhwystrad, rhwystr, lludd, gorfod, gorfodaeth, gorfodogaeth; ystwy, ffrwyniad; cerydd, cosp.
Coercive, a. (o *coerce*) attaliadol, rhwystrol, lluddiadol; gorfodol, cymhelliadol; à ettyl *neu* à ddichon attal rhag gwneuthur peth.
Coerectant, Coerected, a. (*con* ac *erect*) cydsythgodol, cydgodiadol.
Coessential, a. (*con* ac *essential*) cydhanfodol, o'r un hanfod, anian, *neu* natur;
Coessentiality, s. (o *coessential*) cydhanfodoldeb, cydhanfodaeth.
Coestablishment, s. (*con* ac *establishment*) cydsefydliad, cyssefydliad.
Coestate, s. (*con* ac *estate*) cydradd, cydystad, cydstad.
Coetaneous, a. (Ll. *coætaneus*) cyfoed, cyfoes, gogyfoed, cyfoediog, cydoed, unoed, cyfoes, cyfoesol; o'r un oes *neu* oed.
Coeternal, a. (Ll. *con* ac *æternus*) cyttragwyddol, cyttragywyddol, gogyd-dragwyddol, cyd-dragwyddol, cydfythol, cyfdragywyddol, cyddragywyddol.
Majesty coeternal — mawrhydi gogydtragywyddol.
Coeternity, s. (Ll. *con* ac *æternitas*) cyttragwyddoldeb, cyttragywyddolrwydd, cyd-dragwyddolrwydd, cydfytholdeb.
Cœur, s. (Ff.) calon, y canol, cesbwynt.
Coeval, Coevous, a. (Ll. *coævus*) cyfoed, cydoed, cyfoediog, cyfoes, cyfoesol, cydoesog, cydoes, unoed, cydoediog, gogyfoed; o'r un oed.
Coeval, s. cyfoediog, cyfoed, cyfoeswr, cydoeswr, cydoesydd, cyfoedydd, cydoed, cyfoes: *pl.* cyfoedion, cyfoesau, &c.
Coexecutor, s. (*con* ac *executor*) cydweinydd cymmyn, cydgymmyniadur, cydweinifiad.
Coexecutrix, s. cydweinyddes cymmyn, cydgymmyniades, cydweinifes, cydgymmynes.
Coexist, v. n. (Ll. *con* ac *existo*) cydhanfod, cydhanfodi, cydfod, cydfodoli, cysbod, cydfydio.
Coexistence, s. cydhanfod, cydhanfodaeth, cydfod, cydfodolaeth, cydfodaeth, cydfydiant.
Coexistent, a. cydhanfodol, cydfodol, cydfydiol.
Coextend, v. n. (Ll. *con* ac *extendo*) cydestyn, cyfestyn, cydymestyn, cyhydeddu, cyhydu, cyfledu.
Coextension, s. (Ll. *con* ac *extensio*) cyfestyniad, cydestyniad, cyhydedd, cyflediad, cyhydiad.
Coextensive, a. cyfestynol, cydestynol, cyfledol, cyfhelaeth, cyflydan, cyfeang.
Coextensiveness, s. (o *coextensive*) cyfestynedd, cydhelaethrwydd, cyfledrwydd, cyfledolrwydd.
Coffee, s. (Ff., Ysp., a Port. *café*, oddi wrth *Caffee*, talaeth yn Narea, yn Affrica) coffi.
Coffee-cup, s. cwpan coffi.
Coffee-house, s. ty coffi, gwerthdy coffi, coffifa; gwestty.
Coffee-man, coffiwr; ceidwad ty coffi.
Coffee-mill, s. melin goffi.

**Coffee-pot**, *s.* pot coffi, callor coffi.
**Coffee-room**, *s.* ystafell goffi, cell goffi; ystafell gyhoeddus gwestty; darllenfa gyhoeddus.
**Coffee-shop**, *s.* maelfa goffi; gwerthfa goffi.
**Coffee-tree**, *s.* coffiwydden, pren coffi.
**Coffein, Coffeine,** *s.* (o *coffee*) coffein, coffain.
**Coffer**, *s.* (Is. ac Al. *koffer*; Ff. *coffre*) coffr, coffor, cist, prenfol; trysorgist; trysor.
**Coffer**, *v. a.* coffri, cistio; gosod mewn cist *neu* goffr.
**Cofferdam**, *s.* (*coffer* a *dam*) seilddargae, seilargae, cistargae; argae, cronfa, pwnt.
**Cofferer**, *s.* (o *coffer*) coffrwr, coffrydd, cistiwr; trysorydd, trysorwr.
**Coffer-work**, *s.* (*coffer* a *work*) cofforwaith, astellfur; grofeinwaith.
**Coffin**, *s.* (Gr. *cophinos*; Ll. *cophinus*; Ysp. *cofin*) arch, prenial, ysgrin; arch *neu* gist corff marw.
  Paper coffin—papyrgorn, papyrflwch, papyrgon.
  Coffin of a printing press—ysgrin argraffwasg.
**Coffin**, *v. a.* gosod mewn arch; rhoi mewn ysgrin *neu* brenial; cau mewn arch.
**Coffinless**, *a.* (*coffin* a *less*) heb arch, heb brenial, heb ysgrin.
**Coffin-maker**, *s.* gwneuthurwr eirch *neu* brenialau; eirchydd, prenialwr.
**Cofounder**, *s.* (*con* a *founder*) cydsylfaenwr, cydsylfaenydd, cydseilydd, cydseiliwr.
**Cog**, *v.* (C. *coegio*) truthio, gweneitho, coegio, hocedu, twyllo, hudo; hudo â theg eiriau; ffugio, ffuantu; celwyddu, dywedyd celwydd, geuo; gwthio *neu* gymhell yn dwyllodrus; chwareu y ffon ddwybig.
  To cog a die—taflu dis yn hyfedr *neu* gelfydd; bod yn dra hyfedr ar daflu dis; medru taflu yr ergyd â fyno; coegio dis; twyll-chwareu ar ddisiau.
**Cog**, *s.* (C. *cocos*) cocas, cog, cocosen, dant, dant rhod, rhod-ddant, dant mewn olwyn: *pl.* cocos, cocasau, cogiau, cogion, daint rhod.
**Cog**, *v. a.* cogio, cocasu; gosod cocos *neu* ddannedd.
**Cog, Coggle,** *s.* (C. *cwch*; It. *coca*) cwch, bad; cwch pysgota.
**Cogency**, *s.* (Ll. *cogens*, o *cogo*) grym, nerth, yni, dirni, dirnerth, gallu, gall, nerthineb, nertholdeb, effeithioldeb, grymusedd.
  Cogency of argument—grym rheswm, grym ymresymu.
**Cogenial**,† *a.*=*Congenial.*
**Cogent**, *a.* (Ll. *cogens*) grymus, nerthol, nerthus, nerthog, hyrym, dirnerthol, cadarn; effeithiol; cymhellus, cymhellgar, cymhelliadol, taer, dir, pwysfawr, egnïol.
**Cogged**, *a.* (o *cog*) cocasog, cocosog, deintog.
**Cogger**, *s.* (o *cog, v.*) coegiwr, truthiwr, gweneithydd, twyllwr, hocedydd, ffugiwr, pratiwr.
**Coggery**, *s.* (o *cogger*) hoced, twyll, twyllofaint, coegedd, ffugiant, ffalsedd; cast.
**Cogging**, *s.* (o *cog*) twyll, hoced, cast, ystryw; ffalsedd, geuedd; celwydd; truthiad, gweneithad.
  Cogging gamester—disiwr dichellgar, disiwr twyllodrus.
**Coggle-stone**, *s.* mân-garegan, mân-grynfaen; caregyn, caregan.
**Cogitable**, *a.* (Ll. *cogito*) meddyliadwy, syniadwy.
**Cogitate**, *v. n.* (Ll. *cogito*) meddylied, meddylio, meddwl, synied, ystyried, ystyrio; myfyrio, myfyrian.
**Cogitation**, *s.* (o *cogitate*) meddwl, syniad; meddyliad, ystyriaeth, ystyriad, meddylfryd, myfyriad, myfyrdod, myfyriaeth, arystyriad, myfyriawd, bwriad, amcan, bryd, argynghyd; meddylgarwch.
**Cogitative**, *a.* (o *cogitate*) meddyliol, meddyliog, syniol, syniadol; myfyriol, myfyriadol, meddylgar, myfyrgar, myfyr, myfyrdodol, myfyriannol, myfyrus, myfyriedigol, argynghydus, cynghydus, adfeddyliol.
**Cognate**, *a.* (Ll. *cognatus*) cyttrasol, cyttrasog, cystlynaidd, cystlynol, perthynasol, perthynol, cyfathrachol, undras, cytteuluol, cyddechreuol, cydhanol, cydhanedig, cydgenedl, cydfonedd; ystlenaidd; cydrywiol, cyfrywiol; o'r un tarddiad, haniad, gwraidd, *neu* deulu.
**Cognate**, *s.* perthynas; mamdras; carennydd, cystlynedd; carennydd gwryw o du y fam.
**Cognateness**, *s.* (o *cognate*) cyttrasogrwydd, cyttrasoldeb, cyttrasolrwydd, cystlynedd; cyfathrach.
**Cognation**, *s.* (Ll. *cognatio*) cyttras, cyttrasedd, cystlynedd, cystlyned, carennydd; bonedd o du tad a mam; cyfathrach, cystlwn, perthynas, tras, cydberthynas, cydgarennydd; cyfanian.
**Cogniac**, *s.* (o *Cognac*, tref yn Ffrainc) lloswin Cognac, Coniac, y poethwin goreu, alferwin.
**Cognisee, Cognizee,** *s.* (o'r Ll. *cognosco*) dirwyai, derbynydd dirwy; hawlblaid, cwynwr.
**Cognisor, Cognizor,** *s.* (Ll. *cognosco*) dirwyog, addefwr dirwy; amddiffynydd, ymddiffynwr, diffynblaid.
**Cognition**, *s.* (Ll. *cognitio*) gwybyddiaeth, gwybodaeth, adnabyddiaeth, nabyddiaeth, nabodaeth, nabyddiad, nabodiad, nabod, gwyddyd.
**Cognitive**, *a.* (Ll. *cognitus*) gwybyddol, gwybodol, gwyddiadol, nabyddol, nabodol, nabyddus; â fedr wybod.
**Cognizable**, *a.* (Ff. *connoissable*, o'r Ll. *cognosco*) gwybyddadwy, gwybodadwy, nabodadwy; holadwy, cynghawsadwy, prawfadwy, gwrandawadwy; gwiw i'w holi; agored i'w brofi; barnholadwy.
**Cognizance, Cognisance,** *s.* (Ff. *connoissance*) gwybyddiaeth, gwybodaeth, nabyddiaeth, nabodaeth, gwyddyd, adnabyddiaeth, nabyddiad; holiad, holawd, chwiliad, barnholiad, barnwybyddiaeth, holedigaeth, clywedigaeth; gwrandawiad cwyn *neu* achos; addefiad, cyfaddefiad; sylwad, sylw, canfodiad; nabodnodeb.
  To take cognizance, To have cognizance,—gwrandaw dadl, cwyn, *neu* achos; profi, holi, *neu* chwilio achos; profi hawl; chwilio *neu* holi mater; profi cwyn *neu* gynghawsedd; gwrandaw cynghawsedd; gwrandaw cynghawsedd; gwrandaw dadl er rhoi barn ynddi *neu* arni.
  To fall under a person's cognizance—dyfod i wybodaeth un; dyfod dàn holiad un; dyfod dàn sylw un.
**Cognizant**, *a.* gwybyddus, gwybodus, nabyddus, nabodus, adnabyddus, cydnabyddus; holiadus; cymhwys i dderbyn rhybudd cyfreithiol.

Cognomen, *s.* (Ll.) cyfenw, gorenw, atenw, adenw; llysenw.
Cognominal, *a.* (o *cognomen*) cyfenwol, gorenwol, atenwol, adenwol, cyfenwadol; llysenwol; cydenwol, o'r un enw.
Cognomination, *s.* (o *cognomen*) cyfenwad, gorenwad, atenwad; llysenwad.
Cognominate,† *v. a.* (Ll. *cognomino*) cyfenwi, enwi.
Cognoscence, *s.* (Ll. *cognosco*) gwybyddiaeth, gwybodaeth, nabyddiaeth.
Cognoscente, *s.* (Ll. *cognosco*) hyfeirniad, hywyddon, gwybodwr, cyfarwydd, celfwyddwr, celfwyddiad, beirniad.
Cognoscibility, *s.* (o *cognoscible*) gwybyddoldeb, gwybodoldeb, hywybodedd, nabyddadwyedd, gwybodadwyedd.
Cognoscible, *a.* (o'r Ll. *cognosco*) gwybodadwy, gwybyddadwy, nabodadwy, nabyddadwy; chwiliadwy, holadwy, olrheinadwy; à ellir ei wybod.
Cognoscitive, *a.* (o'r Ll. *cognosco*) gwybodiadol, gwybyddiadol, gwybodaethol.
Cognovit, *s.* (Ll.) hawladdefiad.
Coguar, *s.* un o bedrybedogion cigysol America.
Coguardian, *s.* (*con* a *guardian*) cydwarchodydd, cydwarcheidydd, cydgeidwad.
Cogwheel, *s.* (*cog* a *wheel*) deintrod, rhod gocasau.
Cohabit, *v. n.* (Ll. *cohabito*) cyttrigo, cydfyw, cydfywio, cyttal, ymgyttal, cystrigo, cyttrigiannu, cyttrefu, cydanneddu, cydlettya; cydwelya; cyfanneddu yn nghyd; cydfyw fel gwr a gwraig.
Cohabitant, *s.* (Ll. *cohabitans*) cyttrigydd, cyttrigwr, cyttrigiannydd, cystrigydd, cydanneddwr, cyttywr, cydbreswylydd, cyfanneddwr: *pl.* cyttrigolion.
Cohabitation, *s.* (Ll. *cohabitatio*) cyttrigiad, cyttrigias, cyttref, cyttrefiad, cyttrefad, cyttrefiant, cystrigiad, cyttyaeth, cydanneddiad; cywelyogaeth, cydwelyaeth, cywestwch, cywestach.
Coheir, *s.* (Ll. *cohæres*) cydetifedd, cyttifedd, cyfetifedd, cyttreftadog, cydetifeddwr.
Coheiress, *s.* (o *coheir*) cydetifeddes, cyttifeddes, cyfetifeddes.
Coherald, *s.* (*con* a *herald*) cydherodr, cydherodur, cydherodydd.
Cohere, *v. n.* (Ll. *cohæreo*) cydlynu, glynu, cyflynu, ymlynu, cydymlynu, glynu yn nghyd, ymwasgu; cytuno, cyduno, cydymuno, ymgyssylltu; sutio, cyngweddu, cyfateb.
Coherence, Coherency, } *s.* (o *cohere*) cydlyniad, cydymlyniad, cyflyniad, glyniad, cydiad, ymgydiad; cydundeb, cytuundeb; cyssylltiad, cyfuniad, cyfunedd, cyfundod, cynghydiad, unad; cyssondeb, cyssonder, cyssonedd.
His discourse had no coherence—nid oedd cyssondeb yn ei ymadrodd.
Coherent, *a.* (Ll. *cohærens*) cydlynol, cyflynol, ymlynol, cyfymlynol, ymgydiol; yn cydlynu; cyfunol, cydunol, cytunol, cytun, cyngweddol; yn cytuno, yn cyngweddu; cyssylltiol, cyssylltedig, unol, unedig; addas, cyfaddas, sutiol, cymhwys, cymmesur; cysson.
Cohesibility, *s.* (o *cohesible*) glynolrwydd, hylynedd, cydlynoldeb, hylynrwydd, cydlynedd.
Cohesible, *a.* (Ll. *cohæsum*) glynadwy, hylyn, cydlynadwy, ymlynadwy.
Cohesion, *s.* (Ll. *cohæsio*, o *cohæreo*) cydlyniad, cyflyniad, glyniad, ymlyniad, cydymlyniad, cydiad, ymgydiad; cyssylltiad, cyfuniad, unad, uniad; cydymrwymiad; ymddibyniad.
Cohesive, *a.* (Ll. *cohæsum*) cydlynol, cyflynol, cydlynaidd, cydlyniadol, ymlynol, cydymlynol, ymgydiol, ymunol.
Cohesiveness, *s.* (o *cohesive*) cydlynoldeb, cydlynolrwydd, glynoldeb, glynolrwydd, ymlynoldeb, cydlynogrwydd.
Cohibit, *v. a.* (Ll. *cohibeo*) attal, rhwystro, lluddias, gwahardd, bustachu; cadw i mewn.
Cohobate, *v. a.* (Port. *cohorar*) ad-ddystyllu, ad-ddystyllio, adferino, arddystyllu, arddystyllio, ailddystyllio, arhidlo.
Cohobation, *s.* (Ysp. *cohobacion*) ad-ddystylliad, arddystylliad, adferinad, ailddystylliad, arhidlad.
Cohort, *s.* (Ll. *cohors*) catrawd Rufeinig, myntai Rufeinig=y ddegfed ran o leng, sef o 500 i 600 o wŷr: byddin, llu, cadlu.
His cohorts were gleaming in purple and gold—ei fyddin mewn porffor ac aur a ddysgleiniai.
Cohortation,† *s.* (Ll. *cohortatio*) annogaeth, annog.
Coif, *s.* (Ff. *coiffe*) moled, penwisg, cap, penguwch; graddgap, graddgapau, urddgap, brigap.
Net-work coif—penguwch rhwyllog, brigap rhwyllog.
Coif, *v. a.* moledu, penwisgo, brigapio; gwisgo â phenguwch.
Coifed, *a.* moledog; yn gwisgo graddgap; brigapiog.
Coiffure, *s.* (Ff.) penwisg, penllian.
Coigne, Coiny, } *v. n.* (Gael. *co'eignich*) byw ar gribddail; cribddeilio.
Coigne, *s.* (Ff. *coin*) cornel, congl, ebach.
Coil, *v. a.* (Ff. *cueillir*) torchi; dyrwyn yn dorch; amddyrwyn, cylchddyrwyn, dyrwyn; ymdorchi; rhaffrwyo.
To coil itself up—ymdorchi, ymddyrwyn, ymddolenu.
Coil, *s.* torch, rhaffrwy, rhaff dorchedig; gwden: †terfysg, cythrwfl, cynhwrf, dwndwr.
Coiled, *a.* torchog, torchedig, ymdorchol.
Coin, *s.* (Ff.; Ysp. *cuna*) bath; arian bath, arian bathol, mwnai, arian, ariant, arian rhif; da bath, da bathol; bathell, bathon, bathyn, bathodyn, batharn: *pl.* bathion, bathau, batholion, batharnau, &c.
Gold coin—aur bath; bath aur, bathell aur, eurfath.
Silver coin—arian bath; bath arian, ariangan, bathell arian, arianfath.
Current coin—arian bath, arian cymmeradwy, arian damred, arian gwirfath.
Ancient coins—batholion hynafol, bathion henafol, hen ddarnau bath=yn benaf eiddo yr Iuddewon, y Groegiaid, a'r Rhufeiniaid.
Much coin, much care—cyfoeth a bair ofal.
To pay a person in his own coin—talu cast am gast; talu un yn ei fath ei hun; gwneuthur âg *neu* i un fel y gwnaeth yntau âg *neu* i un arall.
Coin, Coigne, } *s.* (Ff.; Gr. *gônia*; Ll. *cuneus*) cornel, congl, ebach; adeildwdd; naddfaen congl; gaing, cŷn, llettem.
Coin, *v. a.* bathu; lluuio, ffurfio, dyfeisio; ffugio; gwneuthur; dychymygu.

To coin money—bathu arian, bathu.
To coin words — bathu geiriau, ffurfio geiriau.
Coined words—geiriau bathedig, geiriau gwneuthur, geiriau bath, batheiriau.
New-coined words—geiriau newyddfath; dyfeiseiriau diweddar *neu* newydd; geiriau newydd fathedig; geiriau bathedig newyddion; batheiriau newyddion.
To coin a lie—llunio celwydd, dyfeisio celwydd.
Coined specie—da bathol, arian bathol.
Live stock and coined specie—da byw a da bathol.
Coining press, } bathwasg, bathermig,
Coining apparatus, } bathoffer, cyfarpar bathu, bathgyfarpar.
**Coinage,** } *s.* (o *coin*) bathiad, bathawd, bath-
**Coining,** } iadaeth; arian bath, arian bathol; batharian; bathdal; batholion, bathion, bathonau; gwaith bathwr; dyfeisiad, dyfais, lluniad, ffurfiad, gwneuthuriad, ffugiad, ffugiant, ffugwaith.
The coinage of William the Fourth—bathion, batholion, *neu* fatharnau Gwilym y Pedwerydd; arian bath Gwilym y Pedwerydd.
**Coincide,** *v. n.* (Ll. *con* ac *incido*) cyttaraw, cyttaro, cydgyfarfod; cyttuno, cydsynied; cyfladd, cydredeg, cyfredeg; ymgyfarfod, cyd-ddygwyddo; syrthio *neu* ddygwyddo ar yr un amser; cydfyned; amddal.
**Coincidence,** *s.* (Ll. *con* ac *incido*) cyttarawiad, cydgyfarfod, ymgyfarfod, cytuniad, cytundeb, cyfladdiad, cydrediad, cyfrediad, cyfred, ymgyfred, cyd-ddygwyddiad, cyfddygwyddiad, cyfddamwaen, cyd-ddamwaen, cydchwaen; cyssondeb.
**Coincident,** *a.* cyd-ddygwyddol, cyttarawol, cyfladdol, cydamserol, cydredol, cyfredol, cytunol, cydunol, cydachlysurol, cyfarfodol, cydred, cyfred; yn cytuno, &c.; yn *neu* wedi dygwyddo *neu* syrthio ar yr un amser.
**Coincider,** *s.* (o *coincide*) cyfladdwr, cydredydd, cyfredwr, cytunwr; à gyttarawo, &c.
**Coindication,** *s.* (Ll. *con* ac *indicatio*) cydarwydd, arwydd cydred.
**Coiner,** *s.* (o *coin*) bathwr, bathydd; bathwr arian; lluniwr, dyfeisydd, dychymygwr, ffugiwr.
**Coinhabitant,** *s.* (*con* ac *inhabitant*) cyttrigwr, cyttrigydd, cyttrigiannydd, cyttrigianwr, cyttrefwr, cydbreswylydd: *pl.* cyttrigolion.
**Coinherit,** *v. a.* (*con* ac *inherit*) cydetifeddu, cyttifeddu, cyfetifeddu.
**Coinheritance,** *s.* (*con* ac *inheritance*) cydetifeddiaeth, cydetifiant, cyttifeddiaeth, cyttreftadaeth, cyfetifeddiaeth.
**Coinheritor,** *s.* (*con* ac *inheritor*) cydetifedd, cyttifedd, cyfetifedd, cydetifeddwr, cyttreftadog.
**Coinquinate,**† *v. a.* (Ll. *coinquino*) halogi, diwyno.
**Coinquination,**† *s.* (o *coinquinate*) halogiad.
**Coinstantaneous,** *a.* (Ll. *con,* ac *instantaneous*) cyd-ddïattreg, cyd-ddisymmwth, cyfddisyfyd.
**Coir,** *s.* edef à wneir o gib y Cocoa.
**Coistril,** *s.* (o *kestrel*) ciliad, cilydd, ciliwr, ffoadur, cilgi, llyrfwas, llwfr, anwr; llencyn, bachgenyn, hogyn.
**Coit,** *s.* (Is. *coite*) coetan, coeten, taflechen, taflgant, llechen dafl; *pl.* coetanau, coetau.
Coit-caster, } coetanwr, chwareuwr coet-
Coit-player, } anau, taflwr coetanau.
**Coit,** *v.* taflu *neu* chwareu coetanau; taflu; coetanu; chwareu coetan.
**Coition,** *s.* (Ll. *coitio*) cydiad, cyd, cydgnawd, cydgnodiad, ymread, cyrid, ymrewydd, cywestach, cnuchiant, cnuchiad, cynglyn, cynghlwm, ymgyd.
**Coix,** *s.* (Gr.) dagrau Iob, deigr Iob.
**Cojoin,** *v. a.* (Ll. *con,* a *join*) cyfuno, cydgyssylltu, cydswyddogi.
**Cojuror,** *s.* (Ll. *con* a *juro*) cyttyngwr.
**Coke,** *s.* (Ll. *coquo?*) golosglo, glo golosg, llosglo; marwor.
**Colander,** *s.* (Ll. *colo*) hidl, hidlyr, hidyl.
**Colares,** *s.* gwin digymmysg Portugal.
**Colation,** *s.* (Ll. *colo*) hidlad; gwyburad, awgoethiad.
**Colature,** *s.* (Ll. *colo*) hidlad; hidlion; y peth hidledig.
**Colbertine,** } *s.* (oddi wrth I. B. *Colbert?*) math
**Colberteen,** } o ysnoden, colberten.
**Colchicum,** *s.* (o *Colchis*) saffrwm y gwaenydd, saffr y gwaenydd, saffyr y gwaenydd.
Colchicum autumnale, } saffrwm y gwaen-
Meadow saffron, } ydd, saffryr y gwaenydd, saffr y gwaenydd.
**Colcothar,** *s.* (?) haiarnrwd, harnegrid.
**Cold,** *a.* (S. *cald;* D. *kold;* Al. *kalt*) oer, oerllyd, addoer, rhynllyd, oerfelog, annwydog, anghynhes, fferllyd, diwres, anwresog, anghlyd; dïymdawr, dïawydd, diofal, dideimlad.
Somewhat cold—lledoer, llugoer, go oer, tran oer, oeraidd, geloer.
Extremely *or* very cold—oer iawn, &c.; oer dros ben; tra oer, &c.; goroer.
Neither hot nor cold—claiar; na brwd nac oer; na thwym nac oer; mwygl, mwll, mwrn, gwygyl.
Cold and dry—oersych, sychoer.
Cold and wet—oerwlyb, gwlyboer.
To grow cold—oeri; myned yn oer; dyfod yn oer.
To make cold—oeri; gwneuthur yn oer.
Cold weather — tywydd oer, hin oer; oerni, oerfel; amser oerfel.
As cold as ice—mòr oer a'r ia; mòr oer a'r eira; cyn oered a'r ia; cyn oered a'r eiry; mòr oer a'r rhew; fel talp o rew.
**Cold,** *s.* oerni, oerder, oerfel, oeredd, oer; annwyd; yr annwyd, y gormwyth; fferdod, rhyndod, rhŷn, ffèr; gwresball, twymball.
To catch cold—dàl yr annwyd; dàl, dala, cael, *neu* gymmeryd annwyd; cael yr annwyd; cael dàl yr annwyd.
Starving cold—rhŷn, rhyndod, ffèr, fferdod.
A fit of cold—chwiw o annwyd; pang, ergyd, *neu* ias o annwyd.
A shivering with cold—achreth, creth; cryndod annwyd.
To be stiff with cold—sythu gàn annwyd.
To starve with cold, } rhynu, fferu; rhynu,
To perish with cold, } fferu, *neu* farw gàn *neu* o annwyd.
**Cold-blooded,** *a.* gwaedoer, oerwaed; mewn gwaed oer.
**Coldfinch,** *s.* (*cold* a *finch*) clochdar y mynydd.
**Cold-hearted,** *a.* oergalon, oerfron, calon-oer; dideimlad, oerdeimlad, calon-galed.
**Cold-heartedness,** *s.* calon-oeredd, oergalonedd; dideimladrwydd, calongaledwch.

**Coldish,** *a.* (o *cold*) oeraidd, lledoer, llugoer, go oer, cryn oer, tran oer, annwydaidd, oerllyd, geloer.

**Coldness,** *s.* (o *cold*) oerni, oeredd, oerder, oerdra, oerdeb; oerfelgarwch, annwydedd; rhyndod, rhynder, fferdod; gwresball, twymball; dideimladrwydd; gochelrwydd.

**Cold-shot,** *a.* oerfrau; oerfyr; brau pan yn oer.

**Cole,** *s.* (S. *caul, cawl, cawel;* Ll. *caulis*) bresych, cawl; *sing.* bresychen, cawlen.

**Cole-mouse,** *s.*=*Coal-mouse.*

**Colophyllum,** *s.* (Gr. *coleos* a *phullon*) gweinddail, caesddail.

**Coleopter, Coleopteran,** *s.* (Gr. *coleoptera*) caesednog, caesednogyn, caeseden; chwilen.

**Coleoptera, Coleopterans,** *s. pl.* (Gr. *coleoptera*) caesednogion, gweinednogion, gweinasgelliaid, caesadeinion; chwilod.

**Coleopterous, Coleopteral,** *a.* caesednogol, caesednogaidd, caesadeinaidd; chwilenaidd.

**Coleorhiza,** *s.* (Gr. *coleos* a *rhiza*) caeswraidd.

**Cole-perch,** *s.* globysg, ysbinbysg Dantsig.

**Cole-seed,** *s.* had ydfaip, had bresych yr yd, had maip yr yd; had bresych; bresych yr yd; maip yr yd, ydfresych, ydfaip.

**Colewort,** *s.* (*cole* a *wort*) bresych, bresychlys; bresych arfor, llyrfresych, cawl y graig; deilgawl.

**Colic,** *s.* (Gr. *cōlicos;* Ll. *colicus*) rhefrwst, coluddwst, bolwst, cyllagwst; cnofa y coludd, sychfolwst.

Wind colic—rhefrwst y gwynt, clefyd y gwynt.

Stone colic—tostedd, y tostedd, maen tostedd, clefyd y maen, clwyf y maen, y maen, y gareg.

Painter's colic—rhefrwst y paentiwr, plymrefrwst.

**Colic, Colical,** *a.* perthynol i'r rhefrwst; rhefrystol, coluddgnoawl.

**Colicky,** *a.* (o *colic*) rhefrystaidd, cnofaol.

**Colin,** *s.* sofliar, rhegen yr yd, rhinc.

**Coll,**† *v. a.* (Ff. *collet*) cofleidio.

**Collapse,** *v. n.* (Ll. *collapsus*) cydsyrthio, cydgwympo; syrthio *neu* gwympo yn nghyd; adfeilio, dadfeilio.

**Collapse,** *s.* dadfail, adfail, cydfethiant, cydymollwng, cyfymollwng, nwyfball, curiad.

**Collapsed,** *a.* dadfeiliedig, cydfethiannus, &c.

**Collapsion,** *s.* (o *collapse*) cydsyrthiad, cydgwymp, cydfethiant, cydymollyngiad; cydgauad.

**Collar,** *s.* (Ll. *collare;* Ff. *collier*) coler, torch, mynwar, mynwor; aerwy, cadwyn; gorthorch, mwndorch, mynygldorch, mwndlws, gyddfdorch; mynci, myncyn; penfar, penffestr, cebystr; modrwy, gwregys, rhwym; gwddf; torch fwnwgl.

Golden collar—eurdorch, eurgadwyn, torch aur, cadwyn aur, gorthorch aur, eurhual, eurgoler, coler aur.

Wearing a golden collar—eurdorchog, eurgadwynog, eurhualog; yn gwisgo *neu* yn dwyn cadwyn aur.

Collar of brawn—trol o faeddgig; trolyn o faeddgig.

An iron collar for offenders — carchar gwddf.

Collar of a garment—coler dilledyn.

Collar of the garter—coler y gardas, torch urdd y gardas.

**Colleague,** *v.* cydswyddo, cysswyddo, cydswyddogi.

Collar of SS—eurdorch Es-au, cadwyndorch Es-au, coler SS; eurdorch marchog y gardas, â'i dolenau ar wedd SS.

To slip the collar—tynu ei ben o'r cebystr; ymddirwydo, ymddirwyllo; tynu ei ben o'r rhwyd; myned yn rhydd.

To take by the collar—ymaflyd yn ngholer un; ymaflyd yn un gerfydd ei goler; ymaflyd yn un gerfydd ei wddf; coleru; llindagu.

Horse-collar — mynci, myncyn; coler march, mynwar ceffyl.

**Collar,** *v. a.* coleru; ymaflyd yn ngholer un; ymaflyd yn un gerfydd ei goler *neu* ei wddf; llindagu; aerwyo, torchi, gorthorchi, mynwaru, mynwori; gwisgo coler.

To collar meat — trolio cig, corni cig; rhwymo cig yn drolyn. [colerdal.

**Collarage,** *s.* (o *collar*) colerdreth, colerdoll,

**Collar-beam,** *s.* colerdrawst.

**Collar-blades, Collar-hames,** *s. pl.* mynci pren, myncyn pren, arfynwar.

**Collar-bone,** *s.* pont ysgwydd, pont yr ysgwydd, trybedd yr ysgwydd.

**Collar-day,** *s.* torchddydd, colerddydd=y dydd yr ymddengys y marchogion yn y llys yn eu heurdorchau.

**Collared,** *a.* (o *collar*) torchog, aerwyog, colerog, gorthorchog, gorthorchedig, torchedig.

**Collar-maker,** *s.* colerydd, mynwerydd, mynworydd, myncïwr.

**Collate,** *v.* (Ll. *collatum*) cymharu, cydgymharu, cyfalu; chwilio; cyflëu; cyflwyno; glwysgyflwyno; cyflwynosod; cyflwyno i fywoliaeth eglwysig; cyflëu mewn bywoliaeth eglwysig; cyflëu *neu* gyflwyno i fywoliaeth eglwys; rhoi bywoliaeth *neu* eglwysfudd i un; rhoi, rhoddi, anrhegu.

**Collateral,** *a.* (Ll. *collateralis*) cyfochrol, cyfochrog, cyfystlys, cyfarystlys, cyfochr, cydystlys, cydystlysol, cyfystlysol, cydgyferbyn, cyfeisor, cyfael; ochr yn ochr; cyfredol; anuniongyrch.

**Collateral,** *s.* cyfystlysog, cyfochrog, perthynas gyfochrol, câr cyfystlys.

**Collateralness,** *s.* (o *collateral*) cyfochredd, cyfystlysedd, cyfochroldeb, cyfystlysdod.

**Collation,** *s.* (Ll. *collatio*) cymhariad, cydgymhariad, cyfaliad, cymhariaeth; cyflead, cyflwyniad, glwysgyflwyniad, cyflwynosod; cyflead mewn bywoliaeth; cystadlliad; cydosodiad; cyfluniaeth, byrbryd, adwledd, adfaeth, cynarmerth, arlwy, ymborth, bwyd, amryfwyd.

**Collatitious,** *a.* (Ll. *collatitius*) à wneler o gydran llawer; o gydgost; cyfranogiadol.

**Collative,** *a.* (Ll. *collatum*) cyfleadol, cyfleuedigol, glwysgyfleol; cyflwynol.

**Collator,** *s.* (Ll.) cymharwr, cymharydd, cydgymharwr, cyfalydd; cyfleuwr, glwyslëwr, cyflwynydd.

**Collaud,** *v. a.* (Ll. *collaudo*) cydfoli, cydfoliannu, cydglodfori, cydganmawl.

**Collaudation,** *s.* (Ll. *collaudatio*) cydfoliant, cydfawl, cydglodforedd, cydfoledd, cydganmoliaeth.

**Colleague,** *s.* (Ll. ac It. *collega*) cydswyddog, cysswyddog, cydswyddwr, cysswyddwr, un cydswydd; cyfaill, cydymaith, cymhar, cydwr, cydwas.

**Colleagueship,** *s.* (o *colleague*) cydswydd-ogaeth, cysswyddogaeth, cydswydd, cys-swydd.
**Collect,** *v.* (Ll. *colligo, collectum*) casglu, cynnull, cydgasglu, cydgynnull, cynnullo, crynöi, dargynnull, croni, dargroni, hel, hela, clasgu, gwraddu, crugio, pentyru; ymgasglu, ymgynnull, ymgrynöi, grëu.
 To collect one's self—dyfod ato ei hun; ymdawelu *neu* ymlonyddu yn ei feddwl; casglu ei feddyliau gwasgaredig *neu* frawychedig yn nghyd.
 Apt to collect together — cynnullgar, casglgar, helgar.
 To collect remains—casglu gweddillion; cynnull olion; sarita.
**Collect,** *s.* crynodeb, colect, berweddi, byrgais, casgl, clasg.
**Collectanea,** *s. pl.* (Ll.) cynnullion, casglion, casgliadau; pigion, dewision, detholion, detholiadau.
**Collectaneous,** *a.* (Ll. *collectaneus*) casgledig, cynnulledig, cydgasgledig.
**Collected,** *a.* (o *collect*) gwedi ymdawelu *neu* ymlonyddu yn ei feddwl; gwedi dyfod ato ei hun; tawel, araf, digyffro, digynhwrf, diderfysg, llariaidd, llary; tawel ei feddwl; tawelfryd; dïysgog, dïymmod, sad; parod; casgledig, &c.
 Collected together — cynnulledig, casgl-edig, crynöedig, &c.
**Collectedly,** *ad.* ar un olwg; yn nghyd; i gyd; i gyd yn nghyd; tàn un; yn un corff; yn dawel, yn ddigyffro, &c.
**Collectedness,** *s.* (o *collected*) tawelfrydedd, tawelwch, tawelwch meddwl; dïysgogrwydd, dïymmodedd, sadrwydd; parodrwydd.
**Collectible,** *a.* (o *collect*) casgladwy, cynnulladwy, crynoadwy; à ellir ei gael *neu* ei gasglu.
**Collection,** *s.* (Ll. *collectio*) casgliad, cynnulliad, casgl, cynnull, clasg, cydgasgl, casglfa, clasgiad, crawn, cynghrawn; cronfa, croniad, cynnulliad, crynoad, gwraddiad; greant, greawd; cai; detholiad; cyfroddiad; cydgynnulliad.
 Collection of vapours—cyfager, cyttarth.
**Collectitious,** *a.* (Ll. *collectitius*) cynnulledigol, cynnulledig, casgledigol.
**Collective,** *a.* (Ll. *collectivus*) cynnulliadol, casgliadol, casgledig, casgledigol, cynnulledig, cynnullol, casglgar, crynoawl, cryno, twysgol, gwraddol; unig-luosog.
 Collective noun—enw cynnulliadol, enw cynnulledig, enw lluaws, enw unig-luosog, sylweddair cynnulliadol = gair *unig* yn arwyddo *lluaws;* megys, *pobl, tyrfa,* &c.
**Collectively,** *ad.* (o *collective*) yn gynnulliadol, &c.; yn nghyd, i gyd; i gyd yn nghyd; y cwbl dàn un; yn un swm; yn un swp; yn gyfan, yn gryno.
**Collectiveness,** *s.* (o *collective*) casgliadolrwydd, cynnullolrwydd, cynnulloldeb; crynodeb, crynoad, casgliad; twr, pentwr.
**Collector,** *s.* (o *collect*) casglwr, casglydd, cynnullwr, cynnullydd, clasgwr, crynöwr; detholydd; amobrydd; ceisiad, cais, tollur, cyllidwr.
**Collectorship,** *s.* casglyddiaeth, cynnullyddiaeth; amobryddiaeth, cyllidyddiaeth, tolluriaeth.
**Collegatary,** *s.* (Ll. *con* a *lego*) cydwyllysgedai, cyd-dderbyniwr cymmynrodd.
**College,** *s.* (Ll. *collegium*) coleg, clasgor, bangor, côr, brodorfa, prifysgoldy, clas; cydfrodoriaeth, brodoriaeth, brawdoliaeth; cynnullaid.
 Head of a college—pen coleg, penaeth coleg, pen clas, clas-ben.
 Fellow of a college — cymrawd coleg, brodor coleg, cymrodor coleg, cyfaill clasgor; cymrawd o goleg; aelod o gymdeithas coleg; brawd clas.
 Student of a college — efrydydd coleg, efrydwr clasgor, myfyriwr mewn coleg, dysgybl clas, clas-efrydydd.
 Doctor of a college —doethor coleg, athraw clas, clas-athraw, clas-ddoethor.
 Professor of a college—entraw, proffeswr, proffesor, *neu* broffesydd coleg; cadeirdraw clasgor.
 College of Surgeons--Coleg y Llawfeddygon.
 College of Physicians—Coleg y Meddygon.
 Imperial colleges — llysoedd *neu* deyrngynghorau amherodrol (yn Rwssia).
 College of Heralds—coleg herodron, clasgor heroduriaid, coleg achyddiaeth, achwyddfa, achyddfa; coleg arfarwyddion.
 Sacred college—glwysgoleg, y coleg santaidd, coleg y cyniaduriaid, glwysgor y Pab, y clas santaidd, glwysgynghorfa.
**College-like,** *a.* colegaidd, clasgoraidd; yn ol dull coleg.
**Collegial,** *a.* (o *college*) colegaidd, colegol, clasgorol, clasgoraidd, bangoraidd, bangorol.
**Collegian, Collegiate,** *s.* (o *college*) colegiad, colegwr, colegydd, colegor, clasgoriad, clasgorydd, brodor, urddysgolor; myfyriwr, efrydydd, ysgolor, aelod coleg: *pl.* colegiaid, clasgoriaid, colegwys, colegwyr, &c.
 Fellow collegian—cydgolegiad, cydgolegwr, &c.
**Collegiate,** *a.* (o *college*) colegol, colegawl, colegaidd, clasgorol, brodorfaol, brodorol; perthynol i goleg *neu* glasgor.
 Collegiate church — eglwys golegol *neu* glasgorol; claseglwys, claslan.
 Collegiate house — brodordy, colegdy, colecty, clasgordy.
**Collet,** *s.* (Ff.) maenrwy, boglyn; claeremas; gwddf, coler.
 Collet of a ring—boglyn, bogel, bolgelglwm, *neu* gnap modrwy; maenrwy modrwy.
**Collet,** *s.* (Gr. *collêtos*) gludai, gludran, glyran, glud.
**Colletes,** *s.* (Gr.) gludwenyn, glywenyn.
**Colletic,** *a.* (o *collet;* Gr. *collêticos*) gludiol, gludol, glynol, cytlynol, gludig.
**Colletic,** *s.* glud, asgroling, asgrawling, asglawring, asgroling, ysglawring; glynai: *pl.* gludion, gludolion, glynolion.
**Colliculus,** *s.* (Ll.) trumen, trumyn, cnycyn, bryncyn.
**Collide,** *v. a.* (Ll. *collido*) gwrthdaraw, gwrthergydio, cyttaraw; taraw yn erbyn eu gilydd; gyrthio.
**Collier,** *s.* (o *coal*) glöwr, glöydd; masnachwr glo; glolong, glolestr, llong lo.
**Colliery,** *s.* (o *coal*) gwaith glo, glofa, globwll, glowaith, pwll glo, clawdd glo, gloglawdd.
**Colliflower,** *s.* (Ll. *caulis,* a *flower*) blodfresych, blodeugawl, blodgawl.
**Colligate,** *v. a.* (Ll. *colligo*) cydrwymo, cyd-

**glymu, cydgylymu, cyfrwymo, cynghlymu;** rhwymo yn nghyd.
Colligation, *s.* (Ll. *colligatio*) cydrwymiad, cyfrwymiad, cydglymiad, cydgylymiad, cynghlymiad; clymiad *neu* rwymiad yn nghyd.
Collimation, *s.* (Ll. *collimo*) annel, anneliad, cyfeiriad, cyfeirnod, nod, selnod.
  Line of collimation—tremlin, tremidlin.
  Collimating telescope=*Collimator.*
Collimator, *s.* (Ll. *collimo*) annelsyllyr.
Collineation, *s.* (Ll *collineo*) cyfeirliniad, llyfeliad, anneliad.
Colling,† *s.* (Ll. *collum*) cofleidiad; maldod, cocr.
Collingual, *a.* (Ll. *con* a *lingua*) cydieithol, cydieithog, cydiaith, cyfiaith; yn perthyn i'r un iaith.
Colliquable, *a.* (Ll. *colliqueo*) cyttoddadwy, toddadwy.
Colliquament, *s.* (o'r Ll. *colliqueo*) cyttawdd, tawdd, toddiant; y rhith, milrith, gorllydd; cywrith.
Colliquant, *a.* toddiadol, toddiannol, cyttoddol, cyttoddiadol, dadmerol.
Colliquate, *v.* (Ll. *colliqueo*) cyttoddi, toddi, ymdoddi, dadmer, dadfer, dadleithio; llyneiddio, gwyo.
Colliquation, *s.* (Ll. *colliquatio*) cyttoddiad, toddiad, toddiant, tawdd, dadmeriad, dadferiad; curiad, treuliad, teneuad; llifiant, llifiad, tawdd corff, darymred.
Colliquative, *a.* toddiadol, toddol, cyttoddiadol, toddiannol, llifiannol, llifiadol; darymredol, curiol, treuliadol.
Colliquefaction, *s.* (Ll. *colliquefacio*) cyttoddiad, cyttoddiant, toddiad, toddiant, cyttoddiadaeth.
Collision, *s.* (Ll. *collisio*) gwrthdarawiad, gwrthdaraw, gwrthergydiad, cyfergydiad, cyfergyr, gwrthdar, cyttarawiad, cydbwyad, cymhwyad, ermid, tarawiad, targiad; tarawiad wrth; cyferbyniad, gwrthwynebiad, ymyraeth, ymyrthiad.
Collitigant, *s.* (Ll. *con* a *litigo*) cydgecryn, cydymgecrwr, cydgecrydd, cydymrafaelydd, cydgipryswr, cydymgyfreithiwr.
Collocate, *v. a.* (Ll. *colloco*) cyflëu; gosod, gosodi; rhoi, dodi; sefydlu; llëu, lleoli, mànu, llehau; swyddiadu; rhoddi mewn lle *neu* swydd.
Collocate, *a.* cyfleol, cyfleadol, gosodedig, cyfleuedig.
Collocation, *s.* (Ll. *collocatio*) cyflead, gosodiad, dodiad, llead, sefydliad, rhoddiad, lleoliad.
Collocution, *s.* (Ll. *collocutio*) cydymddyddan, cynnadledd, cylafaredd, cydlafaredd, ymddyddan, ymgomiad, cymddyddan, siarad, cydsiarad, cyssiarad, cydgomiad, cydlafariad, cyflafariad.
Collocutor, *s.* cymddyddanwr, ymddyddanwr, cydymddyddanydd, ymgomiwr, cydlafarwr, cydsiaradwr.
Collogue,† *v. a.* (Ll. *colloquor*) truthio, gwenieitho.
Collop, *s.* (Gr. *collops*) golwyth; llyweth; plentyn.
  He maketh collops of fat on his flanks—efe a wna dyrch o floneg ar ei denewynau (*Job* xv. 27).
Colloquial, *a.* (Ll. *colloquium*) ymddyddanol, cydymddyddanol, cydgomiol, ymgomiol, cynnadlol, cydlafarol, chwedleuol; mewn siarad cyffredin; mewn ymddyddan cyffredin; ar arfer gwlad.
  A colloquial word—gair cyffredin wrth siarad *neu* ymddyddan; gair arferedig wrth siarad; gair mewn arfer wrth ymddyddan; gair siarad, gair ymddyddan; siaradair, ymgomair, gair cymddyddan.
Colloquially, *ad.* wrth siarad *neu* ymddyddan; ar arfer gyffredin, &c.
Colloquist, *s.* (Ll. *colloquor*)=*Collocutor.*
Colloquy, *s.* (Ll. *colloquium*) ymddyddan, cydymddyddan, cymddyddan, siarad, cydsiarad, cyssiarad, cyflafaredd, cylafaredd, cydlafaredd, cynnadl, cynnadledd, cydleferydd, ymgomiad, cydgomiad, ymgom, cydgom, ymadroddiaeth, ymddywediad, cyfariaith, cydchwedl, chwedleuaeth.
Collow, } *s.* (o *coal*) parddu, huddygl.
Colly, }
Colluctancy, *s.* (Ll. *colluctor*) gwrthymdrech, gwrthymdrechiad, gwrthrynedd, gwrthwynebiad; ymdrech yn erbyn natur.
Colluctation, *s.* (Ll. *colluctor*) cydymdrech, ymdrech, ymdrechfa, cydymdrechiad, cydymdrechfa, cyfymdrechiad; gwrthwynebiad, gwrthrynedd, gwrthedd, gwythwynebedd.
Collude, *v. n.* (Ll. *colludo*) cyttwyllo, cydhocedu; cydfradu; cydgastio; cydchwareu; chware y ffon ddwybig; cytuno i wneuthur hoced.
Colluder, *s.* (o *collude*) cyttwyllwr, cydhocedydd.
Colluding, *s.* (o *collude*) cyttwylliad, cydhocediad; cast.
Collum, *s.* (Ll.) gwddf, gwddwg, mwnwgl.
  Collum of plants—mwnwgl planigion.
Collusion, *s.* (Ll. *collusio*) cyttwyll, cydhoced, cystwyll; hoced, twyll, somiant, dichell, dichelliad, twyllofaint, cyttwylliad; cytundeb dirgel i dwyllo.
Collusive, *a.* (o'r Ll. *colludo*) cyttwyllol, cydhocedus, cyttwyllodrus, cydffuantus; twyllodrus.
Collusiveness, *s.* cyttwylledd, cydhocedusrwydd, cyttwylloldeb.
Collusory, *a.* (Ll. *collusor*) cyttwylliadol, cydhocedol, cydhocedus, twyllodrus, hocedus.
Collutorium, *s.* (Ll. *colluo*) geneuolch.
Colluvies, *s.* (Ll.) budreddi, ysgarthion, carthion, brynti; sybwll, carthffos, soch.
Colly, } *s.* (o *coal*) parddu, huddygl.
Collow, }
Colly, *v. a.* pardduo, diwyno.
Collyrite, *s.* (Gr. *collurion*) eliglai.
Collyrium, *s.* (Ll. o'r Gr. *collurion*) llygadolch, eli llygaid, llygadeli.
Colmar, *s.* (Ff.) math ar beren.
Colocolo, *s.* cigfran y dwr, gwygigfran.
Colocynth, *s.* (Gr. *colocunthis*) chwerafal, chwerwafal, afal chwerw, cicaion chwerw, surgicaion, yr afal gwyn.
Colocynthin, } *s.* (o *colocynth*) chwerafalnur.
Colocynthine, }
Cololite, *s.* (Gr. *cōlon* a *lithos*) coluddith, coluddfaen; coluddion pysg wedi ymgaregu.
Colon, *s.* (Gr. *cōlon*) y coluddyn mawr, y rhefrgoluddyn, y coluddyn rhefr, y coluddyn uniawn, gorgoluddyn; gorwahanai.
  Colon (in Grammar)—gorwahanai, gorwahannod=fel hyn (:).
Colonel, *s.* (Ff.; Ysp. *coronel*) milwriad, pencatrawd.

Lieutenant-colonel—rhagfilwriad, isfilwriad, adfilwriad.

Colonel - lieutenant — rhaglaw filwriad, rhaglaw milwriad.

Colonelcy, } s. (o *colonel*) milwriadaeth, pen-
Colonelship, } catrodiaeth.

Colonial, *a.* (o *colony*) trefedigol.

Colonist, *s.* (o *colony*) trefodog, trefedigwr, trefedig: *pl.* trefedigion, trefodogion.

Colonization, *s.* (o *colonize*) trefedigiant, trefiant, trefodiad, trefedigiad.

Colonize, *v.* (o *colony*) trefedigo, trefiannu, trefogi, trefodi; poblogi; symmud ac ymsefydlu; planu *neu* sefydlu trefedigaeth.

Colonizing, *s.* (o *colony*) trefedigiant, trefedigiad, trefodiad, trefiant.

Colonnade, *s.* (Ff.; It. *colonnata*) colofnedd, colofnawd, colofres, colofnres, pillres, rhes o golofnau.

Colony, *s.* (Ll. *colonia*) trefedigaeth, trefod, trefodogaeth; trefedigion, trefodogion.

Chief city, and a colony—prifddinas, a dinas rydd (*Act.* xvi. 12).

Colophon, *s.*(=dinas yn Ionia) terfyn llyfr, gynt yn cynnwys lle ac amser ei ysgrifeniad; diwedd llyfr; dybenawd, diweddawd, diwedd; cyflawniad.

Colophonic Acid, *s.* sur muchystorig.

Colophonite, *s.* (o *colophon* neu *colophony*) ystorfaen, colophonith.

Colophony, *s.* (oddi wrth ddinas *Colophon*) muchystor, ystor du; pyg.

Coloquintida, *s.* (Gr. *colocunthis*; Ll. *colocynthis*)=*Colocynth.*

Colorate, *a* (Ll. *coloratus*) lliwog, lliwiog, lliwedig, lliwiedig.

Coloration, *s.* (Ll. *coloro*) lliwad, lliwiad, lliwiant, gnead, lledliwiad.

Colorature, *s.* (Ll. *coloro*) addurnolion, addurnebion; addurnebiaeth.

Colorific, *a.* (Ll. *color* a *facio*) lliwiadol, lliwiol, lliwol, lledliwiol; lliwbair, lliwddwyn.

Colossal, } *a.* (o *Colossus*) cawraidd, enfawr,
Colossean, } gorfawr, dirfawr, anferthol, anferth, dirfaint, amrosgo.

Colosseum, } *s.* (Ll.) Colosëum, Colisëum,
Coliseum, } Colosseion; cawradail, enadail; amddrychfa.

Colossus, *s.* (Ll.; Gr. *Colossos*) Colossus; cawrddelw, gorddelw, delw gawraidd; cawrgerfyll.

Colossus-wise, *ad.* fel cawrddelw.

Colostrum, *s.* (Ll.) cynlaeth, llaeth tor, llaeth mysg, llaeth melyn, llaeth brith.

Colour, } *s.* (Ll. *color*) lliw, gne; gwawr, eiliw,
Color, } gorne, agne; ffugliw; lledliw, adliw, paent; rhith, ffug, lledrith, cyfrith, esgus, ffuant, cysgod, enw; ymddangosiad; gwrid, boen, cochni; math, rhyw, sut.

Colours — llumanau, baneran; lluman, baner; arwyddion rhyfel, lliwiau rhyfel; arwydd.

False colour, } ffugliw, lliw ffug-
Counterfeit colour, } iol.

Changeable colour—symmudliw, newidliw.

Dark colour—lliw tywyll, erch, twtnai, lliw twtnai, lliw duaidd.

Dun colour, } dulwyd, gwrm, dwn,
Dark brown colour, } gell, arddufrych, gwineuddu.

Darkish blue colour, } llai, dulas, lliw du-
Dark grey colour, } las.

Rose colour, } rhosliw, gwridliw, lliw
Ruddy colour, } y rhos.

Motley colour—cymmysgliw, brithliw.

Reflected colour—mabliw, adrithliw.

Russet colour—gwywgoch, lliw gwywgoch, rhuddgoch, rhuddlwyd, cochlwyd, llwydgoch, rhydgoch, rhytgoch, blawrgoch, gwywliw, gwineugoch; gwywllyd ei liw; lliw adfeiliedig.

Sea-green colour — morlas, morwyrdd, morliw, gwyrddlas, gwrmlas; lliw morlas, &c.; gwyrddlas tryloew, gwyrddliw.

Mouse colour—llygliw, lliw llygoden.

Pitch colour—pygliw, lliw pygddu.

Dust colour—lliw llychwin.

Fresh colour, } lliw gwyrenig.
Lively colour, }

Azure colour, } asur, glasar, nefliw, llasar,
Sky colour, } balasar, glas goleu, goleulas, glas, lliw goleulas.

Murrey colour, } lliw cochddu, lliw
Dark crimson colour, } dugoch, lliw rhuddgoch, porfforliw, porfforliw tywyll.

Flame colour—fflamliw, fflamgoch, lliw y fflam, lliw gloewgoch; lliw gloewgoch fàl y tân; tânlliw, eiriasliw.

Ardent flame colour — gorfflamliw, gorfflamgoch.

Flea-bitten colour — lliw ceiniogog, lliw mànog, mànogliw.

Gold colour, } eurlliw, eurliw; melynliw
Golden colour, } fel yr aur; lliw melyngoch, lliw cochfelyn, lliw dysgleirfelyn, lliw yr aur, eurne.

Grey colour—lliw llwyd, llwydlas, llwydwyn, *neu* flawrwyn; blawr.

Swarthy colour—lliw cethin, lliw pygddu; llygliw, pygliw; lliw arddufrych, tywyll, gwineuddu, llyglwyd, dulwyd, *neu* felynddu.

Dark grizzle colour—broc; lliw y gwilfrai; lliw y broch; brochliw.

Very high red colour—lliw coch tanbaid, lliw coch fflamliw, coch tanbaid.

Smoke colour—mygliw, lliw y mwg, lliw myglyd, lliw tywyll.

Straw colour—lliw y gwellt, lliw gorfelyn, lliw melynwyn, gwelltfelyn.

Venice blue colour—glas y ddinas, glas Gwenethia.

Whitish purple colour — lliw blodau'r bocys; cochlas goleu, lliw porfforwyn.

Black and blue colour—dulas, llur; du a glas.

Ground colour — cynlliw, gorliw, seilne, safliw.

Of the same colour—cyfliw, gogyfliw, cyfeiliw, unlliw, o'r un lliw, o'r unlliw.

Of the same colour all over *or* through—tryliw, tryliwiog.

Of many colours — amryliw, amliwiog, amryliwiog, amliw; o amryw liwiau; brith, (*f.* braith).

Of one colour—unlliw, unlliwiog; o un lliw.

Of two colours—deuliw, deuliwiog, deune; o ddau liw.

Of three colours—trilliw, trilliwiog; o dri lliw.

Of sundry, various, *or* divers colours—amryliw, amliwiog, amliw, amryliwiog; o amryw liwiau; brith, tryfrith.

Of a changeable colour — symmudliw, newidliw, amliw, newidliwiog, mudliwiog.
Of a dark pitchy colour—pygliw, pygddu; o liw y pyg.
Perfect in colour—pedryliw, pedryliwiog; perffaith ei liw.
Having lost its colour—llychwin; wedi colli ei liw; lliwgoll, lliwgolledig.
Different colour—gwahanliw.
Water colours—dyfrliwiau, gwy-liwiau.
Under colour of, } dàn rith, dàn esgus,
Under the colour of, } dàn enw, dàn gyfrith, yn rhith.
Under colour of friendship — dàn enw hen gyfeillach.
With colours displayed — â'u banieri ar daen; â'u baneran ar daen; â'u llumanau ar led; â'u lliwiau yn hedfan *neu* ehedfan.
He came off with flying colours—efe a ddaeth ymaith gyda chlod, yn fuddugol, yn fuddugoliaethus, *neu* yn orfoleddus.
To variegate colours—amryliwio, amliwio, amliwo.
To change colour—newid ei liw; colli ei liw; amliwio; drygliwio; newid lliwiau; newid ei wedd; glasu, delwi, dyddelwi; myned yn lasweIw.
He endeavoured to colour his avarice—amcanodd guddio ei gybydd-dod.
To fear no colours—cyfarfod â pheryglon yn ddigryn; bod yn gwbl ddïarswyd *neu* ddïofn; bod heb ofni dim yn y byd.
Fear no colours—nac ofnwch ddim yn y byd.
Adjective colours—lliwiau anhysaf, lliwiau disaf, lliwiau ansafol, lliwiau ansafadwy.
To divest of colour—dadliwio, disliwio, diliwio.
Colour, } *v.* lliwo, lliwio; cochi, gwrido,
Color, } ymliwo, ymliwio; ffugio, ffuantu, gorffugio, esgusodi, cuddio, lledrithio; bwrw hud, lliw, *neu* hug ar; rhoi *neu* fwrw esgus dros; cyluro; enhuddo; rhoi lliw ar; gwneuthur lliw o; cywilyddio.
To colour highly — rhyliwio, dyfnliwio; lliwio yn uchel; rhoi lliw uchel *neu* ddwfn ar.
Colourable, *a.* (o *colour*) lliwadwy, lliwiadwy; ymddangosiadol, rhithdeg, tebygol, golygus, ymddangosiadus, wynebdeg; teg yr olwg arno.
A colourable pretence—esgus teg a golygus; esgus teg o liw.
Colourableness, *s.* tebygrwydd, golygusrwydd, tebygolrwydd, rhithdegedd.
Coloured, *p. a.* (o *colour*) lliwedig, lliwiedig, lliwiog, lliwog; amliwiog, amryliw, amryliwiog, brith; ffugiol, ffug-; âg ciliw arno; ymddangosiadol.
High coloured — rhyliwiog, dyfnliwiog, arliwiog, rhyliwedig, dyfnliwedig; lliwiog, lliwus; uchel ei liw; â lliw uchel arno; dyfnliw; bywiog, llawn byw, llawn bywyd.
Fine-coloured — harddliw, harddliwiog, harddliwus.
Well-coloured—lliwus, lliwgar.
Ill-coloured — drygliwiog, drygliw, dryg-liwus.
Coloured cloth—breth lliwiedig, **brethyn** lliw.
Coloured in grain—gwedi ei **liwio ddwywaith** cyn ei nyddu; â **liwiwyd ddwywaith**; wedi ei ddeuliwio; **deuliwiedig.**
Silver-coloured—arianlliw, **arianliw, arian**aidd, arianaid.
Coloured people—pobl dduon; **Affriciaid** a'u hiliogaeth, ai cymmysg **ai anghymmysg**; pobl anwynion.
Colouring, *s.* (o *colour*) lliwiad, **lliwad, lliw**iant, lliwedigaeth; ffugiad, esgusiad; **hyliw**edd; lliw.
Colouring (in phrenology) — **hyliwedd,** lliwgarwch.
Colouring matter—**lliwnwyddau, defnydd**iau lliwo, lliwneoedd.
Colourist, *s.* (o *colour*) **lliwydd, lliwiedydd,** lliwiwr, lliwiadur.
Colourless, *a.* (*colour* a *less*) **diliw, afliwiog,** anlliwiog, disliw; tryloew.
Colporteur, *s.* (Ff.) **llyfrwicwr, llyfrwicydd,** teith-lyfrwerthwr, **llyfranwerthydd, llyfr**werthwr teithiol; teithwerthwr.
Colstaff, *s.* (*cowl* a *staff*) trosol, **trostan, gwif.**
Colt, *s.* (S.) ebol; blanc; llwdn: ***f.* eboles,** ffilog.
Horse-colt—ebol, ebolfarch.
Mare-colt—eboles, ffilog.
The colt of an ass—ebol **asen, llwdn asen;** llwdn asyn, ebol asyn.
A mare and colt—caseg ac **ebol; caseg a** llwdn.
Colt,† *v.* eboli; bod yn ebol; **chwareu fel** ebol; bod yn benrydd; **gwamalu, rhonta;** ffoli.
Colt's-foot, *s.* alan, alan bychan, **carn yr ebol,** ebolgarn, pesychlys, troed y **tarw, dail troed** yr ebol, llun troed yr ebol.
Colt's-tail, *s.* rhawn yr ebol.
Prickly colt's tail—rhawn yr ebol **gwrych**og.
Smooth colt's tail—rhawn yr ebol **hyblyg.**
Colt's-tooth, *s.* dant yr ebol, ebolddant; **dyre;** dyre ar **wrach** *neu* **ar** gleiriach.
She has a colt's tooth in her head—**y mae** dyre ar yr hen greadur.
Colter, } *s.* (Ll. *culter;* Al. *kolter*) **cylltyr, cwllt**-
Coulter, } yr, cylltor, cwlltr.
Coltish, *a.* (o *colt*) ebolaidd, ebolig; **rhontus,** gwamal, gwamalus, gofregus, **nwyfus, pranc**iol, chwareugar, chwarëus, **trythyll;** fel ebol.
Coluber, *s.* (Ll.) neidr; colwiber, **crestwiber:** *pl.* nadroedd, nadredd, neidredd, &c.
Coluberidæ, *s. pl.* (o *coluber*) **gwirnadroedd;** neidrolion, nadrolion.
Colubrina, *s.* (Ll.) neidr-wydd, **nadr-wydd.**
Colubrine, *a.* (Ll. *colubrinus*) **sarffol, neidrol,** nadraidd; cyfrwys, ffalst, ffel.
Columba, *s.* (Ll.) colomen; y **colomenod.**
Columba Noachi—Colomen **Noah**=**cydser** yn yr arddrych ddeheuol, **wrth draed** ol y Ci Mawr, yn cynnwys 26 seren.
Columbary, *s.* (Ll. *columbarium*) **colomendy,** colomdy, ty colomenod.
Columbate, *s.* (o *columbium*) **columbaint,** columbhalan.
Columbic, *a.* (o *columbium*) columbig.
Columbic acid—sur columbig.
Columbidæ, *s. pl.* (Ll. *columba*) colomenod, colomenolion, colomenlwyth, colomryw.

**Columbiferous**, *a.* (*columbium*, a Ll. *fero*) yn dwyn *neu* gynnyrchu Columbium.
**Columbine**, *a.* (Ll. *columbinus*) colomenaidd; colomenliw; o liw gwddf colomen.
**Columbine**, *s.* (Ll. *columbina*) madwysg.
Feathered columbine — arianllys, troed y barcud.
**Columbine**, *s.* (It. *columbina*) ysgenten, ysgentes, digrifen, digrifes.
**Columbine**, *s.* columbain.
**Columbite**, *s.* (o *columbium*) columbith, mwn Columbium.
**Columbium**, *s.* (o *Columbia*, America) Columbium, Tantalum = delid à gafwyd allan gyntaf yn y flwyddyn 1801.
**Columel**, **Columella**, *s.* (Ll. *columella*) colofnig, colofnen, llysgolen, cesbegor.
**Column**, *s.* (Ll. *columna*, *columen*) colofn, piler, post, colof, pill, celff, llorf, colon, crynbill, tybost; lledwyneb: cydfriger.
Sepulchral column—beddgolofn.
Cruciferal column — croesgolofn, colofn groesddwyn.
Manubial column — colofn gadfuddug, colofn gadgymmer.
A small column—colofnig, colofnen, colofnan, pileryn.
Full of columns—colofnog, pilerog, llawn colofnau.
**Columnar**, *a.* (o *column*) colofnaidd, colofnol, pileraidd.
**Columnarish**, *a.* (o *columnar*) gogolofnaidd.
**Columnula**, *s.* (Ll.) colofnig, colofnan, colofnyn, colofn fechan.
**Colure**, *s.* (Gr. *colouros*) colrod; *pl.* colrodau.
**Colymbus**, *s.* (Gr. *columbos*) y trochydd.
**Coma**, *s.* (Gr. *côma*) hunglwyf, hunwst, hunhaint, gorgysgrwydd, cysgadrwydd, cysgrwydd, gorhunedd.
**Coma**, *s.* (Ll. o'r Gr. *comê*) gwallt, blew; llyswallt; gwalltogrwydd, blewogrwydd; gwallt seren.
Coma Berenices—Gwallt Berenice, Gwallt Berenica = cydser yn yr arddrych ogleddol.
**Comart**,† *s.* (Ll. *con*, a *mart*) cytundeb, ammod.
**Comarum**, *s.* (Gr. *comaros*) llygad ysgyfarnog, corsgudyn.
**Comate**, *a.* (Ll. *comatus*) gwalltog, gwalltaidd; ffluwchaidd.
**Comate**, *s.* (Ll. *co* neu *con*, a *mate*) cydymaith, cyfaill, cyfail.
**Comatose**, **Comatous**, *a.* (o'r Gr. *côma*) hunglwyfus, hunglaf, hunystog, hunheintus, cysglyd, gorgysglyd, trymllyd.
**Comatula**, *s.* (Gr. *comê*) elestfilod.
**Comb**, *s.* (S. *camb*; Al. *kamm*) crib; cribell; ysgrafell; melgell, melgod.
Honey-comb — dil mêl, melgell, melgod, melgorn, crwybr, cwybr, crib.
Curry-comb — ysgrafell, crafell, rhistyll, crib march.
Flax-comb—heislan, heisyllt, trafel, rhipai, heisyllt cywarch.
Small-tooth comb — crib fân, crib fânddaint, crib ddannedd mân.
Tangle comb—crib ddadrys, crib ddadddyrys.
Venus' comb—nodwydd y bugail, creithig, crib Gwener.
Lady's comb—crib Mair.



Cock's comb—cribell, crib y ceiliog, crib ceiliog.
To cut one's comb—tori crib un; darostwng *neu* iselu un; tori brig un; darostwng balchder un.
Having a comb—cribog; âg iddo grib.
**Comb**, *v. a.* cribo; ysgrafellu, rhistyllio; daddrysu; trosdreiglo.
**Comb**, **Combe**, **Coombe**, *s.* (S.; C. *cwm*) cwm, glŷn, cwmarch.
**Comb**, **Coomb**, *s.* (Gr. *combos*) hobaid, hob, hanner crynog, pedwar pwysel, pedwar llestraid Caerwynt.
**Combat**, *v.* (Ff. *combattre*) ymladd; ymladd â; ymryson, cysbwyo, ymornestu, ymornest, brwydro, ymdrechu, ymwrio, gwrthladd, gwrthsefyll, gwrthwynebu; ymdynu âg, ymdrechu âg, ymwrio âg, ymorchestu âg; catäu, cadhau, aeru, batelu, gyrthio; sefyll yn erbyn; ornestu; gwrthbrofi, disbrofi.
To combat by way of argument—ymddadleu, ymddadlu; ymosod ar un drwy resymau; ymwrio âg un drwy resymau; ymresymu yn erbyn.
**Combat**, *s.* ymladd, ymladdfa, brwydr, ymdrech, ymdrin, cysbwy, ymwan, trin, cad, aer, ymgyrch, ymryson, amryson, breithell, breithred, ymdrafod, gwrthladd, gwrthladdiad, cyfrysedd, gwrthryn, gwrial, trafod, cyfarf, gyrth, gyrthiad, ymwrthryn, cadwent; ornest.
Single combat—ornest, cysbwy, ymgysbwy.
**Combatable**, *a.* (o *combat*) ymdrechadwy, &c.
**Combatant**, *a.* (o *combat*) ymdrechol, gwrthwynebol, cysbwyol, ymladdgar, ymrysonol; yn ymdrechu, yn ymladd, &c.
Lions combatant — llewod ymladdgar; llewod cysbwyol; llewod yn ymladd *neu* yn ymdrechu.
**Combatant**, *s.* ymladdwr, ymdrechwr, ymdrechydd, rhyswr, cysbwywr, brwydrwr, brwydrydd, campwr; ornestwr, ornestydd; ymddadleuwr, ymdynwr, ymrysonydd, ymwanwr, ceimhiad: *pl.* ceidron.
**Combater**, *s.* (o *combat*) ymladdwr, ymdrechwr, rhyswr, cysbwywr.
**Combative**, *a.* (o *combat*) ymladdgar, cysbwygar, ymrysongar, ymrysgar.
**Combativeness**, *s.* (o *combative*) ymladdgarwch, ymrysgarwch, cysbwygarwch, ymrysedd, ymrysonedd.
**Comber**, *s.* (o *comb*) cribwr, cribydd, cribiedydd.
**Comb-brush**, *s.* crib-wrychell, cribgarthydd, gwrychell crib, carthydd crib.
**Comber**,† *s.* (Ff. *encombrer*) rhwystr, attalfa.
**Comber**, *s.* crippysg, y cribiedydd = math o bysg ar dueddau Cernyw.
**Combinable**, *a.* (o *combine*) cyfunadwy, cyssylltadwy.
**Combinableness**, *s.* cyfunadwyedd, hygyssylltedd, cyfunoldeb.
**Combinate**,† *a.* (Ff. *combiner*; Ll. *combino*) dyweddïol, dyweddïedig, cyfneithiol; gwedi ei dyweddïo.
**Combination**, *s.* (Ff. *combinaison*) cyfuniad; cydundeb, cytundeb, cydsyniad; cyssylltiad, cydblethiad, cymhlethiant, cymhlethiad, cydgyssylltiad, cyfymlyniad, cydymglymiad, cyduniad, cyfunedd, uniad, cydiad, cyplysiad, cyfundod, cyfunawd, undeb, uniant; cym-

gres, cymmysgiad, cydgymmysgiad, cymhlithiad, cydfysgiad, cyssoddiad; cydfwriad, cynghrair, cysswyn; cynnulliad; rhifuniad.
Chemical combination—cyfuniad fferyllaidd.

Combine, *v.* (Ll. *combino*; Ff. *combiner*) cyfuno; cyduno, cytuno, cydymuno, uno, ymuno, cydsynio; cyssylltu, cydgyssylltu, cydblethu, cymhlethu, cyfymlynu, cydymglymu, cydio, cyplysu; cymmysgu, cydfysgu, cyssoddi, cydgymmysgu, cymhlitho, cymhlithio, trymysgu, cydgorffori, cyfrwymo, tasio; cynghreirio, cydfwriadu, cysswyno; ymgyplysu, ymgyfeillachu, ymgyssylltu, cymgresu.
Combined expedition—cyforddwy.

Combiner, *s.* (o *combine*) cyfunwr, cyfunydd, cyfunai, cydunwr, &c.

Combless, *a.* (*comb* a *less*) digrib, heb grib, digobyn

Combust, *a.* (Ll. *combustus*) cyngreidiol, cydlosgol, yn gydlosg; agos i'r haul.

Combustible, *a.* (Ff. o'r Ll. *combustibilis*) hylosg, llosgadwy, magdan, hydan, ennynol, hyboeth; à gymmero dân.

Combustible, *s.* dysgymmon, gosgymmon, magdan, hylosgyn: *pl.* hylosgion.

Combustibleness, } *s.* hylosgedd.
Combustibility, }

Combustion, *s.* (Ll. drosgl, *combustio*) cydlosgiad, cyflosgiad, llosgiad, cyflosgfa, banffagliad, goddeithiad, goddaith, llosg, llosgfa, ennyniad, cynneu, cynne, tanllwyth; dyfysgi, terfysg, cynhwrf, trabludd, cyffro, cythrwfl, annhrefn, dwndwr, ffwndwr, ffrawdd, trybestod.
Spontaneous combustion — ymhylosgiad, ymlosgiad, hylosgiad; llosgiad o hono ei hun.

Combustive, *a.* (Ll. *combustus*) hylosg, hydan; tueddol i losgi.

Come, *v. n.* (S. *cuman, cwiman*; Al. *kommen*; Is. *koomen*) dyfod; dawed, dawad, delu, delyd, dod, doddi; dygwyddo, hapio, damweinio; dynesu.
Come—tyred, dyred, dere, dyre; deuwch, dewch, dowch; awn.
To come along—dyfod rhagddo; myned rhagddo; dyfod yn mlaen; myned yn mlaen; dyfod gyda.
Come along — tyred, dyrel, dere, dyre; deuwch, dewch, dowch; dere *neu* dowch oddyna; iddo.
To come after—dyfod *neu* fyned ar ol; dylyn, canlyn, erlyn; dyfod i gael.
To come abroad—dyfod allan, ar led, *neu* yn gyhoedd; myned allan, ar led, *neu* yn gyhoedd; cael ei gyhoeddi; cymmeryd gwynt.
To come again—dychwelyd, attychwelyd, atddychwelyd, adchwelyd; dyfod drachefn, eilwaith, eilchwyl, *neu* eilwers; dyfod yn ol.
To come asunder—ymadael â'u gilydd; syrthio ar led; ymollwng.
To come about—dyfod o amgylch; dyfod oddi amgylch; dyfod i ben; dyfod o gylch; dyfod o gwmpas; dygwyddo, dygwydd, hapio, damweinio, cymmeryd lle; bod; troi, newid.
To come at—cyrhaedd, cyrhaeddyd; goddiwes, goddiweddyd, gorddiwes, gorddiweddu; dyfod i; dyfod o hyd i; dyfod o hyd; cael, caffael, ennill; cael gafael; cael gafael ar; bod o fewn cyrhaedd; dyfod yn mlaen.
To come away—dyfod *neu* fyned ymaith; ymadael, ymadaw, ymadu; myned i ffwrdd.
Come away — tyred ymaith; dowch ymaith.
To come back—dychwelyd; dyfod yn ol; myned yn ol; dyfod *neu* fyned yn ol i adwedd; adwedda, attroi; troi adref; troi yn ol.
To come by—dyfod heibio; myned heibio; pasio; cael, caffael, ennill; dyfod o hyd i; dyfod i; dyfod hyd; dyfod yn agos at.
To come before—dyfod o flaen; rhagflaenu, blaenu, blaenori; dyfod o'r *neu* i'r blaen; dyfod ger bron.
To come down—disgyn, gostwng; dyfod i lawr; dyfod i waered.
To come from—dyfod o; hanu o, hanfod o, deilliaw o, tarddu o, codi o, cyfodi o, cychwyn o; dechreu; cael dechreuad o; geni o; dwyre o, arwyre o, arwyrain o; ymadael o; ymadaw oddi.
To come for—dyfod am; dyfod i gael; dyfod i dderbyn; dyfod ar ol; canlyn, dylyn.
To come forth — dyfod allan; deilliaw, tarddu, hanu; ymadael o; ymadael, ymadaw; gadaw, gadael; dyfod ar led.
To come home — dyfod adref; myned adref; myned *neu* ddyfod i adwedd; myned *neu* ddyfod i'w adlam; dychwelyd i'w wlad ei hun; dyfod i dir ei wlad; adwedda.
To come in—dyfod i mewn *neu* i fewn; myned i mewn; ymröi, ymroddi, ymostwng, ymddarostwng, ymblygu, plygu, cydsynio; gwneuthur gwarogaeth; cyrhaedd; cael *neu* gyrhaedd y porthladd; dyfod i arferiad.
To come in request—dyfod i barch *neu* fri; dyfod i fod mewn parch *neu* mewn bri; dyfod i gymmeriad; dyfod i fraint a bri; dyfod i fri a braint; dyfod i fod âg ymofyn mawr am dano.
To come in place of another—dyfod yn lle un arall; dyfod ar ol un arall; canlyn.
To come in for—dyfod i mewn am *neu* i; dyfod mewn pryd i gael rhan.
To come into—dyfod i; dyfod yn; ymuno âg, uno â; cytuno yn *neu* mewn; cytuno i; cyduno â; cydsynio i.
To come near, } dyfod yn agos; neshau, dynesu, nesu, dyneshau;
To come nigh, } agoshau; myned yn agos; tebygu.
To come of—dyfod o; tarddu o, hanu o, deilliaw o.
To come off—dyfod ymaith; dianc, diengyd; myned ymaith; ymadaw, ymadael, ymadu; dyfod yn rhydd; diweddu.
To come off well — llwyddo, ffynnu; myned rhagddo yn rhwydd.
To come off ill—aflwyddo; bod yn aflwyddiannus *neu* anffodus.
To come off from—ymadael âg, ymadaw â; gadael, gadaw.
To come often—dyfod yn fynych; mynych

gyrchu; mynych ddyfod; mynych dreiglo.
To come on—dyfod yn mlaen; myned yn mlaen; dyfod *neu* fyned rhagddo; ffynnu, llwyddo, gwrygio, cynnyddu; dygwyddo; rhuthro ar; dyfod am ben.
To come over—dyfod *neu* fyned drosodd; gorchuddio; newid ochr; troi, cyfnewid.
To come over to a party—dyfod *neu* fyned drosodd at blaid; newid ei blaid; newid ei ochr; gadael ei blaid ac ymuno *neu* ymgyssylltu â phlaid arall; gwrthgilio, pleidgilio.
To come out—dyfod allan; dyfod i maes; dyfod i'r amlwg; dyfod i'r goleu; cael ei gyhoeddi; cyhoeddi, dadguddio, amlygu, digelu, dynoethi; diweddu, terfynu; dyfod i ben; hanu o, deilliaw o, tarddu o, disgyn o; ymadael o *neu* âg; troi allan.
To come out of—dyfod allan o; myned o; ymadael o.
To come out with—dyfod allan âg; dadguddio, digelu, dynoethi, amlygu.
To come short—bod yn fyr; bod yn ol; dyfod yn fyr; syrthio yn fyr; methu cyrhaedd; methu â chyrhaedd; pallu, diffygio.
To come far short—bod yn llawer is; bod yn is o lawer; bod yn llawer gwaelach; bod yn waelach o lawer; bod yn mhell ar ol; dyfod yn fyr o gyrhaeddiadau *neu* ragoriaethau; bod yn dra byr, &c.
To come to—dyfod i; dyfod yn; cyrchu i; myned i; cyrchu at; cydsynio, ymostwng, cytuno; costio, talu; cyrhaedd; dyfod at; dyfod ato ei hun; codi *neu* ymgodi i.
To come to himself—dyfod ato ei hun; dychwelyd iddo ei hun; dychwelyd i'w bwyll; dychwelyd i'w iawn bwyll; dadebru, dadlewygu, dadlesmeirio, dadhuno, eilsynwyro, dadfasu.
To come to an end—darfod, darfod am; diweddu, dybenu, terfynu; dyfod i derfyn *neu* ddiwedd.
To come to an agreement—cytuno; dyfod i gytundeb.
To come to hand—dyfod i law; cael ei dderbyn; cyrhaeddyd.
To come to the knowledge of—dyfod i wybodaeth o; dyfod i adnabyddiaeth o; cael gwybod *neu* adnabod; cael cydnabyddiaeth ar; cael ei wybod *neu* adnabod gân; dyfod i wybodaeth *neu* nabyddiaeth; myned yn hysbys.
To come to mind—dyfod i gof; cael ei adgofio; dyfod i feddwl; dyfod ar feddwl; dyfod ar gof.
To come to light—dyfod i oleuni, i'r goleuni, i'r goleu, *neu* i'r amlwg; bod yn amlwg; dyfod i fod yn amlwg; myned yn amlwg; dyfod *neu* fyned yn weledig, yn weladwy, yn honaid, *neu* yn hysbys; ymddïargelu, ymegluro, ymddadguddio.
To come to life again—adfywio, ymadfywio; myned yn eilfyw; myned yn fyw drachefn; dadebru, dadlewygu, dadfasu, dadlesmeirio.
To come to pass—bod; dygwyddo, dygwydd, damweinio, damchweinio, dyfod i ben, hapio.
To come to nought, To come to nothing,—dyfod i ddim; myned yn ddiffrwyth; myned yn ddim; methu yn llwyr; diflanu, difanu.
To come to preferment—dyfod i ddyrchafiad; cael dyrchafiad; dyfod i anrhydedd *neu* urddas.
To come to one's share—dyfod i ran un; dyfod i un; dygwyddo i un;
To come together—dyfod yn nghyd; ymgynnull, ymgasglu, cyfarfod, ymgyfarfod, cwrdd; cydio, ymgydio, cymharu; ymgymharu, cydgyffelybu.
To come up—dyfod i fyny; esgyn; bod i fyny; codi, cyfodi, ymgodi, ymgyfodi, dygynu, ymddyrchafu, cwnu; egino, tarddu, tori allan; dyfod i arfer.
To come up with—goddiweddyd, gorddiwes, goddiwes; dyfod i fyny â.
To come up with one—dyfod i fyny âg un; bod i fyny âg un; bod gydag un; talu y pwyth i un; talu gast am gast i un; talu y naill dros y llall i un.
To come up to—dyfod i fyny at; neshau at, nesu at; codi i; cyrhaedd; dyfod i; dyfod i fyny i.
To come upon—dyfod ar; rhuthro ar; dwyn gwib ar; dyfod ar warthaf; dyfod am ben; dyfod ar wàr; cyrchu *neu* ruthro am ben; syrthio ar; ymosod ar; taro wrth; dygwyddo cyfarfod â; damweinio ar; damweinio am ben; gorddiwes.
Come, come—dyre, dyre; dewch, dewch; dyna, dyna.
To come—i ddyfod; à ddaw; à fydd; dyfodol; à ddeuant; à fyddant.
The world to come—y byd à ddaw; y byd i ddyfod; y byd dyfodol.
The judgment to come—y farn à fydd.
About to come—ar ddyfod; yn nghylch dyfod; ger llaw.
Ready to come—yn barod i ddyfod; ar ddyfod.
Come near—dynesha, dynesa, agosa, nesha; dere yn nes.
He is come, He has come,—daeth; efe a ddaeth; doddyw, dyddyw, dyfu.
I will come—deuaf, doaf; mi a ddeuaf, mi a ddoaf.
Thou wilt come—deui, döi.
He, she, *or* it will come—daw, deua, doa.
We will come—deuwn, down, dewn.
You will come—deuwch, dewch, dowch.
They will come—deuant, doant, dônt.
They would come—deuent, döent, delent.
Come here—tyred yma; dyre yma; dere yma; dyred yma; dabre, debre.
If it comes—os daw; o dyfydd.
It came to pass—bu; dygwyddodd; darfu; deddyw.
Come hither—tyred, dyred, dere, *neu* dyre yma; dabre, debre.
Come out here—tyred allan; allan â thi; dere i maes; ffwrdd, hwt.
Come what will—doed à ddelo; deued à ddel; dygwydded à ddygwyddo.
As soon as the commandment came abroad—pan gyhoeddwyd y gorchymyn.
Thou art come from kings—o freninoedd y'th hanwyd.

You were not then in company—nid oeddech chwi yn ein plith ar hyny o bryd; nid oech chwi gyda ni y pryd hwnw.
Great company—tyrfa fawr.
Certain women of our company — rhai gwragedd o honom ni.
They went to their own company—daethant at yr eiddynt.
He was pleasant company — cydymaith dyddan, difyr, difyrus, *neu* ddigrif ydoedd.
Though Fame too came along in the company—er dyfod o Glod hithau yn mhlith y lleill.
He went about from company to company—cerddodd o amgylch o fyntai i fyntai, o fyddin i fyddin, *neu* o gattorf i gattorf.
He divided his men into three companies —rhanodd ei wŷr yn dair byddin, myntai, cattorf, *neu* dyrfa.
The marching of the company--cerddediad y llu (1 *Mac.* vi. 41).
Of the same company—o'r un dorf *neu* fyddin, &c.; cydfyddin.
Ship's company—gwŷr llong, cymdeithion llong.
A company of horses—bagad o geffylau; haid o feirch, &c.
Company of horse—marchoglu, marchogdorf.
Strolling company—gwiblu.
By companies—yn fynteioedd, yn fyddinoedd, &c.; yn fyrddeidiau (*Marc* vi. 39).
To bear company, } To keep company, } cydfyned, hebrwng, hebryngu, canymdöi, cymdeithio, cydymdeithio, cyttrodio, cytteithio, cysymdeithio, cydgerdded; ymgyfeillachu, ymgymdeithasu, ymddylyn; cymdeithasu, cyfeillachu, cyfrinachu; cadw *neu* gynnal cyfeillach; bod yn gyfaill; ymwasgu â; cydymgymysgu; mynychu. [esau.
They that bear her company—ei chyfeill-
To be much in company with—ymddylyn, ymganlyn, *neu* gydymganlyn â; mynych gyrchu i gymdeithas un.
He is ever in her company—y mae efe byth gyda hi; y mae efe byth a hefyd yn ei hael hi.
To break company— tori cymdeithas *neu* gyfeillach; tori cyfeillach i fyny; ymadael o gymdeithion; ymwahanu o gyfarfod; gwahanu cymdeithas; ysgaru, gwasgaru, ymwasgaru.

Company, *v.* cymdeithio, cydymdeithio, hebrwng, hebryngu, cydfyned, cyttrodio, cytteithio, canymdöi, cydgerdded; ymgyfeillachu, ymgymdeithasu, ymddylyn; cymdeithasu, cyfeillachu, cyfrinachu; cadw *neu* gynnal cyfeillach; bod yn gyfaill; ymwasgu â; cydymgymmysgu; mynychu cymdeithas *neu* gyfeillach; cywestu, cydorwedd, cywestachu; † bod yn llon gydymaith.
To company together—bod yn nghyd.

Comparable, *a.* (Ll. *comparabilis*) cymharadwy, tebygadwy; cymharol; i'w gymharu, i'w gystadlu, i'w debygu, i'w gyffelybu; cydradd, cymhar, cystal, cystadl, cyffelyb; cydwerth.

Comparably, *ad.* mewn cymhariaeth; yn gymharol; mewn modd cymharol; yn gydraddol; yn gyffelybol, yn gydgyffelybol.

Comparates, *s.pl.* (Ll. *comparatus*) cymharolion.

Comparation, *s.* (Ll. *comparatio*) darpariaeth, darbodaeth, arlwy, darpariad, darbodiad.

Comparative, *a.* (Ll. *comparativus*) cymharol, cymhariaethol, argystadlol, argystadl; cymhariadol: *pl.* cymharolion, cymhariadolion.
Comparative degree—y ganolradd, y radd gymharol, y radd ganol, y berfeddradd; y chwanegol o un radd.
Adjective of the comparative degree — ansoddair canolradd, ansoddeb canolradd, enw gwàn canolradd, chwanegair canolradd; adenw yn y radd gymharol *neu* ganol.
Comparative anatomy — difyniaeth gymharol, cyfddifyniaeth, milddifyniaeth =difyniad pob math o anifel ond dyn.
Comparative philology — ieithgymhariaeth, cymhariaeth ieithoedd, ieithyddiaeth gymharol.

Comparative,† *s.* cyfeisor, cystedlydd.

Comparatively, *ad.* yn gymharol, mewn cymhariaeth, yn gymhariaethol; mewn cystadlaeth, mewn cyffelybiaeth; o'r ddau; mewn perthynas i ereill.

Compare, *v.* (Ll. *comparo*) cymharu, cyffelybu, cystadlu, tebygu, cyfartalu, cyfalhau, cynhebygu, cydgyffelybu, dyfalu, tebygoli, hefelychu; cydystyried, cydbwyso, cydfarnu, cydosod; bod yn debyg; hefelu; † cael.
To compare together—cydgymharu, cydgyffelybu.
I am not to be compared with him—nid wyf fi ddim ato ef; oes cymhariaeth rhyngof fi aç ef.
We have none to compare *or* to be compared with him—nid oes genym neb i'w gymharu âg ef.

Compare, *s.* cymhariaeth, cyffelybiaeth, tebygrwydd; hefeleb.

Comparer, *s.* (o *compare*) cymharwr, cymharydd, cyffelybwr, &c.

Comparing, *s.* (o *compare*) cymhariad, cyffelybiad, tebygiad, hefeliad, cystadliad, &c.

Comparison, *s.* (Ll. *comparatio;* Ff. *comparaison*) cymhariaeth, cyffelybiaeth, cystadlaeth, cystadledd, cyfartaledd, cyffelybrwydd, tebygiaeth; cystadliad, cymhariad; dameg; cymharedd, cyffelybedd, cyfweddiad.
In comparison of—wrth, at; cyferbyn â, gyferbyn â; mewn cymhariaeth i; â'i gymharu â; os cymherir â.
What have I done now in comparison of you?—beth a wnaethym i yn awr wrth à wnaethoch chwi?
Without comparison—yn ddigymhariaeth; yn ddiddadl, yn ddïwrthddadl.
Degrees of comparison—graddau cymhariaeth, graddau cymharol.

Compart, *v. a.* (Ff. *compartir*) rhanu, parthu, dosbarthu, cymharthu.

Compart, *s.* aelod, rhan, parth.

Compartiment, } Compartment, } *s.* (Ff. *compartiment*) rhan, dosbarth, parth, cymharth; adeilran.

Compartition, *s.* (Ll. *con* a *partitio*) rhaniad, parthiad, cymharthiad, dosbarthiad, dosbarth.

Compartner, *s.* (Ll. *con,* a *partner*) cyfranog, cyfranydd, cyfranogydd, cydranwr.

Compass, *s.* (Ff. ac Ysp. *compas*) cylch,

cylchedd, cylched, amgylchedd; amgylch; cwmpas, compawd, cwmpawd, compod; cylchred, cylchyn, amgant, rhygylch, comp, cwmp; terfynau.

Mariner's compass—compawd, cwmpas; cwmpas morwyr, morgompawd.

Compass, | Compasses, | Pair of compasses, } cwmpas, compod, cylchedydd, cylchiadyr, cylchyr: *pl.* compodau.

Card of the compass—carden y compawd; gwyneb y cwmpas.

Triangular compass — compas tryfal, compod triongl.

The compass of the world—cylch, amgylchedd, *neu* amgant y byd; caerau y byd; y bydyssawd, y bedyssawd, yr hollfyd.

To fetch a compass—myned o *neu* oddi amgylch; amgylchu, amgylchynu, damgylchu; bod yn faith *neu* fanwl; arfer aml eiriau; arfer amgylchion geiriau.

They fetched a compass of seven days' journey—hwy a aethant o amgylch ar eu taith saith dïwrnod.

Fetch a compass behind them—amgylchyna o'r tu ol iddynt.

By fetching a longer compass about—trwy fyned yn mhellach oddi amgylch.

To keep within compass—cadw o fewn mesur; cadw o fewn terfynau; bod yn gymmedrol.

Within the compass of the temple—o fewn cylch y deml.

Within the compass of a year—o fewn cylch blwyddyn; yn chwyl blwyddyn; o fewn chwyl blwyddyn; o fewn ysbaid *neu* ystod blwyddyn.

Within the compass of our memory—yn ein cof; o fewn cyrhaedd ein cof; o fewn terfynau ein cof; o fewn ein cof.

It is above the compass of art—y mae efe allan o gyrhaedd celfyddyd; y mae e tu hwnt i gyrhaedd celfyddyd.

Compass of a way—amgylchedd *neu* amgylchyniad ffordd; ymdro ffordd.

To draw into a narrow compass—cyfyngu; cwtogi, byrhau, dyfyru.

That I may speak within compass, | To speak within compass, } fel na ddywedwyf yn rhy helaeth; fel nad elwyf *neu* elof dros y terfynau; fel na ddywedwyf dros y terfynau.

Compass, *v. a.* amgylchu, amgylchynu, cylchu, damgylchu, cylchynu, damgylchynu, cwmpasu; cael, caffael, cyrhaedd, cyrhaeddyd, cyrhaeddu; cyflawnu; dwyn i ben; dwyn o amgylch; amcanu, bwriadu, dyfeisio, cydfwriadu, cynllunio, cydfradu; mynu; cael ei amcan; cael gafael ar; dyfod o hyd i.

To compass round about together—cydamgylchu, cydamgylchynu.

To compass with a trench—amgloddio; gwneuthur *neu* fwrw clawdd o amgylch.

To compass about with a hedge—amgau; rhoi *neu* wneuthur cae o amgylch.

To compass a town — amgylchu tref; gwarchau tref, gwarchäu dinas.

To compass the death of the king—amcanu at fywyd y brenin; bwriadu am fywyd y brenin; cydfwriadu yn erbyn einioes y brenin.

To compass a business—cyflawnu gorchwyl; dwyn gorchwyl i ben.

He is compassing some great matter—mae ar oddeu *neu* yn nghylch dwyn i ben ryw beth, mater, *neu* orchwyl mawr.

Pride compasseth them about as a chain—cadwynodd balchder hwynt (*Salm* lxxiii. 6).

Compassable, *a.* (o *compass*) amgylchadwy, &c.

Compass-box, *s.* cwmpasgist, cwmpaswain, cwmpasgloer, blwch cwmpas.

Compasses, *s. pl.* (o *compass*) cwmpas, cylchiadyr, cylchedydd, cylchyr, compod.

Bow compasses — crymgwmpas, camgwmpas.

Spring compasses—twythgwmpas.

Beam compasses—llathgwmpas. [iad.

Compassing, *s.* (o *compass*) coedblygiad, crym-

Compassion, *s.* (Ff.; Ll. drosgl, *compassio*) tosturi, tosturiaeth, gresyndod, trugaredd, gwaws; cytteimlad, cydymdeimlad, teimladrwydd, dyngaredd, gresi, tynerwch.

To have compassion, | To take compassion, } tosturio, trugarhau, gresynu, truanu, truanhau, tirioni, tosturiannu, tosturhau; bod yn dosturiol *neu* drugarog; bod yn ddrwg ganddo; arbed, eiriach; cydoddef.

Ye had compassion of me in my bonds—cyd-ddyoddefasoch â'm rhwymau (*Heb.* x. 34).

Compassion,† *v. a.* tosturio, trugarhau.

Compassionable, *a.* (o *compassion*) tosturiadwy.

Compassionate, *a.* (o *compassion*) tosturiol, tosturiog, trugarog, trugar, tosturus, tosturiaethol, tosturiannol, tosturhaol, trugarhäus, gresyngar, gresin, tyner, tyner-galon; tyner ei galon; â fo yn resyn *neu* ddrwg ganddo dros y truan.

To be compassionate—tosturio, &c.

Compassionate, *v. a.* tosturio wrth, trugarhau wrth; tosturio, gresynu, trugarhau, truanu, tosturiannu, tosturhau, tosturuso; bod ganddo gwyn i; bod yn ddrwg *neu* resyn ganddo dros.

Compassionateness, *s.* tosturioldeb, tosturiogrwydd, tosturusrwydd, gresynoldeb, trugarogrwydd.

Compassless, *a.* (*compass* a *less*) digwmpas.

Compass-needle, *s.* nydwydd y compawd, nodwydd y cwmpas.

Compass-saw, *s.* compaslif, cwmpaslif, cylchlif, complif, cwmplif.

Compaternity, *s.* (*com* a *paternity*) cyttadoliaeth; perthynas tad bedydd â'r un yr etyb efe drosto.

Compatibility, *s.* (o *compatible*) cydweddoldeb, cyssondeb, addasrwydd, cyfaddasdeb, cyngweddoldeb, cydfodoldeb, cydfyddusrwydd, cydsafedd, cydoddefedd; cytundeb, cyttalgarwch, cymmodoldeb.

Compatible, *a.* (Ff. o'r Ll. *competo*) cydweddol, cysson, cyngweddol, cytunol, cydunol, cydfodol, cydfyddus, cydsaf, cydsafol, cydoddef; cytun, cyttalgar, cymmodol; addas, cyfaddas, cymhwys, gwiw; â fedront gytuno yn nghyd; â fedront gydsefyll.

These two things are very compatible—dichon y ddau beth hyn gydsefyll yn hawdd.

**Not compatible**—anghydweddol, anghysson, &c.
**Compatibleness**, *s.*=*Compatibility*.
**Compatient**, *a.* (Ll. *com* a *patior*) cydoddefol, cydoddefus.
**Compatriot**, *s.* (*com* neu *con* a *patriot;* It. *compatriotta*) cydwladwr, cydwleidiad, cywleidiad, cywladwr, cywlad, un cydwlad, un cywlad, dyn unwlad; cydwladgarwr, cywladgarwr: *pl.* cydwladwyr, cydwleidiaid, cywleidiadon.
**Compatriot**, *a.* cydwladol, cywladol, cydwleidiol; o'r un wlad; cywlad.
**Compatriotism**, *s.* (*com* a *patriotism*) cydwladgarwch, cywladgarwch, cydwladwch, cydfrolwydd.
**Compear**, } † *v.n.* (Ll. *compareo;* Ff. *comparoir*)
**Compeer**, } ymddangos.
**Compeer**, *s.* (Ll. *compar*) cyfurddor, cydraddwr, cyfraddwr, cydradd, gogyfurdd, un cyfurdd, un cydradd, un gogyfurdd; cyfaill, cymrawd, cydymaith, cyfeisor, cymhar, cyfail, cyfaillt, cystedlydd.
**Compeer**, *v. a.* cyfraddu, cydraddu, cystadlu, cyfeisori; cymharu; bod yn gydradd â.
**Compel**, *v. a.* (Ll. *compello*) cymhell, dychymhell, dirgymhell, gorfodi, gorfodogi, gorfod, argymhell, dirio; gyru, gwthio; peru i; gwneuthur i; dàl, gafaelyd; gyru yn nghyd, cynnull; cymmeryd drwy drais; gorchfygu; † galw allan.
 **Thou shalt not compel him to serve**—na wna iddo wasanaethu (*Lef.* xxv. 39).
**Compellable**, *a.* (o *compel*) cymhelladwy, &c.
**Compellation**, *s.* (Ll. *compellatio*) cyfarch, cyfarchiad, cyfarchwedd, anerchiad, moesweddiad, moesair, cyfarchair; galwad.
**Compellatory**, *a.* (o'r Ll. *compello*) gorfodol, cymhellol; trwy orfodaeth.
**Compeller**, *s.* (o *compel*) cymhellydd, cymhellwr, gorfodwr, gorfodogwr, diriwr.
**Compend**, } *s.* (Ll. *compendium*) crynodeb,
**Compendium**, } crynoad, talfyriad, byrgasgliad, byrdreithawd, berffordd, cynnwysiad, byriad; swm cryno o'r cwbl.
 **To make a compendium** — gwneuthur crynodeb; talfyru, crynöi, byrgasglu.
**Compendiarious**, *a.* (Ll. *compendiarius*) cryno, byr, talfyr, crynoawl.
**Compendiate**,† *v. a.* casglu, crynöi.
**Compendious**, *a.* (Ll. *compendiosus*) cryno, talfyredig, talfyr, byr, crynoedig, crynoawl; cynnwysfawr, byrgynnwysfawr; agos, uniongyrch.
**Compendiousness**, *s.* crynoder, talfyrder; cynnwysfoledd; byrder, byrdra, byrdeb.
**Compensable**, *a.* (Ll. *compenso*) gobrwyadwy.
**Compensate**, *v.* (Ll. *compenso*) talu, ad-dalu, attalu; talu y pwyth; gwneuthur iawn; gwneuthur *neu* dalu taledigaeth; gwobrwyo, gobrwyo, gwobri, gobri; talbenu, cyfrdalu, cyfdalu, unioni, iawnu, dadolychu; talu am; bod yn uniawn am; bod yn gymhwys *neu* gydbwys âg; gwneyd i fyny.
 **To compensate a fault**—diwygio bai.
**Compensation**, *s.* (Ll. *compensatio*) taledigaeth; tâl, taliad, pwyth, ad-daliad, attaliad; tâl *neu* daliad pwyth; cyfrdaliad, cyfdaledigaeth; iawn, daffar, dyfwyn, dyfwyni, dadolwch; gwobr, gwobrwy; boddloniad; talbeniad; cywerthydd; diwygiad.
 **Compensation pendulum** — dringlyn talbenol.
**Compensative**, } *a.* (o *compensate*) taledigol,
**Compensatory**, } ad-daliadol; yn talu'r pwyth; gwobrwyol, gobrwyol, gwobrol; dadolychol; cywerthyddol; taliadol; yn gwneyd i fyny.
**Compense**,† *v. a.* ad-dalu.
**Comperendinate**,† *v. n.* (Ll. *comperendino*) oedi, gohirio.
**Comperendination**,† *s.* (Ll. *comperendinatio*) oediad, gohiriad.
**Compete**, *v. n.* (Ll. *competo*) cystadlu, cystedlu, cydymgeisio, cydgeisio, ymgeisio, cydymgais, cydymdynu, cydymerlyn, cydymdrechu, cyngorchestu.
**Competence**, } *s.* (Ll. *competentia*) cyfraid;
**Competency**, } digonedd, digon, digonoldeb, digonolrwydd, digoniant, diwallrwydd; dogn, dognedd; cyfaddasrwydd, addasrwydd, cymmesurwydd, cymhwysder; addasran, gwedduaran; aumhrinder; awdurdod, gallu, galluogrwydd.
 **He has competency**—y mae ganddo ei gyfraid; y mae yn ddïangen; y mae yn ddigonol; y mae ar ei ddigon; mae ganddo Dduw a digon; mae ganddo ddigon i fyw.
**Competent**, *a.* (Ll. *competens*) digonol, digon, cymhwys, addas, cyfaddas, cymmesur, cymmedrol, diwall, cyfreidiol, sutiol, gweddol, gweddus, gwiw, cyngweddus, cyngweddol; y cyfryw ag sy raid; perthynol.
 **He is a competent scholar**—y mae efe yn ddigon o ysgoläig *neu* ysgolor.
**Competible**,† *a.*=*Compatible*.
**Competibleness**, *s.*=*Compatibleness*, *Compatibility*.
**Competition**, *s.* (Ll. *competitio*) cydgais, cydymgais, cydgeisiad, cyfgeisiad, cystadledd, cyderlyniad, cystadleuaeth, cystadlaeth, cyfergais, cydymyraeth, cydymyriad, cydamryson, cyfymryson, cyfamryson, cyngorchest, cydeirchiad, cyfarwas.
 **To put in competition**—cymharu, cystadlu, cydystyried, cydbwyso; cymharu yn nghyd; cydgymharu, cydgyffelybu.
 **To come in competition**—dyfod i'w gymharu, i'w gystadlu, i'w gydystyried, *neu* i'w gydbwyso.
 **To stand in competition**—cydgeisio, cydymgeisio, cydymgais, cydymerlyn; bod yn gydymgeisydd; sefyll.
**Competitor**, *s.* (Ll.) cydymgeisydd, cydymgeisiwr, cydgeisiwr, cydgeisiedydd, cystedlydd, cystadleuwr, cydamrysonwr, cyfamrysonydd, cyderlynwr, cyderfyniwr, cyderlyniad, cyderlynydd; â fo yn ymgeisio am yr un peth ag arall; gwrthwynebydd.
**Competitory**, *a.* (o *competitor*) cyngheisiol, cydymgeisiol, cystadleuol, cyderlynol, cydeirchiol, cyderfyniol.
**Competitress**, } *s.* (Ll. *competitrix*) cydgeis-
**Competitrix**, } yddes, cystadles, cystedlyddes, cyderlynes, cydgeiswraig.
**Compilation**, *s.* (Ll. *compilatio*) casgliad, casgl, casglfa, cydgasgliad, cydgasgl, cynnulliad, cynnull; amrygasgliad; pentyriad; cyfansoddiad.
**Compilator**,† *s.* (Ll.) casglydd.
**Compile**, *v. a.* (Ll. *compilo*) casglu, cynnull, crynöi; amrygasglu; cyfansoddi, ysgrifenu, cyfeilio; casglu o amryw awduron; †adeiladu, adeiladu.

**Compilement**, *s.* (o *compile*) pentyriad, crugiad, cynnulliad.
**Compiler**, *s.* (o *compile*) casglydd, casglwr, amrygasglydd, detholydd, cynnullwr, cynnullydd.
**Complacence**, } *s.* (Ll. *complacens*) hyfrydwch,
**Complacency**, } ymhyfrydiad, boddlonrwydd, boddhad, ymfoddhad, ymfoddloniad, bodd, boddineb, dywenydd, dyfoddiant; hynawsedd, mwyneiddwch, mwyneidd-dra, mwynder, moesgarwch, moes, cyweithasrwydd; boddlondeb, boddoldeb, cymmodlonedd, darfoddiad; cyfanneddrwydd.
**Complacent**, *a.* (Ll. *complacens*) hynaws, mwyn, addfwyn, mwynaidd, hyfwyn, tirion, moesgar, hyfoes, cyweithasol; hyfryd, hyfrydaidd, boddhaol, boddlawn, boddlonol, boddus, cyfoddus, cyfoddol, boddwych, cymmaws, darfoddol, darfoddus.
**Complacential**, *a.* (o *complacent*) cyfoddiannus, boddlonol, boddhaol; cymmeradwyol; hynaws.
**Complain**, *v. n.* (Ff. *complaindre*) cwyno, achwyn, cwynfan, cwynofain, ymgwyno, ymgwynfan; alaethu, galaru, galarnadu, galargwyno; grwgnach, grymial, tuchan, ubain, oernadu, ebychu, drygyrferthu; gwneuthur cwyn; beio; ymliw.
  To complain of—achwyn *neu* gwyno ar, rhag, *neu* yn erbyn; cyhuddo; beio ar.
  He complains lest he be complained of—achwyn rhag achwyn rhagddo; achwyn rhag achwyn arno.
  Shall I go to him and complain of this injury?—a af fi ato i ymliw âg ef am y cam hwn?
  Apt to complain—cwynfanus, achwyngar; yn gwneuthur ei gwyn byth a hefyd; tuchanllyd; galarus, oernadus.
**Complainable**,† *a.* (o *complain*) achwynadwy.
**Complainant**, *s.* (Ff. *complaignant*) achwynwr, achwynydd, cwynwr, hawlydd, hawlwr, hawlblaid, holydd; erlynydd, erlynwr.
**Complainer**, *s.* (o *complain*) cwynwr, achwynwr, achwynydd, alaethwr, galargwynwr; grwgnachydd, grymialydd, tuchanwr, ebychwr, ymliwiedydd.
**Complainful**,† *a.* (*complain* a *full*) cwynlawn, llawn achwynion.
**Complaining**, *s.* (o *complain*) achwyniad, cwyniad, achwynad, cwynad; ergwyniad; cwyn, achwyn.
**Complaint**, *s.* (Ff. *complainte*) cwyn, achwyn, cwynfan; galargwyn; tuchan, grwgnach; dolur, gwst, poen, clefyd, anhwyldeb, haint; gofid, cur; cyhuddiad, cyhudded, achwyniad.
  False complaint—camgyhuddiad, camgyhudded, camachwyn, trawsgyhudded; athrawd.
  A complaint against one—cyhudded, cyhuddiad, cwyn, achwyn, cweryl.
  Mutual complaint—cydachwyn, cydgwyn, cyfachwyn, cydgyhudded.
  Heavy complaint — trymgwyn, trymgyhudded, cyhuddiad trwm.
  Sad complaint—dirgwyn, tristgwyn.
  Slight complaint—gogwyn, gosgwyn, lledgwyn; cwyn bychan *neu* ysgafn.
**Complaisance**, *s.* (Ff.) hynawsedd, mwynder, mynogaeth, moesogrwydd, moesogaeth, moesgarwch, cyweithasrwydd, cyweithaswch, mwyneiddwch, mwyneidd-dra, mynogrwydd, mynogiant, mynogi, cyflysdod, rhadlonedd, rhadlonrwydd, boneddigrwydd, boneddigaeth, boneddwch, tiriondeb, tirionwch, natur dda, naturiaeth dda, ymddygiad mwynaidd, rhywiogrwydd; hynaws ymadrodd ac ymddygiad; parodrwydd i ganiatâu yr hyn a geisir ganddo; cydostyngiad, ymddarostyngiad; moesfoddineb, parod-fwynder; cymmwynasgarwch; ostlys.
**Complaisant**, *a.* (Ff.) hynaws, mwyn, mwynaidd, cyweithasol, cyweithas, addfwyn, moesgar, rhadlawn, boneddigaidd, llariaidd, da ei natur, tirion, tyner, mynogol, mynog, mynogiannol, hyfoes, moesog, cyflys, moddgar, moddus, mwynlan, rhywiog, rhywiogaidd, moesfoddus, moesfoddhaol, parodfwyn, cymmwynasgar; mwyn ei ymadrodd a'i ymddygiad; parod i ganiatâu yr hyn a erchir ganddo.
**Complaisantness**, *s.* hynawsedd, hynawsder, cyweithasoldeb, cyweithasder, cyflysdod.
**Complanate**, } *v. a.* (Ll. *complano*) gwastadu,
**Complane**, } gwastatu, gwastadhau, llyfnu, cydlyfnu, cydlyfnhau, llyfelu, gwyneb-lyfnu.
**Complement**, *s.* (Ll. *complementum*) cyflanw, cyflenwad, cyfanod; cyflawniad, cyflawnad, cwblhad, cyfaniad; llanw, llenwad, cyflawnder; perffeithiad, gorphen; dogn, hawg; cyfoll, cyfan, oll; llawnrif, cyflawnrif, llawn rifedi, cyflawn rifedi; yr hyn a röer i gyflawnu y diffyg; moes, defod.
  Arithmetical complement — cyflenwad rhifyddol, cyflenwad rhifol, rhiflenwad, rhiflanw.
**Complemental**, *a.* (o *complement*) cyflenwol, cyflenwadol, cyflawniadol; yn llenwi, yn cyflawnu; yn gwneyd i fyny; llawnrifol.
**Complementary**,† *s.* cymmediwydd.
**Complete**, *a.* (Ll. *completus*) cyflawn, perffaith, hollol, cwbl, cyfan, cyflwyr, cyfa, digoll, cyfrdo, cyfoll, cydol, perffeithgwbl, cyfangwbl, cyflawngwbl, cyflawnwedd, perffeithlawn, cyfrgwbl, di-dwn, cyfrben, diddiffyg; llawn, llwyr, trylwyr, allwyr; gorphenedig, dybenedig; gorphenol; gwedi ei orphen; cyflawnedig; taclus, cliw, cymhen, cywair, pyw, glân; cyfr-.
  A complete suit—cyflawnwisg, llawnwisg; cyfosod *neu* gyflawnbar o ddillad.
**Complete**, *v. a.* cyflawnu, gorphen, gorphenu, perffeithio, cwblhau, diweddu, dybenu; llanw, llenwi, cyflenwi; penu, cyfanu, cyfrdoi, cyfrbenu; neithio.
**Completely**, *ad.* yn gyflawn, yn hollol, achlân, yn berffaith, &c.
**Completeness**, *s.* (o *complete*) cyflawnder, perffeithrwydd, cyfanrwydd, cyflawndid, llwyrder, llwyrdeb, digollrwydd, allwyrder, perffeithder.
**Completion**, *s.* (o *complete*) cyflawniad, cwblhad, perffeithiad, cyfanodiad, cyflenwad; gorpheniad, diweddiad, gorphen, diwedd, cyngorphen, perffeithrwydd, cyflawnedd; neithiad.
**Completive**, *a.* (o *complete*) cyflawnol, cyflawniadol, cwblhaol, cyflenwol.
**Completory**, *a.* (o *complete*) cyflawniadol, cyflawnol, cwblhaol.
**Completory**, *s.* hwyrweddi, hwyrwasanaeth, hwyriolad, hwyraddoliad.

**Complex,** } *a.* (Ll. *complexus*) cymhlyg;
**Complexed,** } amrywiog, amrywiedig, amrywedd, amryfal; cyfansawdd; cymmysg, cymmysgedig; dyrys, anhawdd, astrus, rhwystrus; cymhleth, cymhlith, cymhlygedig, cymhlethol; yn cynnwys amryw rannau neu bethau; cyfansoddedig o amryw bethau neu foddion.

**Complex,** *s.* amrygasgl, amrygasgliad; casgliad, cynnulliad, casgl, cydgasgliad, cymhlethiad, cymhlithiad.

**Complexedness,** *s.* cymhlethiad, cymhlithiad, cymhlithiant, cydblethiad, cymmysgedd, cymhlygoldeb, cymhlethedigrwydd, cymhlygrwydd.

**Complexion,** *s.* (Ll. *complexio*) gwedd, pryd, gwynebpryd, pryd a gwedd, hoen, gwawr, eiliw, lliw, lliw y gwyneb, gne, llewyrch, llewych, drych, diwyg, gosgedd; edrychiad, golwg; croen; tymmer, dyli, naws, ansawdd, hwyl, creth, diwyg, ardymmer, cywydiaeth, cyfansoddiad; nodwedd, cymmeriad; cymhlygiad, cymhlygedd.

Fine complexion—lliw teg, gwyndeg, g'andeg, *neu* hardd-deg; lliw y lili; lliw yr eiry; lliw yr eira; lliw y manod; lliw y blodau; deuliw y blodau; deune yr eiry; eiliw yr eiry; lliw hoew ne Mair; hoen blodau haf; hoen ewyn llyn.

Pale complexion—lliw gwelw, lliw gwynwelw; gwedd lwyd, gwedd laswen; lliw dail yr ywen.

Lively complexion, } lliw gwridgoch,
Sanguine complexion, } lliw gwridog; cydne gwin; lliw gwyrenig.

Of good complexion—lliwgar, hoenwych, llewyrchus.

**Complexional,** *a.* perthynol i liw *neu* wawr; perthynol i bryd *neu* wedd; prydol, pryd-weddol, hoenus, hoenwawr; tymmeraidd, ardymmeraidd, tymmerol, ardymmerol, crethus, crethol, nawsol.

**Complexionary,** *a.* yn perthyn i bryd a gwedd; perthynol i liw *neu* wawr; hoenus, hoenwedd, hoenwawr.

**Complexioned,** *a.* hoenog; tymmerog, crethog, dyliog; o'r cyfryw naws *neu* liw.

**Complexity,** } *s.* (o *complex*) cymhlygrwydd,
**Complexness,** } cymhlygedd, cymhlethrwydd, cymhletholdeb, cymhlygoldeb; dyrysni, dyryswch, astrusi, dyrysi, nidredd; amrywiogrwydd.

**Complexture,** *s.* (o *complex*) cymhlygedd, cymhlygrwydd, cymhlethrwydd, cydblethni, cymmysgedd, cymhlithedd.

**Complexus,** *s.* (Ll.) cymhlygydd, cymhlygyr; cyhyr y gwegil.

**Compliable,** *a.* (o *comply*) ymroddadwy, plygadwy.

**Compliance,** *s.* (o *comply*) cydsyniad, cydymblygiad, cydymagweddiad, cydagweddiad, ymostyngiad, ymroddiad, cydymweddiad, ymfoddloniad, cymmodlonedd, ymoddef, cydymoddef, goddefiad, ymblygiad, ufydddod; caniatâd *neu* wneuthuriad dymuniad; cydsyniad â chais.

**Compliant,** *a.* (o *comply*) cydsyniol, ymroddol, hyblyg, plygadwy, ymblygol, ymagweddol, ymgydweddol, cydymblygol, cymmodlawn, cyfoddol, ymostyngol, ufydd, ufyddgar; yn cydsynio, yn cydymblygu, yn cydymagweddu, &c.; darweddol, hynaws.



**Complicacy,** } *s.* (o *complicate*) cymhleth-
**Complicateness,** } oldeb, cymhletholrwydd, cymhlethrwydd, cymhlethni, cymhlethedd, cydblethedd, cymhlethogrwydd, cymhlygolrwydd, cymhlygoldeb, cynghawogrwydd; penbleth, dyryswch, dyrysi, dyrysni, astrusi, nidredd, petrusder, cymmysgedd.

•**Complicate,** *v. a.* (Ll. *complico*) cymhlethu, cydblethu, cymhlygu, cydwëu; cymmysgu, dyrysu, methlu, nidro, penblethu, dyfysgu.

**Complicate,** } *a.* cymhleth, cymhlyg, cy-
**Complicated,** } mhlethedig, cymhlethog, cydblethedig, cymhlygedig, cymhlethol; cydweuedig; amryran, amlran, amlryw, amryw, lluosryw, lluosog; amrygymmysg, cymmysgryw, cymmysg; cynghawog, cynghafog; dyrys, astrus, nidrog, dyrysedig; cymmysgedig.

**Complication,** *s.* (o *complicate*) cymhlethiad, cymhlygiad, cydblethiad, cydweuad, cydwead, cymhleth; cadblyg; cydgasgliad, cynghlasgliad; cymmysgiad, dyrysiad; amrywiad, amrywiaeth; cadwynbleth o bethau.

A complication of figures—tŵr o luniau amryfath.

**Complicative,** *a.* (o *complicate*) cymhlethiadol, cymhlygiadol, cydblethiadol, cymhlethol, cydweol; dyrysol, nidrol.

**Complice,** *s.* (It.) cyfranogwr, cyfranogydd, cysswyniad, cyfranog, cysswynwr, cydgyfranog, affeithiwr, cyfrinachwr, cydblaid, cydymaith.

**Complicity,** *s.* (o *complex*) cymhlygiaeth; cymhletholdeb; cymhlethiad.

**Complier,** *s.* (o *comply*) cydsyniwr, cydagweddwr, cydymagweddwr, &c.

Complier with the times—â dry gyda'r amseroedd; â dry yn wastad gyda'r trechaf; tröwr gyda'r amser; cydymagweddwr â'r amseroedd.

**Compliment,** *s.* (Ff.; It. *complimento*) cymmediw; moesair; cyfarch, cyfarchiad, anerch, anerchiad, cyfanerch, moesgyfarch, damarch, dameirchiad; gair moes ac arfer; defodair; moliaith, mawlair, moesogiaith; cymmyredd, canmoliaeth; anrheg, rhodd; argymmediw; gweniaith; moesgarwch.

Present my compliments to him—rhoddwch fy nghymmediwau iddo; cyflwynwch fy nghyfarchiad iddo *neu* ato; anerchwch fi ato; cofiwch fi ato; anerchwch ef yn fy enw; cyfarchwch iddo yn fy enw; rhoddwch *neu* gyflwynwch fy ngwasanaeth iddo; cyfarchwch well iddo yn fy enw; cyflwynwch fy anerchion iddo.

Without compliment—yn ddiweniaith, yn ddigymmediw.

He made me a compliment of Homer's Iliad—anrhegodd fi âg Iliad Homer; efe a roes Iliad Homer i mi yn gymmediw; gwnaeth i mi argymmediw o Iliad Homer.

To stand upon compliments — sefyll ar gymmediwau; bod yn rhy foesgar; bod yn rhy foesffurfiog; sefyll ar foesffurfiau.

**Compliment,** *v.* canmawl, moli; cymmediwo; moesgyfarch, moesanerch; anerch, cyfarch, cyfanerch; cyfloddi, llongyfarch, cydlawenhau; cyfarch gwell; gwagfoli, truthio, gwenieitho, rhithfoli; arferu moeseiriau; defnyddio parcheiriau; arfer moesogiaith;

ymgyfarch yn foesgar; arfer moesffurfiau; anrhegu; talu anrhydedd i; cymmyreddu.

Complimental, *a.* cymmediwol, moesog, moeseiriog, cyfarchol, moesgyfarchol, anerchol, cymmyreddol.

Complimentary, *a.* cymmediwol, cymmediwaidd, daneirchiol, cyfloddus, cydgyfarchol, cyfanerchol, cyfarchol, anerchol, moesgyfarchol, moesanerchol.

Complimentary present — argymmediw; rhodd *neu* anrheg gymmediw.

Complimenter, *s.* cymmediwydd, moesgyfarchwr; gwenieithydd, truthiwr.

Compline, } *s.* (Ff. *complie*) hwyrweddi, hwyrwasanaeth, hwyraddoliad, hwyriolad, y weddi olaf.
Complin, }

Complore,† *v. n.* (Ll. *comploro*) cydalaru, cydalaethu, cyfalaru.

Complot, *s.* (Ff. o *com* a *plot*) cydfrad, cydfwriad, cydfradwch, cyfrad, cymrad, brad, bradfwriad.

Complot, *v. a.* cydfradu, cydfwriadu, cyfradu, cymradu, bradfwriadu, cydlunio, cydddychymygu, bradlunio.

Complotment, *s.* (o *complot*) cydfwriad, cydfrad, cymrad, cydfradwch, brad, bradwriaeth.

Complotter, *s.* (o *complot*) cydfradwr, cyfradwr, bradfwriadwr, bradwr, bradluniwr.

Compluvium, *s.* (Ll.) cydffos, ffosle; bargod, penty.

Comply, *v. n.* (Ysp. *cumplir;* Ff. *complaire*) cydsynio, cytuno, ymroddi, cydymblygu, cydymagweddu, cydagweddu, ymfoddloni, ymgydweddu, cydymweddu, cyflychu, cydweddu, gildio, ymostwng, ufyddhau; bod yn gymmodlawn; ymoddef, cydymoddef, cydddwyn, cynghordio; caniatäu *neu* wneuthur dymuniad; cyflawnu, darweddu.

Compone,† *v. a.* (Ll. *compono*) cyfansoddi; trefnu.

Compone, } *a.* britheiliog, brithymylog.
Componed, }

Component, *a.* (Ll. *componens*) cyfansoddol, cyssoddol, ansoddol, cyssodol, elfenol, elfyddol, hanfodol, cyfreidiol, silltiol, cyfansawdd.

Component parts — rhanau cyfansoddol; rhanau elfenol; cysseiliau; rhifranau.

Component, *s.* rhan gyfansoddol, cyfansoddor, cyfansoddai, rhan elfenol, cyssoddai; elfen, cysran, cyssodran, cyssail.

Comport, *v.* (Ll. *comporto*) cydweddu, ymweddu, cyngweddu, cytuno, cydfyned, cyfladd, gweddu, cyfateb, sutio; ymddwyn, ymarweddu, cydymweddu; †goddef, dwyn.

To comport one's self—ymddwyn, ymarweddu, ymarwedd, ymagweddu.

Comport, *s.* ymddygiad, ymarweddiad, ymarwedd, moes, bucheddiad, buchedd, agwedd.

Comportable, *a.* (o *comport*) cydweddadwy, &c.; cytun, cytunol, cyngweddol, cysson, gweddus.

Comportance, } † *s.* (o *comport*)=*Comport, s.*
Comportment, }

Comportation,† *s.* (Ll. *comportatio*) cynnulliad, casgl.

Compose, *v. a.* (Ll. *compono;* Ff. *composer*) cyfansoddi; cyssoddi; cyssodi; gwneuthur; trefnu, cymmoni, cydosod; ysgrifenu; cyfeilio; llonyddu, esmwytho, esmwythäu, tawelu, llinaru, llareiddio, tangnefu, tangnefoli, arafu, dofi, dystewi, gostegu, dyhuddo, gwarhau, lloddi, lleddfu; sefydlu, gosod; eilywio, alawio.

To compose (in printing)—cyssodi.

To compose one's self—ymlonyddu, ymdawelu, &c.

To compose one's self to sleep — ymgymhwyso, ymroddi, *neu* ymwneuthur i gysgu; ymesmwytho *neu* ymlonyddu i gysgu.

To compose a difference—tori amryson; tori ymrafael; dosbarthu cynhen *neu* anghydfod; cylafareddu, heddychu, cymmodi, tangnefeddu, tangnefu; dyddio.

To compose verses—cyfansoddi penillion; prydyddu, cywyddu, prydu.

The Lord composed the pater-noster—yr Arglwydd a brydodd y pader; yr Arglwydd a gyfansoddodd y pader.

Composed, *a.* tawel, llonydd, dystaw, heddychol, tangnefus, tangnefog, tangnefol, tangweddog, digyffro, digynhwrf, diderfysg, didrafferth, diofal, araul, esmwyth, llariaidd, arafaidd, cyfarwar, dysbwyll; cyfansoddedig.

Composed countenance — gwyneb tawel, digwmwl, llon, *neu* siriol; gwyneb difrif.

Composed mind — meddwl tawel *neu* heddychol, &c.; tawelfryd, gwastadfryd.

Composedness, *s.* (o *composed*) tawelwch, llonyddwch, esmwythyd, taweledd, anghynhwrf, anghyffro, anghyffroad, arafwch, tangnefusrwydd, areuledd, &c.; tawelfrydedd, gwastadfrydedd.

Composer, *s.* cyfansoddwr, cyfansoddydd, cyssoddwr; awdur, awdwr, gwneuthurwr; cyssodwr; alawydd, eilwy, perorydd; heddychwr, llonyddwr, tangnefydd, esmwythydd.

Composing-stick, *s.* cyssodyr, cyssodbren.

Compositæ, *s. pl.* (Ll. *compositus*) cyssoddogion, cyfansoddogion, cyssoddolion.

Composite, *a.* (Ll. *compositus*) cyfansawdd, cymmysg, cyfansoddedig, cyssoddedig, cyfansoddog; cyssylltedig.

Composite order—y dull cyfansawdd, y dull cymmysg.

Composite flowers—blodau cyfansawdd.

Composition, *s.* (Ll. *compositio*) cyfansoddiad, cyfansoddiant, cyssoddiant; cyssodiad; cydosodiad, cyfosodiad; canyddiaeth; cyfansawdd, cymmysg, cymmysgedd, cymmysgiad; undeb, uniad, cyfuniad, cyfymlyniad, cyssylltiad; gwaith, gwneuthuriad; trefniad, trefnid, trefnedigaeth, cymmoniad; cyflead; cyssondeb, cytundeb, ammod; cymmod, cylafaredd; rhandaliad, cyfrandaliad, godaliad; cyflaeth: *pl.* cyfansoddiadau, cyfansoddion.

Metrical composition — pryddestawd, pryddest, cowyddaid, cywyddaid; cyfansoddiad prydyddol *neu* fydrol.

Compositive, *a.* cyfansoddol, cyfansoddiannol, cyssodiadol; dygymmysg, dychymmysg.

Compositor, *s.* (Ll.) cyssodydd, cyssodwr; cyfansoddwr; trefnwr, cymmonydd.

Compossessor, *s.* (*com* neu *con* a *possessor*) cydberchen, cydberchenog, cymherchen, cymherchenog, cydfeddiannydd, cyfeddiannwr.

Compossible,† *a.* (*con* a *possible*) cysson, cydweddol.

Compost, *s.* (It. *composta;* Ll. *compositum*)

plithwrtaeth, mysgwrtaeth, gwrtaeth cymmysg, cymmysgdail; gwrtaeth; cymmysg.
Compost, *v. a.* plithwrteithio, mysgwrteithio; gwrteithio â phlithwrtaeth; gwrteithio.
Composto, *a.* (It.) cyfansawdd; dyblyg.
Composture,† *s.* (hen Ff.) gweryd; gwrtaeth.
Composure, *s.* (o *compose*) tawelwch, arafwch, arafedd, tawelfryd, gwastadfryd, tawelfrydedd, tangnefusrwydd, taweledd, llonyddwch; tawelwch, cyfartalwch, cyfartaledd, *neu* wastadrwydd meddwl; cymmodlonedd, anghyffro, anghynhwrf; cyfansoddiad; gwaith; cyfuniad, trefniad; trefn; gwneuthuriad; agwedd, gwedd, sut, ansawdd, hwyl, tymmer, naws; cytundeb, ammodiad.
Compotation, *s.* (Ll. *compotatio*) cydyfed, cyfedd, cyfeddach, ymgyfeddach, cydlymeitiad; cydwledd.
Compotator, *s.* cydyfwr, cyd-ddïotwr, cyfddïotwr, cyfeddachwr, cydbotiwr, cestgyfaill.
Compound, *v.* (Ll. *compono*) cymmysgu, cydgymmysgu, cymhlitho, cydfysgu; cyfuno, uno; cyfansoddi, cyssoddi; cyfymlynu, cyduno; cytuno, ymgytuno, ammodi; dyfod i delerau; cyssylltu, cydglymu, clymu; cyfaddaw; cyfrandalu, rhandalu, godalu; terfynu, cymmoni.
Compound, *a.* cyfansawdd, cyfansoddedig, cyssawdd; cymmysg, cymmysgedig, cymhlith, dygymmysg, dychymmysg, cymmysgadwy.
  Compound word—gair cyfansawdd, cyfansoddair, cylmair, gair cyfansoddedig, cyssoddair.
  Compound interest—adlog, arlog, llog ar log; adlogaeth, arlogaeth.
  To borrow at compound interest—adlogi, arlogi; benthycio ar adlog.
  Compound tense—amser cyfansawdd.
  Compound metre — adlawiad, cynghog; mydr cyfansawdd, mydr cymmysg, mesur cyfansawdd.
Compound, *s.* cyfansawdd, cymmysg, cyssawdd, cymmysgedd, amrygymmysg, peth cymmysgedig, cymmysgiad, cynghog; cyfrandal, rhandal: *pl.* cyfansoddion, cyfansoddolion.
Compoundable, *a.* (o *compound*) cymmysgadwy, mysgadwy, &c.
Compounder, *s.* cymmysgwr, mysgwr, mysgydd; cyfansoddwr; heddychwr, dyddiwr, cymmodwr; cyfrandalwr, rhandalwr, godalydd.
Comprecation, *s.* (Ll. *con* a *precatio*) cydweddïad, cydweddi.
Comprehend, *v. a.* (Ll. *comprehendo*) cynnwys, cynnwyso, argynnwys; amgyffred, cyffred, argyffred, dirnad, deall, dirnadu, deallu, gwybod; genni; amgyffred am; cymmeryd i fewn; gorymddwyn; craffu.
Comprehensible, *a.* (Ll. *comprehensibilis*) amgyffredol, dirnadwy, dirnadadwy, dealladwy, cynnwysadwy, cyffredadwy; mesuradwy, mesuredig; â ellir ei amgyffred.
Comprehensibleness, } *s.* amgyffrediad, amgyffredolrwydd,
Comprehensibility, } amgyffredoldeb, dirnadoldeb, cynnwysoldeb, dirnadaeth.
Comprehension, *s.* (Ll. *comprehensio*) amgyffred, amgyffrediad, cyffrediad, dirnadaeth, deall, cyffred, amgyffrawd, dealltwriaeth; gwybodaeth; cyrhaedd, cyrhaeddiad, cyrhaeddiant, amgyrhaedd, eangedd; craffder, craffineb, craffaint; cynnwysiad, cynnwysder, crynoad, talfyriad, crynodeb; dirnadiad, dealliad, dealltiad; gorymddwyn.
  Slight comprehension—gogyffred, &c.
Comprehensive, *a.* cynnwysfawr; cyrhaeddgar, cyrhaeddfawr, helaeth, helaethfawr, eang, dirnadus; ystyrfawr; cynnwysedigol; o ystyr helaeth; yn cynnwys llawer mewn ychydig le *neu* eiriau.
Comprehensiveness, *s.* cynnwysforedd, cynnwysfawredd; helaethrwydd, eangder, eangedd, cyrhaeddgarwch; dirnadusrwydd.
Comprehensor, † *s.* (o *comprehend*) deallwr, un gwybodus.
Compresbyterial, *a.* (*con* a *presbyter*) cydhenadurol, cydhenuriadol, henaduraidd.
Compress, *v. a.* (Ll. *compressus*) cydwasgu, cyngwasgu, cyfwasgu, gwasgu, cywasgu, dirwasgu; gwasgu yn nghyd; cydgynnwys, dwyso, amwasgu; cofleidio; ymwasgu â, ymgaredigo â; pentyru, crugio, crynöi.
Compress, *s.* cydwasg, cydwesgydd, gwasgdusw, clustogan, gobenyddyn, clustog llawfeddyg.
Compressibility, } *s.* cydwasgoldeb, cydwasgedd,
Compressibleness, } hywasgedd, gwasgadwyedd, hywasgolrwydd.
Compressible, *a.* (o *compress*) cydwasgadwy, cyngwasgadwy, gwasgadwy, dirwasgadwy, cyfwasgadwy, dwysadwy, hywasg; â ellir ei wasgu yn nghyd.
Compression, } *s.* (Ll. *compressio*) cydwasgiad,
Compressure, } cyngwasgiad, cyngwasg, cydwasg, cyfwasg, dirwasgiad, amwasgiad, amwasg, gwasgiad, dwysedd; gwasgiad yn nghyd; cyflwythiad, cyflwyth.
Compressive, *a.* cydwasgol, cyngwasgol, cyfwasgol, dirwasgol, cywasgol, cydwasgiadol, gwasgiadol, dywasgol.
Compressor, *s.* (Ll.) cydwasgydd, cyngwasgydd, cyngwasgor.
Compriest,† *s.* (*con* a *priest*) cydoffeiriad.
Comprint, *v. n.* (*con* a *print*) cydargraffu; celcargraffu, twyllargraffu.
Comprisal, *s.* (o *comprise*) cynnwysiad, amgyffrediad, cyffrediad.
Comprise, *v. a.* (Ff. *compris*) cynnwys, cynnwyso; cydgynnwys, argynnwys; amgyffred, argyffred, cyffred; gannu, genni, annu; cymmeryd i mewn.
Comprobate, *v. n.* cydgymmeradwyo; cyttystiolaethu, cyttystio, tystio, tystbrofi.
Comprobation, *s.* (Ll. *comprobatio*) cyttystiolaeth, cyttystiad; cydbrawf, prawf, llawn brofiad, sicrhad.
Compromise, *s.* (Ll. *compromissum*) cyfaddawd, cyfaddewid, gogyfaddawd; cymrodeddiad; goammod, ymgytundeb, cytundeb.
Compromise, *v. a.* cyfaddaw, gogyfaddaw; ymgytuno â; goammodi, amodi, cytuno; cylafareddu; rhoi ar ddyddwyr; dyfod i hanner y ffordd.
Compromiser, *s.* cyfaddodwr, cyfaddawydd, cyfaddawur.
Compromissorial, *a.* (o *compromise*) cyfaddodol, cyfaddawol; ymgytunol, ammodol; perthynol i gyfaddawd.
Compromit, *v. a.* (Ll. *compromitto*) gwystlo, arwystlo; addaw; anturio.
Comprovincial, *s.* (*con* a *provincial*) cyttaleithiog; un o'r un dalaeth *neu* archesgobaeth: *pl.* cyttaleithiaid.
Compt,† *s.* (Ff. *compte*) cyfrif, cyfrifiad.

Compt,† *v. a.* cyfrif, cyfrifo.
Compt,† *a.* (Ll. *comptus*) tlws, clws, dillyn, hardd, pert, del.
Comptible,† *a.* (o *compt*) cyfrifol; darostyngol, ymostyngol.
Comptness,† *s.* (o *compt*) tlysni, clysni, dillynder, harddwch, pefredd.
Comptonite, *s.* (oddi wrth Argl. *Compton*) comptonith=math o ddelidfaen.
Comptrol, *s.* (Ff. *contrôle*)=*Control.*
Comptrol, *v. a.*=*Control.*
Comptroller, *s.* (o *comptrol*)=*Controller.*
Compulsative, Compulsatory, Compulsive, *a.* (Ll. *compulsus*) gorfodol, cymhellol, cymhelliadol, gorfodogol, treisiol, dirgymhellol, diriol, rhysgyrol; trwy gymhell, trwy orfod, o anfodd, o drais; gorthrechol.
Compulsion, *s.* (Ll. drosgl, *compulsio*) gorfod, gorfodaeth, gorfodogaeth, gorfodiad, cymhelliad, cymhell, dirgymhell, dirgymhelliad, argymhelliad, dir, dirdra, dirdrais, rhysgyr, dir a chymhell, gorthrech, trais.
Compulsiveness, *s.* gorfodoldeb, gorfodolder, gorfodolrwydd, gorfodaeth, gorfodogrwydd, cymhelliad, dirgymhell, grym.
Compulsorily, Compulsatively, Compulsively, *ad.* yn orfodol, yn gymhellol, &c.; trwy gymhell, o anfodd, dan orfod, trwy orfod, trwy orfodaeth; yn erbyn ei ewyllys; heb ddïolch iddo; trwy drais *neu* orthrech.
Compulsory, Compulsive, *a.* gorfodol, cymhellol, cymhelliadol, dirgymhellol, argymhellol, argymhelliadol, gorfodogol, diriol, diriadol, rhysgyrol, gorthrechol, treisiol; trwy orfod; o anfodd.
Compunction, *s.* (Ll. *compunctio*) pigiad, pigad, dwysbigiad, tymmigiad; pigad calon; gofid meddwl; edifeirwch, edifarwch, edifeiriant; adgno, adgnofa, edloes, gorbicrwydd.
Compunctionless, *a.* dibigad; anedifar, anedifarus, dïedifar, dïedifeirwch, dïedifarus, dïedifeiriol; dignofa.
Compunctious, *a.* dwysbigol; edifarus, edifeiriol, edifar, edifeiriog; athrist, trist, galarus.
Compunctive, *a.* edifarus, edifeiriol, edifarol; dwysbigol, pigiadol.
Compupil, *s.* (*con* a *pupil*) cydysgoläig, cydysgolor.
Compurgation, *s.* (Ll. *compurgo*) cymhurad, dyheurad; dïeuogiad ar lw ereill.
Compurgator, *s.* (Ll. *compurgo*) cymhurydd, cymhuror; un à dwng ddiniweidrwydd un arall.
Computable, *a.* (o *compute*) cyfrifadwy, hyrif.
Computation, *s.* (Ll. *computatio*) cyfrif, cyfrifiad, cyfrifiant, bwriad cyfrif; cywerthiad; damfwriad.
By computation—yn ol y cyfrif à wnaed; wrth gyfrif.
Compute, *v. a.* (Ll. *computo*) cyfrif, cyfrifo, bwrw cyfrif; bwrw, damfwrw; barnu, tybio.
Compute,† *s.*=*Computation.*
Computed, *p. a.* cyfrifedig.
Computer, *s.* (o *compute*) cyfrifydd, cyfrifwr, cyfrifor, cyfrifiadur, rhifiadur, bwriwr cyfrifon.
Computist,† *s.* (o *compute*)=*Computer.*
Computo, *s.* (Ll.) cyfrifwys; gwŷs i orfodi rhoi cyfrif i fyny.
Comrade, *s.* (Ff. *camarade*) cyfaill, cydymaith, cyfaillt; cyfaill *neu* gydymaith ystafell; cydfilwr; un o'r un fyntai; llallogan.
Comradeship, *s.* (o *comrade*) cydymeithas, cyfeilldod.
Comrogue,† *s.* (*con* a *rogue*) cyd-ddyhiryn.
Con, *s.* (talfyriad o'r Ll. *contra*) erbyn, gwrth, yn erbyn.
Pro and con—dros ac yn erbyn; o blaid ac yn erbyn; tros ac erbyn; er a gwrth; drosto ac i'w erbyn.
Con, *v. a.* (S. *connan, cennan, cunnan*) myfyrio, adfyfyrio, meddylied, adfeddylied; meistroli; dysgu ar dafod; dysgu ar dafodleferydd; dysgu ar gof; trysori *neu* blanu yn y cof; cofio; † gwybod, deall, dirnad.
To con thanks†—dïolch, talu dïolch.
To con with one's self—ymfyfyrio.
Conatus, *s.* (Ll.) ymgais, ymdrech, dirgais, argais, hypynt.
Concamerate, *v. a.* (Ll. *concamero*) mydu, bwäu; mydu dros, bwäu dros; trosfydu, cromglwydo; gwneuthur mwd dros.
Concameration, *s.* (Ll. *concameratio*) mydiad, mydiant, bwad, nenfydiad, trosfydiad.
Concatenate, *v. a.* (Ll. *concatenatus*) cydgadwyno, cynghadwyno, cadwyno yn nghyd; cydfodrwyo, cyfrwymo.
Concatenation, *s.* cydgadwynad, cynghadwynad; ymgadwynad; cyfres, rhes olynol; cynghlymiad, cydglymiad; cadwynad yn nghyd.
Concause,† *s.* (*con* a *cause*) cydachos, cyfachos.
Concavation, *s.* (o *concave*) ceugrymiad, argeueddiad, gwrthgrymiad, ceueddiad, cyngheuad, argeuad, ceuedigaeth.
Concave, *a.* (Ll. *concavus*) ceuol, cau, argeuol, cyngheuol, echrwm, anghrwm, crymbantol, pannylog, gwrthgrwn, gwrthgrynol, gwrthgrymol, cwddol; rhonca; cafnog.
Concave lens—llugell geuol, ceulain, cromlain geuol.
Double concave—ceugau, ceugyngheuol, ceuol dyblyg; cynghau ar y ddwy ochr.
Double concave lens—llugell ddyblyg, llugell geugau.
Concave glass — ceuwydr, ceuwydryn, gwydr cynghau, gwydryn anghrwm.
Concave mirror—ceuddrych, argeuddrych, drych cyngheuol.
Concave, *s.* cau, ceuedd, argeuedd, gwrthgrwm, gwrthgrwn, cwdd, wm; bwa, mwd, ceugant, crymgant, nenfwd; y ffurfafen.
Concave, *v. a.* ceuo, cafno, cafnu, cyngheuo, crymbantu, cwddedu.
Concaveness, *s.* (o *concave*) ceuedd, argeuedd, ceudod, cychedd, gwrthgrymedd, anghrymedd.
Concavity, *s.* (Ll. *concavitas;* Ff. *concavité*) ceuedd, argeuedd, anghrymedd, echrymedd, ceudod, cychedd, gwrthgrymedd, cwdd, cwdded, cwddyn.
Concavo-concave, *a.* ceugau, ceugeuol, ceugyngheuol, ceuol dyblyg; cynghau ar y ddwy ochr.
Concavo-convex, *a.* ceugrwm, ceugrwn; cynghrwm ac anghrwm; ceuol ar un wyneb a chrwn ar yr wyneb arall.
Concavous, *a.* (Ll. *concavus*)=*Concave, a.*
Conceal, *v. a.* (Ll. *concelo*) celu, cuddio, dirgelu, argelu, cynghelu, celcio, celcu; gorchuddio, arguddio; arlechu, celiadu, cadw yn nghudd, dan gel, yn guddiedig, *neu* yn gyfrinachol; bod heb yngan dim yn nghylch.
That I may not conceal from you—fel na chelwyf rhagoch.

To conceal one's self—ymgelu, ymguddio, ymddirgelu, &c.
Concealable, *a.* (o *conceal*) celadwy, hygel, cuddiadwy, &c.
Concealed, *p a.* celedig, cuddiedig, dirgeledig, damguddiedig, celcedig, &c.; cudd, cel, cuddiog, cynghel; dàn gel, dàn gudd, yn nghudd, dàn gelc.
Concealedness, *s.* celedigrwydd, &c.
Concealer, *s.* (o *conceal*) celwr, cuddiwr, cuddiedydd, celor, dirgelwr, &c.
Concealing, *s.* celiad, cuddiad, dirgeliad, argeliad, cyngheliad, celciad, cel, ymgel, ymgeliad, argel.
Concealment, *s.* (o *conceal*) celedigaeth, cuddiedigaeth, dirgeliad, argeliad, cuddiad, cudded, argelwch, cuddawd; cuddfa, dirgelfa, ymguddfa, ymgelfa, argel; dirgeledd, dirgelwch, celc, celciad, encudd, cuddeidiaeth.
Concede, *v. a.* (Ll. *concedo*) caniatäu, ceniadu, cenadu; gadael, goddef, addef, gildio, cysbeidio; cydsynio, cytuno; ymroddi i; cymmeryd fel gwir; rhoddi, cyfroddi.
Conceit, *s.* (Ll. *conceptus;* It. *concetto*) tyb, coel, barn, tybiant, tybiaeth, meddylrith, meddylddrych, meddwl, delwedd, delfryd; coegdyb, gwagdyb, oferdyb, dychymyg, asbri, hunandyb, cymyg; crebwyll; llettyb, drygdyb, godyb; cymhendod, ffraethder, coethder, digrifair, cydgam; deall, amgyffred; balchder, hunanoldeb, coegfalchder.
In his own conceit—yn ei olwg ei hun; yn ei dyb ei hunan.
Idle conceit, } gwagdyb, coegdyb; oferdyb; ofergoel.
Empty conceit, }
Fantastic conceit — oferedd; mympwy, ffoldyb; arabedd; trawsfeddwl.
High conceit—ucheldyb; tyb rhy dda; tyb rhydda.
Self-conceit—hunandyb, hunanoldeb; gormodd gred *neu* ymddiried ynddo ei hun; tyb da *neu* rydda am dano ei hun.
Merry, pleasant, *or* pretty conceits—digrifeiriau, geiriau digrifgall, mwyn gellwair, afiaeth, arabedd, arabeddiaeth; dyfais *neu* ddychymyg synwyrgall; digrifion.
Full of pleasant conceits—arab, arabeddus, arabol, cellweirus, digrif, digriflon, afieithus, digriflan, difyr, digrif, geirlon, mwyngellweirus.
Witty conceit — ffraethder, ffraethdeb, coethder, ffraetheb, ffraethair, cymhendod, cymhenair, gair cymhen, pefr ymadrodd, areinrwydd ymadrodd; tyb *neu* feddwl cyfrwysgall.
Out of conceit with — anfoddlawn i; â gwrthwyneb at; yn ddihoffder at; heb dyb da am; diflas ar; yn anhoffi; heb fod yn hoff o; heb fod â fyno â.
To put one out of conceit with—peri annhuedd, anhoffder, *neu* ddyeithrwch mewn un at; peri tyb drwg mewn un am; gyru rhwng un â; peri i un anhoffi.
Conceit, *v. a.* tybio, tybied, tybygu, coelio, lledgoelio; meddwl, dychymyg, meddylio, dychymygu; llettybio.
Conceited, *a.* (o *conceit*) hunandybus, hunandybiol, hunandybiog; coeg, balch, coegfalch, gwagfalch, cymmyreddus; yn llawn o'i dyb ei hun; llawn o dyb da am dano ei hun; llawn hunandyb; doeth yn ei dyb ei hun; doeth, da, *neu* fawr yn ei olwg ei hun; â fo *neu* y sydd â thyb da am dano ei hun; llawn o hono ei hun; da, mawr, *neu* uchel ei dyb am dano ei hun; â'i hoffo ei hun yn fawr; â wnelo ormod gyfrif o hano ei hun; rhydda, rhy dda; rhyddillyn, rhyddichlyn.
Conceited of their own wit—yn tybied yn rhy dda am eu synwyr eu hunain; â thyb da am eu synwyr eu hun.
Conceited style—ieithwedd ryddillyn *neu* ryddichlyn; rhyddillyn ddull ymadrodd; ieithwedd goegfalch.
To be well conceited of one's self—bod gàn un dyb da am dano ei hun; bod â thyb da am dano ei hun; bod yn ddoeth, yn fawr, *neu* yn uchel yn ei olwg ei hun.
Conceitedness, *s.* (o *conceited*) hunandyb, coegedd, coegni, coegfalchder, coegfalchedd, hunandybioldeb, hundybiolrwydd, tybgarwch, balchder, mursendod; rhyddillynder, &c.
Conceitless,† *a.* (*conceit* a *less*) difeddwl; penbwl, cuall, pendew.
Conceivable, *a.* (o *conceive*) hydyb, hygred, hygoel; amgyffredadwy, dealladwy, dirnadwy; â ellir ei feddwl, ei dybied, ei goelio, ei gredu, ei ddeall, ei amgyffred, *neu* ei ddirnad; tebygol.
Conceivableness, *s.* (o *conceive*) hydybioldeb, hydybiolrwydd, hygrededd, hygrediniaeth; amgyffrededd, dirnadoldeb, cyffredoldeb.
Conceive, *v.* (Ff. *concevoir;* Ll. *concipio*) beichiogi, ymddwyn, beichiogi ar, dymddwyn, ymgael, arfolli; deall, amgyffred, dirnad, synied, synio; tybio, tybied, tybygu, meddylio, meddylied, meddwl, barnu, bwrw, dychymygu, dyfeisio, bwriadu, myfyrio; bwrw, dychymygu, *neu* lunio yn y meddwl; gosod; brithdybio; bod o'r farn; bod o'r meddwl; planta, cenedlu, ennill; cyfebru.
Who was conceived by the Holy Ghost—yr hwn a gaed drwy yr Ysbryd Glân.
Women after they have conceived — gwragedd gwedi yr arfollont, &c.
To conceive young—cyfebru.
As I conceive—i'm tyb i; yn fy nhyb i; fel yr wyf fi yn tybied, yn barnu, yn bwrw, yn meddwl, *neu* yn dirnad, &c.
Conceiver, *s.* (o *conceive*) amgyffredydd, dirnadydd, tybiwr, &c.
Conceiving, *s.* amgyffred, deall; amgyffrediad, dealliad, dirnadaeth; beichiogiad, beichiogi, ymddwyn.
Concelebrate,† *v. a.* cydglodfori, cyd-ddathlu.
Concent, *s.* (Ll. *concentus*) cydlais, cydsain, cytton, cynghan, cyngherdd, cynghanedd, cysseinedd, cysseinrwydd; cyssondeb, cyssonedd, cyngweddiad, cydweddiad.
Concentful, *a.* (*concent* a *full*) cysseiniol; cysson, cydgordiol.
Concentrate, *v. a.* (Ff. *concentrer*, o'r Ll. *con* a *centrum*) cymherfeddu, canolbwyntio, cysbellu, canoli, creiddio, cynghreiddio, cydgreiddio; gyru at y canolbwynt; gyru *neu* wthio yn nghyd; dwyso, clynu, cynnwyso; tueddu at.
Concentration, *s.* (o *concentrate*) cymherfeddiad, cysbelliad, cysbelliant, canoliad, cynghreiddiad, cydganoliad, uncanoliad, creiddiad, craidd; gyriad at y canolbwynt; gyriad *neu* wthiad yn nghyd; cyngwasgiad; dwysad, dwysiad, clyniad; cynghasgliad.
Concentrativeness, *s.* (o *concentrate*) cynghreidd-

ioldeb, cysbelloldeb, cysbelledd, cysbell-garwch.

**Concentre**, *v.* (Ff. *concentrer*) cymherfeddu, cysbellu, canolbwyntio, canoli, cydganoli, cynghreiddio, creiddio; gyru i'r canol; cyfarfod *neu* ymgyfarfod yn yr un canolbwynt; cyfarfod mewn pwnc; tueddu at; dwyso, cynnwyso; cytuno yn gwbl; cytunaw o eigion calon.

All her cares concentred on her son—canolbwynt, gwrthrych, *neu* dueddnod ei holl ofalon hi oedd ei mab.

**Concentric, Concentrical,** *a.* (Ll. *concentricus;* Ff. *concentrique*) cymherfeddol, cymherfeddig, cymherfedd, cydgymherfedd, cydgymherfeddol, cysbellus, cynghreiddig, cydgreiddig, cydgreiddiol, creiddiol; âg iddynt *neu* â chanddynt yr un canolbwynt; yn tueddu i'r un peth *neu* i'r un lle.

Concentric and eccentric—cydgreiddig ac echreiddig; cynghreiddig ac esgreiddig.

**Concentricity**, *s.* (o *concentric*) cymherfeddoldeb, cydgreiddioldeb, cynghreiddioldeb, cysbellusrwydd.

**Concentual**, *a.* (o *concent*) cysson, cyssonol, cydgordiol, cydweddol; cysseiniol, cydleisiol.

**Conceptacle**, *s.* (Ll. *conceptaculum*) derbynfa, derbynle, derbyniawdr, derbynydd; llestr; hadgib, hadgell, hadgoden, hadgod, hadgaen.

**Conceptible**,† *a.* (Ll. *conceptus*)=*Conceivable*.

**Conception**, *s.* (Ll. *conceptio*) beichiogiad, beichiogi, ymddwyn, dymddwyn, ymgael; yr ymddwyn; deall, amgyffred, dirnad, dirnadaeth, tyb, meddwl, syniad, bryd, bwriad, cyffred, gwybodaeth; amgyffrediad, amgyffrawd; tybiant; coegdyb, gwagdyb, dychymyg; yr hyn y bo un yn ei amgyffred, &c.

False conception—pel y famog, llo lleuad; camdyb, &c.

**Conceptious**,† *a.* (Ll. *conceptus*) hyfeichiog; beichiog; ffrwythlawn.

**Conceptive**, *a.*=*Conceivable*.

**Conceptualist**, *s.* (Ll. *conceptus*) cyffrediedydd.

**Concern**, *v. a.* (Ff. *concerner;* Ll. *concerno*) perthyn i, perthynu i, deiryd i; dori, dyddori; malio; gofalu am; bod mewn gofal; peri gofal; dawr; effeithio ar; bod o bwys i; llanw o; taraw â; blino, aflonyddu, cyffröi; ymyryd â; bod â fyno *neu* â wnelo âg; ymbwyllo yn nghylch.

It concerns me—e berthyn i mi; e ddawr i mi; e gyngweddai i mi; e'm dawr; buddiol yw i mi; mae 'n llesu i mi; fy nyledswydd yw; fy nyled ydyw; y mae o bwys i mi.

It concerns me not—ni'm dawr; nid gwaeth i mi; nid gwaeth genyf fi; ni'm dyddawr; nid yw yn perthyn i mi.

I should not be concerned—ni ddorwn, nis dorwn; nis gofalwn.

To concern one's self in—gofalu am, dori am; ymofalu am *neu* yn nghylch; cymmeryd gofal am *neu* i; ymyryd â; ymdrafferthu am *neu* yn; ymflino am; ymofidio yn nghylch.

It much concerns us—y mae o bwys mawr i ni.

To be concerned in a thing—bod gân *neu* i un berthynas *neu* neges mewn peth; bod â llaw mewn peth; bod i un â wnelo â pheth; bod gân un law mewn peth.

My life and fortune are concerned—mae fy hoedl a'm dedwyddyd mewn perygl.

He thinks himself not concerned in it—y mae efe i'w *neu* yn ei dyb ei hun yn rhydd oddi wrtho.

To be concerned with one—bod â llaw gydag un; bod yn nghyfrwym âg un; bod yn rhwym gydag un; bod yn gyfrwym âg un.

I will not be concerned with him any more—nid ymgystlynaf, ni chydfasnachaf, *neu* ni chydymrwymaf âg ef mwy; ni bydd i mi neges âg ef mwy; ni fydd i mi â wnelwyf âg ef mwyach.

I am concerned to think—syn genyf feddwl.

I shall not be concerned—ni ofalaf; ni phryderaf; ni faliaf; ni'm dorbi; ni fydd â wnelof; ni bydd â wnelwyf.

**Concern**, *s.* achos, neges, gorchwyl, mater, peth; dyddordeb; gofal, pryder, dyddoriant, dyddawr, ymdawr; meddylfryd; trafferth, helynt, cymhlegid; pwys, pwysigrwydd, cyfrif; gwaith, gwasanaeth, gweithred, perwyl, amgylchiad; cur, dawr; ffwdan, trybestod, gofid, blinder, trymder; syndod; cydfasnach, masnach; ymyraeth, ymyr; cyfranc.

Mutual concern—cydachos, cydofal, cydymarbod, cydhelynt, &c.

That is my concern—i mi y perthyn hyny; i mi y perthyn gofalu am *neu* edrych at hyny.

Have a care of the common concern—gofalwch am y lles cyffredin.

Let that be my concern—bydded *neu* gadwch hyny arnaf fi; gadwch rhyngof fi a hyny.

**Concerned**, *a.* dyddorgar, dyddorus, dyddorol; pryderus, gofalus; yn teimlo pryder; cydfasnachol; cyfymrwynol mewn gorchwyl *neu* neges.

**Concerning**, *p.* neu *prep.* (o *concern*) am, yn nghylch, o ran, yn achos, oblegid, o herwydd, herwydd, tuag at am, tuag at, gyda golwg ar, o barthed, o barth, parth, cylch, cymhlegid; mewn perthynas i; yn mherthynas i; yn perthyn i; perthynol i; yn dwyn perthynas â.

As concerning me—o'm rhan i; am à berthyn i mi.

**Concernment**, *s.* (o *concern*) achos, gorchwyl, neges, mater, peth; gofal, pryder, dyddordeb, dyddoriant, doriad, gofaledd, dawr, pryderi; pwys, pwysigrwydd, pwysfawredd, mawrbwys; ymyraeth, ymyryd, ymyriad; perthynas.

Of great *or* high concernment—o bwys; pwysfawr, pwysig; o bwys mawr; o fawr berthynas; o berthynas fawr; o ganlyniadau mawr.

An affair of concernment—mater o bwys; mater pwysfawr.

**Concert**, *v. a.* (Ll. *concerto*) cyttrefnu, cydlunio, cyd-ddyfeisio; ymgynghori *neu* gydymgynghori yn nghylch; cydbwyso, cydgynghori; cydgyfranu amcanion.

**Concert**, *s.* cydluniad, cyttrefniad, cydgynghor, cydfwriad, ymgynghoriad; cynghanedd, cydgerdd, cydgan, cydgor, cyngherdd, cynghan, cytton, cydlais, cyssongerdd, cyfangan, cyfangerdd, cydganedd, cymheroriaeth;

cyssondeb, cyssoniant, cydgordiad, cyttundeb; cydgais, cydymdrech, cyfymdrech.
By concert — trwy gytundeb, trwy gynghrair.
**Concertation**, *s.* (Ll. *concertatio*) ymryson, amryson, amrafael, anghydfod, cyfarwas, cynhen, cydymdrech, ymddadleu, cywrysedd, cyfrysedd.
**Concertative**, *a.* (Ll. *concertativus*) ymrysongar, amrafaelus, cynhenus, cynhenllyd, amrafaelgar, cwerylus, cywrysol, cysbwyol.
**Concerto**, *s.* (It.) cynghanawd.
**Concession**, *s.* (Ll. *concessio*) caniatâd, cenad, cenadiad, goddefiad, addefiad, cysbeidiad, cysbeidiant, rhoddiad i fyny, gildiad, rhoddiad.
Concession (in rhetoric)—goddefiad, goddefiaeth.
**Concessionary**, *a.* (o *concession*) goddefiadol, cysbeidiol, ceniadol.
**Concessionist**, *s.* cysbeidydd, cysbeidiwr, addefwr, goddefydd.
**Concessive**, } *a.* cysbeidiol, goddefol, goddef-
**Concessory**, } iadol, ceniadol, cenataol, addefol, caniataol, ymroddol.
**Conch**, *s.* (Ll. *concha;* Gr. *cogchê;* Ff. *conque*) morgragen, cragen.
**Concha**, *s.* (Ll.) dwygaffell, deuglawr; cragen ddeugloriog, cragen ddeuglawr.
**Conchifer**, *s.* (Ll. *concha* a *fero*) cragenog, cragenfil; dwygaffellog.
**Conchifera**, } *s. pl.* dwygaffelliaid, dwygaffellog-
**Conchifers**, } ion, dwygaffellion, deugloriaid; craglibogion.
**Conchiferous**, *a.* cragenddwyn, cragenog, cregynog.
**Conchilious**, *a.* cragenol, cragenaidd, cregynol, cregynaidd.
**Conchite**, *s.* (Ll. *concha*) cragenfaen, maengragen; cragen wedi ymgaregu.
**Conchoid**, *s.* (Gr. *cogchê* ac *eidos*) cragengom.
**Conchoidal**, *a.* (o *conchoid*) morgragenaidd, cragenaidd, cragenddull.
**Conchological**, *a.* cregynyddol, cregyniaethol; perthynol i gregynyddiaeth.
**Conchologist**, *s.* cregynydd, cregynwr; un hyddysg yn hanes cregyn a chregynbysg.
**Conchology**, *s.* (Gr. *cogchê* a *logos*) cregynyddiaeth, cregyniaeth, cregyneg; gwybodaeth o gregyn a chregynbysg.
**Conchometer**, *s.* (Gr. *cogchê* a *metron*) cregynfesur, cregynfeidyr, cregynfeidrydd, cregynyr.
**Conchus**, *s.* (Ll.) creuan; ceudod y llygad.
**Conchylaceous** *a.* (Ll. *conchylium*) cregynaidd, cregynol; cragenaidd.
**Conchyliologist**, *s.* (Ll. *conchylium*)=*Conchologist.*
**Conchyliology**, *s.*=*Conchology.*
**Conchyllious**, *a.* (Ll. *conchylium*) cregynaidd; o ansawdd cregyn.
**Conciator**, *s.* tymmerydd gwydr.
**Conciliable**,† *s.* (Ll. *conciliabulum*) cynnulleidfa fechan.
**Conciliar**, *a.* (Ll. *concilium*) cynghorfaol, cynghorol.
**Conciliate**, *v. a.* (Ll. *concilio*) cymmodi, gwneuthur cymmod, heddychu, athrywyn, athrywynu, cymmodloni, boddloni, trywynu; cyssylio; ennill; cael, peri; denu serch, peri hoffi.
**Conciliation**, *s.* (Ll. *conciliatio*) cymmod; cymmodiad, heddychiad, athrywyniad, athrywyn, trywyniad, dyhuddiant; ennilliad; llonyddwch.
**Conciliator**, *s.* (Ll.) cymmodwr, athrywynwr, trywynwr, heddychwr, dyhuddwr.
**Conciliatory**, *a.* cymmodol, boddlonol, bodlonol, athrywynol, heddychol, heddychiadol, llonyddol, trywyngar.
**Concinnity**, *s.* (Ll. *concinnitas*) crynoder, cynnwysder; addasrwydd, cyfaddasrwydd, gweddusder, gweddusrwydd, tlysni, dillynder, dillynedd, destledd; cydweddiad; gogydlais; geirdincian.
**Concinnous**, *a.* (Ll. *concinnus*) cryno; addas, cyfaddas, gweddus; hyfryd, dyddan, difyr, mwyn, boddhaol; sutiol.
**Concionator**, *s.* (Ll.) pregethwr, pregethydd.
**Concionatory**, *a.* (Ll. *concionatorius*) pregethol, pregethyddol, pregethwrol.
**Concise**, *a.* (Ll. *concisus*) byr, cryno, cynnwys, cwta; cynnwysfawr; byr a chynnwysfawr; yn cynnwys llawer mewn ychydig.
**Concisely**, *ad.* yn fyr, yn gryno, &c.; toc; ar fyr eiriau; ar ychydig eiriau.
**Conciseness**, *s.* (o *concise*) crynoder, byrder, byrdra, byrdeb, cynnwysder, cwtogrwydd; cynnwysforedd; crynodeb.
**Concision**, *s.* (Ll. *concisio*) cyttoriad; enwaediad.
**Concitation**, *s.* (Ll. *concitatio*) cyffroad, cynhyrfiad, cydgyffroad.
**Concite**,† *v. a.* (Ll. *concito*) cyffröi, cynhyrfu, annog.
**Concitizen**, *s.* cyd-ddinesydd.
**Conclamation**, *s.* (Ll. *conclamatio*) cydlefiad, cydfloedd, cydwaedd, cydlef, cydfloeddiad, cydarm, cyd-ddolef, cydawr; dolef.
**Conclave**, *s.* (Ll.) cyniadurfa, cysbwyllfa, cynghelfa; celgydfa, celgymmanfa, celgynnullfa=cymmanfa y cyniaduriaid i ddewis Pab, yn nghyd â'r ystafell lle yr ymgynnullant.
**Conclude**, *v. a.* (Ll. *concludo*) dybenu, gorphen, terfynu, gorphenu, diweddu, talmu, cyngorphen; cwblhau, cyflawnu; casglu, tynu casgliad; barnu; dirnad, deall; hòni; cloi ar, cau ar; cydgau; dyfarnu, cyfrif, bwrw; tachweddu, terfynoli; gosod y cwbl yn nghyd; penderfynu, sefydlu, penodi, penu; dwyn i ben; cynnwys; cau i mewn; cau; attal, rhwystro.
To conclude—i derfynu, i ddiweddu, i ddybenu, i dalmu, &c.; i fod yn fyr; mewn gair; yn ddiweddaf; i dynu at y diwedd; i dynu at ddiwedd; i gau *neu* i gloi ar y cwbl; i ddyfod i ben y bêr.
The matter is concluded upon — mae y peth wedi ei sefydlu *neu* benderfynu.
The day is concluded—y mae y dydd wedi ei benodi.
**Concludence**, } *s.* (o *conclude*) casgliad; yr hyn
**Concludency**, } a gesglir oddi wrth beth.
**Concludent**, *a.* terfynol, dybenol, dybenus, diweddol, gorphenol, terfynedigol.
**Concluder**, *s.* dybenwr, terfynwr, terfynydd, casglwr, casglydd, &c.
**Concluding**, *a.* terfynol, diweddol, gorphenol, dybenus; diweddaf, olaf; cloawl; yn dybenu, yn diweddu.
**Conclusible**, *a.* terfynadwy, casgladwy, &c.
**Conclusion**, *s.* (Ll. *conclusio*) terfyn, diwedd, dyben, gorphen; diweddglo, cload, cynghload, pengload; terfyniad, diweddiad,

gorpheniad, cyngorphen, penderfyniad; casgliad, canlyniad, y canlyniad; pen, clo, cydglo, cynghlo, clöedigaeth, terfynedigaeth, diweddfa, diweddbarth; argeisiad; swm *neu* sum y cwbl â glybüwyd; dystawrwydd.

To come to a conclusion=*To conclude.*

To draw a conclusion from—casglu oddi wrth; tynu casgliad *neu* ganlyniad oddi wrth.

To try conclusions—profi; gwneuthur prawf *neu* brofiad; peryglu, ymberyglu, pydio, ymbydio.

Conclusional,† *a.* terfynol, penderfynol.

Conclusive, *a.* (It. *conclusivo*) penderfynol, terfynol, dybenus, dybenol, gorphenol, cloawl, cynghloawl; casgladwy; rhwymedigol, terfynedigol, cyngorphenol.

Conclusiveness, *s.* terfynoldeb, terfynolrwydd, terfynoledd, gorphenoldeb, penderfynoldeb, dybenolder, casgliadoldeb, cloadolrwydd, cloadedd.

Conclusory, *a.*=*Conclusive.*

Concoagulate, *v. a.* (*con* a *coagulate*) cydgeulo, cyngheulo, cydgawsio, cydgeuledu, cydtferu.

Concoagulation, *s.* cydgeulad, cyngheulad, cydgawsiad, cyttewychiad; cynghrisiant.

Concoct, *v. a.* (Ll. *concoquo*) cydferwi, cymmerwi, berwi; treulio, bwyttreulio; treulio yn y cylla; ceulo; puro, coethi, teru, coethiannu, coethodi; addfedu.

To concoct measures—trefnu moddion; trefnu mesurau.

Who concocted the scheme? — pwy yw trefnwr y ddyfais? pwy a drefnodd y cynllun?

Concoction, *s.* (Ll. *concoctio*) cydferwad, cymmerwad, berwad; berw y cylla; treuliad, bwyttreuliad; ceulad; purad, coethiad; addfediad, twymaddfediad.

Concoctive, *a.* (o *concoct*) treuliadol, bwyttreuliol; ceuladol; addfedol; cymmerwol.

Concolour, *a.* (Ll. *concolor*) cyfliw, cydliw, eiliw, unlliw; o'r un lliw.

Concomitance, } *s.* (Ff. *concomitance*) cydfynediad, cydganlyniad, cydgerddediad, cyngherddediad, cyngherddedrwydd, cydfodiad, cydrediad, cytteithiad, cydymdeithiad, canymdeithiad, ymgyfred.
Concomitancy, }

Concomitant, *a.* (Ff. o'r Ll. *con* a *comitor*) cydfynedol, cydredol, cydred, cydganlynol, cyfrediadol, ymgyfredol, cydfodol, cydgyrch, cytteithiol, cydymdeithiol, cyhynt; cyttrefnol; yn cydfyned.

Concomitant with—yn cydfyned â; yn cydgerdded â; cydfynedol â.

Concomitant, *s.* cydymaith, cyfaill, cytteithydd, cytteithiwr, cydredydd, cydfynedydd, cydganlynydd; un yn cydfyned âg.

Concomitate,† *v. a.* cydfyned, hebrwng, canlyn; cyfystlysu â.

Concord, *s.* (Ll. *concordia*; Ff. *concorde*) cytundeb, cyfundeb, cydweddiad, cyfundod, cynghordiad, cydgordiad, cydgord, cynghord, undeb, cyssondeb, cyssonedd, cyssoniant, cydsain, cyssain, cyfundon, cydlais, cytton, cynghanedd, cysseinedd; cydfod, cymmod, hedd, heddwch, cymmodlonedd, cydfod, unoliaeth, cymmodedd, teuluedd; ammod, cyfammod, cynghrair, cysswyn; cyfunawd.

Government and concord—llywodraeth a chydweddiad; rheolaeth a chyfundod.

False concord—anghydweddiad, anghyfundod, camgydweddiad; twyllgynghanedd; twyllawdl, twyllodl.

To be at concord—cydfod, cytuno, cydgordio, cynghordio, cordio; bod yn gytun, &c.

Concord,† *v. n.* cydfod, cytuno, cydgordio.

Concordable, *a.* cytunadwy, &c.; cysson, cydweddol, cytunol.

Concordance, *s.* (Ff.; Ll. *concordantia*) cytundeb, cyfundeb, cydgordiad, cydweddiad; mynegair, mynegiadur, mynegai, dangoseg, mynegur, myneglyfr.

Scripture concordance—mynegair ysgrythyrol, mynegiadur ysgrythyrol.

Concordancy, *s.* cytundeb, cyfundeb, cydgordiad, cynghordiad, cyfundod, cyssonedd.

Concordant, *a.* (Ll. *concordans*) cysson, cytunol, cyfunol, cytun, cytûn, cytunus, unol, cyfun, cydgordiol; cyfatebol; cydfodol, cydfodus, cymmodol, cymmodlawn, unfeddwl, ungalon, unweddol; hyfryd, boddhaol.

Concordant, *s.* cytunog; yr hyn sydd yn gysson, &c.

Concordat, *s.* (Ll. *concordo*) cynghrair, cytundeb, ammod, cydgordeb, cytuneb, cytuniad.

Concordist, *s.* mynegeirydd, mynegeiriwr, myneglyfrwr, casglydd mynegair.

Concorporal, *a.* (Ll. *concorporo*) cydgorfforol, cynghorfforol, cydgorffol.

Concorporate, *v.* (Ll. *concorporo*) cydgorffoli, cynghorffoli, cydgorffori, cynghorffori, cynghorffi, corffoli; ymgorffori, ymgorffoli; cymmysgu; ymgymmysgu; gwneuthur yn un corff.

Concorporation, *s.* cydgorffolaeth, cydgorffoliad, cynghorffolaeth, cydgorfforaeth, cynghorfforaeth, cydgorfforiad; ymgorfforiad; ymgymmysgiad.

Concourse, *s.* (Ll. *concursus*; Ff. *concours*) tyrfa, torf, ymgynnull, cynghad, cydgasgliad, cynnulliad; cyrchfa, cynnullfa, cyrch, cyfrwch, ymgyrch, ymgyfarfod, cyfarfod, cyfred, ymgyfred, ymgyfredeg, rhedegfain.

In the chief place of concourse—yn mhrif leoedd y dyrfa (*Diar.* i. 21).

Concreate, *v. a.* (*con* a *create*) cydgreu; creu gyda; creu ar yr un pryd.

Concredit,† *v. a.* (*con* a *credit*) ymddiried.

Concremation, *s.* (Ll. *concremo*) cydlosgiad, cyflosgiad.

Concrement, *s.* (Ll. *concrementum*) cyttyfiad, cyttyfiant, cydgasgliad; cyttelpyn.

Concrescence, *s.* (Ll. *concrescentia*) twf, tyfiant, prifiad, cynnydd.

Concrescible, *a.* (Ll. *concresco*) cyttyfadwy; ceuladwy; tewychadwy.

Concrete, *a.* (Ll. *concretus*) cyttwf, cyttyfol; undwf; cydgasgledig, cynghasgledig, cydgorfforedig, cydgorffol, cyttyrol, cyttyrog, cyfun, cymmysg, cymmysgedig; ceuledig, ceiedig, cyttew; cynghrethol, cynghreth, ansoddol; ymlynol, cynghlynol, cyfunsawdd.

Concrete term—cynghreth; enw *neu* air cynghrethol; sylfonsawdd, seilansawdd.

Concrete, *s.* cyfansawdd; cynghreth; y cyttwf, y cydwasg, y cynghlwm, y cyfun; sylfonsawdd; cydgorff, clamp, talp, cymmysg, cymmysgedd, mwl, mwlyn, cai, cyttalp, cymmysgdalp; corff cyfansawdd; ansawdd; cyttwr, crynswth.

In the concrete—yn y cyfun; yn y cynghreth.

God is not only the perfection of the creatures in the concrete, but in the abstract too—nid yw Duw yn unig yn berffeithrwydd y creaduriaid, ond yn berffeithrwydd ei hun.

**Concrete**, *v.* cyfuno, cyfymuno; casglu, cydgasglu; ceulo, cydgeulo; tewhau, tewychu, cyttewychu, tochi; caledu, ymgaledu; cyttyru; cynghrethu; cymmysgu, talpio, clapio, clampio, ceio, mwlu, ymlynu; cyttyfu; fferu.

**Concreteness**, *s.* (o *concrete*) cyttyroldeb, tewycholdeb, ceuladoldeb; fferdod, fferdra, fferder; ceulad, tewychiad, tewhad, calediad, cyttyriad.

**Concretion**, *s.* (Ll. *concretio*) cyttyfiad; cyttyriad; ceulad, cydgeulad, cyttewychiad, tewhad, cyttewhad, tewychiad, talpiad, cyttalpiad; cydgorfforiad, cydgorffiad, cynghorffiad; cydgasgliad, casgl; calediad, ymgalediad; talp, tolch, tolchen, cyttalp, clamp, mwl, cai, môl, torp, telpyn, pelen, cyttwr, crynswth, fferiant.

**Concretional**, *a.* cyttewychol, cyttyrol, ceuladol, &c.

**Concretionary**, *a.* cyttewychol, cyttyfol, tewychol, ymdewychol, ymgasgliadol, ceuladol; â ffurfiwyd drwy gyttyriad.

**Concretive**, *a.* cyttyfol, cyttyrol, cynghorffol, cydymgorffol, cydymunol; tewychiadol, tewhaol, cyttewhaol, cyttyriadol, cyttalpiadol, tolchenol, talpiol, ceuladol, fferol.

**Concreture**,† *s.* (Ll. *concretum*) ceulad, talp, cyttalp, telpyn.

**Concrew**,† *v. n.* (Ll. *concresco*) cyttyfu, tyfu yn nghyd.

**Concrimination**, *s.* (Ll. *concriminor*) cydgyhuddiad, cydgyhudded, cydachwyniad.

**Concubinage**, *s.* (Ff.) cywelyogaeth, cywelyogach, cydwelyogaeth, cywelyaeth, gordderchiaeth, gorweddial, gordderchiad, caradas; godineb.

**Concubinal**, *a.* gordderchol, cywelyol; perthynol i gywelyaeth.

**Concubinary**, *s.* gordderchydd, godderchwr, gordderchwas, cywelyog, gordderch.

**Concubinate**, *s.* (Ll. *concubinatus*) godineb, puteindra, gordderchiad, anlladrwydd, cyffodendod.

**Concubine**, *s.* (Ff.; Ll. *concubina*) gordderch, gordderchwraig, gordderchfun, gordderchferch, gordderches, cywelyes, cariadwraig, cariadferch, cyffoden, puten gadw, meiriones, cywres, cymmones.

**Conculcate**, *v. a.* (Ll. *conculco*) mathru, sathru, sarnu, dansang, damsang, gwasarnu; sathru dàn draed; gwneuthur yn sarn *neu* yn wasarn.

**Conculcation**, *s.* mathriad, sathriad, gwasarniad.

**Concupiscence**, *s.* (Ll. *concupiscentia*) chwant, trachwant, chwantach, dychwant, ymchwant, drygchwant; trythyllwch, anlladrwydd, anlladedd; gwŷn *neu* chwant cnawdol; cydchwant, dyre, chwant y cnawd; bydolchwant; blys, gwŷn; chwannwg, chwannwch, chwantrwydd.

**Concupiscent**, *a.* trachwantus, trachwantol; chwantus, blysig, darchwantol, darchwantus, anllad, trythyll; â dyre arno.

**Concupiscential**, *a.* chwantol, chwantus, chwantaidd.

**Concupiscible**, *a.* (Ll. *concupisco*) chwantol, chwennychol, blysig, chwannog, trachwantol, trachwantus; â bair chwant.

**Concur**, *v. n.* (Ll. *concurro*) cytuno, ymgytuno, ymuno, cydsynied, cydsynio, cyssynio; ymgyfarfod; cydredeg, ymgydredeg, cydymredeg, cyfredeg, cydfyned; cydymgyrchu, cyfladd, cyttaraw; amddal.

In this they concur—yn hyn y maent yn ymuno.

**Concurrence**, *s.* (Ff. o'r Ll. *concurro*) cytundeb, cytuniad, cyfrediad, cydrediad, cyfuniad, cyduniad, cydsyniad, cyttarawiad, undeb, uniad, uned, ymgyfarfod; bodd, cymmeradwyaeth; cyfamcaniad, cyfred, cydred, ymgyfred, paeth; cydymgyrch, cydamcaniad.

**Concurrency**,† *s.*=*Concurrence.*

**Concurrent**, *a.* (Ll. *concurrens*) cyfredol, cydredol, cydred, cyfred, ymgyfredol, cydunol, cytunol, cydsyniol, cyssyniol; cyfarfodol; cydamserol; cyfarystlys; cydgynnorthwyol, cydweithiol; cyd-ddygwyddol; cydfynedol, cyhynt; yn cyfarfod, yn cydredeg, yn ymgyfarfod, &c.; cyssylltedig, unol; cydymgyrchol.

**Concurrent**, *s.* cyfred, cydred, cyfredydd, cydachos: *pl.* cydredion, cyfredion, cydredolion.

**Concussation**, *s.* (Ll. *concussio*) gorgyffro, gorgynhyrfiad, ysgydwad angerddol.

**Concussion**, *s.* (Ll. *concussio*) ysgydwad, ysgytiad, ysgytfa, ysgwydfa, cysgogiad, cysgog, cyfergyd, cyfergyr, cyfergydiad, tarawiad, cyttarawiad, hyraeth, cynhyrfiad, cyffroad, cyffro, ysgwyd, siglad, sigl.

**Concussive**, *a.* ysgytiol, ysgydwol, cyfergydiol, cysgogol, cyffroawl, cydhyrol.

**Cond**, *v. a.* (Ff. *conduire*) llonglywio.

**Condemn**, *v. a.* (Ll. *condemno*) collfarnu, euogfarnu; dyfarnu, barnu, dedfrydu, bwrw; euogi; bwrw i farwolaeth *neu* i'w golli; bwrw *neu* farnu yn euog; dygyfwrw; condemnio; beio; beio ar, senu; anghymmeradwyo; anghanmawl; dirwyo; barnu yn erbyn; gadael yn euog; trethu.

Some condemn, and some acquit him—y mae rhai yn ei fwrw, a rhai yn ei gadw.

To condemn before hand—rhagfarnu; collfarnu yn mlaen llaw.

**Condemnable**, *a.* (o *condemn*) collfarnadwy; hyfarn; â aller *neu* â haeddo ei ddyfarnu; i'w feio; i'w gollfarnu.

**Condemnation**, *s.* (Ll. *condemnatio*) collfarn, collfarniad, colledigaeth, dyfarniad, euogfarniad, barn, barnedigaeth, collfarnedigaeth, dygyfwriad, euogfarn; condemniad; bwriad i farwolaeth; dedfrydiad.

Under a sentence of condemnation—dàn gollfarn; dàn farn marwolaeth.

**Condemnatory**, *a.* collfarnol, dyfarnol, barnedigol; yn dyfarnu, yn collfarnu; collfarnedigol; yn taranu, yn ergydio, *neu* yn cyhoeddi barn yn erbyn; dygyfwriol.

Condemnatory sentence — barn marwolaeth; collfarn.

**Condemned**, *p. p.* collfarnedig, colledig, dyfarnedig, &c.

A condemned criminal—collddyn, dyn collfywyd, collfarnog, dyn collfarn, dyn colledig, dyn collfarnedig, mab dyoddef, gwr dïenydd, gwr dyfarn, gwr collfarn,

eneidfaddeu, dyn dywynfaddeu, un dàn farn angeu.
Condemned to death—eneidfaddeu, dywynfaddeu; gwedi ei fwrw i farw *neu* i farwolaeth; à fo dàn farn marwolaeth; à fo wedi ei farnu i farw.
Condemned to be banished—bwydwahardd.
The condemned hold—ogof y collddynion; daiardy, daiargell.
Worthy to be condemned—collfarnadwy, barnadwy, dyfarnadwy, colladwy; yn haeddu barn marwolaeth.
Condemner, *s.* collfarnwr, dyfarnwr, euogfarnydd, &c.; beiwr, ceryddwr.
Condensable, *a.* (o *condense*) tewychadwy, cyttewadwy, dwysadwy, &c.
Condensate, } *v.* (Ll. *condenso*) cyttewychu,
Condense, } cyttewhau, tewychu, tewhau, dwyso, dwyshau, cyd-ddwyso, cyfddwyso; myned yn dew; gwneuthur yn dew; ymgasglu yn dew; clynu, dargynnwys; cydwasgu, cyngwasgu, gwasgu; tewychiannu; tyru, crugio; ymdewychu, ymwasgu; durfingo, dargynnwyso.
Condensate, } *a.* dwys, tew, dwysedig, cyn-
Condense, } nwys, cydwasgol, durfing, tewychedig, cryno, crynoawl, crynöedig, clwn, darddwys, dirddwys, darddwysol, cydwasgedig, dargynnwysol.
Condensation, *s.* (Ll. *condensatio*) dwysad, dwysiad, dwyshad, cyd-ddwysiad, cyttewychiad, tewychiad, tewhad, tewychiant, tewiad, darddwysiad, dwysogaeth, dargynnwysiad, clynad, cydwasgiad, cyngwasgiad, cyfaenad.
Condensative, *a.* dwyshaol, tewychol, cyttewychol, tewhaol, cydwasgol, darddwysol.
Condense, } *v.* (Ll. *condenso*)= { *Condensate.*
Condensate, } { *Condense.*
Condense, } *a.*= { *Condensate.*
Condensate, } { *Condense.*
Condenser, *s.* (o *condense*) dwysadyr, tewychyr, dwysbeiriant = math o beiriant neu chwistrell i gydwasgu awyr.
Condensity, *s.* (Ll. *condensitas*) dwysder, dwysedd, dwysineb, tewder, tewedd, tewychedd, trathewedd, durfingder, durfingdra, clynedd, dwysogaeth, cynnwysedd, crynoder, fferder.
Conder, *s.* (Ff. *conduire*) heigebydd, heigebwr; cyfarwyddwr, canfyddwr=un à saif ar graig neu uchelfan i ddangos i'r pysgotwyr pa ffordd yr ymgyfeiria yr haig bysgod; un à gyfarwydda pa fodd i lywio llong.
Condescend, *v. n.* (It. *condescendere*, o'r Ll. *con* a *descendo*) ymostwng, ymddarostwng, ymblygu, gostwng, gostyngu; cydostwng, cydymostwng; teilyngu; bod yn wiw gàn; cydymoddef, ufyddhau; plygu, ymroddi, gildio; ymiselu.
Condescend to men of low estate—byddwch yn gydostyngedig â'r rhai iselradd (*Rhuf.* xii. 16).
Condescensive, *a.*=*Condescending.*
Condescendence, *s.*=*Condescension.*
Condescending, } *a.* gostyngedig, ymostyngol;
Condescensive, } cyweithasol, cyweithas; hynaws, hyfwyn, mwyn, addfwyn, mynog, moesgar, iselfryd, ymostyngar, mynediw.
Condescension, *s.* ymddarostyngiad, ymostyngiad, gostyngiad, cydostyngiad, ymostyngarwch, gostyngeiddrwydd, ymblygiad; iselfrydedd; hynawsedd, cyweithasrwydd, hyfwynder, mynogrwydd, mwynder, anfalchedd, tiriondeb, addfwynder.
Condescent,† *s.*=*Condescension.*
Condign, *a.* (Ll. *condignus*) haeddiannol, haeddiannus, dyledus, rhyglyddol, rhyglyddus, haeddol, haeddedigol, rhyglyddaidd, rhyglyddiannus, teilwng, haeddedig, gwiw, cywiw; addas.
Condignity, } *s.* (o *condign*) haeddiant, haedd,
Condignness, } rhyglydd, rhyglyddiant, gwir haeddiant, cytteilyngdod, teilyngdod, teilyngrwydd; haeddiannoldeb, rhyglyddoldeb, cywiwdeb; addasrwydd.
Condignly, *ad.* yn haeddiannol, &c.; yn ol ei haeddiant.
Condiment, *s.* (Ll. *condimentum*) chwaeth, blesyn, blaslyn, sibr, cyffaeth, taeth, chwaedd; tymmeriad.
Condisciple, *s.* (Ll. *condisciple*) cyd-ddysgybl, cydysgolor, cydysgolydd, cydysgolaig, cynnysgybl.
Condite, *v. a.* (Ll. *condio, conditum*) cyffeithio, cyffaethu, chwaethu, blasuso.
Conditement, *s.* (Ll. *condimentum*) cyffaeth.
Condition, *s.* (Ll. *conditio*) cyflwr, ansawdd, helynt, ystâd, sut, sud, cyflwrw; hwyl, tymmer, ardymmyr, ardymmer, dyli, gorddigor; gwedd, diwyg, drych, dull, gwedd, gosgedd, agwedd, ystum; ammod, teler, cyfammod; gradd, sefyllfa, cyfrif, cymmeriad, amgylchiad; anian, naws, naturiaeth, aniaeth, cynneddf, camp, moes, tuedd, arfer; pwynt.
On condition—dàn ammod; ar ammod; ar y telerau.
On these conditions—ar y telerau hyn.
All persons of all conditions—pawb o bob gradd; pob gradd a chyflwr o ddyn; pob gradd a chyflwr o ddynion.
In a dying condition—ar dranc, ar farw, ar drengu; ar ei derfyn; ar y traed diweddaf; ar y coesau diweddaf.
He is in a poor condition—mae efe mewn cyflwr tlawd; y mae efe yn wr gwàn.
Unhappy condition—anghyflwr; cyflwr annedwydd; anffawd.
Natural condition—anianolaeth, anianolder, anianoldeb, cyflwr anianol, cyflwr naturiol.
Condition, *v.* ammodi; cytuno; gwneuthur ammodau; cyfammodi.
Conditional, *a.* ammodol, ammodus; yn sefyll *neu* yn gorwedd ar ammodau.
Conditional, *s.* terfyniad, ammodiad.
Conditionality, *s.* ammodoldeb, ammodolrwydd, ammodusrwydd.
Conditionally, *ad.* yn ammodol; dàn ammod; dàn ammodau; ar delerau.
Conditionary, } + *a.*=*Conditional.*
Conditionate, }
Conditionate,+ *v. a.* addasu, cymhwyso; rheoleiddio.
Conditioned, *a.* cyflyrog; âg iddo gyflwr *neu* ansawdd, &c.
Good-conditioned — moesog, moesgar, moesol; da ei foes; moddus, moddgar, medrus, cyweithas, &c.; da ei gyflwr; gwych ei helynt; da ei wedd, &c.; â moesau da ganddo, &c.
Conditory, *s.* (Ll. *conditorium*) ystorfa, cronfa, addawd, addodfa.

**Condolatory**, *a.* (Ll. *condoleo*) cydalarus, cydalaethus, cydofidiol, cydgwynol.
**Condole**, *v. n.* (Ll. *condoleo*) cydalaru, cydalaethu, cydymdeimlo, cydofidio, cydgwyno, cyd-ddolurio.
**Condolement**, **Condolence**, **Condoling**, *s.* (o *condole*) cydgwyn, cydofid, cydalar, cydalaeth, cydafar, cydymdeimlad, cynghwyn, cymrwyn; cydofidiad; tristwch, gofid, cystudd, gresyndod.
**Condoler**, *s.* cydgwynwr, cydgwynydd, &c.
**Condoma**, *s.* math o afrewig.
**Condonation**, *s.* (Ll. *condono*) maddeuad, creiffiad; maddeuant, rhyddhad, trugaredd, creiffiant.
**Condor**, **Cuntur**, *s.* math o gawr-aderyn perthynol i Ddeheudir America.
**Conduce**, *v. n.* (Ll. *conduco*) tueddu; arwain, cydarwain, gweinyddu, helpu, cynnorthwyo, cymhorth, cydweinyddu, moddio, cyffrwyo; dwyn yn mlaen; llesu, buddio.
**Conducible**, **Conducive**, *a.* (Ll. *conducibilis*) yn tueddu; tueddol, buddiol, llesol, manteisiol, gwasanaethgar, cynnorthwyol, cydgynnorthwyol, hyrwyddol, defnyddiol, cyffrwyol, gweinyddol; da ar les; yn arwain yn mlaen.
**Conducibleness**, **Conduciveness**, *s.* tueddoldeb, tueddgarwch, buddioldeb, llesoldeb, gweinyddoldeb, hyrwyddoldeb, gwasanaethgarwch, cyffrwyoldeb; cymhwysder, *neu* addasrwydd i ddwyn yn mlaen.
**Conduct**, *s.* (Ysp. *conducta*, o'r Ll. *conductus*) ymddygiad, ymarweddiad, ymarwedd, arweddiad, bucheddiad, buchedd, moes; arweiniad, dygiad, cyffrwyad, dygiad yn mlaen, tywysiad, arweinid, arymddwyn, arymddygiad, hyfforddiad, hyfforddiant, cyfarwyddiad, cyfarwyddyd; trefniad, trefnid, triniad, triniaeth, trefn; llywiad, llywodraeth; medr, medrusrwydd; canymdo: caplan Coleg Eton.
  Safe conduct—diogelwch i fyned a dyfod; nodded gyhoedd, nawdd cyhoeddus, teithnodded, teithnawdd, ymdeithnawdd; canymdoad diogel; nodded brenin; nawdd gwlad; teithgynnwys, canymdoad.
  Courage and conduct—calondid a chyfarwyddyd.
  A man of good conduct—dyn da ei foes; dyn da ei ymddygiad; un o ymddygiad da; dyn bucheddol.
**Conduct**, *v. a.* (Ll. *conduco, conductus*) arwain, tywys, tywyso, hyfforddi, hyfforddio, cyfarwyddo, dwyn yn mlaen, arwedd, arweddu, blaenori, cyfarwain; arwain *neu* dwyso i mewn; hebrwng, hebryngu, canymdeithio, canymdöi; trefnu, trin; llywio, rheoli, llywodraethu.
  To conduct one's self—ymddwyn, ymarweddu, ymarwedd; bucheddu.
**Conduction**, *s.* (Ll.) hyfforddiad; trosiad, trosglwyddiad.
**Conductitious**, *a.* (Ll. *conductitius*) cyflogedig, cyflogol; ar gyflog; arweiniog.
**Conductive**, *a.* arweiniol, tywysol, hyfforddol, cyfarwyddol; hyrwyddol; trefnol; llywiol; canymdoawl.
**Conductor**, *s.* (Ll.) arweinydd, arweiniwr, tywysydd, tywyswr, arweddwr, tywysor, tywysog, arweinior, arweiniawdwr; hyfforddwr, cyfarwyddwr, cyfarweddiad; blaenor, llywydd, llywiwr, llywodur, rheolwr, muner; trefnwr, ardwywr, trinydd, triniwr, trefnydd; hebryngydd, hebryngwr, hebryngiad, canhebryngwr, canymdeithydd; arweinyr, hyfforddyr.
**Conductress**, *s.* (o *conductor*) arweinyddes, tywysyddes, hyfforddes, arweinwraig, tywyswraig, muneres, llywyddes, arweiniores.
**Conduit**, *s.* (Ff.) dyfrbibell, pibell, awell, gwybib, gwybibell; gwyffos, dyfrffos, gwythreden; cafn dwr, cafn pistyll, pibell ddwr; dwsel, pistyll, dyfrle, dyfrhynt, ffos; arweinydd.
  Conduit of a water-mill—ysgwd melin.
  As a conduit into a garden—fel aber yn myned i ardd (*Eccles.* xxiv. 30).
**Conduplicate**, *a.* (Ll. *conduplicatus*) cynnyblyg, cyd-ddyblyg, ddyblyg; deublyg, cydblyg, deublygol.
**Conduplicate**, *v. a.* cynnyblygu, cynnyblu, cydddyblygu; dyblygu, cydblygu.
**Conduplicated**, *a.* cydblygedig, cynnyblygedig; dyblyg, deublyg.
**Conduplication**, *s.* (Ll. *conduplicatio*) dyblygiad, deublygiad, cydblygiad, cynnyblygiad, dyblygedd.
**Condurrite**, *s.* mwn Condurrow yn Nghernyw.
**Condyl**, **Condyle**, *s.* (Gr. *condulos;* Ll. *condylus*) cymmalwrn; cwgn, cymmal, clwm.
**Condyloid**, *s.* (Gr. *condulos* ac *eidos*) pencnaw asgwrn; twddf pen asgwrn; oddf blaen asgwrn; twddf, oddf, oddfyn.
**Condyloid**, *a.* cygnaidd, tyddfaidd, oddfaidd, oldyddfol.
**Condylopod**, **Condylope**, *s.* (Gr. *condulos* a *pous*) rheddgoesog, cymmalgoes; anifel â choesau cymmalog.
**Condylopoda**, **Condylopods**, *s. pl.* rheddgoesogion, cymmalgoesiaid, rheddbedogion.
**Cone**, *s.* (Ff.; Gr. *conos;* Ll. *conus*) ffain, côn, cwrn, pigwrn, dasgwrn, cyrnen, cyrnyn, cornyn; afal, conyn=corff bonbraff a brigfain, megys torth sugr.
  Right cone—côn cyfochrog, ffain cyfochrog; côn *neu* ffain uniawn.
  Scalene cone—côn anghyfochrog, ffain lleddf.
  Fir-cone—afal ffeinidwydd, conyn ffawydd, top pyrwydd, pyrgon, pyrgorn, pyrdop.
  Cone-pate, Cone-patl, *s.* drewgarlwm=math o wenci â geir yn Mecsico.
**Cone-shaped**, *a.* conaidd, ffeinaidd, pigyrnaidd; ar ddull côn *neu* ffain; bonbraff a brigfain.
**Coney**, **Cony**, *s.* (Is. *konyn;* Al. a Sw. *kanin;* Ll. *cuniculus*) cwningen, ffiogen; *pl.* cwningod, ffiogod.
**Confabulate**, *v. n.* (Ll. *confabulor*) chwedleua, ymchwedleua, cydchwedleua, ymddyddan, clebran, ymgomio, siarad, cydchwedlu; dàl pen chwedl.
**Confabulation**, *s.* (*confabulatio*) cydymddyddan, ymddyddan, ymgom, ymgomiad, siarad, cydsiarad, cydchwedleuad, cydchwedliad, clebran, clebar, chwaldod, baldordd.
**Confabulatory**, *a.* ymddyddanol, ymgomiol, ymchwedleuol, cydchwedleuol, ymchwedlol.
**Confamiliar**,† *a.* tra chyfeillgar, tra chydnabyddus.
**Confarreation**, *s.* (Ll. *confarreatio*) cytteisiad =dull ar gadw neithior yn mysg y Rhufeiniaid hynafol.
**Confated**,† *a.* (Ll. *confatalis*) cyttyngedol, cyttynged, undynged.

Confect, *s.* (Ll. *conficio, confectus*) cyffeithio, ammeuthynu, ammoethi, cyweirio.
Confect, *s.* cyffaeth, ancwyn, ammeuthyn, ammoethyn, chwegfwyd, chwegfaeth, cyffaethfwyd.
Confection, *s.* (Ll. *confectio*) cyffaeth, ancwyn, ammeuthyn, chwegfwyd; cymmysgedd, cymmysg, cyflaeth, cyfansawdd; ammeuthiad, cyffeithiad, cyweiriad.
Confectionary, *s.* ancwyndy, ancwynfa, cyffeithfa, cyffeithdy, cyffeithgell, ancwyngell, moethfa; ancwynion, cyffeithion, sugraeron, ammeuthynion, chwegfwydydd, cyffeithfwyd.
Confectioner, } *s.* ancwynydd, ancwynwr,
Confectionary, } cyffeithydd, cyffeithiwr, cyffeithiedydd; cyweiriwr *neu* werthwr ammeuthynion.
Confector, *s.* (Ll.) dybenwr; lladdwr anifel peryglus, yn y Campau Rhufeinig gynt.
Confectory, *a.* (o *confect*) ancwynol, cyffeithiol, cyffeithyddol, cyweiriol.
Confederacy, *s.* (Ll. *confœderatio*) cynghrair; cyfammod, ammod; cyfundeb; cyfundod, cytundeb, cydymrwymiad, cyfathrach; cydfwriad, cydfwriadaeth, cydbleidiad, cydfrad, cysswyn, ymgyfrin; cydymdeithas.
To make a confederacy with you—i ymrwymo mewn ammodau cydymdeithas â chwi (1 *Mac.* viii. 20).
Confederate, *a.* (Ll. *confœderatus*) cynghreiriol; cyfammodol, ammodol, ymrwymol, cydymrwymol, cywystlog, cydbleidiol, cysswynol; cydfwriadol; wedi ymrwymo *neu* ymgysylltu mewn cynghrair.
These were confederate with Abram—y y rhai hyn oeddent mewn cynghrair âg Abram (*Gen.* xiv. 13).
Syria is confederate with Ephraim—Syria a gydsyniodd âg Ephraim (*Esa.* vii. 2).
Confederate, *s.* cynghreiriwr, cynghreiriad, cydblaid, cydbleidydd, cymhlaid, cysswynwr, un cydgynghrair, cyfranog; cydfwriadwr, cyfrinachydd, cywystlor, cywystlwr, cydymaith: *pl.* cynghreiriaid, cysswyniaid, cydbleidiaid, pleidwyr, ymarfolliaid.
Your confederates and friends—cydymdeithion a charedigion i chwithau (1 *Mac.* viii. 20).
Confederate, *v.* cynghreirio, cydgynghreirio, ymgynghreirio, ammodi, cydbleidio, cymhleidio, cyfuno, ymgyssylltu, ymarfolli, cysswyno, cywystlo, cydymrwymo; cydfwriadu.
Confederation, *s.* (Ff.; Ll. *confœderatio*) cynghrair; cyfammod; cydfrodoriaeth; cyfundeb, undeb, cyfundod, cytundeb, cyfathrach, ymgystlwn; cynghreiriad, cydbleidiad, ymgynghreiriad, cysswyniad, cyfammodiad, cywystliad, cywystlaeth, ymgyssylltiad.
Confer, *v.* (Ll. *confero;* Ff. *conferer*) ymddyddan, cydymddyddan, ymgomio, cydlefaru, cydlafaru, cylafaru, cydsiarad, cydsiared, cynnadlu, cylafareddu, ymchwedleua, cydchwedleua, cymddyddan, ymddywedyd; ymresymu, ymgynghori, cyssylio, cydymgynghori; anrhegu, rhoddi, rhoi, cynnysgaethu, cynnysgaeddu, cyfranu, rhadroddi, haelroddi, donio â, bwrw ar; cyfroddi; cymharu, cydgymharu.
To confer a favour on one—gwneuthur cymwynas i un; rhoi ced i un; gwneyd tro da i un.
He conferred numberless favours upon us—efe a'n llwythodd *neu* a'n cynnysgaethodd âg aml gymmwynasau.
To confer honour on one—gosod urddas *neu* anrhydedd ar un; rhoddi anrhydedd i un; gorpherchi un; urdduno un; urddoni un; ardduno un; urddasu un; anrhydeddu un; gwneuthur anrhydedd i un.
He conferred with Joab—o'i gyfrinach y gwnaeth efe Ioab (1 *Bren.* i. 7).
Conference, *s.* (Ff. o *confer*) cynnadledd, cyflafaredd, cylafaredd, cydlafaredd, cydymddyddan, cymddyddan, cynnadl, ymddyddan; cynnadliad, cyssyliad, parliant, cyfrwch, ymgynghoriad, cydgynghoriad, ymgyssyliad, cydsiarad, ymgomiad, ymddywediad, ieithgyfnewid; † cymhariad, cymhariaeth.
Conferrer, *s.* (o *confer*) ymddyddanwr, cyflefarydd; anrhegydd, rhoddwr, cyfranydd; ymgynghorydd.
Conferring, *s.* (o *confer*) anrhegiad, rhoddiad, cyfraniad; cymhariad, cymhariaeth, cydgymhariad; ymchwiliad, ymholiad, holiad.
Conferruminate, } *a.* (Ll. *conferrumino*) cyd-
Conferruminated, } sodrog, cydsawdrog, cydgyfanol, cydgyfunol.
Conferva, *s.* (Ll. *confero*) cyflafan, llafanog, lliinwisg, llinwydd, llinwydd yr afon, llinwisg yr afon, sidan y brain, gwymon yr afon.
Confervites, *s. pl.* (o *conferva*) maenlinwydd, llafanog ymgaregol.
Confervoid, *a.* (*conferva*, a Gr. *eidos*) llafanogaidd, cyflafanaidd, llinwisgaidd.
Confess, *v. a.* (Ff. *confesser;* Ll. *confiteor*) cyffesu, cyfaddef, cydnabod, addef; ymgyffesu; gwneuthur cyffes; gwrandaw cyffes, derbyn cyffes; tystio, gwirio.
To confess the penitent—derbyn *neu* wrandaw cyffes yr edifeiriol.
I confess to thee—cyffesaf i ti; ym cyffes a ddygaf i ti.
Confessant, *s.* (o *confess*) ymgyffeswr, ymgyffesydd, cyffesydd; un â ymgyffeso wrth offeiriad.
Confessary, *s.* cyffeswr, addefwr.
Confessed, } *p. p.* (o *confess*) addefedig, cyffes-
Confest, } edig; addefol, cyfaddefol, cyfaddef, cyffesol, dilys, dïammheu, dïammheuol, dïomedd, dinag, dïau, dïymwad, diwad; noeth, amlwg, adnabyddus, honaid.
A confessed thief—lleidr cyfaddef.
Not confessed—anghyfaddef, anghyfaddefol, anghyffesol.
It is confessed—addefir, cyfaddefir, &c.; ganiatëir; mae yn amlwg; diddadl yw; dïammheu ydyw.
Confessedly, *ad.* yn addefedig, &c.; drwy addefiad; fel y gwyr pawb; fel yr addef pawb; heb geisio cel arno; yn ddïammheu, yn diddadl, yn ddïammheuol, yn ddïau.
Confession, *s.* (Ll. *confessio*) cyffes, cyffesiad, addefiad, cyfaddefiad, cydnabyddiad, cydnabyddiaeth; proffes, addefawd.
Confession of faith—cyffes ffydd.
Auricular confession—clustgyffes, cyffes glust, celgyffes, dirgelgyffes, dirgeladdefiad, clustaddefiad, clustgyfaddefiad.
Who witnessed a good confession—yr hwn a dystiodd broffes dda (1 *Tim.* vi. 13).
Confessional, } *s.* (o *confession*) cyffesfa, cy-
Confessionary, } ffesgell, cyffesfainc, cyffes-

**gader**, cyffesle; cader, mainc, *neu* orsedd y gyffes; cader gyffes, ysgafell gyffes.
**Confessionary**, *a.* clustgyffesol, clustgyfaddefol, celgyffesol; perthynol i gyffes glust.
**Confessionist**, *s.* cyffesydd, proffesydd.
**Confessor**, *s.* (o *confess;* Ff. *confesseur*) cyffeswr, cyffesydd, addefwr, addefydd, cyfaddefwr; arddelwr; tad-gyffeswr, derbynydd cyffes.
Father confessor — tad-gyffeswr, tad gyffeswr.
**Confidant**, *s.* (Ff.) cyfrinachydd, cyfrinachwr, ymddiriedog, cyfrin, ymddiriedyn; cyfaill ffyddlawn *neu* fonwesol; rhin-gyfaill; llatai.
**Confidante**, *s.* (Ff.) cyfrinaches, cyfrines, cyfrin, cyfrinog, rhin-gyfeilles, cyfeilles.
**Confide**, *v. n.* (Ll. *confido*) hyderu, ymddiried, ymddiriedu, credu, ffyddio, gobeithio, coelio, goglud, cymmyru; rhoi hyder, rhoi goglud, rhoi coel, rhoi pwys; ymddiried i; hyderu ar.
To confide in—hyderu ar; rhoi hyder ar; ymddiried yn; gobeithio yn; rhoi goglud ar; rhoi coel ar; rhoi pwys ar.
**Confidence**, *s.* (Ll. *confidentia*) hyder, ymddiried, ymddiriad, goglud, coel, cred, gofynag, gobaith, crediniaeth, cymmyr; hyfder, hydeb, hyfdra, eonder, eofnder; sicrwydd, diogelwch; trahyder, rhyfyg, rhydres; ymddibyniad.
To have confidence in—hyderu ar.
We have confidence towards God—y mae genym hyder ar Dduw.
To have a share in a person's confidence—bod yn gyfranog o gyfrinach un.
**Confident**, *a.* (Ll. *confidens*) hyderus, ymddiriedus; hy, hyf, anturus, eofn, eon, hyfaidd; sicr, dilys, dïammheu; tra hy, tra hyf, digywilydd, haerllug.
I am confident—yr wyf yn hyderus; mae yn sicr, yn ddilys, yn ddïau, yn ddiogel, *neu* yn ddïammheu genyf; yr wyf yn coelio; yr wyf yn hy.
Self-confident—hunanhyderus, hunhyderus, hunymddiriedus; ymhyderus; â chred ynddo ei hun; â'i gred ynddo ei hun; â thyb da am dano ei hun; ar delerau da âg ef ei hun; rhyfygus.
**Confident**, *s.* cyfrinachydd, cyfrinachwr, ymddiriedog, cyfrin, ymddiriedyn, coelddyn, ymddiried-ddyn, cyfaill monwesol; cyfranog o gyfrinach; câr ymddiriedus.
**Confidential**, *a.* (o *confident*) cyfrinachol, ffyddlawn, ymddiriedus, ymddiriedol; hyderus; didwyll, cywir, gonest, cel; â ellir rhoi coel arno *neu* ymddiried iddo.
**Confidentially**, *ad.* yn gyfrinachol, &c.; mewn cyfrinach; yn gyfrinach.
**Confidently**, *ad.* yn hyderus, &c.; yn hydda.
To affirm confidently—haeru, taeru, hòni; dywedyd yn hyf; hòni yn hyf.
**Confidentness**, *s.* (o *confident*) hyder, ymddiried; hyderusrwydd, anturusrwydd; hyfder; sicrwydd.
**Confider**, *s.* (o *confide*) hyderydd, hyderwr, ymddiriedydd.
**Configurate**, *v. n.* (Ll. *configuro*) cyttremio, tremrithio, tremddangos, cyttremu, cynhrawu.
**Configuration**, *s.* (Ff. o'r Ll. *configuro*) cydluniad, cyfluniad, cyd-ddulliad, cyfddulliad, cydffurfiad, cyffurfiad; cyttremiad, cyttarawiad, cynhrawiad; cyttremiad *neu* gyttarawiad y planedau.
**Configure**, *v. a.* (Ll. *configuro*) cydlunio, cyflunio, cyd-ddullio, cyfddullio, cydffurfio, cyffurfio.
**Confinable**, *a.* (o *confine*) attaladwy, &c.
**Confine**, *s.* (Ll. *confinis*) cyffin, ffin, cyffinydd, cyffinid, terfyn, goror, ymyl, min, cwr; amminiogdir, cyfrwng deudir, cynghyd deudir, cynghyd dwy-sir; cydiad dau dir; cymminiog, gorwy, gororwy, blaen, eithaf: *pl.* cyffiniau, ffiniau, terfynau, &c.
**Confine**, *a.* cyffiniol, ffiniol, ymylol, amminiog, cymminiog; cymmydogol, agos; yn cyffinio, yn ffinio; yn cyffinio â; cytterfynol, cydffin, unffin.
**Confine**, *v.* (Ff. *confiner*, o'r Ll.) cyffinio, ffinio, ymylu, cydymylu, cytterfynu, terfynu, amminiogi; attal, rhwystro, cyfattal; cadw i mewn; cadw o fewn terfynau; cau i mewn; caethiwo, carcharu, ffrwyno; dàl, rhwymo; cadw rhag myned allan, ar led, *neu* ar wasgar; cadw gartref; cyfyngu; cau i fyny; gwarchau; cadw, rhoi, *neu* osod mewn carchar; amgaeru.
To confine one's desires—cyfyngu ei ddymuniadau; ffrwyno ei chwantau.
To confine to one's bed—peri cadw ei wely; peri aros yn ei wely.
To be confined to one's bed—cadw ei wely.
**Confineless**, *a.* (*confine* a *less*) diderfyn, annherfynol, heb derfyn, didran, diddiwedd.
**Confinement**, *s.* (o *confine*) attaliad, attaliaeth, cyfattaliaeth, attal, rhwystr; carchariad, caethiwad, caethiad, caethiant; caethiwed, carchar; rhwym, (*pl.* rhwymau), cyfyngder; dargaethiad; cauad o'r neilltu; cauad i mewn; gwelyfod.
**Confiner**, *s.* (o *confine*) cyffiniwr, cyffinydd, cyttirog, amminiog, cymminiog; cymmydog, cyfagosog, cyfagosydd; yn ar y terfyn; un ar y cyffiniau.
Confiners between plants and animals—rhai ar y cyffiniau rhwng planigion a milod.
**Confinity**, *s.* (Ll. *confinitas*) agosrwydd, cyfagosrwydd, cymmydogaeth, cyfnesafedd; cyffinedd, ymgyffwrdd.
**Confirm**, *v. a.* (Ll. *confirmo*) cadarnhau, sefydlu; cryfhau, cyfnerthu, gwirio, profi; awdurdodi; diogelu, sicrhau, dilysu; gwneuthur yn safadwy, yn gadarn, yn sefydlog, yn ddilys, yn gryf, *neu* yn ddïysgog; gwneuthur yn gadarnach; cymmeradwyo; barnu yn awduredig; gosod; gweinyddu, gweini, *neu* roi bedydd esgob; crysfadu; arddodi dwylaw ar.
I begin to be confirmed in my opinion—yr wyf yn dechreu ymsefydlu yn fy meddwl.
**Confirmable**, *a.* (o *confirm*) cadarnadwy, &c.
**Confirmation**, *s.* (Ll. *confirmatio*) cadarnhad, cyfnerthiad, cryfhad, sicrhad; sefydliad; prawf; sicrwydd, diogeliad; cadernid; bedydd esgob, crysfad; gweinyddiad *neu* weiniad bedydd esgob.
To hold a confirmation—gweinyddu bedydd esgob; cynnal bedydd esgob.
Confirmation and proof — cadernid a phrawf; cadarnhad a phrawf.
**Confirmator**, *s.* (Ll.) cyfnerthydd, cadarnhäwr, cryfhäwr, dilysydd.
**Confirmative**, *a.* cadarnhaol, cyfnerthol, cryfhaol; â gadarnhao.
**Confirmatory**, *a.* cadarnhaol, cryfhaol, cyfnerthol; â wasanaetho *neu* â dueddo i gad-

arnhau; à gadarnhao; à baro gadarnhad; crysfadol; perthynol i fedydd esgob.
Confirmedness, *s.* (o *confirm*) sefydlogrwydd, sefydledigrwydd, sicrwydd, dilysrwydd, profedigrwydd; dïymmodrwydd; cadernid *neu* gryfder gàn hir bara.
Confirmer, *s.* cadarnhäwr, sicrhäwr, cyfnerthwr, cyfnerthydd, diogelydd, gwiriwr, tystiwr.
Confiscable, *a.* (o *confiscate*) attafaeladwy, dirwyadwy.
Confiscate, *v. a.* (Ll. *confisco*) attafaelu, attafaela, anrheithio, fforffetio, fforffetu; dirwyo; dirwyaw *neu* anrheithiaw o dda; cymmeryd yn attafael, yn ddirwy, yn fforffed, *neu* yn anrhaith i'r goron.
Confiscate, *a.* attafaeledig; fforffetiedig; dirwyol, dirwyedig; à gymmerwyd yn attafael; gwedi ei gymmeryd yn attafael; dirwyedig *neu* anrheithiedig o dda.
Confiscation, *s.* (Ll. *confiscatio*) attafael, attafaeliad; dirwyad; anrheithiad; anrhaith oddef; anrhaith gribddail.
Confiscation of moveables—anrhaith oddef.
Total confiscation—anrhaith gribddail.
Confiscation of goods—dirwy o dda (*Esra* vii. 26).
Confiscator, *s.* attafaelydd, attafaelwr, gafaelydd; anrheithydd, dirwywr.
Confiscatory, *a.* attafaeliadol; à draddodwyd i'w attafaelu.
Confit, / Confiture, *s.* (Ff. *confit, confiture;* Ll. *confectura*) ancwyn, cyffaeth, ammeuthyn, ammoethyn, chwegfwyd, chwegfaeth.
Confitent, *s.* (Ll. *confitens*) cyffeswr, pechaddefwr, pechgyffesydd.
Confix, *v. a.*) Ll. *configo, confixum*) sicrhau, sefydlu, gosod, cydsefydlu, gwadalu.
Confixure, *s.* (*confix*) sicrhad, cydsefydliad, gwadaliad.
Conflagrant, *a.* (Ll. *conflagrans*) cydfflamiol, cydlosg, cyflosg, cydlosgol, cyflosgol, cyttanol, goddeithiol, gwenfflamiol.
Conflagration, *s.* (Ll. *conflagratio*) goddaith, cydlosgiad, cyflosgiad, cydfflamiad, gwenfflam, banffagl, gwenffagl, tanllwyth, cyflosgfa, cynneu, cynne, cyttaniad, goddeithiad, ffagliad, cydffagliad, banffagliad, tandod, eiriasdan, eirias, goleudan, tân purboeth; coelcerth.
Conflagrative, *a.* à bair oddaith; goddeithiol, cydlosgiadol.
Conflation, *s.* (Ll. *conflatio*) cydchwythad, cydchwythiad, cydchwythawd; deldoddiad, toddiad.
Conflexure,† *s.* (Ll. *conflexus*) cydblygiad, plygiad.
Conflict, *s.* (Ll. *conflictus*) amryson, amrafael; brwydr, ymladdfa, ymladd, ymgyrch, ymdrech, trin, tringyrch, cad, aer, brwydrin, breithell, trafod, cittrach, bicre, brythwch, ymdaraw, gwrthdarawiad, ceintach, cammawn, cadafwy, gyrth, cyfarf, athrin, ymosawd, cymminedd; cydymdyniad, gwrial, cyfrwch, ymwrthryn, ymdrin, ymdrafod, trabludd, ermid, ymgiprys, ciprys, ymwrwst, ymhwrdd, cynnif, cywrysedd, cyfrysedd, ymgyffwrdd, cyfarwas, cynhen, dadl, ymddadl, anghydfod, gwrthwynebiad, cynnygnedd, ysgarmes.
Violent conflict—rhuthr, rhysgyr, lluchynt, awchruthr, dïebyd.
Conflict, *v. n.* ymryson, amryson, amrafaelio; brwydro, ymladd, ymwrio, ymdynu, ymdrech, ymdrechu, ymdrafodi, ymornest, ymgyrchu, ymgatewrach, bicra, ymgeintach, ymgeintachu, ymdaraw, athrino, ymwrwst, ymwrthwynebu, cyfergydio, cyfergyrio, cyfaeru, cadu, ymgiprys, ymgiprysu, ymwrial, ysgarmesu, cittrachu.
Conflictive, *a.* ymrysonol, ymrysongar, amafaelgar, ymdynol, &c.
Confluence, *s.* (Ll. *confluentia*) cymmer, aber, cydlif, cydffrwd, cydlifer, llifer; cydlifad, cydlifiad, cydffrydiad; ymgyfarfod dwy afon; cyfarfod deuddwr, cymmer deuddwfr, deulifgyfarfod, ynfer; cydgyrchiad, cydgasgliad, casgliad, cynnulliad, cynnullfa; tyrfa, torf, haid, haib, bagad.
Confluent, *a.* (Ll. *confluens*) cydlifol, cydlifeiriol, cydffrydiol, aberol; yn ymgyfarfod; yn rhedeg *neu* yn ymarllwys y naill i'r llall; cydfonol; topyndyfol; à fo yn ymgydleuwi.
Confluent leaves—dail topyndyfol; dail yn tyfu yn dopyn, yn dwff, *neu* yn sypyn.
Conflux, *s.* (Ll. *confluo*) cydlif, cydffrwd, cydli, cymmer, aber, llifer, cydlifer; cyrchfa, cyrchiad, ymgyrch; cynnulliad, cynnullfa, casgliad, ymgasgliad; torf, tyrfa, haib, haid, lluaws.
Confluxibility, *s.* (o *conflux*) cydffrydiant, cydlifiant, cydlifoldeb, cydffrydioldeb, hylifoldeb.
Conform, *a.* (Ll. *conformis*) unffurf, cydffurf, cydffurfiol, cyflun, unddull, unffunud, cyfluniaidd, gogyflun, cyfagweddol; tebyg, cyffelyb.
Conform, *v.* (Ll. *conformo*) cydffurfio, cyfagweddu, cyflunio, cydlunio, cydymffurfio, cydymagweddu, cydymlunio, ymffurfio; cyfaddasu i *neu* at; cymmesuro i *neu* at; ymgymmesuro *neu* ymgyfaddasu i *neu* at; cydweddu, cydarwedd, cydarweddu, cyd-ddullio, cyfddullio; cydsynio, cydsynied, ufuddhau, ymostwng; ymroddi, gildio; gwneuthur yn unddull.
Because they would not conform themselves to the manners of the Gentiles—am nas mynent ganlyn arferion y Groegwyr (2 *Mac.* vi. 9).
To conform one's self—cydymffurfio, cydymagweddu, &c.
Conformable, *a.* (o *conform*) cydffurfiol, cyfatebol, unffurf, cydffurf, cydymffurfiol, unddull, cyfluniaidd, cydweddol, cyngweddol, cysson, atebol, cyffelyb, tebyg, unweddol, amweddog, cytun, cytunol; yn cyngweddu, yn cyfateb; addas, cyfaddas, sutiol; cydsyniol, ymroddol, hyblyg, ymblygol, ymagweddol, ymgydweddol, ymostyngol, ufydd, ufyddgar, cymmodlawn; parod i gydymffurfio *neu* i gydymagweddu.
Being made conformable—gàn fod wedi fy nghydffurfio (*Phil.* iii. 10).
Conformation, *s.* (Ff.; Ll. *conformatio*) cyfluniad, cydluniad, cydffurfiad, cydymffurfiad, cyfagweddiad, cyfddulliad, cydymweddiad, cyngweddiad, amweddiad, cydweddiant, cydarweddiad; gwneuthuriad yn unffurf, &c.; dull, ffurf, agwedd.
Conformer, / Conformist, *s.* (o *conform*) cydymffurfiwr, cydffurfiwr, ymgydffurfiwr, cydymffurfydd, cydffyddiwr; cydymffurfiwr â'r Eglwys Sefydledig.
Conformity, *s.* (Ll. *conformitas*) cydymffurfiad, cydffurfiad, cydffurfiaeth, cydymffurfiaeth,

**ymgydffurfiad**, cydymagweddiad, cydagweddiad, ymgydweddiad, cydymluniad; tebygoliaeth, tebygoldeb, tebygolrwydd, tebygrwydd, cynhebygrwydd, cyffelybrwydd, cyfatebolrwydd, cyfatebiad; cyfweddiad, cyfaddasiad; cytundeb, cyssondeb, cydgordiad, cydarwedd, cydarweddiad, cyngwedd; cydsynioldeb, cydsyniad; ufyddgarwch, ufydd-dod.

Conformity to the will of God—cydymffurfiad, cyssondeb, cytundeb, cynghordiad, *neu* gydsyniad âg ewyllys Duw; ufydd-dod i ewyllys Duw.

He lived in conformity to the doctrine which he professed—efe a luniodd ei fuchedd yn ol yr, yn gyfatebol i'r, *neu* yn gytun â'r athrawiaeth â broffesai.

In conformity to the rubric — yn ol y rhuddell; yn ol y gyfeireb; yn unol â'r rhuddell *neu* y gyfeireb; yn gydweddol â'r rhuddell.

**Confortation**,† *s.* (Ll. *conforto*) cysuriad; cyfnerthiad, cryfhad, nerthiad.

**Confound**, *v. a.* (Ll. *confundo;* Ff. *confondre*) cymmysgu, cydgymmysgu, dygymmysgu, mysgu, cydfysgu, tryfysgu, dyfysgu; dyrysu, annhrefnu, nidro, methlu, ffeigio, cynghafu; cythruddo, cythryblu, trallodi, hurtio, dychrynu, brawychu, terfysgu, cynhyrfu, cyffröi, irdangu, synu, cywilyddio, gwaradwyddo, dyddelwi; difa, dyfetha, difrodi, dystrywio, afradu, gwastraffu, andwyo; dymchwelyd.

To confound by arguments—gorchfygu, gorfod, *neu* faeddu drwy resymau; taro yn fud drwy resymau; cau geneu drwy resymau; tagu â rhesymau.

**Confounded**, *a.* cymmysgedig, &c.; cymmysg; brawychus; anferth, dirfawr, annhrefnus; anferthol, aruthr, erchyll, adwythig, ofnadwy, echryslawn; anffodiog.

To be confounded—delwi, dyddelwi, cywilyddio, gwrido, gwladeiddio; newid lliwiau.

I am confounded—mae yn gywilydd genyf.

**Confoundedness**, *s.* (o *confounded*) cymmysgedigrwydd, cymmysgedd; dyryswch, annhrefn, annhrefnusrwydd, brawychusrwydd, anfertholdeb, &c.

**Confounder**, *s.* cymmysgwr; dyryswr, annhrefnwr; cythruddwr, trallodwr, cyffröydd, dychrynydd; difrodydd, afradwr, &c.

**Confraternity**, *s.* (Ff. *confraternité;* It. *confraternita;* Ll. *con* a *fraternitas*) cydfrawdoliaeth, brawdoliaeth, cydfrodoriaeth, brodoriaeth.

**Confrication**, *s.* (Ll. *confrico*) cydrathiad, cyfrugiad, rhwbiad, rhathiad, cydrwbiad, cydrugiad.

**Confrier**, } *s.* (Ff. *confrère*) cydfrawd, brawd
**Confrere**, } ffydd, brawd crefydd, brawd crefyddol, brawd unffydd.

**Confront**, *v. a.* (*con* a *front;* It. *confrontare*) gwynebu, wynebu, cyfarwynebu, cyfwynebu; sefyll, dyfod, *neu* ymddangos wyneb yn wyneb; gwrthwynebu, gwrthsefyll, gwrthu, gwydderbynu; tysterbynu, prawferbynu; cydgyfeirio; cymharu, cydgymharu, cydgyffelybu; sefyll *neu* ymosod yn erbyn; gosod gyferbyn â; gosod mewn cyferbyniad â; gosod *neu* roddi ar gyfer; dwyn wyneb yn wyneb; peri sefyll wyneb yn ngwyneb.

2 A

**Confrontation**, *s.* (o *confront*) cyfwynebiad, cyfarwynebiad, gwynebiad, gwydderbyniad, cyferbyniad, cydgyfeiriad; dygiad *neu* osodiad tystiolaeth gyferbyn â thystiolaeth.

**Confronted**, *p. p.* gwynebedig, cyfwynebedig; &c.; cyfwyneb, cyfwynebol, cyfarwyneb, cyfarwynebog, taldal, cyfaran; wyneb yn wyneb.

**Confronter**, *s.* cyfarwynebydd, cyfwynebydd, gwydderbynydd, gwynebwr.

**Confrontment**, *s.* (o *confront*) cymhariaeth, cydgymhariaeth, cymhariad.

**Confuse**, *v. a.* (Ll. *confusus;* Ff. *confus*) cymmysgu, cydgymmysgu, mysgu, dyfysgu, cydfysgu, tryfysgu, trymysgu; dyrysu, annhrefnu, methlu, ffeigio, dotio, nidro, annybenu; bwrw allan o drefn; bwrw blith draphlith; cythruddo, cywilyddio, gwaradwyddo, delwi, dyddelwi, cythryblu, trallodi, hurtio, cynhyrfu; peri gwrido; tywyllu.

**Confused**, *p. p.* cymmysgedig, cymmysg, mysgedig, &c.; annhrefnus, didrefn, annyben, tryfysg; dyrys, rhwystrus, nidrol; annosbarthus, diddosbarth, annosbarthol, anhybarth, aneglur, anoleu, anamlwg, tywyll, diragor, diwahan; â fo mewn annhrefn; â fo blith dra chymmysg; â fo blith draphlith; â fo ben dra phen; cythruddog, cythruddus.

Confused cry *or* noise — llef *neu* waedd anghroew; llef *neu* waedd anhynod; swn anghroew *neu* anhynod; trwst.

A confused piece of work—gorchwyl annhaclus, trwsgl, annhrefnus, *neu* annestlus; gorchwyl heb na dyben na dosbarth; darn o waith annhaclus, &c.

**Confusedly**, *ad.* yn gymmysgedig, &c.; mewn annhrefn; allan o drefn; blith draphlith; ben dra phen; ben draphen; yn bendramwnwgl; blith drachymmysg.

**Confusedness**, *s.* annhrefnusrwydd, annhrefnedd, annhrefnusdra, annhrefn, dyryswch annosbarthedd, &c.

**Confusion**, *s.* (Ll. *confusio*) cymmysgedd, cymmysgiad, mysgedd, cymmysgfa, cymmysg, dyfysgi, tryfysg, trymysg, trymysgiad; annhrefn, annybendod, annhrefniad, anghymhendod, didrefnedd, annhrefnusrwydd, llanastr; terfysg, cythrwfl, cymhelri, trabludd, ednid; helbul, afreolaeth, afreoledd; dygyfysgi, dygyfysgiad; cywilydd, gwaradwydd, gwarth, gwarthrudd, cythrudd; cyffro, cynhwrf, ffrawdd, brithred; syndod, sanedigaeth; dyryswch, nidri, penbleth; cynhwrf *neu* syndod meddwl; cyfyng-gynghor; dinystr, dystryw, difrod, dymchweliad; annosbarth, anhybarthedd, annydolrwydd, annosbarthedd, aneglurder; anghydfod; cywilyddgarwch; cywilydd *neu* wrid gwyneb; gwarthrwy.

Confusion of languages — cymmysgiad ieithoedd; cymmysgedd ieithoedd.

Confusion seize thee! — yr adwyth a'th gaffo! dïenydd drwg a ddelo iti! rheibied tranc di!

The late unhappy confusions—y diweddar gythrwfl annedwydd; y diweddar helbul trwch anhapus.

To put to confusion — cywilyddio, peri cywilyddio, gwaradwyddo, gwarthruddo; cythruddo, cyffröi, cynhyrfu, cythryblu, terfysgu; annhrefnu.

To bring into confusion—gwaradwyddo, gwarthruddo, gwarthruddio, cywilyddio,

gwarthäu, peri cywilydd, peri cywilyddio; dwyn i waradwydd; dystrywio, dinystrio, dwyn i ddinystr.

In confusion—traphlith, yn draphlith, yn gymmysg, blith draphlith, benben, bendra phen, ar lanastr, yn llanastr; mewn annhrefn, dadbrofadwy.

**Confutable**, *a.* (o *confute*) gwrthbrofadwy, disbrofadwy, dadbrofadwy.

**Confutant**, } *s.* (o *confute*) dadbrofwr, disbrof-
**Confuter**, } ydd, disbrofwr, gwrthbrofwr, gwrthddadlwr.

**Confutation**, *s.* (Ll. *confutatio*) dadbrawf, disbrawf, gwrthbrawf, dadbrofiad, disbrofiad, gwrthbrofiad, diddadliad, gwrthddadl, ymwrthddadl.

**Confute**, *v. a.* (Ll. *confuto*) dadbrofi, disbrofi, gwrthbrofi, dibrofi; gwrthddadlu; profi y gwrthwyneb; dymchwelyd, dirymio, dirymu; lladd *neu* orchfygu â rheswm; gorfod *neu* oresgyn mewn dadl; anaddwyno dadl *neu* wrthddadl.

**Confutement**, *s.* (o *confute*) disbrofiad, dadbrofiad, gwrthbrofiad, gwrthbrawf, dadbrawf, disbrawf.

**Conge**, *s.* (Ff. *congé*) moesblygiad, ymgrymiad, ymostyngiad, moesgrymiad; plygiad glin; plygiad pen; moes, moesgarwch, mynogaeth, parch, syberwyd; ymadawiad, ymadeb; cyfarchiad wrth ymadael; cenad, rhyddid, trwydded, moesgenadiad.

Congé d'élire (Ff.) — cenad i ddewis; trwydded i ethol; etholwys, dewisfraint, etholfraint=cenad ac archiad y brenin i'r deon a'r cabidwl i ddewis esgob, pan fyddo y gadair yn wag.

**Conge**, *v. n.* moesblygu, moesymgrymu, moesgrymu, ymostwng, ymgrymu, plygu, plygu glin, parchus gyfarch; ymadael gyda moes; ymadebu, canu yn iach.

**Congeal**, *v.* (Ll. *congelo*) rhewi, cydrewi; caledu; cyttewychu, cydgeulo, ceulo, dysgeulo, tewychu; sythu, ymsythu, fferu.

Congealed blood—ceulwaed, gwyar, tolchwaed.

**Congealable**, *a.* (o *congeal*) rhewadwy, ceuladwy, fferadwy, hyrew, hygaul, hyffer.

**Congealedness**, *s.* (o *congeal*) rhewogrwydd, rhewedigrwydd; caledrwydd, ceulogrwydd, cydgeuledd, cyttewychedd, fferder, fferdra, fferdod.

**Congealment**, *s.* (o *congeal*) cyttewychiad, fferedigaeth, cydgeulad, ceulad; tolch, tolchen, talp, telpyn, cai.

**Congelation**, *s.* (Ll. *congelatio*) cyttewychiad, ceulad, cydgeulad, ymgeulad, dysgeulad; rhewiad, cydrewiad, cydrewiant, fferiad, fferiant, fferedigaeth.

**Congener**, *s.* (Ll.) cydryw, cyfanian; peth cyfanianol *neu* gydrywiol; cydrywiad, cyttarddd.

**Congener**, } *a.* cydrywiol, cydryw, cyfanian,
**Congenerous**, } cyfanianol, cystlynol, cystlyn-
**Congeneric**, } aidd, cydgenedl; gogydryw, gogydrywiol, gogydnaws, gogyfanian; cydnaws, cyfnaws, unnaws, cyfnawsaidd, unrhywiol, cyfrywiol, cyttrasol; o'r un rhyw *neu* rywogaeth; cyfredol, cyweithiol.

Congenerous muscles—cyhyrau cyweithiol, cyweith-gyhyrau, cyhyrau cywaith.

**Congeneracy**, *s.* cydrywiolaeth, cydrywiaeth, cydrywioldeb, cyfanianedd.

**Congenerousness**, *s.* cydrywioldeb, cydrywdeb, cydrywiolrwydd, cydrywiolaeth, cyfnawsoldeb, cydnawsineb, cyfanianaeth, cyfanianoldeb, cystlynoldeb; gogydrywiaeth, cyfrywiaeth.

**Congenial**, *a.* (Ll. *con* a *genus*) cydrywiol, cydryw, cyfanian, cyfanianol, cydnaws, cyfnaws, cydnawsaidd, cyfnawsaidd, cydnawsol, unnaws, cystlynol, cystlynaidd, cyttrasol, cydgenedl, cyfrywiol; naturiol, anianol, greddfol, noturiol, gnodol, gnawd, gnaws; ungynneddfol, ungynneddf, cydgreddol, perthynol, perthynasol; cynhenid, cynnwynol, cannwynol; cyfaddas, addasedig.

**Congeniality**, } *s.* cydrywiaeth, cydrywiolaeth,
**Congenialness**, } cyfanianoldeb, cyfanian, cydrywioldeb, cyfnawsedd, cydnawsoldeb, cydnawsineb, cystlynoldeb, cystlynolrwydd, cystlynedd, cystlynrwydd; tras, carennydd; naturioldeb; cydgynneddf, cyngreddf; gnodoldeb; addasrwydd, cyfaddasrwydd, dygymrodedd.

**Congenialize**, *v. a.* (o *congenial*) cydrywio, cydrywioli, cyfrywioli, naturioli; gwneuthur yn gydrywiol, &c.

**Congenite**, } *a.* (Ll. *congenitus*) cydenedigol,
**Congenital**, } cydanedig, cydenedig, cydgenedlog, cydgenedlig; cynhenid, cynnwynol, cannwynol, genedigol, anianol, cyngeni, greddfol; â fo wrth naturiaeth; â gydanwyd; â gydgenedlwyd; cyttarddol, cyfdarddol; o enedigaeth.

**Conger**, *s.* (Ll.) morlyswen, llyswen bendoll, morlyswen, y bendoll.

**Congeries**, *s.* (Ll.) clobyniaeth, cyttyriad, cydymdyriad, cydgasgliad, cyttalp; crug o amryw bethau.

**Congest**, *v. a.* (Ll. *congero*, *congestum*) clobynu, cyttyru, croni, cydgasglu, cyttalpio, pentyru; crugio yn nghyd.

**Congestible**, *a.* (o *congest*) clobynadwy, cyttyradwy, cronadwy.

**Congestion**, *s.* (Ll. *congestio*) croniad, cyttyriad, cydgasgliad, cydgrynoad; crawngasgliad, crawniad, ceiad, gorgai, cornwyd.

**Congestive**, *a.* cyttyrol, croniadol, cynghasgliadol, cronol, crawnol, cydgrynoawl, cornwydol.

**Congiary**, *s.* (Ll. *congiarium*) rhoddlun, anrheglun; rhodd yn cael ei harddangos ar fathodyn: mesur Rhufeinig, yn cynnwys oddeutu galwyn Seisonig.

**Conglaciate**, *v. n.* (Ll. *conglacio*) rhewi, rhewiannu; troi yn ia; troi yn rhew; iäenu.

**Conglaciation**, *s.* (o *conglaciate*) rhewiant, rhewiad, cydrewiad; troad yn ia.

**Conglobate**, *a.* (Ll. *conglobatus*) clobynaidd, clobynol, pellenol, cynghlobynol.

**Conglobate**, *v. a.* clobynu, pelenu, crynsypio, pellenu, cynghlobynu, tynbellenu, cryndyru, cydgrynhau, cydbellenu.

**Conglobation**, *s.* (Ll. *conglobatio*) clobyniad, peleniad, pelleniad, crynsypiad, cynghlobyniad, damgryniad; corff crwn, cnap.

**Conglobe**, *v.* (Ll. *conglobo*) clobynu, pelenu, pellenu, ymglobynu, ymbellenu, ymsypio, crynsypio, ymgrynhau, ymbellenu.

**Conglobulate**, *v. n.* ymgronellu, ymgronenu, ymglobenu, clobynu, pellenu.

**Conglomerate**, *a.* (Ll. *conglomeratus*) clobynol, clobynaidd, clobynedig, pellenaidd, cynghlobynaidd, pelenaidd, cynghlobynol.

**Conglomerate**, *v. a.* (Ll. *conglomero*) clobynu,

pelenu, pellenu, crynsypio, cryndyru, sypio, cydbellenu, cynghlobynu, cynghrynu, cydgrynhau; crynöi *neu* ddyrwyn yn bellen; pentyru, crugio.

Conglomerate, *s.* clobynfaen, selsigfaen, cynghlobyn; cyttyrgraig: *pl.* cynghlobynion.

Conglomeration, *s.* clobyniad, peleniad, pelleniad, cynghlobyniad, crynsypiad, cynghryniad, cryndyriad, damgryniad, ymsypiad; pentyriad, crugiad, casgliad, casgl, cydgasgliad, dasyliad, tyriad, clasg.

Conglutinant, *a.* (Ll. *conglutinans*) gludiol, cydludiol, cydlynol; uniadol, unol; iachaol, iachol.

Conglutinant, *s.* gludgyffyr, iachludydd; meddyginiaeth i iachäu archollion.

Conglutinate, *v.* (Ll. *conglutino*) gludio, cydludio, cyngludio, cydlynu, cyssylltu, cydio; iachäu, gwella; clwyfludio, gludiachäu; uno, ymuno, cydymuno.

Conglutination, *s.* (Ll. *conglutinatio*) gludiad, cydludiad, cyngludiad, cydlyniad; cydiad, cynghydiad, cyssylltiad; uniad, cyfuniad, cydymuniad; iachâd, iachludiad, gludiachâd.

Conglutinative, *a.* gludiol, cydludiol, cyngludiol, cydlynol.

Conglutinator, *s.* cydludydd, cyngludai; iachludydd; peth â uno archollion.

Congo, Congou, *s.* (Chinaeg, *Koong-ffoo*, llafur neu ddiwydrwydd) enw math o de du o China.

Congratulant, *a.* (Ll. *congratulans*) cydlawenol, cydlawenychol, cydgyfarchol.

Congratulate, *v. a.* (Ll. *congratulor*) cydlawenhau â, cydlawenychu â, cydloni â, llongyfarch, cyfloddi, hawddammori, hawddammor, rhoi hawddammor, llawen-gyfarch, cyfanerch, cydgyfarch, cydgyfarchu, anerch; dymuno llawenydd; cydlawenhau, cydlawenu, cydlawenychu.

I congratulate you on your safe return—mae yn dda genyf eich dychwelyd yn iach lawen; y mae yn llawen *neu* yn llawenydd genyf eich dychwelyd yn iach ddïanaf; hawddammor i chwi ar eich dychweliad dïanaf; cyfloddaf chwi ar eich dychweliad diogel.

He sent Hadoram to congratulate him—efe a anfonodd Hadoram i'w fendithio ef (1 *Cron.* xviii. 10).

Congratulation, *s.* (Ll. *congratulatio*) cydlawenychiad, cydlawenhad, cyfloddiad, llongyfarchiad, cydloniad, llongyfarch, cydgyfarchiad, hawddammoriad, hawddammor, cyfanerchiad, cydgyfarch, cyfanerch, anerchiad, cyfarchfawl, cydorfoledd.

Mutual congratulation — ymgydgyfarch, ymgyfloddiant, ymanerch, ymanerchiad, llonymgyfarch.

Congratulator, *s.* (Ll.) cydlawenychwr, cyfloddwr, llongyfarchwr, dymunwr hawddammor.

Congratulatory, *a.* cydlawenychol, cydlawenol, cydlawenhaol, cyfloddol, llongyfarchol, hawddammorol, cydgyfarchol, cyfarchedigol.

Congree,† *v. n.* (Ll. *congruo*) cytuno, cydsynio, uno.

Congreet,† *v. a.* (*con* a *greet*) cydanerch, cyfanerch.

Congregate, *v.* (Ll. *congrego*) cynnull, crynöi, casglu; ymgynnull, ymgasglu, cyfarfod, cwrdd, dyfod yn nghyd, ymdyru, ymgydgori, dygynnull.

Congregate, *a.* cynnulledig, casgledig, crynöedig; cryno, clwn, dwys, tyn.

Congregation, *s.* (Ll. *congregatio*) cynnulleidfa, cynnullfa; cymmanfa, tyrfa, cynnullaid, cyttyrfa, cyfarfod, crynofa, torf, myntai; cynnulliad, ymgasgl, ymgynnull, ymgynnulliad, cyttyriad.

Congregation and convocation—cynnulleidfa a chymmanfa; cynnullfa ac eisteddfod.

Congregation house—cynnulldy, cynnulleitty, ty cyfarfod, ty cwrdd; dadleudy, senedd-dy.

Congregational, *a.* cynnulleidfaol, cynnullfaol; cymmanfaol; tyrfaol, mynteiol, cyfarfodol.

Congregationalism, *s.* cynnullfaoliaeth, cynnulleidfaoliaeth; annibyniaeth.

Congregationalist, *s.* cynnullfaolwr, cynnullfaolydd, cynnulleidfaolwr, cynnulleidfäwr; annibyniad: *pl.* cynnullfaolion, cynnulleidfaolion, cynnulleidfäwyr, annibyniaid.

Congress, *s.* (Ll. *congressus*) cyssenedd, cyssylfa, eisteddfod, senedd, cyngres; cydgynghor, ymgynghorfa, cynnadledd, cysseddfa, cyssyledd; cydgasgliad, cydgyfarfod, ymgyrchfa, cyfarfod, cynnulliad, casgliad; ymgyrch, ymdrech, ymladd, ymladdfa, amryson, cyfrwch; cywestach, cywestwch, cyfathrach ystlenol, ymgydiad, ymgyffwrdd.

Bardic congress — eisteddfod y beirdd; eisteddfod farddonol *neu* farddol; eisteddfod ferddig; gorsedd.

Congress house—cynnulldy, cyfordy, cyfrdy, cyngresdy.

Congression,† *s.* (Ll. *congressio*) cynnulliad, cymdaith.

Congressional, *a.* cysseneddol, eisteddfodol, seneddol, cyngresol.

Congressive, *a.* (Ll. *congressus*) cywestachol, cywestol, cydgnodol, cyridiol, ymgystlynol; cyfarfodol, ymgyfarfodol, cyfrychol, ymgyrchol, ymhyrddol, yn ymgyrchu.

Congrue,† *v. n.* (Ll. *congruo*) cytuno, cyduno.

Congruence, Congruency, *s.* (Ll. *congruentia*) cytundeb, cyssondeb, cyssonedd, addasrwydd, cyfaddasrwydd, cymhwysder, addasdeb, cyngweddoldeb, cymmesurdeb; cyttraw.

Congruent, *a.* (Ll. *congruens*) cyfaddas, addas, cymmesur, cymhwys, cyfatebol, cyfweddus, cydweddol, cysson, cytunol.

Congruity, *s.* (Ll. *congruitas*) cyfaddasrwydd, addasrwydd, cymhwysder, cymhwysdra, cymmesurdeb, cymmesurwydd; cytundeb, cyssondeb, cydgordiad, cynghordiad, cyfladdiad, cyfladdrwydd, cyngweddoldeb, cyngweddiad, cydsafiad; priodoldeb; cyfatebolder, cyfatebrwydd; rheswm; perthynasrwydd, perthynoldeb; cymmedroldeb; cydrediad, cyfrediad; cydnawsedd; cyttrawiad.

Grace of congruity—gras o gymmesurwydd

Condignity and congruity—cytteilyngdod a chymmesurdeb.

Congruous, *a.* (Ll. *congruus*) cyfaddas, addas, cymhwys, cymmesur, cydweddol, cyngweddol, cyfweddus, cysson, cytunol, cytun, cytûn, cyfun, cyfladdol, sutiol, cyfladd, cydsafol; yn cyfladd, yn cydweddu, yn cydsefyll.

Congrument, *s.* (Ll. *congruo*) addasiad, cyfaddasiad, addasrwydd; cyttrawiaeth.

Conia, Coneine, } s. (Ll. a Gr. *conis*) cegidnur, cecysnur, cegidsudd, alcali cegid.
Conic, Conical, } a. (Gr. *cônicos;* Ll. *conicus*) conig, ffeinig, conol, conaidd, pigyrnol, ffeinaidd, conigol, pigyrnaidd, dasgyrnaidd; cyrnenaidd, cyrnaidd; bonbraff a brigfain; bonfraisg a blaenfain; breisgfon a meinfrig; brigfain, pigfain, blaenfain, penfain.
Conic sections — conranau, conigranau, ffeinranau; conraniaeth.
Conic livergreen—clust yr asen.
Conicalness, s. (o *conical*) conigrwydd, ffeinigrwydd, conolrwydd, coneiddrwydd, pigyrnoldeb; bonbraffedd a brigfeinedd.
Conics, s. conigion, ffeinigion; conranau, ffeinranau, conigranau; conraniaeth, conigaeth, ffeinigaeth, confesuriaeth: *sing.* conran, conigran.
Conifer, s. (Ll.) conwydden, ffeinwydden.
Coniferæ, Conifers, } s. *pl.* (Ll. *conifer*) conwydd, ffeinwydd, conddygwydd=coed ffeinddygol, megys y ffawydd, pinwydd, cedrwydd, ffyllwydd, a'r cyffelyb.
Coniferous, a. conddwyn, conddygol, ffeinddygol; yn dwyn conau; yn dwyn hadlestri ar lun côn; à ddygo ffrwyth braisg ei fon a main ei ben.
Coniform, a. (Ll. *conus* a *forma*) conaidd, ffeinaidd, pigyrnaidd; bonbraff a brigfain; ar lun côn.
A coniform mountain — mynydd ar lun torth sugr; mynydd conigaidd.
Conirosters, Conirostres, Conirostræ, } s. *pl.* (Ll. *conus* a *rostrum*) conylfiniaid, ffeinylfiniaid=llwyth o adar, âg iddynt bigau cryfion, yn meinhau yn raddol at y blaen; megys, y brain, &c.
Conistra, s. (Gr.) llawr chwareudy.
Conite, s. (Gr. *conis*) llychfaen, llychddelid.
Conium, s. (Gr. *conis*) cegid, cegyr, cecys.
Conject,† v. (Ll. *conjecto*) taflu yn nghyd; taflu; amcanu, dychymygu, tybio.
Conjector, s. (Ll.) amcanydd, amcanwr, amcandybiwr, dyfalydd, dychymygwr.
Conjecturable, a. tybiadwy, amcanadwy, dychymygadwy.
Conjectural, a. (Ll. *conjecturalis*) amcanol, tybiol, tybygol, amcandybiol, dychymygol, godybiol, dyfeisiol, amcanadwy.
Conjecturality, s. amcanoldeb, tybygoldeb, dychymygoldeb.
Conjecturally, *ad.* ar amcan, wrth amcan, wrth dybygoliaeth, ar amcandyb; yn amcanol, &c.
Conjecture, s. (Ll. *conjectura*) amcan, amcaniaeth, tyb, amcandyb, llettyb, godyb, tybygoliaeth, lledamcan, tybygiad, tybiad, tybiaeth, tybiant, dychymyg, dyfaliad, amcanfarn, darogan; syniad, delfryd, meddylrith.
Conjecture, v.a. tybio, tybied, tybygu, llettybio, llettybied, godybio, dychymygu, dychymyg, amcanu, dyfalu, dyfeisio, bwrw amcan, lledddirnad, goddeall, lledfeddylio, meddylied, meddylio, lledwybod, darogan.
It is conjectured—tybir; e dybir; fe a dybir; mae yn debygol; yr ydys yn barnu; tybygir, &c.
Conjecturer, s. amcanydd, amcanwr, amcandybiwr, dychymygydd, dychymygwr, dyfalydd, dyfalwr, tybiwr, llettybiwr, lledamcanydd.
Conjoin, v. (Ll. *conjungo;* Ff. *conjoindre*) cydgyssylltu, cyssylltu, cydsylltu, cynglynu, cyssylltu yn nghyd, uno, cynghydio, cydio, cydrwymo, cyduno, cyfuno; cynghreirio; cyfeillachu.
Conjoint, a. cyssylltedig, cyssylltiol, cydgyssylltiol, cynglyn, unol, unedig; cyfunedig, cydunol, cydunedig; cydgyweithasol.
Conjoint degrees—cyfunraddau, graddau cyssylltiol, cyssylltraddau.
Conjointly, *ad.* yn gyssylltedig, &c.; yn nghyd; mewn cyssylltiad; gyda'u gilydd.
Conjugal, a. (Ll. *conjugalis*) priodasol, dyweddïol; cydieuol, cydweddog, gweddog, priod; perthynol i briodas; yn perthyn i briodas.
Conjugate, v. a. (Ll. *conjugo, conjugatus*) cyfieuo, cydieuo; amrywioli, cyfymredu; treiglo; † uno, cyfuno.
To conjugate a verb—amrywioli, cyfymredu, cyfieuo, *neu* gydieuo perwyddiad, berf, *neu* brifair.
Conjugate, a. cyfieuol, cydieuol, cyfieuog, cydieuog, cyfieuedig, cydieuedig.
Conjugate, s. cyfieuair, cydieuair, gair gogyfystyr, gogyfair, cyttarddair.
Conjugation, s. (Ll. *conjugatio*) cydieuad, cyfieuad, cyfymredlad, amrywiad; treiglad; cyssylltiad, uniad, undeb; pâr.
Conjunct, a. (Ll. *conjunctus*) cyssylltiol, cydsylltiol, cydgyssylltiol, cyssylltedig, cydiedig, cynghydiol, clymedig, cyfunedig, unedig; cyfredol, cydredol, cydred.
Conjunction, s. (Ll. *conjunctio*) cyssylltiad, cyfuniad, cydgyssylltiad, cydiad, cynghydiad, cysswllt, undeb, uniad, cyfrwymiad, cyplysiad, cypliad, cynglyn, cynghlwm; cyssylltair.
Conjunction (in Grammar)—cyssylltiad, cyssylltair.
Conjunctive conjunction, Copulative conjunction, } cyssylltiad cydiadol, cyssylltiad cydiol, cyssylltiad cynglynol, cyssylltiad cyssylltiol, cyssylltair cyssylltiadol: *pl.* cydiadolion.
Disjunctive conjunction—cyssylltiad gwahaniadol, cyssylltiad anghydiadol, cyssylltiad dadgydiadol, cyssylltiad gwahanol, gwahaniedyr.
Causal conjunction — cyssylltiad achosol, cyssylltiad achosiadol.
Conjunction of the sun and moon—cyfnewid y lleuad; cyfrwng dwy leuad; cysswllt *neu* gyssylltiad yr haul a'r lloer=cyfarfod yr haul a'r lleuad yn yr un radd ar y sidydd.
In conjunction — yn nghyd; gyda'u gilydd.
Conjunctive, a. (Ll. *conjunctivus*) cyssylltiol, cydiadol, cydiol, cyfunol, cyfuniadol, cynghydiol, cyplysol, unol, cyssylltedig, uniadol.
Conjunctives — cydiadolion, cyflyniadolion, cydiedyddion.
Conjunctive mood, Subjunctive mood, } modd ammodol, modd ammodadwy, modd cyssylltiol.
Conjunctively, *ad.* yn gyssylltiol, &c.; yn nghyd; gyda'u gilydd; yn nghysswllt.
Conjunctiveness, s. cyssylltioldeb, cydiadoldeb, cydiadolrwydd, cydioldeb, uniadolder.
Conjuncture, s. (Ff. *conjoncture*) cyfnod; achlysur, echlysur, achos, amgylchiad, tymmor, dwthwn, adeg, cyfamser, cyfwng, cyfwlch; ansawdd, cyflwr, amgylchiad, sefyllfa, safiad, gosodiad, *neu* ystum pethau, materion,

gorchwylion, *neu* negesau; arfod, cyfle, cyfle addas, chwyl; hwyl, chwyl, tro, *neu* dreigl yr amser; cysswllt, cyssellt, cyssylltiad, cyngbyd, cyfuniad, uniad, undeb, cyssondeb; cynglyn, cymmined; ymgyfarfod *neu* ymgyfred dygwyddiadau.

In this conjuncture of affairs—a phethau yn sefyll fal hyn; a phethau yn sefyll yn llyn.

He had regard to the conjuncture of affairs at that time—efe a ystyriodd ansawdd *neu* sefyllfa pethau ar hyny o bryd.

Conjuration, *s.* (Ll. *conjuratio*) dewiniaeth, rhinwaith, swynwaith, arswyniad, darswyniad, cyfareddiad, swyngyfaredd, dewindebiaeth, tyngediad, tyngediant, cyttyngediad, consuriaeth, consuriad; cyttwng, cydfwriad, cydfrad.

Conjure, *v.* (Ll. *conjuro*) swyno, darswyno, arswyno, aswyno, dewino, dewinio, cyfareddu, cydswyno; arferu swynion, rhiniau, *neu* gyfareddion; consurio; tyngedu, cyttyngedu; cyttyngu, cydfwriadu, cydfradu, gwneuthur cydfrad; ymhŵedd *neu* atolygu er mwyn Duw; castio, gwneuthur castiau.

Conjurement, *s.* (o *conjure*) tyngediad, tyngediant.

Conjuror, Conjurer, *s.* swynwr, darswynwr, arswynwr, aswynwr, dewin, cyfareddwr, swyngyfareddwr, chwidog, chwidw, chwiliog, hudolwr, twyllydd, consurwr, consuriwr, gwr cyfarwydd.

Connascence, *s.* (Ll. *con* a *nascor*) cydenedigaeth, cydanedigaeth; cydenid, cyttyfiant, cyttyfiad; cynhenidrwydd.

Connate, *a.* (Ll. *con* a *natus*) cydenedigol, cydanedigol, cydenedig, cydanedig; cynhenid, cynnwynol, greddfol, cydhanol; gwedi ei eni gydag; o'r un dechreuad.

Connation, *s.* (o *connate*) cydenedigaeth, cydanedigaeth, cydaniad, cydenid, undeb naturiol.

Connatural, *a.* (*con* a *natural*) cynhenid, cynnwynol, cannwynol, cyfanian, cydryw, cydrywiol, cydanian, cydanianol, cydnaws, cyfnaws, greddfol, cydgreddol; cydenedigol, cydenedig, cydnaturiol; o'r un natur *neu* anian.

Connaturality, Connaturalness, *s.* (o *connatural*) cydrywioldeb, cydrywiaeth, cydrywiolaeth, cynhenidrwydd, cynnwynoldeb, cydanianaeth, cydnawsineb, cyfanianoldeb; tras, carennydd, cystlynedd; naturioldeb; cyfranogaeth o'r un natur; undeb naturiol; cydenedigaeth.

Connaturalize, *v. a.* cydrywioli, cydrywio, cynnwynoli, cyfanianu, cydreddfoli.

Connect, *v. a.* (Ll. *connecto*) cyssylltu, cydgyssylltu, cyfuno, cydglymu, cynghlymu, cydrwymo, cyfrwymo, cydio, uno, rhwymo yn nghyd, cynghydio, cyplysu; cydgadwyno; cydlynu.

Connecting link—dolen gydiol, cydrwy.

To connect by blood—cydwaedoli, cydwaedogi.

Connection, Connexion, *s.* (Ll. *connexio*) cyssylltiad, cyfuniad, cyfuniant, cydiad, cydglymiad, cynghlymiad, cydgyssylltiad, cyfymlyniad, cyfrwym, cynghlwm, cydglwm, cysswllt, cwlwm, cynghydiad, cyplysiad; uniad, unad, uniant, cyfundeb, cyfundod, cymwedd; perthynas, cymherthynas, cydberthynas, cyfathrach, cystlynedd, ystlwn, cystlwn; cyssondeb; dygyfranc.

The Methodist connexion — cyfundeb y Trefnyddion; y Cyfundeb Trefnyddol.

Sensual connexion—cywestach, cywestwch, cydgnodiad, cydgnawd, nabyddiaeth ystlenol, cyrid.

The connexion of the Old and New Testaments—cyfuniad *neu* gyssylltiad yr Hen Destament a'r Newydd.

Connective, Connexive, *a.* cydiol, cydiadol, cyssylltiol, cyssylltiadol, cynghydiol, cyfunol, cyfrwymol, cydrwymol, cyplysol, unol.

Connective, *s.* cyssylltair, cyssylltiad: *pl.* cydiadolion, cyssylltiaid, cyssylltolion, cyfunolion.

Connex,† *v. a.* (Ll. *connexum*)=*Connect.*

Connictation, *s.* (Ll. *connictatio*) amrantiad, gwinciad, ysmiciad.

Conning, Cunning, *s.* (S. *connan, cunnan*) llonglywiad; cyfarwyddiad i'r llywiwr.

Connivance, Connivency, *s.* (o *connive*) goddefiad, goddefiant, goddefedd, cydoddefiad, cyd-ddygiad, rhithoddef; cymmeriad arno nas gwelo; goddefiad myned yn ddigosp *neu* ddigerydd; cyd-ddygiad â bai; ysmiciad, gwinciad.

Connive, *v. n.* (Ll. *conniveo*) goddef, cyd-ddwyn, rhithoddef; cymmeryd arno na welo; myned heibio yn ddisylw; peidio â dàl sylw; esgeuluso; cau llygaid rhag; gwincio, ysmician, ysmicio; ymddyeithraw oddi wrth ganfod peth.

Connivent, Conniving, *a.* goddefol, ymoddefol, cydddygol, rhithoddefol; yn cymmeryd arno beidio â gweled, &c.; ysmiciol, gwinciol.

Conniver, *s.* goddefwr, ymoddefydd, cydddygydd; ysmiciwr.

Connoisseur, *s.* (Ff.) hyfeirniad, cyfarwydd, beirniad, celfwyddon, celfwyddiad, beirniad hyfedr, beirniad cyfarwydd.

Connoisseurship, *s.* hyfeirniadaeth, beirniadaeth, celfwyddiaeth, medr hyfeirniad.

Connotate, Connote, *v. a.* (Ll. *con* a *noto*) arddangos, arwyddo, arwyddocäu, cyfnodi; rhoi ar ddeall, dwyn ar ddeall, argoelio, awgrymu; cynnwys.

Connotation, *s.* (o *connotate*) cyfnodiad, arwyddiad, arwyddocâd, argoeliad, arwydd, casgliad.

Connubial, *a.* (Ll. *connubialis*) priodasol, dyweddïol, cydweddog, gweddog, neithiorol; perthynol i briodas.

Connumeration, *s.* (Ll. *connumeratio*) cydrifiad, cydrifiant, cydgyfrifiad, cydgyfrifiant.

Connusance, *s.* (Ff. *connoissance*) gwybodaeth, gwybyddiaeth, nabyddiaeth, nabodaeth; holiad, holedigaeth, chwiliad; sylw.

Connusant, *a.* gwybodus, gwybyddus, hysbys; yn gwybod; gwedi ei hysbysu.

Connusor, *s.* dirwyog, addefwr dirwy; amddiffynydd, diffynblaid.

Connutritious, *a.* (*con* a *nutritious*) cydfaethol, cydfaethlawn, cydfaethus, cydfeithrinol. [ol.

Conny, *a.* (C. *cono*) gwych, glew, dewr, rhagor-

Conoelix, Conohelix, *s.* (Ll. *conus* a *helix*) connyddyn, ffeinnyddyn.

Conoid, *s.* (Gr. *cônoeidês*) gosgon, gogyrnen, gosgyrnen.

Conoidic, Conoidical, *a.* gosgonaidd, gogyrnenaidd, gosgyrnenaidd, goffeinaidd.

**Conominee**, *s.* (Ll. *con* a *nomen*) cydenwai, cyfenwai; un à enwir fel cydymaith.
**Conquadrate**, *v. a.* (Ll. *con* a *quadratus*) ysgwario, pedrori, petryalu, pedrogli, pedrongli.
**Conquassate**, *v. a.* (Ll. *conquasso*) crynu, siglo, ysgwyd, cysgogi, ysgytio; annhrefnu.
**Conquassation**, *s.* (Ll. *conquassatio*) ysgydwad, siglad, cysgogiad, ysgytiad.
**Conquer**, *v. a.* (Ff. *conquerir;* Ll. *conquiro*) gorchfygu, goresgyn, goresgynu, gorfod, gorfod ar, trechu, meistroli, darostwng, cywarsangu; cael yr oruchafiaeth ar; cael y maes ar; cael y llaw uchaf ar; cael y llaw drechaf ar; cael y gorfod ar; cael y goreu ar; ennill y dydd ar; myned â'r maes ar; maeddu, curo, gorthrechu, gortrechu; ennill, ynnill; buddugo; ennill y fuddugoliaeth; gwarogi, gormeilio.
Not to be conquered—anorchfygol, anoresgynol, anorfod.
**Conquerable**, *a.* (o *conquer*) gorchfygadwy, gorfodadwy, goresgynadwy, trechadwy; gorchfygol, goresgynol; à ellir ei orchfygu, &c.
**Conquerableness**, *s.* gorchfygolrwydd, gorchfygoldeb, goresgynoldeb.
**Conqueress**, *s.* (o *conquer*) budduges, goresgynes, goresgynores, gorchfygyddes, gorfodoges, buddugoles, benyw fuddugol, gorfodai.
**Conquering**, *p. a.* buddugol, gorchfygol, goresgynol, gweithfuddig.
**Conqueror**, *s.* (o *conquer*) gorchfygwr, gorchfygydd, goresgynydd, goresgynwr, goresgynor, buddugwr, gorfodog, gorfyddwr, gorfodogwr, trechydd, trechwr, buddugoliaethwr, un buddugol, gweithfuddug, darostyngwr, gwr gorfod, gorfodai, cywarsangydd.
**Conquest**, *s.* (Ff. *conquête;* Ll. *conquisitus*) buddugoliaeth, goruchafiaeth, goresgyniaeth, goresgyniad, goresgyn, gorchafiaeth, gorfodaeth, cywarsang, gorfod, gorthrech, cywarsangiad, cywarsangiaeth, digoniant; caffaeliad, ennilliad, ennill.
**Consanguineous**, *a.* (Ll. *consanguineus*) cydwaed, cydwaedol, cyttrasol, cyttras; o'r un gwaed; o'r un gwaedogaeth *neu* waedoliaeth.
**Consanguinity**, *s.* (Ll. *consanguinitas*) cydwaedoliaeth, cydwaedogaeth, cydwaed, cydgarennydd, carennydd o waed, cyttras, tras, tras a pherthynas, edryf, edryd.
**Consarcination**, *s.* (Ll. *consarcino*) cydglytiad.
**Conscience**, *s.* (Ff. o'r Ll. *conscientia*) cydwybod; cydwybodaeth, cywyddiaeth.
Clear conscience, } cydwybod lân, cydwy-
Good conscience, } bod dda; cydwybod lân ddirwystr; asgre lân.
Large conscience—cydwybod helaeth, cydwybod ddibetrus; cydwybod anmhetrusgar, yr hon ni wna ragoriaeth rhwng da a drwg.
Seared conscience—cydwybod farw, ddieimlad, ddiddarbod, *neu* galed; cydwybod wedi ei serio.
Scruple of conscience—petrusder, petrusedd, petrusrwydd, ammheuaeth, *neu* ofnusrwydd cydwybod; cyfyngder meddwl; arswyd y gydwybod rhag gwneuthur ar fai.
I have a scruple of conscience—y mae fy nghydwybod yn petruso; y mae arnaf betrusrwydd cydwybod, &c.
Of a scrupulous conscience—tyner, petrus, *neu* ammhëus ei gydwybod; ofnog, ofnus, ammheus, arswydog, rhy ofalus, ammheugar, petrusgar; cydwybodol bryderus.
To be troubled in conscience—bod mewn cythrudd, mewn gofid, *neu* mewn aflonyddwch meddwl *neu* gydwybod; bod yn llin gân gynhwrf meddwl; cael ei ddirboeni gân ei feddwl *neu* ei gydwybod.
To make conscience of—gwneuthur cydwybod o; bod yn gydwybodol mewn; gwneyd yn fater cydwybod; credu ei fod yn rhwymedig i wneuthur.
To charge one's conscience — caethiwo, llwytho, beichio, blino, *neu* ofidio ei gydwybod; cyfyngu ar ei gydwybod; rhoi baich ar ei gydwybod; gosod rhwymau ar ei gydwybod; peri petrusder cydwybod; gwneuthur adduned; rhoi dïofryd.
To discharge one's conscience—dilwytho, dadlwytho, dadfeichio, *neu* ryddhau ei gydwybod; talu ei adduned.
Enough in all conscience—digon a digonedd; digon a thros ben; digon a digon dros ben; hen ddigon.
In conscience—ar gydwybod; yn gydwybodol; yn wirioneddol; mewn gwirionedd; o gydwybod; mewn cyfiawnder; yn gyfiawn; ar dir teg *neu* gyfiawn; wrth reswm; ar air a chydwybod.
Court of conscience—llys cydwybod; cydwybodlys; mânddyledlys, llys mânddyledion.
**Conscienced**, *a.* cydwybodog; âg iddo gydwybod.
**Conscienceless**, *a.* digydwybod, anghydwybodol.
**Conscient**, † *a.* (Ll. *consciens*)=*Conscientious.*
**Conscientious**, *a.* (o *conscience*) cydwybodol, cydwybodus; cywir, didwyll, cyfiawn.
**Conscientiously**, *ad.* yn gydwybodol; gyda chydwybod lân ddirwystr; yn ol cydwybod.
**Conscientiousness**, *s.* cydwybodoldeb, cydwybodolrwydd, cydwybodusrwydd; cydwybodoledd, cydwybodedd.
**Conscionable**, *a.* (Ll. *conscio*) cydwybodus, cydwybodol; cyfiawn, cywir, didwyll, uniawn, rhesymol.
**Conscionably**, *ad.* yn rhesymol, &c.; yn ol iawnder a rheswm; yn ol cydwybod.
**Conscionableness**, *s.* rhesymoldeb; cyfiawnder, uniondeb, cywirdeb; cydwybodusrwydd.
**Conscious**, *a.* (Ll. *conscius*) ymwybodol, ymwybyddus, ymwybyddol, cydwybodus, cydwybodol; yn gwybod; yn wybodus; cyfrin; teimladwy; â wypo am dano ei hun.
To be conscious—bod yn ymwybodol, &c.; ymwybod; gwybod amdano *neu* ynddo ei hun; bod yn gyfrin; gwybod.
I am conscious to myself — yr wyf yn gwybod ynof fy hun; yr wyf yn ymwybod; yr wyf yn ymwybodol.
I am not conscious of sin—nis gŵn fy mod yn gyfrin o bechod; nid wyf ymwybodol o bechod.
I am conscious that I am not handsome—gŵn fy hun nad wyf fi hardd.
He is conscious of his superiority—gŵyr yn dda ddigon mai efe sy ben; efe a ŵyr yn burion ei fod yn rhagori; mae yn ymwybodol o'i ragoriaeth.

**Consciously**, *ad.* yn ymwybodol, &c.; drwy wybod iddo *neu* amdano ei hun; drwy ymwybod.

**Consciousness**, *s.* ymwybod, ymwybyddiaeth, ymwybodoldeb, ymwybodolrwydd, ymwybodaeth, gwybyddiaeth; cydwybod; syniad, ymsyniad, ymdeimlad.
  Consciousness of sins—cydwybod pechod (*Heb.* x. 2).

**Conscript**, *a.* (Ll. *conscriptus*) ysgrifenedig, ysgrifedig; rhestredig, cofresedig, cofrestredig, cofresol, cofrestredig, cofrestrig.
  Conscript fathers—y tadau rhestredig, y tadau cofrestrig = seneddwyr Rhufain gynt.

**Conscript**, *s.* milwr rhestredig, crifilwr, gwr rhif: *pl.* rhestredigion, cofrestrigion.

**Conscription**, *s.* (Ll. *conscriptio*) rhestriad, cofrestriad, cofresiad, cofrestriad, cyfrestriad; milwyr rhestredig; y filwriaeth, y milwyr.

**Consecrate**, *v. a.* (Ll. *consecro*) cyssegru; santeiddio; bendigo, bendithio, glwyso; urddo; neilltuo; seintio, dwyfoli; offrymu, aberthu, diofrydu; segru.
  To consecrate one's self—ymgyssegru, ymsanteiddio; ymddiofrydu, ymgyflwyno.
  Who is consecrated for evermore—yr hwn a berffeithiwyd yn dragywydd (*Heb.* vii. 28).

**Consecrate**, **Consecrated**, *a.* (Ll. *consecratus*) cyssegredig, cyssegrol, cyssegrlan, santaidd, cyssegr, glwys; cyflwynedig, diofrydol; urddedig; gorlladol, segr, segrol, segredig, cyferthus.
  Consecrated wafer—arlladen, arladen, afrlladen, llethen gysegredig.

**Consecratedness**, *s.* cyssegredd, cyssegrwydd, cyssegroldeb, cyssegredigrwydd, segredigrwydd, cyferthrwydd.

**Consecration**, *s.* (Ll. *consecratio*) cyssegriad, cyssegredigaeth; santeiddiad, glwysiad; bendithiad, gorlladiad, cyferthiad; neilltuad; seintiad, seintiadaeth, dwyfoliad.

**Consecrator**, *s.* cyssegrwr, cyssegrydd, segriedydd.

**Consecratory**, *a.* cyssegraidd, cyssegriadol, cyssegredigol.

**Consectary**, *a.* (Ll. *consectarius*) canlyniadol; canlynol; yn canlyn; à fo yn canlyn; casgladwy, casgliadol; à ellir ei gasglu.

**Consectary**, *s.* canlyniad, casgliad, cload, cynghlo, cynghload, tyniad, diweddglo, casgl.

**Consecution**, *s.* (Ll. *consecutio*) canlyniad, canlyniawd, dylyniad, arganlyniad; cydolyniaeth; casgliad, cynghload, cynghlo; cyfres o ganlyniadau *neu* gasgliadau; oliannaeth, olyniant; cyfres o bethau yn canlyn eu gilydd; cyfres.
  Consecution month—y mis cyfrwng, mis oliannol.

**Consecutive**, *a.* (Ff. *consecutif*) canlyniadol, canlynol, dylynol, dylynedigol; à ganlyno; à fo yn canlyn; olynol, oliannol, olyniadol; cyfresol; yn ol; ar ol eu gilydd; yn dyfod ar ol.

**Consecutiveness**, *s.* oliannaeth, oliannoldeb, olynoldeb, olynolrwydd, canlynoldeb, dylynolrwydd.

**Conseminate**, *v. a.* (Ll. *con* a *semino*) hau had cymmysg; amhadhau, cydhau amryw had, mysghadhau.

**Consenescence**, **Consenescency**, *s.* (Ll. *consenesco*) cydheneiddiad, heneiddiad; methiant gàn henaint.

**Consension**, *s.* (Ll. *consensio*) cydsyniad, cyssyniad, cytundeb, cynghordiad, cyfundod.

**Consent**, *s.* (Ll. *consensus, consentio*) cydsyniad, cyssyniad; caniatâd, cenad, cenadiad, cynnwys; cytundeb, dundeb, cydgordiad, cynghordiad, cynghord; unfryd, unfarn; bodd, cymmodlonedd, cymmodlondeb; cyssondeb, cyfatebiad; cytteimlad.
  Against one's consent—o anfodd, o'i anfodd; yn erbyn ewyllys un; yn groes i wyllys un.
  Without consent—heb genad, heb ganiatâd, heb gydsyniad; yn ddigenad; heb gael *neu* ofyn cenad.
  With one consent—o unfryd, yn unfryd, yn unfrydol, yn gytûn, yn gydgordiol; yn unair; o un geneu; âg un ysgwydd.
  By consent—o gytundeb, o gydsyniad, trwy gytundeb, trwy gydsyniad, trwy fodd, o fodd; o fodd a rhodd; o wirfodd.

**Consent**, *v. n.* cydsynio, cydsynied, cyssynio; cytuno, cyduno, cynghordio, cydgordio; caniatâu, cenadu, ceniadu, rhoi cenad; rhoi cydsyniad; rhoi ei fodd; rhoi ei ewyllys da; bod yn gymmodlawn; gildio; gwrandaw ar.
  To obtain one's consent—cael cydsyniad un; mynu, cael, *neu* ennill bodd un; mynu cenad *neu* ganiatâd gàn un.

**Consentaneity**, **Consentaneousness**, *s.* cydsynioldeb, cytundeb, cydundeb; cyssondeb, cyssondd, cyssoniant, cyssonder, cytunoldeb; cyfaddasrwydd.

**Consentaneous**, *a.* (Ll. *consentaneus*) cydsyniol, cyssyniol; cytun, cydunol, cytunol, cysson, cyfatebol, addas, cyfaddas, cymhwys; yn cytuno, yn cyfateb; cydgordiol, cyngweddol.

**Consenter**, *s.* (o *consent*) cydsyniwr, cyssyniwr, cydsyniedydd.

**Consentient**, *a.* (Ll. *consentiens*) cydfarn, cydfarnol, unfarn, cyfunfarn, unfryd, unfrydol, unfeddwl; cyssyniol; cydsyniol, cydunol, cytûn, cytun; o'r un farn.

**Consequence**, *s.* (Ll. *consequentia*) canlyniad, canlyniant, dylyniad, cyd-ddylyniad, cyfymlyniad; casgliad, cynghlo, cydgload, cynghload; effaith, effeithiad; pwys, pwysfawredd, cyfrif, pris, cymmeriad, cymmyredd, bri, grym, nerth; tuedd, dylanwad; yr hyn a fo yn canlyn.
  In consequence—o ganlyniad, yn ganlynol, trwy ganlyniad, mewn canlyniad; trwy, am, o herwydd, am hyny, herwydd hyny; wrth; o waith, trwy waith; o achos, o blegid.
  By consequence—yn ganlynol; o ganlyniad; trwy ganlyniad; am hyny; o herwydd hyny.
  Of great consequence—pwysfawr, pwysig, mawrbwys; o bwys mawr; o bwys a phris mawr; o fawr ganlyniad.
  Of little consequence—ysgafn, ysgafnbwys, bychan-bwys, bychan-bris; o ychydig bwys; ond o ychydig bwys.
  Of no consequence—dibwys, dibris, diddym; heb arwyddocâu dim; heb fod o bwys yn y byd.
  Of dangerous consequence—enbyd, enbyd-

us, peryglus; à dywyso aflwydd ar ei ol; o ganlyniad peryglus.
What consequence do you draw from thence?—beth *neu* pa beth a gesglwch oddi wrth hyny? beth yw y casgliad à dynwch o hyny? pa gasgliad a dynwch oddi wrth hyny?
That is no good consequence—ni ddeillia, ni chyfyd, *neu* ni chesglir mo hyny yn naturiol oddi wrth yr hyn a ddywedpwyd.
A man of consequence—dyn rhwysgfawr; dyn mawr ei rwysg; dyn o rwysg; dyn o bwys; dyn pwysig; gwr o bwys, &c.
Consequent, *a.* (Ll. *consequens*) canlynol, dylynol, cyd-ddylynol; yn canlyn, yn dylyn; à ganlyno.
Consequent, *s.* canlyniad, effaith; casgliad, cydglo, cynghlo, cynghload; canlynor: *pl.* yr olion, yr oliaid, canlynorion, canlynolion.
Consequential, *a.* canlyniadol, canlyniannol; cyfymlynol; yn canlyn; deilliadol, tarddiadol; casgliadol, casgladwy, cynghloawl, cydgloawl; pwysig, pwysfawr; hunandybus, hundybiog, hunanol, cymmyreddus, coeg, balch, coegfalch, gwagfalch, uchelfryd, uchelfrydig, ucheldybus; rhwysfawr, rhodresgar, rhyfus, ymchwyddedig, tefyddog; llawn o'i dyb ei hun.
Consequentially, *ad.* yn ganlyniadol; trwy ganlyniad, o ganlyniad; yn gasgliadol; yn angenrheidiol; yn anocheladwy.
Consequentialness, *s.* cyd-ddylyniad, cydrediad rheolaidd; canlynoldeb, canlyniadoldeb, cydoliannaeth.
Consequently, *ad.* yn ganlynol, &c.; o ganlyniad, mewn canlyniad, trwy ganlyniad; gàn hyny; yn nesaf.
Consequentness, *s.* (o *consequent*) canlynoldeb, canlynolrwydd, dylynoldeb; cydolyniaeth, cydoliannaeth.
Consertion, *s.* (Ll. *consero, consertum*) cysswllt, cyssylltiad, cydiad, cyfuniad; cyfaddasiad, addasiad.
Conservable, *a.* (o *conserve*) cadwadwy, ceidwadwy.
Conservancy, *s.* (Ll. *conservans*) cadweidiaeth, cadwad.
Court of conservancy — cadwadlys, llys cadwad=llys à gedwir i ddiogelu pysgodfa yr afon Tafwys.
Conservant, *a.* ceidwadol, cadwadol, cadwyol, cadwol.
Conservation, *s.* (Ll. *conservatio*) ceidwadaeth, cadweidiaeth, cadwraeth, cadwedigaeth, cadwaeth, cadwyaeth, gwarcheidiaeth, cadwad, gwarchodiad, gwarchodaeth; nodded, amddiffyniad.
He applied himself diligently to the conservation of the state—efe a ymosododd yn lew *neu* a ymroddodd yn astud i noddi ac amddiffyn ei wlad.
Conservatism, *s.* diogeliaeth, ceidwadaeth, achlesyddiaeth, amddiffyniaeth, ceidwedyddiaeth, cadwriaeth, cadwadaeth, egwyddorion y diogelwyr, cadwadwriaeth, gwarchodaeth.
Conservative, *a.* ceidwadol, cadwadol, cadwol, cadwyol, cadwriaethol, cadwedigaethol, cadwedigol, ceidwadig, gwarchodol, achlesol, diogelawl, noddol, amddiffynol; à geidw, à gadwo.
Conservative, *s.* ceidwadwr, ceidwedydd, cadwedydd, ceidwadydd, diogelwr, achlesydd: *pl.* diogelwyr, ceidwadwyr, cadwedyddion, cadweidiaid, gwarchodiaid, cadwadolion, ceidwadigion.
Conservator, *s.* (Ll.) ceidwad, gwaredwr, gwaredydd, ceidwedydd, cedwidydd, ymwaredwr, gwarchodydd, diogelydd; noddwr, amddiffynydd, amddiffynwr.
Conservator of the peace—ceidwad *neu* amddiffynydd yr heddwch; ynad heddwch, ynad hedd, hedd-ynad, heddyngnad.
Conservatory, *a.* ceidwadol, cadwadol, cadwol, cadwyol, cadwriaethol, cadwedigol, cadwedigaethol, gwarchodol, modurol.
Conservatory, *s.* ceidwadfa, achlesfa, addodfa, gwarchadfa, cadwyfa, cadwfa, cadwyfan; pwnt, cronfa; maethle, noddle; llyseufa, llysieufa, llysieudy; ystorfa, ystordy; lle i gadw peth ynddo.
Conservatory for fish—pysgodlyn.
Conservatory for fruits — ffrwythgell, ffrwythle, ffrwythfa.
Conservatory for corn—ytty, ydle, heiniardy, ystordy yd.
Conserve, *v. a.* (Ll. *conservo*) cadw, achlesu, noddi, amddiffyn, cadwyd; cyffeithio, cyweirio, blasuso, pereiddio, ammoethi.
Conserve, *s.* ancwyn, cyffaeth, chwegfwyd, chwegfaeth, ammeuthyn, ammoethyn, cyffeithfwyd; peth cyffeithiedig; peth cadwadwy; irgyffaeth; cadwyfa, cadwfa.
Conserve of roses—rhosgyffaeth, rhosgywair, cywair rhos, cyweir-dorth rhos.
Conserver, *s.* (o *conserve*) ceidwad, ceidwedydd, diogelwr, achlesydd; cyffeithydd, cyffeithiwr, ancwynwr, cyweiriwr.
Consession, *s.* (Ll. *consessio*) cydeisteddiad, cysseddiad.
Consessor, *s.* (Ll.) cydeisteddwr, cysseddwr.
Consider, *v.* (Ll. *considero*) ystyried, ystyrio, meddylied, meddwl, meddylio; meddylied am, meddylio am, meddwl am; myfyrio; myfyrio ar, myfyrio am; synied, synio, arsynied, pwyllo; edrych ar, synied ar, synio ar, craffu ar, syllu ar, dàl ar; dàl sylw ar; bwrw golwg ar; gweled, edrych; astudio, hambwyllo, ambwyllo, hanbwyllo, cysbwyllo, pryderu; pwyso, dyfal bwyso; dyfal bwyso yn y meddwl; darbod, gofalu tros, gofalu am; ystyried wrth; sylwi, sylwi ar; adfyfyrio, adfeddylied, adystyried, adystyrio; adgofio; ymgynghori, ymbwyllo; ammheu, petruso; edrych yn ei gylch; parchu, perchi, gorpherchi; gwneuthur cyfrif o; cydnabod, attalu, gobrwyo, talu y pwyth, talu adref.
Let us consider one another—cydystyriwn ein gilydd.
You shall be considered for your pains—cydnabyddir chwi am eich llafur.
Considerable, *a.* (Ff. ac Ysp.) cryn; gwiwbwyll; o bwys, o werth, o gyfrif; teilwng o sylw *neu* ystyriaeth; nid bychan; nid ychydig; o bwys nid bychan; ni ddylid mo'i ddirmygu, mo'i esgeuluso, mo'i ddïystyru, *neu* mo'i ddibrisio; o fri a chymmeriad; o gymmeradwyaeth; nodol, nodedig, hynod, pwysfawr, pwysig, dirfawr; annirmygus, parchadwy, parchus; haeddbwyll; teilwng i'w ystyried; encyd o, swrn o, dïamdlawd, cetyn o,

cryn lawer, lledbwysig, lled dda; maith; gwerthfawr; gwiw; llawer.
A considerable sum of money—cryn sum o arian; swrn o arian; twysged o arian.
A considerable way—encyd o ffordd; cryn ffordd; cryn lawer o ffordd.
Considerable fortune—cryn gynnysgaeth, cryn waddol; swrn o waddol; cynnysgaeth ddïamdlawd; cryn lawer o waddol.
Considerable quantity — twysged, cryn swrn, swrn.
Considerable number—bagad; cryn nifer; rhynawd o nifer; rhifedi nid bychan; nifer nid bychan.

**Considerableness**, *s.* gwiwbwylledd; cyfrifoldeb, mawredd; teilyngdod o sylw *neu* ystyriaeth; lledbwysigrwydd, lledbwysfawredd; syrnedd, twysged, twysgedd; nodedigrwydd, anfychanrwydd, llaweredd.
The considerableness of things is to be estimated by their usefulness — dylid pwyso pethau yn ol eu defnyddioldeb; dylid barnu am werth a phwysigrwydd pethau wrth eu defnyddioldeb.

**Considerably**, *ad.* yn wiwbwyll, &c.; o lawer; yn mhell; o getyn; o swrn; o gryn radd.
Considerably better — gwell o lawer; llawer gwell; llawer yn well; yn rhagori yn mhell ar; yn mhell o flaen; cryn dwysged yn well.
This is considerably larger than the other —y mae hwn lawer yn fwy na'r llall.

**Considerance**,† *s.* (Ll. *considerantia*)=*Consideration.*

**Considerate**, *a.* (Ll. *consideratus*) ystyriol, pwyllog, pwyllig, pwyllus, hybwyll; call, doeth, synwyrol; gofalus, rhagofalus, darbodus, cynghorus, amgelog, gwagelog, gochelgar, ymogelgar, gwiliadwrus, amwel, craff, craffus, amgraff, amgraffus, pryderol, pryderus, dïesgeulus, hanbwyllus, hanbwyllog, hambwyllus, arbwyllig, arsyniol; difrifol, difrif, myfyrgar, meddylgar, myfyriol, ystyrgar, ystyriannol, gwastadbwyll, gwastadfryd; anfyrbwyll, anehud, dysbwyllog, hirbwyllig, meddylddwys; cymmedrol, rhesymol; yn rhagweled, yn rhagddarbod; yn edrych o'i gylch; yn edrych o'i flaen ac o'i ol; tawel, hamddenol.

**Considerately**, *ad.* yn ystyriol, &c.; gàn bwyll; trwy bwyll da; trwy gynghor; trwy gymmeryd hamdden.

**Considerateness**, *s.* ystyrioldeb, pwyllogrwydd, pwylligrwydd, hybwylledd, callineb, callder, hanbwylledd, pwyllineb, &c.

**Consideration**, *s.* (Ll. *consideratio*) ystyriaeth, sylw, ystyriant, ystyr, pwyll, pwylledd, ymbwyll, cysbwyll, pwyllineb; diledfrydedd, myfyriad, myfyrdod, meddwl, meddyliad; cyfrifoldeb; darbodaeth, rhagddarbodaeth; pryder; meddylgarwch; bwriad yn y meddwl; ymgynghoriad; cymmeriad cynghor, pwyll, *neu* hamdden; ystyriedigaeth; bri, parch, cymmeriad, pwys; rheswm, rheswm cynhyrfiol; achos, achlysur; tâl, taledigaeth, ad-daliad, iawn, tâl pwyth; cydnabyddiaeth; ammod.
To have consideration of a thing—gofalu dros *neu* am beth; darbod o beth.
Diligent consideration—dwys ystyriaeth, dyfal fyfyrdod; ystyriaeth ddifrifol *neu* ddwys.
Worthy of consideration — gwiwbwyll; teilwng o ystyriaeth; gwiw o sylw *neu* ystyriaeth.
Upon what consideration?—pa ham? pam? er pa beth? er mwyn pa beth? am ba beth? am beth? am ba achos? ar ba reswm? ar ba ammod? ar ba gyfrif? ar ba gyfrifon? ar ba ystyriaeth? pa achlysur oedd?
Upon that consideration—tàn yr ammod hòno; am yr achos *neu* y rheswm hwnw; er mwyn hyny; ar yr ystyriaeth hòno; ar y cyfryw ammod.
Under consideration — dàn sylw, dàn ystyriaeth.
For many considerations — am amryw resymau *neu* ystyriaethau; am lawer achlysur *neu* achos; ar, oblegid, *neu* oherwydd amryw achosion; ar amryw gyfrifon *neu* ammodau.
Without consideration—heb ystyriaeth; heb ystyried; yn fyrbwyll, yn anystyriol, yn ddïystyr, yn anfeddylgar, yn ddibwyll, yn ddigynghor, yn ddifyfyr, yn anfyfyr, yn wylltnaws, yn chwidr, &c.
A person without consideration—dyn anystyriol.
After consideration—gwedi ystyried peth, mater, *neu* amgylchiad; yn ol *neu* ar ol difrifol bwyso peth; ar ol ystyriaeth *neu* ystyried.
To take into consideration — ystyried; dwys ystyried; ymgynghori yn nghylch peth; pwyso yn y meddwl; cymmeryd dàn ystyriaeth.
An author of consideration—awdur o gryn gyfrifoldeb; awdur o gryn gyfrif *neu* sylw; awdur o gyfrifoldeb; awdur cyfrifol; awdur o gyfrifoldeb nid bychan.

**Considerative**, *a.* yn ystyried; dwys-ystyriol, ystyriannol, ystyriol.

**Considerer**, / **Considerator**,† *s.* ystyriwr, pwyllwr, myfyriwr.

**Considering**, *s.* ystyriad, &c.; petrusiad, petrusedd, ammheuaeth.

**Considering**, *p.* gàn ystyried, yn ystyried, dàn ystyried, &c. âg ystyried; yn gymmaint a *neu* ag; gàn mai; gàn fod y peth felly.
Considering that — yn gymmaint a; gàn mai; gàn fod y peth felly.
Considering the weakness of our nature—âg ystyried gwendid ein natur; pan ystyriom wendid ein natur.
Considering what servants are now-a-days —wrth fel y mae gwasanaethyddion *neu* wasanaeth-ddynion y dydd heddyw; pan ystyriom y modd y ceir *neu* y gwelir gweision y dydd heddyw.

**Consign**, *v. a.* (Ll. *consigno*) trosglwyddo, trosi; rhoddi, rhoi, dodi; traddodi, trosddodi; ymddiried; anfon, danfon; gorchymyn; symmud; dwyn trosodd.
To consign to writing—ysgrifenu; gosod mewn ysgrifen; rhoi ar lawr mewn ysgrifen; rhoi *neu* osod ar bapyr.

**Consign**,† *v. n.* llofnodi, arwyddo; cytuno, cydsynio; ymostwng, gildio.

**Consignable**, *a.* trosadwy, trosglwyddadwy.

**Consignation**, *s.* (Ll. *consignatio*) trosiad, trosglwyddiad, traddodiad; anfoniad, danfoniad.

Course of life—buchedd, helynt, hynt, bucheddiad, ymarweddiad, buchwedd; ystod bywyd; hwyl a threfn bywyd; oes.
Through the whole course of life—trwy holl ystod bywyd; trwy gyffred einioes.
Course of nature—trefn natur, troell naturiaeth, ystod anian, chwyl noturiaeth, trefn anian, cwrs natur.
By course of nature—wrth drefn natur; yn ol trefn anian; wrth reol natur; wrth gwrs natur.
I must take another course of life—rhaid yw i mi gymmeryd buchedd arall *neu* newydd; rhaid yw i mi fyw mewn modd amgen; rhaid i mi droi dalen newydd *neu* arall.
You follow the same course still—yr ydych chwi yn rhodio *neu* yn dylyn yr un ffordd byth.
By course—ar gylch; bob yn ail; olynol; yn olynol; ar dro; yn ei dro; bob eilwers; bob yn eilwers; gwers tra gwers; ail tra ail.
Every one in his course—pob un yn ei gylch; pob un yn ei dro; bob yn ail; pob un yn ei le; pob un yn ei drefn ei hun.
The course of this world—helynt y byd hwn; cwrs y byd hwn.
The course of the world is this—moes y byd a'i arfer yw hyn; moes ac arfer y byd yw hyn.
Of course—o ganlyniad; wrth ganlyniad; yn naturiol; wrth natur; wrth ddefod; o hono ei hun; bid sicr; trwy ganlyniad; am hyny; o herwydd hyny; wrth gwrs; o angenrheidrwydd; o wir ganlyniad; ar hynt; wrth reswm.
Words of course—geiriau defodol; geiriau o ran defod ac arfer; geiriau gweigion.
The idle must of course fall into poverty—rhaid yw i'r segur o wir ganlyniad syrthio i dlodi.
A matter of course—peth o ganlyniad; peth o wir ganlyniad; peth o ddefod ac arfer.
Swift course—buanred, mythred, cyflymred, gwylltred.
We will take another course—ni a gymmerwn *neu* a brofwn ffordd arall *neu* amgen.
They thought it their best course to—hwy a'i tybiasant yn oreu iddynt i.
He knew not what course to take—nis gwyddai pa beth a wnai; nis gwyddai pa lwybr i'w gymmeryd.
Take your own course—gwnewch â fynoch; dylynwch eich ffordd eich hun; cymmerwch eich llwybr eich hunan; cymmerwch eich hynt.
He took a wise course—efe a wnaeth yn gall.
To take a course with one—galw un i gyfrif; cospi; talu y pwyth i; talu i; canlyn un mewn cyfraith.
By a long course of—o hir ddylyn; wrth hir ddylyn; o hir ganlyn; wrth hir ddylyn ar.
Course of the year—chwyl y flwyddyn; ystod y flwyddyn; cwrs y flwyddyn; blwyddyn o amser; oed *neu* hyd y flwyddyn; ysbaid blwyddyn; cyffred y flwyddyn.
Course of victuals—hail, saig; hail a saig o fwyd; hul *neu* huliad o fwyd; heilion o seigiau, heilion seigiau.
First course—cynsaig, hail gyntaf.
Second course—eilsaig, ail hail.
Last course—olsaig, saig olaf, hail ol... ancwyn, ammoethynion, ammeuthyni... prif ancwyn.
The tenor and course of things—hwyl... cherddediad pethau; hwyl a cherh... pethau.
Course of lectures—cyfres o ddarlithiau...
The course of Abia—dyddgylch Abia (*L...* 1. 5).
In the course of the week—yn ystod ... wythnos; yn nghorff yr wythnos; ... hyd yr wythnos; yn oed yr wythnos.
With a straight course—yn uniongyrc... âg uniongyrch; yn uniawn; ar unia... hynt *neu* hwylhynt.
The stars in their courses—y ser yn ... graddau; y ser yn eu llwybrau.
All the foundations of the earth are out ... course—holl sylfaenau y ddaiar a sy... mudwyd o'u lle.
By course of nature—wrth reol natu... wrth drefn anian; wrth gwrs natur.
Course of the sun—chwylfa yr hau... chwyl yr haul; traul yr haul; llwy... yr haul; cwrs yr haul; trogylch yr hau... rhawd yr haul; cylch yr haul; rhed... *neu* redegfa yr haul; rhodwedd ... haul.
Swift is the sun in his course, for he co... passeth the heavens round about, a... fetcheth his course again to his ow... place in one day—buan yw yr haul ... ei gwrs, canys efe a dry o amgylch y n... mewn un dydd, ac a red eilwaith i'w ... ei hun (1 *Esd.* iv. 34).
Course of studies—myfyrgylch, efry... gylch, astudgylch, astudrawd; cylch ... efrydion; ystod efrydion; trawd o ast... ion; talm o fyfyrion; cylch trefnus ... reolaidd o fyfyrdodau.
We are in a course of studies—yr ydym y... myned yn mlaen yn drefnus yn nghylc... *neu* yn ystod dysgeidiaeth.
The course of water—cerhynt y dw... hytynt dwfr, dyfrhynt, dyfrgerhyn... rhediad y dwr; llyr.
Water-course—dyfrffos, gwyffos; py... farch; ystrym, ffrydle, gwythredc... ffrwd ddwfr.
Course of crops—trafn cnydau; oly... iaeth cnydau.
In course of time—yn rhwysg amser; me... ennyd, gwth, *neu* ysbaid o amser; ... ol talm *neu* lawer o ddyddiau; gw... talm *neu* lawer o ddyddiau; yn ol ta... o amser; yn ol dyddiau lawer; yn ... *neu* ar ol swrn o amser; yn mhen t... yn mhen chwyl o amser; yn ngyr... amser.
In course—yn rhes; olynol; ar gylch... yn ei dro; yn ei le; yn ei drefn.
In course of publication, } yn cael ...
In the course of publication, } gyhoeddi... yn awr yn dyfod allan; yn cael yn a...

ei gyhoeddi; yn cael ei gyhoeddi yn rhanau; yn ystod cyhoeddiad; yn nhrawd cyhoeddiad.
Course of exchange—trafn cyfnewid.
Evil course — gyrfa ddrwg, drygarfer, mallred; drygfuchedd.
Free course—rhwydd hynt, rhedfa rwydd, redfa rydd, ffordd rydd, ffordd rwydd, rhydd hynt, rhwyddred, rhwydded, rhwydd-deb, rhwyddineb, rhwyddrediad, rhwyddredfa.
To follow the course of the times—cydymffurfio â'r amser *neu* 'r amseroedd; ymwasgu â'r ddefod; dylyn chwyl yr amser *neu* yr amseroedd; troi gyda'r amseroedd; cydymagweddu â'r amseroedd.
Right course—gyrfa gywir, gyrfa uniawn, iawnred, unionred.
Orbicular course — rhodwedd, cylchred, cylchrawd, cylchdro, trogylch.
I have finished my course—gorphenais fy ngyrfa.
**Course**, *v.* hela, hely, ymlid, erlyn; gyru; hyntio, rhedeg, rhedu, rhedegfain; rhedeg yma a thraw; rhedeg i fyny ac i waered.
To course away with dogs—cyno; hel â chwn.
**Courser**, *s.* (o *course*) rhedfarch, helfarch, rhedant, buanfarch, gyrfarch; march buan, mwth, cyflym, cyflymred, buanred, *neu* ysgafndroed; rhedegfarch, brysfarch, cloefarch, cleufarch, cadfarch; heliwr, helydd; † ymddadleuwr: *pl.* rhedfeirch, rhedaint.
**Coursers**, *s. pl.* (Ll. *cursores*) rhedegyddion, rhedyddion, rhedorion, rhedadar.
**Courses**, *s. pl.* (o *course*) misglwyf, mislifiant, mislif, teithi gwraig; prifhwyliau.
**Coursey**, *s.* rhan o warddrws rhwyflong.
**Coursing**, *s.* hely, hela, helwriaeth, heliad, helwaith, ymlid, ymlidfa.
**Court**, *s.* (S. *curt;* Ll. *curia;* Gw. *cuirt*) llys, breninllys, brenindy, breinllys, palas, teyrnllys, llys brenin, palas brenin, plas brenin; y llys; cyntedd, cynteddfa, cwrt, beili, talwrn, cadlas, rhwyl, clos, llanerch, cynhordy, hongl, buarth; neuadd.
King's court—llys y brenin, breninllys, teyrnllys, brenindy, breinllys.
The court—y llys; gosgordd brenin; gosgordd tywysog taleithiog.
Court of law—llys cyfraith, llys y gyfraith, llys cyfreithiol, cyfreithlys, rheithlys, eisteddfod llys, dadleudy, llys, gorsedd.
Court of justice—brawdlys, barnlys, llys cyfiawnder.
Supreme court—priflys, penllys, gorsedd benbaladr, uchaflys.
Principal court—llys penaf, llys arbenig; llys penadur, llys beunyddiol; argyfreithlys.
Provincial court—taleithlys, llys taleithiol, llys talaeth.
Criminal court—troseddlys, llys troseddau.
Court of chancery—canghellys, canghelllys, canghellorlys, llys y canghellydd; llys uniondor.
Court of admiralty—llyngeslys, morlys.
Court of common pleas—deflys, llys dadleuon cyffredin=ail lys gwladol Prydain.
Court of queen's bench—llys penadur, y llys penadur, llys y benadures, y llys penadures, meinclys y penadur, meinclys y benadures.
Court of exchequer—cyllidlys, argedlys, trysorlys, ardrethlys.
Court of equity—llys uniondeb, llys uniondor, llys cyfiawnder.
Court of conscience—llys cydwybod; manddyledlys.
Court of oyer and terminer—llys clyw a dosbarth; proflys, prawflys.
Court of common law—cyffredinlys, llys cyffredin; llys cyfraith gyffredin.
Court of record—coflys.
Record of court—cof llys.
Duchy court—duglys; llys dugiaeth Hirgaer.
Court-martial—cadreithlys, cadraith, cadlys, cadreithgor, llys milwraidd, llys cadraith.
Court-baron — baronlys, breyrlys, llys baron, llys brëyr, llys breyrol, llys maenor, llys baroniaeth.
Court-leet—pentreflys, llys pentrefol, llysfawr, llys cantref, cantreflys.
Ecclesiastical court—llys eglwysig, eglwyslys, glwyslys.
Court of arches—llys yr archau, archlys, areglwyslys.
Dean of the Arches—Deon yr Archau, Deon yr Archlys.
Prerogative court—breintlys, uchfreintlys, llys rhagorfraint.
Audience court—clybodlys, gwrandawle.
Court of peculiars—gwahanlys, llys gwahanfraint.
Consistory court, } llys yr esgob, llys
Bishop's court, } esgob, gorsedd esgob, llys esgobol; llys eglwysig.
Courts christian—llysoedd eglwysig, llysoedd cristionogol.
Spiritual court—llys eglwysig, llys esgob.
Court of bankruptcy—torgedlys, llys torgedaeth.
Insolvent debtors' court—llys methdal, llys methdalwyr.
County court — llys sirol, llys swyddig, llys y sir; manddyledlys, llys manddyledion, llys manddyled.
General court—llys cyffredinol.
Extraordinary court — llys dygynnull, gorsedd ddygynnull.
Augmentation court—mwyadlys.
Inns of court — rheithwesttai, rheithostlau, gwesttai y gyfraith, gwestlysoedd; rheithglasau.
Court of session—arseddlys; priflys gwladol yr Alban.
Court of civil judicature—llys gwlad ac arglwydd; gorsedd gwlad ac arglwydd.
Contempt of court—tremygiad llys, tremyg llys, tormach, tremyg gwŷs.
Court of adjournment—llys ail goffa.
Base court — adlys, llysyn, llys dinod; llys heb goflyfrau.
High court—uchel lys, llys goruchel, goruchel lys.
High court of parliament—uchel lys y senedd; goruchel lys y senedd.
Court-roll—coflyfr llys, rhol llys, cof llys.
Tithing court—degtreflys.
In court—ger bron y llys; yn y llys.

In open court—mewn llys ar osteg; mewn llys agored.
Silence in court—gosteg ar y maes; gosteg yn y llys.
To keep silence in court—cadw *neu* gynnal gosteg ar y maes; gostegu.
Officers of the court—swyddogion y llys.
Court before a house—cwrt, clos, claws, beili, cyntedd, cynteddfa, rhag-gyntedd, talwrn; llanerch o flaen ty.
A little court—cynteddan.
Court-poet—bardd lys.
Court of the gentiles—cyntedd *neu* gynteddfa y cenedloedd.
Shrubs growing in the courts—manwydd yn tyfu yn y neuaddau (1 *Mac.* iv. 38).
Court holy water—addewidion teg hyrwydd heb gwblhad; addewidion teg hyrwydd heb feddwl am eu cywiro; truth, ymoleuthiad.
A friend in court is better than a penny in purse—gwell câr mewn llys nag aur ar fys.

**Court**, *s.* moes; truthfoes, truthbarch; ymerlyniad am fodd, ffafr *neu* nawdd; truth, gweniaith; mwynder, cyflysdod, mwyniaith, moesgarwch, moeswychedd, mynogaeth; truthbarch.

**Court**, *v.* gwenieitho, truthio, godruthio, cynffonloni, denu; denu â geiriau teg; caru, ymerlyn am; ymganlyn am; ymganlyn â; ceisio; erfyn, erfynio, erfynied, crefu, dymuno, adolygu, *neu* ddeisyfu ar; arddeisyf, argeisio, deisyf; chwareu'r gwr llys.
To court a lady—caru merch; ymerlyn am gariad merch; ymerlyn am ewyllys da merch; ymganlyn â rhian.
To court favour—cynffonloni.

**Court-bred**, *a.* llys-foesog, llys-foesgar, llysddygiadus; gwedi ei ddwyn i fyny yn y llys.

**Court-breeding**, *s.* llys-foes, llys-foesau, llysfoesgarwch, addysg llys, moes llys, moesau llys.

**Court-bubble**, *s.* ffrilbeth llys, bwrlwm llys.

**Court-chaplain**, *s.* caplan llys, capelwr llys, llys-gaplan, offeiriad llys.

**Court-cupboard**, *s.* hen gilfwrdd, llysgwpbwrdd.

**Court-day**, *s.* dydd llys, dydd hawl, llysddydd, diwrnod llys; dydd coll a chaffael; dydd ar yr hwn y cynnelir cyfraith.
Non-court-days—dyddiau dyddon.

**Court-dress**, *s.* llys-wisg, llys-gwisgoedd, gwisg llys, gwisgoedd llys, gwisg gynnwyre.

**Court-dresser**, *s.* truthiwr, gwenieithwr, llysdruthiwr.

**Courteous**, *a.* (o *court;* Ff. *courtois*) hyfoes, moeswych, mwynfoes, moesog, moesgar, moeswymp, dillynfoes, cyflys, moddgar, moddus, dygiadus, moesweddol, llysaidd, llysol, cyflysol, boneddigaidd, boneddigfoes, hynaws, mwyn, cyweithasol, cyweithas, syber, syberw, mwynaidd, mynog, rhywiog, mwynlan, rhywiogaidd, mynediw, cymmwynasgar, tirion, hyfwyn, rhadlawn; ceinwych, gorwych, dillynaidd, teledïw, gwych.
A courteous one—mynogan; un hyfoes, &c.
A courteous female—mynogen, mynoges; benyw hyfoes, &c.
A courteous man—mynogwr, gwr mynog; gwr hyfoes *neu* fwynfoes, &c.
Courteously fair—mwynlan, mwyndeg, mynoglan.

**Courteousness**, *s.* hyfoesedd, moeswychedd, moesogrwydd, moesgarwch, mwynfoesedd, moeswympedd, mynogrwydd, cyflysdod, mynogaeth, dillynwychedd; tiriondeb, hynawsedd, mwynder, mwyneidd-dra, mwynedd, mwyneiddwch, moddusrwydd, cyweithas, llysolrwydd, &c.

**Courter**, *s.* (o *court*) carwr, cariad, gwr caru, mab caru, carüwr, cariadfab.
A general courter—carwr y merched; Harri caru cant; carwr cyffredinol.

**Courtezan,** } *s.* (o *court;* Ff. *courtisane*) puten,
**Courtesan,** } putan, putain, cyffoden, llysbuten, putan llys.

**Courtezan**,† *s.* gwr *neu* wraig llys.

**Courtesy**, *s.* (o *court;* Ff. *courtoisie;* Ysp. ac It. *cortesia*) hyfoesedd, moesogrwydd, moesgarwch, cyweithas, mynogaeth, cyflysdod, cyflysrwydd, mynogiant, mynogi, mwynfoes, moeswychedd, moes, moddgarwch, moddusrwydd, syberwyd, dygiadusrwydd, boneddigrwydd, hynawsedd, mwynder, hyfwynder, mwynedd, cyweithasrwydd, mwyneiddwch, rhywiogrwydd, caredigrwydd, rhadlonedd, addfwynder, mwyneidd-dra, llysolrwydd; tiriondeb, tirionwch, tirioni, cyweithaswch; cymmwynas, mwynas, lles, tro da, twrn da, llad, ced, ffafr; ymblyg, carsawd, ymostyngiad, plygiad glin glinblygiad, glin-ostyngiad.
Courtesy of England—mynogaeth Lloegr, hynawsedd Lloegr=bod i'r gwr fwynhau tir ei wraig, os bu iddo blentyn o honi, er ei marw hi a'i phlentyn.
To make a courtesy—plygu glin, camu glin, gwneuthur mynogaeth, gwneyd mynogiant, gwneuthur carsawd, gwneuthur moes; ymblygu o barch.
You have done me many great courtesies—gwnaethoch imi aml a mawrion gymmwynasau; gwnaethoch imi aml fwynasau mawrion.

**Courtesy**, *v. n.* plygu glin, camu glin, glinblygu, glin-ostwng, carsodi; gwneuthur moes, mynogaeth, *neu* fynogiant; gwneuthur carsawd.

**Court-fashion**, *s.* dullwedd llys, llyswedd.

**Court-hand**, *s.* llys-ysgrifen, llys-ysgriflaw, llyslaw, ysgrifen llys.

**Courtesy**,† *v. a.* trin yn hynaws.

**Court-favour**, *s.* mwynas llys, llys-fwynas, ffafr llys.

**Court-house**, *s.* llysdy, dadleudy.

**Courtier**, *s.* (o *court*) gwr llys, llyswr; truthiwr, ceisiwr bodd.

**Courtiery**,† *s.* moesau llys.

**Court-lady**, *s.* gwraig llys, llys-wraig, rhian llys.

**Court-leet**, *s.* pentreflys, llys pentrefol, llysfawr, cantreflys, llys cantref.

**Court-like**, *a.*=*Courtly.*

**Courtliness**, *s.* (o *courtly*) moesgarwch, moesogrwydd, moeswychedd, cyflysdod, cyflysrwydd, llysolrwydd, llysoldeb, llyseiddrwydd, moeswychedd, moeswychder, moeswympedd, hyfoesedd, mwynfoes, mwynfoesedd, hynawsedd, mwynder, cyweithasrwydd, urddasfwynder, dillynder, moes, dillynwychedd, boneddigrwydd, llysfoesau, syberwyd.

**Courtling**, *s.* gwr llys, ymlynwr llys, llysymlyn.

**Courtly,** } *a.* (*court* a *like*) llysaidd, llysol,
**Court-like,** } cyflys, cyflysaidd; moeswych, hyfoes, moesog, moeswymp, dillynwych, moesgar, moesgarol, mynog, mwynfoes, tirionfoes, dillynfoes, moesweddol, moddus, moddgar; hynaws, tirion, mwyn, hyfwyn, caruaidd, boneddigaidd, cyweithasol, mwynlan, destlus, dillyn, hoew, telediw, gorwych, harddwych, gwych; boneddigaidd ei ymadrodd a'i ymddygiad; da ei foes; llawn moesau da; tebyg ei *neu* yn ei foes i wr llys; gwenieithus, gwenieithol, truthiol.

**Court-martial,** *pl.* Courts-martial, *s.* cadreithlys, cadraith, cadlys, cadreithgor, llys cad, llys milwraidd, llys milwrol, llys cadraith.

**Court-plaster,** *s.* llysblastr.

**Courtship,** *s.* (o *court*) carwriaeth, caru; ymgaru; cais; ymerlyniad am fodd *neu* garedigrwydd;† moesgarwch.

**Cousin,** *s.* (Ff.) cefnder; câr, (*f.* cares), cydgar, undras; câr o waed.

First cousin, } cefnder, cefnderw: *pl.*
Cousin german, } cefndyr, cefndyrw, cefnderoedd, cefnderon, cefnderwedd, cefnderwydd, cefnderwyr: *f.* cyfnither, cyfnitherw: *pl.* cyfnitheroedd, cyfnitheron, cyfnitheredd.

Second cousin—cyfyrder, cyfyrderw: *pl.* cyfyrdyr, cyfyrderon, cyfyrdyrw.

Cater cousin, } perthynas o bell; câr o
Quater cousin, } bell; câr pell.

**Cousin,**† *a.* cyfathrachol.

**Coussinet,** *s.* (Ff.) toplech, corynfaen.

**Couteau,** *s.* (Ff.) anglas, bidog, byrgledd.

**Cove,** *s.* (S. *cof, cofe*) cilfach, crigyll, ebach, cil, cilfa; gwasgodfa, gwasgod, cysgodfa; ceuaddurn, ceugant.

**Cove,** *v. a.* cilfachu, ebachu.

**Covenable,**† *a.* (hen Ff.) addas, priodol.

**Covenant,** *s.* (Ff. *convenant;* o'r Ll. *convenio*) cyfammod, ammod, cynghrair, cytundeb, dygymmod; ammodeb; cofen.

Covenant of works—cyfammod gweithredoedd.

Abrahamic covenant—cyfammod Abrahamig, cyfammod Abrahamaidd; y cyfammod âg Abraham.

Covenant of grace—cyfammod rhad, cyfammod gras.

Covenant-breaker—torwr ammod, torwr cyfammod. [cyflog.

Covenant servant—gwas ammod; gwas

Under covenant—tân ammod, tân gofen.

Breach of covenant—tor ammod, toriad cyfammod.

To stick to one's covenant—sefyll wrth ei air *neu* ei ammod; bod yn ffyddlawn i'w addewid.

To enter into covenant, } = *Covenant, v.*
To make a covenant, }

Made by covenant—ammodedig; â wnaed dân ammod; â gytunwyd arno; ammodol, cyfammodol, cynghreiriol.

**Covenant,** *v.* cyfammodi, ammodi, cytuno, cynghreirio; ymgyfammodi; gwneuthur ammod *neu* gyfammod; cytuno ar ammodau; rhoi *neu* addaw dân ammod.

They covenanted with him for thirty pieces of silver—hwy a osodasant iddo ddeg ar ugain o arian (*Mat.* xxvi. 15).

**Covenantee,** *s.* cyfammodai, ammodai; yr un y gwneir ammod iddo.



Covenanter, *s.* cyfammodwr, cyfammodydd, ammodwr, cytunwr.

Covenanters—Cyfammodiaid, Cyfammodwyr = y rhai a ymgyfammodasant yn yr Alban yn erbyn y blaid uchel-eglwysig, tua chanol y 17fed canrif.

Covenous, } *a.* (o *covin*) twyllodrus, cyttwyll-
Covinous, } odrus, cyttwyllol, hocedus, ffals.

Cover, *v. a.* (Ff. *couvrir;* Norm. *coverer*) toi, gorchuddio, cuddio, gorthöi, amlenu, cysgodi, hulio, gwisgo, tuddo, enhuddo, tuddedu, taenu ar, lledu ar, gorlenu; celu, celcu, celcio, dirgelu, cynghelu, celiadu; clorio, fforelu, caesu, caeadu, caesio; gordaenu, caenu, caenenu; rhoddi arno *neu* am dano; cysgodi dros; cadw yn gyfrinachol; marchogaeth, neidio, neidio ar, rhidio, cyridio, cyfebru, llamu, rhoi naid i; rhoi dân dudded, dân do, mewn tudded, *neu* mewn amlen; gwasgodi, amddiffyn, noddi; deor, deori; eistedd ar; ateb i; bod yn gyfartal i; talu, cleirio; cynnwys; ffugio; bwrw hug ar; dwyn cwmwl ar.

To cover a table—hulio bwrdd.

To cover the fire—huddo y tân; dyhuddo y tân; enhuddo y tân.

To cover a book—clorio, fforelu, caesu, caesio, caesadu, *neu* gaeadu llyfr; rhwymo llyfr.

To cover a letter—tuddedu llythyr; amlenu llythyr; rhoi llythyr dân dudded; rhoi llythyr mewn tudded *neu* amlen.

To cover one's self, } ymorchuddio; gwisgo
To be covered, } het; gwisgo am ei ben.

Be covered—gwisgwch eich het.

To be covered in the presence of the king—ymorchuddio yn ngŵydd y brenin.

To cover with a lid—rhoi clawr, cauad, caead, *neu* werchyr ar; cau â chlawr, â chauad, *neu* â gwerchyr; clorio, gwerchyrio.

To cover all about, } amdöi, amorchuddio,
To cover all around, } amguddio, amwisgo, amhulio, amddilladu, amhuddo, amgysgodi.

To cover before—blaenguddio, rhagguddio, blaendöi, rhagorchuddio.

To cover the feet—gwasanaethu ei gorff; esmwythâu ei gorff; cuddio ei draed.

To cover with boards—byrddio, estyllodi, astellodi, bordio, byrddu; toi âg estyll.

To cover with shade—cysgodi, gwasgodi.

To cover over—gorchuddio, gorthöi; enhuddo, cuddio; gwisgo â; rhoi, gosod, dodi, *neu* fwrw gorchudd ar *neu* dros.

The receipts do not cover the expenses—nid yw y derbynion yn cyfateb *neu* yn gyfartal i'r draul; nid yw y derbynion yn talu y gost; nid yw yn talu ei ffordd; ni thâl y derbynion mo'r draul.

His sin had covered him with shame—toasai ei bechod ef â chywilydd.

They shall cover themselves—ymddilladant, ymorchuddiant.

Cover, *s.* clawr, cauad, caead, to, llèn, gorchudd, tudded, amlen, gortho, hudded, enhudded, tuddedyn, tuell, enhudden, fforel, gwerchyr, hulier, hul, hulen, arhul, huddad, gwisg, caes, crud, croeg, caen, caenen, huliad, cloryn, achre, gwarchen, gwarch, golof, tais, tawr, pall; diddos, diddosrwydd, di-

ddosfa, diddosgudd, amddiffynfa, noddfa, gwasgodfa, achwre; gwarthan, cudd, hudd, cel, celc, argel, encil, celfa, ymguddfa, cilfa; esgus, enw, rhith, lliw; cudd ac amddiffyn.

Under cover—dàn do; dàn gudd; yn nghudd; mewn ymguddfa; mewn amlen, &c.; cowyllog, cowylledig.

We are under cover—yr ydym dàn do; yr ydym mewn diddos *neu* ddiddosfa.

Cover of a house—to.

Cover of a book—amlen llyfr; clawr llyfr.

A handsome cover for his imperfections—esgus teg am ei anmherffeithion; gorchudd teg i'w *neu* dros ei anmherffeithion.

While the army was under cover—tra yr oedd y llu mewn amddiffynfa.

To take off a cover—dadgaeadu, dadorchuddio, dadlenu, &c.

Coverchief,† *s.* (*cover* a *chief;* Ff. *couvrechef*) gorchudd pen, penwisg.

Covercle, *s.* (Ff. *couvercle*) cloryn, hulier, clawr bychan, clawr, gwerchyr.

Covered, *p. p.* (o *cover*) töedig, gorchuddiedig, &c.; dàn do, dàn orchudd, dàn enhudded, dàn amlen; yn nghudd, yn nghel; diddos; hudd, cudd.

Covered all over with armour—ollarfog, cwbl-arfog, amarfog; arfog oll drosto.

Covered with feathers—pluog, plufog.

Covered with gold—eurdo, eurdöedig, eurgaen, eurgrwydr, eurdde.

Gold-covered corselet — brondor eurdo, bronfoll eurdde, llurig eurdo, llurig eurdde.

Six covered waggons—chwech o feni diddos (*Num.* vii. 3).

Thou art covered with fatness—pwyntiaist (*Deut.* xxxii. 15).

Covered-way, } *s.* rhodfa gudd, rhodfa orthö-
Covert-way, } edig, ffordd gudd, amguddrawd, diddosrawd, celffordd.

Coverer, *s.* gorchuddiwr, töydd, cuddiwr, huliwr, hulior, achludwr, &c.

Covering, *s.* (o *cover*) gorchudd, gwisg, tudded, to, amlen, arlen, amwisg, hul, arhul, enhudded, gortho, llèn, tuell, tuddedyn, enhudden, telyw, caen, caenen, hug; dillad, achre, amde, amdawd, archre, archro, achris, hws, pilyn; clawr, hulier, gwerchyr, cauad, caead; croeg, gol, caes; toad, gorchuddiad, tuddediad, &c.

The covering of a bed—gortho gwely; dillad gwely.

Verdant covering—glasgaen, irgaen, irwisg, tudded werdd.

Summer covering—telyw haf, hafwisg, gwisg haf, &c.

Head covering—diddosben.

· Covering for the tabernacle—pabell-len (*Ecs.* xxvi. 7).

Coverlet, *s.* (*cover*, a Ff. *lit*, gwely) huling, torsed, teisban, cwrlid, cadwy, brycan, tudded, pallen.

Coversed Sine, *s.* cydwrthddiblin.

Cover-shame, *s.* gwarthgudd, gwarthguddiad; gorchudd dros gywilydd.

Cover-slut, *s.* bryntgudd, budrgudded, budreddgudd, cudd budredd.

Covert, *a.* (Ff. *couvert*) cudd, cuddiedig, cel, dirgel, argel, celedig, dirgeledig, dirgelaidd, cuddiadan, gorchuddiedig; dàn gudd, dàn gel, dàn orchudd; celgar, cyfrinachol, anghyhoedd; lledrithiog, lledrithiol, ffals, twyllodrus, cipgar, cyfrwys, dichellus; cysgodog, cysgodol, gwasgodol, gwasgodog, diddos, hudd; dàn awdurdod, dàn nawdd.

Feme-covert, } gwraig briod, gwraig
Femme-couvert, } briodol, gwraig ysbwys; gwraig gowyllog; gwraig dàn gowyll; gwraig dàn nawdd ac awdurdod gwr; gwraig wrnawdd.

Covert, *s.* cuddfa, ymguddfa, cuddle, llechfa, llechfod, llechfan, encilfan, celfa, dirgelfa, cudded, cuddigl, cufigl, llech, cil; gwasgodfa, diddosfa, diddos, diddosfan, diddosgudd, cysgodfa, achlud, amddiffynfa, diffynfa, diffyniad, noddfa, ysgorfa, gwarthan, cysgodle; prysg, prys, prysglwyn, brycell, cysgodlwyn, gwasgodlwyn, brycini, gwyddelwern, prysgle, clŷn, cuddlwyn, coedlwyn, gwasgodwydd; göerfa, hudd, cyhudd; cinmael; gorchudd, cudd; ffau.

By the covert of the hill—ar hyd ystlys y mynydd (1 *Sam.* xxv. 20).

Covertly, *ad.* yn gudd, &c.; tàn law, dàn llaw, tàn gudd, dàn gel.

Covertness, *s.* dirgelrwydd, dirgeledd, celgarwch, celedigrwydd.

Coverts, *s. pl.* teisblu, hulbluf, tuddedion, adenblu, pluf adenydd.

Lesser coverts—y teisblu lleiaf, y tuddedion lleiaf=y plu mân ar fon yr adenydd.

Greater coverts—y teisblu mwyaf, y tuddedion mwyaf=y plu ar y pinesgyll neu y pinbluf.

Under coverts—isduddedion, teisbluf isaf =y plu o dàn yr adenydd.

Coverture, *s.* (Ff. *couverture*) gorchudd, tudded; cysgod, cysgodfa, gwasgodfa; diddos, diddosfa, diddosgudd; achles, amddiffyn, nawdd, diffyniad; cowyll; bod dàn orchudd, nawdd, *neu* awdurdod gwr; cyflwr *neu* ansawdd gwraig briod; gwrnawdd, gwrnoddiad.

Covet, *v.* (Ff. *convoiter*) chwennychu, chwennych, trachwennychu, trachwennych, cybyddu, awyddu, chwantu, trachwantu, deisyfu, deisyf, hiraethu am, sychedu am, hiraethu, rhybucho, rhybuchu, pucho, dybucho; bod yn awyddus; bod yn chwannog i; canlyn, erlyn, ymgais â; ymegnïo i gael *neu* gyrhaedd.

All covet, all lose—yn ceisio 'r cyrn, colli'r clustiau.

Covet earnestly the best gifts—deisyfwch y doniau goreu (1 *Cor.* xii. 31).

He coveteth greedily—y mae yn fawr ei awydd (*Diar.* xxi. 26).

Covetable, *a.* (o *covet*) chwennychadwy, dymunadwy; i'w chwennych.

Coveter, *s.* chwennychwr, trachwantwr, &c.

Coveting, *s.* chwennychiad, &c.; chwant, trachwant, drygchwant, gorchwant, gormodchwant, awydd, gorawydd.

Covetise,† *s.* cybydd-dod.

Covetous, *a.* (Ff. *convoiteux*) trachwantus, cybyddus, cybyddaidd, cybyddlyd, dirchwantol, gorchwantol, bydolfryd, bydolfrydig; crintach, cyrrith, llawgaead, crin, anhael, crinwasaidd, cynnil, anghawr; awyddus, chwannog, awyddgar, trachwennychol; ariangar; barus.

Covetous of money—ariangar; chwannog i arian.
Covetous of wisdom—chwannog i ddoethineb; awyddus i ddoethineb.
Covetous of learning—awyddus i ddysg.
A covetous person — cybydd, gwr crin, crinwas, crintachwr, mab y crinwas, bydolddyn, bydgarwr, codog, dyn afrull: *pl.* bydolion, cybyddion, cotiaid.
A covetous wretch — cybydd anghawr, crinwas, mab y crinwas, bawai, cerlyn.

**Covetousness**, *s.* cybydd-dod, cybyddiaeth, cybydd-dra; ariangarwch, bydgarwch, bydolrwydd, bydolfrydedd, cyfoethgarwch, goludgarwch; trachwant, dirchwant, gorchwant, awydd; argynnildeb, trachynnildeb, crinder, anghawrdeb, crintachrwydd, baweiddrwydd; awydd *neu* chwannogrwydd i arian *neu* gyfoeth.
To serve the ends of covetousness—porthi cybydd-dod.
Without covetousness — yn ddïariangar (*Heb.* xiii. 5).

**Covey**, *s.* (Ff. *couvée*) nythaid, nythlwyth, nythal, deoraid; haid, twr, llu, cyfor; haid o adar; cynnulliad, cymdaith; llawnrif.
A covey of partridges—nythaid, haid, twr, llu, *neu* gyfor o betrus.

**Covin**, *s.* (Ff. *couvine*) cyttwyll, cydhoced, cystwyll, cyttwylliad; twyll, hoced, somiant, twyllofaint, twyll-ammod; cytundeb i dwyllo.

**Coving**, *s.* (o *cove*) mydwrn, myddwrn, ysgwyddiad bwaog.
Covings of a fire-place—ochrau y pentan; cornelau y tân.

**Covinous**, *a.* (o *covin*) cyttwyllol, cydhocedus, cyttwyllodrus, twyllodrus, hocedus, ffals, twyllgar.

**Cow**, *s.* (S. *cu*; Al. *kuh*; Is. a D. *koe*) buwch, bu, buch; henfon: *pl.* buchod, buwchod, gwartheg, buch, buw, biw.
Barren cow—buwch hesp, buwch goeg, buwch ryderig.
Cow with calf—buwch gyflo.
Milch cow — buwch flith: *pl.* buchod blithion, gwartheg blithion, da blithion, da blithog, buwchod blithog, buchod blith.
Hard cow—buwch gronedig.
Farrow cow—myswynog, buswynog.
Young cow, } Little cow, } buwchan, buchan, buchig, anneirfuwch, treisiadfuwch; buwch ieuanc *neu* fechan.
Cow in her first calving—cynflith, buwch gynflith; buwch y llo cyntaf.
Cow near calving—buwch ddywydd; buwch yn dywyddu.
Tufty cow—buwch wasod, buwch derfenydd.
Cow that has a calf—buwch mam llo; buwch fam llo.
Cow's conception of a fœtus—cyflodawd.
Having many cows, } Abounding with cows, } gwarthegog, buchog.
Lady cow—y fuwch goch gota; y fuwch goch.
Sea-cow—morfuwch, morfuch, buwch fôr.
Cow (in the bardic theology) — henfon, mon.
Curst cows have short horns—rhoes Duw gorn byr i'r eidion dyrys; da gwaith Duw, rhoi cyrn byrion i'r fuwch â hwylio; gwnaeth Duw bob peth yn drefnus, rhoes gorn byr i'r eidion dyrys.
To a cow's thumb—at drwch y blewyn.



**Cow**, *s.* (o *cowl*) cwcwll, cwfl, cwcwll sawell, top simne.

**Cow**, *v. a.* (o *coward?* Isl. *kufwa, kuga?*) digaloni, gwangaloni, tori ysbryd, tori calon, tori awch, hurtio, llyfrhau; cystwyo; brawychu.

**Coward**, *s.* (Ff. *couard*) anwr, annewryn, llyrfwas, cilgi, adwr; dyn llwfr, llwrf, digalon, gwangalon, annewr, anŵraidd, dïysbryd, ofnus, ofnog, anhy, llegach, llegus, *neu* lyferthin; cachadur, cachgi, cachan, cachad, ofnog, llegach, llibinwas, llwfr, bawyn.

**Coward**, } **Cowardly**, } *a.* annewr, anŵraidd, llwfr, llwrf, digalon, gwangalon, llyrfaidd, dïysbryd, ofnog, ofnus, anwrol, anlew, llipa, llibin, llyferthin, llegus, llegach, gwael, distadl, isel, bawaidd, brwnt, cachgïaidd, cilgïaidd.

**Coward**, } **Cowardize**, } *v. a.* digaloni, llyfrhau, hurtio, anwroli, gwangaloni; gwneuthur yn ofnog.

**Cowardice**, } **Cowardliness**, } *s.* (Ff. *couardise*) anwredd, annewredd, llyrfder, llyrfdeb, llyrfdra, llyfrder, llyfrdra, llyfrdeb, llyfredd, llyrfedd, llyfrineb, ofnogrwydd, ofnusrwydd, anghalondid, anlewdid, anwroldeb, adwriaeth, cilgïedd, cilgïeiddrwydd, cachgïeiddrwydd, cachgïedd, llyrfwasedd, aneofnder, llibindod, aneondra.

**Cowardlike**, *a.* anŵraidd, llyrfaidd, bawaidd, annewraidd; fel llyrfwas.

**Cowardly**, *ad.* yn annewr, yn anŵraidd, &c.

**Cowardous**,† *a.*=*Coward, Cowardly.*

**Cowardship**,† *s.*=*Cowardice, Cowardliness.*

**Cow-bane**, *s.* (*cow* a *bane*) buladd, bumustl, cegyr mawr, cegid y dwr.

**Cow-berry**, *s.* lluswydden y geifr; *pl.* lluswydd y geifr.

**Cow-bunting**, } **Cattle-bunting**, } *s.* bras y buchod=math ar aderyn Americaidd.

**Cowdie-pine**, } **Cowrie-pine**, } *s.* math o binwydd perthynol i Sealand Newydd.

**Cow-dung**, *s.* tom gwartheg, tail gwartheg, biswal gwartheg, biswail gwartheg, budail, beudail.
Dried cow-dung, } Cow-blake, } gleiad, gleiaden: *pl.* gleiaid.

**Cower**, *v. n.* (C. *cwrian*; Al. *kauern*) cwrian, cyrcydu, crycydu, yswatio; bod yn ei gwrwm; eistedd ar y sodlau *neu* ar y fferau.
She cowereth (in falconry)—y mae yn gwrthgodi.

**Cower**,† *v. a.* coleddu yn ofalus.

**Cow-fetter**, *s.* burwy.

**Cow-grass**, *s.* meillion gwyrgam, maill gwyrgam, buchwellt, buchlaswellt.

**Cowhage**, } **Cowage**, } **Cowitch**, } **Couhage**, } *s.* (yn y Bengalaeg, *al cwshi*) ymgraflys, coslys, ysbinffa, colffa=math o blanigyn plisgrawnol â dyf mewn hinsoddau cynhes.

**Cow-herd**, *s.* bugail gwartheg, heusor gwartheg; porthwr, buborthwr, bugail, heusor, buchwr, budywr, beudywr.

**Cow-house**, *s.* beudy, budy, cleity, buchdy.

**Cowish**, *a.* (o *cow*) llyrfaidd, anŵraidd, anwrol, annewraidd, ofnog, ofnus, gwangalon, cachgïaidd.

**Cow-keeper**, *s.* gwarthegydd, gwarthegwr, bugeidwad.

**Cowl**, *s.* (S. *cugle, cugele;* Ll. *cucullus*) cwcwll, cwfl, hwf, penwisg mynach; mit, ystondir, ystondart; cwfl, cwcwll, *neu* dop sawell.
Bard's cowl—barddgwcwll.
**Cowled**, *a.* (o *cowl*) cycyllog, cwflog, cwfledig, hwfog.
Cowled-leaved—cycyll-ddeiliog.
**Cow-leech**, *s.* buchfeddyg, biwfeddyg, bufeddyg, meddyg gwartheg.
**Cow-leeching**, *s.* buchfeddygiaeth, bufeddyginiaeth, meddygiaeth gwartheg.
**Cow-lick**, *s.* llyfgudyn, trogudyn, crychlofn, cudyn crych.
**Cowlike**, *a.* buwchaidd, buchaidd; fel buwch.
**Cowl-staff**, *s.* trosol, gwif, trosol ystondir.
**Coworker**, *s.* (*co* neu *con* a *worker*) cydweithydd, cydweithiwr, cydweithredydd.
**Cow-parsley**, *s.* gorthyfail, cegiden fenyw.
Rough cow-parsley—gorthyfail garw.
**Cow-parsnep**, *s.* efwr, efyrllys, cron, moronen y meirch.
**Cow-pen**, *s.* buches, ffald buchod, cut gwartheg.
**Cow-plant**, *s.* buchlys, buwchlys.
**Cow-pox**, *s.* bufrech, biwfrech, brech buchod, brech y fuwch, buchfrech.
**Cow-quakes**, *s. pl.* crydwellt, eigryn, gwenith yr ysgyfarnog.
**Cowry**, *s.* cragen Fair.
**Cowslip**, } *s.* symylen, symwl, tewbanog fech-
**Cow's-lip**, } an, briallu Mair sawyrus, briallu Mair sawrus, dagrau Mair, llysiau y parlys; briallu, (*sing.* briallen).
Great cowslip, } briallu Mair disawr.
Ox-lip, }
**Cow's-lungwort**, *s.* buchysgyfeintlys, bubanog.
**Cow's-stone**, *s.* buchfaen, buwchfaen.
**Cow-tree**, *s.* buchwydden, buwydden, llaethwydden: *pl.* buchwydd.
**Cow-weed**, *s.* buchwyn, math ar orthyfail.
**Cow-wheat**, *s.* biwlith, bulith, gliniogai.
Crested cow-wheat—gliniogai cribog, bulith cribog.
Common yellow cow-wheat — gliniogai melyn, biwlith melyn.
Wood cow-wheat—gliniogai y coed, biwlith y coed.
**Cow-yard**, *s.* buches, buarth, buchas.
**Coxcomb**, *s.* (*cock's comb*) coegyn, ysgoegyn, coegwr, ysgogyn, dyn coegfalch, mursyn, mursen o ddyn, pertyn, pefryn, gwas dillad, mursenwr; crib ceiliog, crib y ceiliog; cribell; coryn, caran.
**Coxcombly**,† *a.* coegynaidd.
**Coxcombry**, *s.* coegyndod, ysgoegyndod, coegwriaeth, coegyniaeth, coegni, coegfalchedd, coegedd, coegwychedd, coegwychder.
**Coxcomical**, *a.* coegynaidd, ysgoegynaidd, coegaidd, coeg, coegfalch, mursynaidd, pefrynaidd, rhyddillyn, ucheldybus, ysgoeg.
**Coy**, *a.* (Ff. *coi, coy*) osgoilyd; mursenaidd, mursenllyd, yswil, goryswil, gŵyl, gwylaidd, cynwyl, cywilyddgar; gwagelog, tawedog, dystaw, ymgelgar; ansiaradus; yn cadw draw; â gymmer arni fod yn ŵyl dros ben; syml, gweddaidd.
A coy lass — mursen; merch ysgoilyd, llances fursenaidd.
**Coy**, *v. n.* mursenu, ysgoegi; bod yn osgoilyd, mursenaidd, *neu* fursenllyd, &c.; chwareu y fursen; cadw draw; cadw yn mhell; gwneuthur yn anhawdd; llyfnhau.
**Coyish**, *a.* lledfursenaidd, gofursenllyd, lled ysgoilyd.
**Coyness**, *s.* (o *coy*) mursendod, osgoilydrwydd, mursenciddrwydd; tawedogrwydd, gochelgarwch, ymgelgarwch, gochelrwydd; yswildod, gorwyledd, gwyldra; tuedd i ymgadw draw.
**Coystrel**, *s.*=*Castrel, Casteril, Kestrel.*
**Coz**, *s.* cos=bathon copr bychan, yn Persia.
**Cozen**, *v. a.* (Llyd. *couchiein, coucheza?*) twyllo, hocedu, hudo, somi, coegio, camgolledu; twyll-ddenu, cyfrwys-ddenu.
**Cozenage**, *s.* (o *cozen*) twyll, hoced, dichell, hud, ystryw, chwired, som, somiant, twyllofaint; cast; cyfrwysder, cyfrwysdra, cyfrwyswaith.
**Cozener**, *s.* twyllwr, twyllydd, hocedwr, hocedydd, dichellwr, hudwr, castiwr.
An old cozener—hen gadnaw; hen lwynog; hen ddyn cyfrwysddrwg dichellgar.
**Cozy**, *a.* (?) cysurus; clyd *neu* gynhes ei sefyllfa.
**Crab**, *s.* (S. *crabba;* Al. *krabbe;* Gr. *carabos;* Ll. *carabus*) cranc, morgranc, cranc môr, crafanc; ceimwch coch; afal sur, surafal, corafal, cogwrn, grobosyn, (*pl.* grobos), afal sur bach; surafalwydden, afallen sur, surafallen, corafallen; cambill, dyrwynydd, rhwyniadyr; monyn, (*f.* mones, monen), soryn, sarigyn, gwrechyn, drengyn, dyn blwng, soriad.
Crab, } y Cranc, arwydd y Cranc;
Cancer, } Alban Hefin.
**Crab**, *a.* sarig, sur, blwng, garw, gerwin, sorig, swr.
**Crab-apple**, *s.* afal sur, surafal, cogwrn, grobosyn, corafal, afal sur bach.
Crab-apple-tree, } afallen sur, surafallen,
Crab-tree, } corafallen, pren grobos, surafalwydden, afallen wyllt, pren afal sur.
**Crabbed**, *a.* (o *crab*) sarig, sur, sorig, anfoddog, croes, blwng, (*f.* blong), drygnawsus, drygnwydus, dryganwydus, dreng, anhynaws, gorflwng, rhwystrus, gygus, anhywaith, dysgyfrith, dysgethrin, anniddig, anynad, gwynafog, cuchiog, trwynsor, trwynsur, ffroensur, aufwyn, craseiriog, cras, anhyfodd, anhydrin, garw, gerwin, gerwinol, cystig, chwefrin, agarw, tryn, swr, traws; astrus, dyrys, rhwystrus, dyryslyd, nidrus, anhawdd, afrwydd, tywyll, caled, anhyddeall.
**Crabbedness**, *s.* sarigrwydd, sorigrwydd, surni, anfoddogrwydd, croesder, blyngder, drygnawsedd, anniddigrwydd, anfwynder, crasder, blyngedd, swri, gerwinder, garwedd, astrusi, &c.
**Crabber**, *s.* llygoden y dwr.
**Crabby**, *a.* anhawdd, dyrys, astrus, nidrus, caled, afrwydd.
**Crab-eaters**, *s. pl.* crancysiaid, crancysolion=math o grechyddion.
**Crab-grass**, *s.* crancwellt.
**Crabite**, *s.* (o *crab*) cranc wedi ymgaregu.
**Crab-louse**, *s.* cranclcuen; *pl.* cranclau.
**Crabro**, *s.* (Ll.) cacwn.
**Crab's-claws**, *s. pl.* cranc-ewinedd, crafangau cranc.
**Crab's-eyes**, *s. pl.* cranc-lygaid=cyttyriad yn nghylla crancod.
**Crab-yaws**, *s.* troedlwg, gwadn-orfa, gwadnweli.

**Crack,** *v.* (Ff. *craquer;* Al. *krachen*) bregu; agenu, hollti, gagenu; tori; briwo, yssigo, crinellu, clecian, crecian, grillian, grillio, trystio, clindarddach, clindarddu; ymdori, ymhollti, ymagenu, crigo, ymagor, agor, agu, ymrwygo; crechian, ysgortio; hollti yn agau *neu* agenau; peri breg; gwichio, gwichleisio; bostio, ymffrostio, brolio, gwagfostio, bragio; difwyno, anmharu, annhrefnu.
To crack nuts—tori cnau.
I will crack your crown—mi a doraf *neu* a friwaf eich pen.
The boat cracked under them—yr oedd y bad yn crinellu danynt.
To crack a bottle—egori costrel; yfed costrel *neu* gostrelaid gydag un; crinellu potel.
To crack one's credit—dwyn anair *neu* anghlod ar un; tori, llygru, *neu* ddifwyno gair da un.
The clouds crack—y mae y cymylau yn clecian.
To crack a whip—clecian ffrewyll.
To crack a joke—gollwng allan air o gellwair; dywedyd gair o gellwair *neu* arabedd; cellwair, cydgam, cymmwedd; dywedyd digrifair; dywedyd digrifwch.

**Crack,** *s.* (Al. *krack, krach;* Gr. *rhagas*) breg, bradwy; agen, hollt, gagen, ag, crig, gorimyn; crec, clec, trwst, ysgort, clap, grill, gwring; tor, toriad, ymdoriad; gwichlais, creglais, cryglais; penwendid, pendrondod; bost, ymffrost, ffrost; anniweirdeb; cyffoden, puten; † llanc.
It sounds as if it had a crack in it—mae yn synio *neu* leisio yn glwc *neu* glwyfus; mae ei glec fel pe bai glwc.

**Crack-brained,** *a.* penchwiban, penwan, penfeddal, penffol, chwidr, gwibwrn, chwibwrn, penglwc, syfrdan, lledfrydig, penysgafn, penddarus, hurt, anmhwyllog, disynwyr, ffol, ehud, gwallgof, gwallgofus, gorphwyllus, gorphwyllog, gwallbwyllog, pendron, lloerig; â phenwendid *neu* bendrondod arno.

**Cracked,** *p. p.* bregus, toredig, cleciedig, &c.; briw, agenog, holltog, yssig; penwan, penfeddal, anmhwyllog.
Cracked brain—y bendro wibwrn; y bendro chwibwrn.

**Cracker,** *s.* (o *crack*) bostiwr, broliwr, bocsachwr, ymffrostydd, bragaldiwr; tânbelen, crinell, crinellydd, esruthren, cleciedydd, ysgortydd; hwyad gynffonfain, hwyad lostfain.
Nut-crackers—gefail gnau, cneuell.

**Crack-hemp,** } *s.* crogyn; crogyn o ddyn;
**Crack-rope,** } llwyth y cebystr; cyw y cebystr; cyw y crogbren; un addfed i'r crogbren; un parod i'r *neu* deilwng o'r crogbren.

**Crackle,** *v. n.* (o *crack*) clindarddach, crinellu, crecian, crecio, grillian, grillio, ysgwrlwgach, gwringain, gwringellu.

**Crackling,** *s.* (o *crackle*) clindarddach, crinelliad, ysgwrlwgach, ysgwrlwg, clindarddiad, gwringelliad, grilliad; crinell.
Crackling of pork — crinell glasdwrch, crinell porch, crinell cig tyrchyn, crinell porchellyn.
The crackling of thorns under a pot—clindarddach drain dàn grochan.

**Cracklings,** *s. pl.* (o *crackle*) gwergreision, gwerdeisenau, creisionod, teisenau cwn.

**Cracknel,** *s.* (o *crack*) breudeisen; teisen ddeugras; breudeisen galed; teisen frau galed.

**Crack-skull,** *s.* chwidryn; dyn penchwiban, penwan, *neu* benfeddal; bral o ddyn; penchwidryn, chwidrwr; chwibwrn ei benglog.

**Cradle,** *s.* (S. *cradel*) cryd, cawell maban, cader maban; cawell, cauel; crud; llithrystram; croper, crifyr; mabandod; dechreufa; cyff.
Cradle of a scythe—cawell pladyr, clwyd pladyr, cader pladyr.
Iron cradle—cryd haiarn, alch.
Cradle of a lobster—ccuedd, cropa, bol, *neu* foly ceimwch.
Cradle band—rhwymyn maban, rhwymyn magu.
Cradle clothes—dillad cryd; dillad magu; dillad maban.
A cradle for a broken leg—crud coes dòn; crud coes friw.
From his cradle—o'i gryd; o'i febyd; o'i fabandod.

**Cradle,** *v.* gosod *neu* siglo mewn cryd; siglo cryd; siglo y cryd i; llonyddu, esmwytho, susganu, suo; magu mewn mabandod; crydu; tori â phladyr â chawell.

**Cradle-scythe,** *s.* pladyr gawell, pladyr glwyd, pladyr gawellog; pladyr â chawell arni.

**Cradling,** *s.* (o *cradle*) crudgoed, crymattegwydd.

**Craft,** *s.* (S. *cræft;* Al., Sw., a D. *kraft*) crefft, celfyddyd, celf, celfyddawd, celfyddiaeth; gallu, medr, medredd, medrusrwydd, hyfedredd, cymmedr; cyfrwysdra, cyfrwysder, cyfrwysedd, dichell, ystryw, ffalstedd, chwired, hoced, ymdro, chwiongl; elw; hud, cast, somiant; llawgelfyddyd, celfyddyd llaw, galwedigaeth; corlong, ysgraff; mân longan, (*pl.* mân longau).

**Craft,** † *v. n.* castio, chwareu castiau.

**Craftiness,** *s.* (o *crafty*) cyfrwysder, cyfrwysedd, cyfrwysdra, ystryw, ystrywgarwch, dichell, dichellgarwch, dichellrwydd, ffelder, ffeldra, ffelrwydd, hoced, twyll, chwired, ffalstedd, ymdro, chwiongl, dichellwaith, cyfrwyswaith, dichelldro, ffesawd.

**Craftsman,** *s.* (*craft* a *man*) crefftwr, celfyddwr, celfyddydwr, gwr o gelfyddyd, celfwr, llawgelfyddwr, llawgelfyddydwr, gallofydd, llofweithydd, saer; dyn penigamp, celfydd, *neu* gywrain.

**Craftsmaster,** *s.* (*craft* a *master*) meistr yn *neu* ar ei gelfyddyd; pencrefftwr, celfyddwr penigamp, crefftwr.

**Crafty,** *a.* (o *craft*) cyfrwys, cyfrwysgall, ystrywgar, ystrywiog, ystrywus, cyfrwysddrwg, dichellgar, dichellus, dichellog, ffalst, ffel, hocedus, twyllodrus, chwiredus, ffur; medrus.

**Crag,** *s.* (C. a Gw. *craig;* Gael. *creag*) clogwrn, clogwyn, clegr, clegyr, craig, pencraig, ysgythredd, ysgyryd, clwg, taren; craig ysgyryd, ysgythrog, *neu* serth; ysgyrgraig, briwgraig.
The crag of the rock—ysgythredd y graig (*Iob* xxxix. 28).

**Crag,** † *s.* (S. *hracca*) gwddf, gwddwg; gwàr, gwegil.

**Crag-built,** *a.* clegr-adeiledig, creig-adeiliog; wedi ei adeiladu â chlogyrnau.

**Cragged,** } *a.* (o *crag*) clogyrnog, ysgythrog,
**Craggy,** } clegyrnog, clegrog, clogwynog,

clogyrnaidd, creigiog, ysgyryd, ysgyrgreigiog, tarenog, cerygog, garw, agarw, serth.
  Craggy hill—clogfryn.

Craggedness, Cragginess, s. clogyrnedd, clogyrnach, clogyrnogrwydd, ysgythrogrwydd, clegrogrwydd, clogwynogrwydd, clogwynedd, &c.

Crake, (o *crack*) bost, ymffrost, brawl.

Crake, s. (o'r sain) rhegen yr yd, rhegen y rhych, creciar.
  Corn-crake, Bean-crake, Corn-drake, rhegen yr yd, rhegen y rhych, creciar.

Crake-berry, Crow-berry, s. creiglusen, creiglysen, cryglusen: *pl.* creiglus, creiglys, cryglus, grugon, gruglys, llus y brain, llus duon y mynydd.

Cram, v. (S. *crammian*) sechu, secu, gorlenwi, tynlenwi, sachu, sagio; llenwi dàn sang: tyru, pentyru; glythu, cegu, pesgi; gwthio i mewn; bod dàn sang.
  To cram one's self—ymsechu, ymsecu, ymsengu; ymlenwi dàn sang; cegu, glythu, ceglyncu, sagio, gwancio, ymddyfoli, ymddyfolio, ymbesgu.

Crambe, s. (Gr.) ysgedd.
  *Crambe maritima*, Sea-kale, ysgedd arfor, morfresych, bresych arfor, cawl y graig, cawl y môr, morgawl, llyrgawl, llyrfresych.

Crambo, s. (?) rhosp; chwareu rhospau; rhospau; rhospiad; odl, cydodliad.
  To play at crambo—chwareu rhospau, rhospa.

Crameric Acid, s. (oddi wrth y Drd. I. G. H. a G. H. *Kramer*) sur Cramerig, sur rhatanig.

Cramp, s. (S. *hramma*; Al., D., a Sw. *krampe*) gwrwst, cwlwm gwythi, yr wrwst, gwyneg, dirgrebychiad, cnodglwm, dirdynwst, crebachwst; caethiwed, attalfa, rhwystr, attaliad, cyfyngiad.

Cramp, v. a. crebychu, dirgrebychu, dirwasgu, gwasgu, parlysu; caethiwo, attal, cyfattal, rhwystro, cyfyngu, cyfyngu ar; dàl yn dyn; creffynu, craffu, craffo, cyfrwymo â chraff.

Cramp, Crampern, Cramp-irons, s. craff, craffhaiarn, creffyn, dalgraff, caff, crwca, gafaelfach, dalfach.

Cramp, a. anhawdd, dyrys, tywyll, anhyddeall, anghynnefin, caled; clymog, cygnog.

Cramp-fish, yswythbysg, cyffiedydd, cyffbysg.

Crampit, s. blaen gwain, dyflaen mettel.

Crampoons, s. (o *cramp*) craffau, creffynau, dalgraffau, esgidgraffau, gafaelgraffau.

Cranage, s. (o *crane*; Ll. drosgl, *cranagium*) cambilliaeth; defnyddiad cambill *neu* ddyrwynydd; cambilldal, garanlog; tâl am ddefnyddio cambill.

Cranberry, s. (*crane* a *berry*) llygaeren, llygeirinen, ceiriosen y waen: *pl.* llygaeron, llyged aeron, llygaid aeron, llygad eirian, llygeirin, llygedeirin, ceirios y waen.

Cranch, v. a. (Is. *schranssen*)=*Craunch*.

Crane, s. (S. a Sw. *cran*; Al. *krahn*; Is. *kraan*; D. *krane*) garan, cregyr, crychydd, crechydd, crëyr, y gwddf cryg, gwddwf cryg, aderyn garhir.
  The little crane—garan-grychydd.
  Crane's peas—pys y garanod.

Crane, s. cambill, garan, garanbill, dyrwynydd; cambibell, dysbyddell.

Crane-fly, s. garan-gleren.

Crane's-bill, s. pig yr aran, mynawyd y bugail, garanbig; gefail llawfeddyg.
  Stinking crane's bill, Herb Robert, troedrudd, llysiau y llwynog, llysiau Robert.
  Crowfoot-leaved crane's bill—pig yr aran y weirglawdd.
  Shining crane's bill—pig yr aran dysglaer, garanbig llachar.
  Dove's-foot crane's bill—troed y golomen, pig yr aran cyffredin.
  Small-flowered crane's bill—pig yr aran manflodeuog, pig yr aran bychan.
  Jagged-leaved crane's bill—pig yr aran llarpiog.
  Long-stalked crane's bill—pig yr aran hirgoesog.
  Bloody crane's bill—pig yr aran rhuddgoch.
  Soft crane's bill—pig yr aran masw, garanbig maswaidd.

Craniognomy, s. (Gr. *cranion* a *gnômôn*) creuanwyddeg, creuanwyddor, creuanwyddiaeth.

Craniological, a. creuanegol.

Craniologist, creuanegydd, creuanegwr, creuanydd.

Craniology, s. (Gr. *cranion* a *logos*) creuaneg, creuanaeth, creuanyddiaeth, menyddeg.

Craniometer, s. (Gr. *cranion* a *metron*) creuanfesur, creuanfeidyr, creuanfydrai, creuanyr.

Craniometrical, a. creuanfesurol, creuanfydrol.

Craniometry, s. creuanfesuriaeth, creuanfeidraeth, creuanfydraeth, mesuriaeth creuanau.

Cranioscopy, s. (Gr. *cranion* a *scopeô*) creuansylliaeth.

Cranium, s. (Ll.; Gr. *cranion*) creuan, penglog, siôl, siâd, iad; padell yr ymenydd.

Crank, s. (Is. *kronkel*; talfyriad o *crane-neck*?) cranc, trogambill, cambill; tro, plyg, bachdro; craffhaiarn.

Crank, a. (Al. a D. *krank*) pybyr, heini, heinif, hoenus, cryf, gwrdd, bywiog, iachus, hawntus; hyf, eon; syth; hyddymchwel; parod i ddymchwelyd.

Crank, Crankle, v. dolenu *neu* ddolystumio fel afon; dolenu, dolystumio, ymddolenu, ystumio, ymnyddu; plygu yn ol ac yn mlaen; plygu yn ddilliau; amlwybro; dillio, plygu, crychu; myned yn fachog.

Crankle, s. plyg, dolen, camedd, plygiad, plygfa, tum; doleniad, dolystumiad; ystumiad *neu* ddoleniad glàn afon; crych, crychiad: *pl.* doleniadau, bachdroion, dolystumiau, crychion.
  Full of crankles—llawn plygiau, plygiadau, ymdroion, dilliau, doleniadau, dolystumiau, *neu* fachdroion; llawn ymdro; dolenog, dolystumiog, bachog, cilfachog, ystumiog, dilliog; rhychog, cygnog.

Crankness, s. (o *crank*) pybyrwch, hoenusder, bywiogrwydd, hawntusrwydd, iachusrwydd, cryfder; sythder; hyddymchweledd; parodrwydd i ddymchwelyd *neu* ddiwel.

Cranky, a. (o *crank*)=*Crank*, a.

Crannied, a. (o *cranny*) agenog, holltog, agog, gagenog, gorimynog, bregus.

Cranny, s. (Ff. *cran*; Ll. *crena*) agen, hollt, ag, agenig, gagen, gorimyn; twll, lloches, llechfod; cegluniodyr.

Crannying, a. agenol, holltol, gagenol.

Crantara, s. (Gael. *crean tarigh*) ufelgroes, croes gwarth, croes dân.

**Crants**, *s.* (Al. *krantz*) beddwyrlen, bunwyrlen, elorbleth.
**Crapandine Doors**, *s. pl.* (Ff. *crapandine*) colddorau; drysau yn troi ar golyn.
**Crape**, *s.* (Ff. *crêpe, crêper;* Al. *krepp*) galarwe; crychwe.
**Crape**, *v. a.* crychu, modrwyo, llofni, argrychu.
**Crapnel**, *s.* (Ff. *grappin;* C. *crap*) bach, bechyn, tynfach.
**Crapple**, *s.* (C. *craf, crap*) crafanc, ewin, craf, ysbag. [edd.
**Crapula**, *s.* (Ll.) alar, tordyn, alariad, brwysg-
**Crapulence**, *s.* (Ll. *crapula*) brwysgedd; anhwyldeb oddi wrth feddwdod *neu* lythineb; alarglefni, alarglwyf, glythglwyf, glythglefyd; clefni o'r meddwdod ddoe; alar.
**Crapulous**, *a.* brwysg, meddw, abrwysg, alarglaf, glwth, meddw henbob; claf o'r meddwdod *neu* y glythineb ddoe; alarllyd.
**Crash**, *v.* (o'r sain, tebygol; Ff. *écraser*) chwilfriwo, chwilfriwio, briwo, dryllio; briwo, gwasgu, *neu* lethu yn chwilfriw; malurio; grillian, grillio, gremial, gremio, rhincian, rhincio; trystio, gwichleisio, crechian, clechdyrio, clechdori, darsteinio, swttrystio.
**Crash**, *s.* trwst, ffrwch, grill, grem, rhinc, rhincyn, rhincian, rhinciad, cnec; tordrwst, clechdyr, dwrdd; trwst pethau yn cwympo ac yn tori ar unwaith.
**Crash**, *s.* (Ll. *crassus*) brethyn garw; llian garw, braslïan.
**Crashing**, *s.* trystiad, trwst, grilliad, gremiad, grill, grem, hinc, drylliad, toriad, clechdyriad.
  **A great crashing from the hills**—drylliad mawr o'r bryniau (*Seph.* i. 10).
  **The crashing of the teeth of a beast in eating** *or* **in chewing the cud**—grem.
**Crasis**, *s.* (Gr.) ardymmyr, naws, tymmer, ardymmer, credd, creth, gwaettymmer, tymmyr gwaed, gwaedgreth; crybycheb, crebacheb; cymmysgedd.
  **Crasis (in grammar)**—crybycheb, crebacheb, cyttrycheb; megys, αληθη am αληθεα, yn y Groeg; *dî* am *dii*, yn y Lladin; a *cânt* am *caant*, neu *bônt* am *boont*, yn y Gymraeg.
**Crass**, *a.* (Ll. *crassus*) bras, garw, tewanmhur, anghoethedig; praff, braisg, tewdrwch.
**Crassament**, *s.* (Ll. *crassamentum*) braswaed; tewedd coch y gwaed; y dolchen.
**Crassitude**, **Crassness**, *s.* (Ll. *crassitudo*) tewedd, tewder, tewdra, tewychedd, trwch, tewdrwch; garwedd, anmhuredd.
**Crastination**, *s.* (Ll. *crastinus*) oediad, gohiriad.
**Cratægus**, *s.* (Gr. *cratos*) drain gwynion, ysbyddaid, egfaenwydd.
**Cratch**, *s.* (Ff. *crèche*) rhesel, rhastal; preseb, côr ychain, cafn ebran.
**Cratches**, *s. pl.* (Al. *krätze*) chwydd egwyd, egwydlwg.
**Crate**, *s.* (Ll. *crates*) cawell, basged, rhwyllas.
**Crater**, *s.* (Ll.; Gr. *cratêr*) llosgorel, llosgeneu, cegfa, ceg llosgfal.
**Crater**, *s.* y Cwpan=cydser yn yr arddrych dde, yn cynnwys 31 seren.
**Crateriform**, *a.* (Ll. *crater* a *forma*) meilaidd, meilenaidd, carfenaidd; ar lun meilen, carfen, *neu* gwpan.
**Craunch**, *v. a.* (Is. *schransen*) malurio, grillian, treisgnoi, rhygnu dannedd, deintrygnu, rhincian.
**Cravat**, *s.* (Ff. *cravate*) gwddwgen, gyddyflen, gyddflïan, gyddfdas, cadach gwddf, llian gwddf, pilyn gwddf, neisiad gwddwg, gyddyfdas.
**Crave**, *v. a.* (S. *crafian;* C. *crefu*) crefu, deisyf, erfyn, atolygu, taergeisio, taer-ofyn, atolwg, ymbil, ymbilio, deisyfu, erfynio, erfynied, erdolwg, ceisio, ymhwedd ar, ioli, dymuno, crëu, erchi; ymadolwyn, ymddifregu, *neu* ymioli âg; ymorol am; chwennychu, chwennych, chwantu, rhancu; galw am, erfyn am; gofyn *neu* geisio yn ddibaid; sychedu *neu* hiraethu byth am ychwaneg; chwennychu yn ddiwala.
**Craven**, **Cravent**, **Cravant**, *s.* (o *crave?*) adwr, anwr, annewr, cilgi, ofnog, cachgi, llibinwas, llyrfwas, un llwfr, gwangalon, *neu* ddigalon; ceiliogyn digalon.
**Craven**, *v. a.* llyfreiddio, adwrio, anwroli; gwneuthur yn anwr.
**Craver**, *s.* (o *crave*) crefwr, crefiedydd, crefer, deisyfwr, erfyniwr, taergeisydd, ymbilydd, ymbiliwr, taerofynwr.
**Craving**, *s.* (o *crave*) crefiad, crefiant, taergais, taerofyn, erfyniad, dymuniad, dymuned, atolygiad, taergeisiad, taerofyniad; gwanc, ainc, chwant, awydd; híraethiad.
**Craving**, *a.* crefol, achref, taer, deisyfol, taergeisiol, rhydaer, gofyngar; newynllyd, gwancus, diwala, anniwall, dychwantus; llodus, llawd.
**Cravingness**, *s.* (o *craving*) taerni, taeredd, crefoldeb, achrefedd; gofyngarwch, ymbilgarwch; gwancusrwydd, awyddusrwydd.
**Craw**, *s.* (D. *kroe;* Sw. *kräfva*) crombil, cromil, cropa.
**Crawfish**, **Crayfish**, *s.* (o *crab* a *fish;* Ff. *écrevisse*) ceimwch yr afon, ceimwch coch, ceimwch Mair, ceimwch dwr croew, ceimwch afonydd.
**Crawl**, *v. n.* (Is. *kreilen;* D. *kravler;* Sw. *kräla*) ymlusgo, cropian, ymgropian, cripian, crepian, creinio, dygreinio, dysgreinio, gosgreinio, sarthu; ymlithro; cerdded ar dor; myned fel malwoden; myned rhagddo yn araf deg; cynffonloni; bod yn llawn; heidio, heinio; ffalsio.
  **To crawl on all-fours**—myned ar bedair bagl; myned ar bedwar agor; myned ar bedwar pyw; myned ar draed a dwylaw; ymlusgo ar draed a dwylaw; cerdded ar bedair hegl; ymlusgo ar bedwar troed.
  **To crawl with vermin**—bod yn llawn pryfed; heidio gàn bryfed; heiniaw o bryfed, bod â phryfed yn ei gerdded; cael ei ysu gàn bryfed.
  **Partly crawling**—gosgrain.
**Crawl**, *s.* (Is. *kraal*) lloc pysg, ffronc pysg, buarth pysgod.
**Crawler**, *s.* cropiwr, cropiedydd, ymlusgwr, ymlusgydd, ymlusgiad, eddeiniad.
**Cray**, **Crayer**, † *s.* (Al. *kreier*) math ar long fechan.
**Crayfish**, *s.*=*Crawfish.*
**Crayon**, *s.* (Ff.) pwyntel, pwyntyr, puntyr; delbwyntel, marmbwyntel, lliwbwyntel, brasbwyntel; marmarluniad; arluniad â phwyntel; cynllun bras, bras gynllun.

Red crayon—creuon; pwyntel creufaen, pwyntel gwaedfaen.
Crayon, *v. a.* marmarlunio, marmbwyntelu; braslunio, cynllunio; amlinellu.
Crayon-painting, *s.* marmarluniad, marmbaentiad.
Craze, *v. a.* (Ff. *écraser*) tori, briwo, briwio, bregu, sigo, chwilfriwio, malurio, candryllio; tori yn yfflon *neu* yn chwilfriw; gwanhau, anmharu; penwanu, pendroni, serfyllio, syfrdanu; peri anmhwyllo, gwallbwyllo, gorphwyllo, *neu* wallgofi; gyru allan o bwyll.
Crazedness, *s.* (o *craze*) penwendid, penwandod, penwander, pendrondod, pendronedd, gwendid, anmhwyll, hurtrwydd, pensyfrdandod; briwder, briwedd, briwiant; yssigrwydd, methiant, serfylldra, serfyllrwydd.
Craze-mill, Crazing-mill, *s.* melin alcan; melin i falu alcan.
Craziness, *s.* (o *crazy*) penwendid, pendrondod, penwander, penwandod, anmhwyll, gorphwyll, gorphwylledd, ymleferydd, gwallbwyll, gwallgof, gwallgofrwydd, gwanbwyll, pensyfrdandod, hurtrwydd, lledfrydedd, syfrdandod, penddaredd, penfeddaledd, anmhwyllogrwydd, penysgafnder, ffoledd, ansynwyr, chwidredd; gwendid, llesgedd, eiddilwch, briwder, briwiant, methiant, methineb, annerth, serfyllrwydd, serfylldra, serfylldod; breuder, breuoldeb, hydoredd, anwychder, yssigrwydd, cymhercyndod, bregusrwydd.
Crazy, *a.* (Ff. *écrasé*) penwan, penfeddal, anmhwyllog, penysgafn, pensyfrdan, lledfrydig, penchwiban, penddarus, gorphwyllus, gorphwyllog, gwallgof, gwallgofus, hurt, serfyll, chwibwrn, gwibwrn, chwidr, ffol, penglwc, lloerig, ynfyd; allan o'i bwyll, o'i gof, *neu* o'i synwyrau; methedig, gwàn, egwan, eiddil, gwecry, simsan, cymhercyn, briw, methiannus, bregus, bregog, breulyd, brau, yssig, dinerth, toredig, anghadr, analluog.
Creaght, † *s.* (Gw.) gyroedd o wartheg.
Creaght, † *v. n.* pori, porfelu.
Creak, *v. n.* (C. *crecian*) gwichio, gwichian, crecian, gwichleisio, grillian, crygleisio, crechleisio, gwichial, cricio, crician, rhygnu, rhegain, rhincian.
Creaking, *s.* (o *creak*) crec, creciad, grill, gwich, grilliad, gwichiad, rhinciad, swn cras, rhincyn.
Cream, *s.* (Ff. *crême*; Ll. *cremor*) hufen.
Cream of tartar—hufen surgen,, cris surgen, ewyn surgen, hufen gwaddodgen.
Cream of lime—cris calchwy, ewyn calchwy, hufen dwr calch, calchgris.
The cream of the jest—mêr, madruddyn, bywyn, *neu* hufen y digrifwch.
Cream cheese—caws hufen, caws drwy hufen.
Resembling cream—hufenaidd.
To gather into cream—hufenu, ymhufenu.
Cream, *v.* hufenu; hufena; tynu hufen, dihufenu, dadhufenu.
Cream-bowl, *s.* cogan hufen.
Cream-faced, *a.* hufenwep, hufenweb; gwelw, melynwyn; gwỳn; gwepsalw, piglwyd; digalon, llwfr.
Cream-nut, *s.* hufen-gneuen, cneuen hufen.
Cream-pot, *s.* crochan hufen, pot hufen.
Creamy, *a.* (o *cream*) hufenog, hufenllyd; hufenaidd, hufenol; mychweg, melus.
Creance, *s.* (Ff. o'r Ll. *credo*) credlinyn, meinlinyn hebog.
Crease, *s.* (Ff. *creuser*; Al. *kräusen*) ol plyg, llun plyg; ol dill, llun dill; ol plygiad; crychiad, crychni, plygun, plyg; rhiglinell.
Crease, *v. a.* peri ol, llun, crych, *neu* grychiad; crychu, crychiadu; peri crychion, crychiadau, tolciau, plygiau, *neu* ddilliau.
Creasote, Creosote, Kreasote, *s.* (Gr. *creas* a *sôsô*) cigachubai, cigachubwy=math o hylif cyfansawdd o ufelai, ulai, ac ulyfai.
Creat, *s.* (Ff.) isathraw mewn marchwriaeth.
Create, *v. a.* (Ll. *creo*; Ff. *créer*) creu; gwneuthur, gwneyd; achosi, peri, peru; cenedlu; gwneuthur yn; urddo yn.
Created, *p. p.* creuedig; gwneuthuredig.
Not created—anghreuedig, digreuedig.
The system of created beings—creaduriaeth, creadigaeth.
Creation, *s.* (Ll. *creatio*) creadigaeth, cread, creaduriaeth, creadaeth, creawd, creawdwriaeth, creawduriaeth, creawdyddiaeth; gwneuthuriad; y bydyssawd, yr hollfyd.
From the creation—er y greadigaeth; er dechreuad y byd; o'r greadigaeth.
Creational, *a.* creadol, creadigol, creol.
Creative, *a.* (o'r Ll. *creo*, *creatus*) creadol, creadigol, creuedigol, creol; dyfeisgar, dyfeisiol, parol, pariadol, peiriadol.
Creativeness, *s.* creadoldeb, creadigolrwydd, dyfeisgarwch.
Creator, *s.* (Ll.) creawdwr, creawdydd, creawdur, crëwr, crëydd; peron, perydd, peryf, periedydd, peridydd, peryddon, periadur, peridwr, peiriedydd, achosydd, naf; gwneuthurydd, gwneuthurwr.
Creatress, *s.* (o *creator*) creawdyddes, creawdures, peiriadures, peridyddes, peryddes, peryfes, gwneuthures.
Creature, *s.* (Ff.; Ll. *creatura*) creadur.
Poor creature—truan tlawd; truan; creadur truan *neu* dlawd.
Be quiet, that is a good creature—paid, da dithau.
Great man's creature—creadur gwr mawr; ufydd wasanaethwr; dyn gosgordd; ymddibynydd.
Creaturely, *a.* creaduraidd, creadurol.
Creatureship, *s.* creadurdeb, creadurdod, creaduroldeb.
Crebrous, *a.* (Ll. *creber*) mynych, aml.
Credence, *s.* (It. *credenza*, o'r Ll. *credens*) cred, coel, crediniaeth, credid, crededd, coeledd, credadyniaeth, ffydd, ymddiried; cymmeriad; credfa.
To give credence to—credu, coelio; rhoi coel, cred, crediniaeth, *neu* ymddiried i.
Credence, *v. a.* credu, coelio; rhoi cred, coel, crediniaeth, *neu* ymddiried i.
Credenda, *s. pl.* (Ll.) credolion, credinolion, cynghredolion, credoau; pethau *neu* byncian i'w credu.
Credent, *a.* (Ll. *credens*) credol, crediniol, credus; hygred, hygoel; gwiwgred.
Credential, *a.* (Ll. *credens*) gwiwgred, gwiwgoel, gwiwgredus.
Credentials, *s. pl.* credlythyrau, tystlythyrau, credwarant; llythyrau awdurdod *neu* ymddiried: *sing.* credlythyr.
Where are your credentials?—pa le mae eich awdurdod? pa le mae eich credlythyrau?

**Credibility**, *s.* (Ff. *credibilité*, o'r Ll. *credibilis*) gwiwgoeledd, gwiwgrededd, hygrededd, crededd, coeledd, coeledigaeth, credinolrwydd, credinoldeb, hygrediniaeth; tebygolrwydd, tebygoliaeth.

**Credible**, *a.* (Ll. *credibilis*) credadwy, coeladwy, hygred, gwiwgred, gwiwgoel, hygoel, haeddgred, haeddgoel; teilwng o'i gredu.

**Credibleness**, *s.*=*Credibility.*

**Credit**, *s.* (Ff.; Ll. *creditum*) coel, cred, crediniaeth, crededd, ffydd; credid, achred; ymddiried, coeledigaeth; cymmeriad, cyfrif, cyfrifiad, bri, parch, derbyniad, anrhydedd, enw, gair da, clod, gair, cymmyredd, cymmyraeth; awdurdod; dylanwad; credlen, credysgrif; derbynion.

Bills of credit — credleni, credysgrifau, coelysgrifau, ysgrifau coel.

To buy on credit—prynu ar goel; prynu ar gredid; prynu ar air; prynu ar ddydd; prynu heb arian parod; prynu heb dalu i lawr; prynu heb dâl ar law; prynu yn *neu* ar echwyn.

To sell on credit—gwerthu ar goel, &c.

On one's credit—ar ei lawgair; ar ei air; ar ei gred; ar ei achred.

Deserving of credit—gwiwgoel, gwiwgred; gwiw ei gredu.

Of no credit—digoel, anwiwgoel; heb goel arno; anenwog; heb son am dano; âg anair iddo; â drygair iddo; â gair drwg iddo; dïystyr, dinod, difri, dibarch, disas, digymmeriad.

To give credit to—credu, coelio; rhoi coel ar; rhoi cred i; ymddiried i; gwerthu ar goel; gwerthu ar ddydd; gwerthu ar *neu* yn echwyn.

To do credit to—harddu, urddasu, anrhydeddu, ardduno, addurno; peri parch, bri, urddas, cymmeriad, clod, *neu* anrhydedd i; bod yn glod, yn urddas, yn anrhydedd, *neu* yn addurn i; bod er clod *neu* anrhydedd i.

To be in credit—bod yn enwog; bod mewn bri, parch, urddas, *neu* anrhydedd; bod yn wiwgoel.

To crack his credit—colli ei goel, ei gredid, ei gymmeriad, ei barch, ei nodweddiad, ei fri, *neu* ei anrhydedd; myned yn anghymmeradwy, yn ddibarch, yn ddigoel, *neu* yn anwiwgoel.

To grow in credit—cynnyddu mewn parch, bri, anrhydedd, *neu* urddas; cynnyddu mewn gair da; dyfod i barch, i fri, i anrhydedd, i enwogrwydd, i gymmeriad, *neu* i gymmeradwyaeth; myned yn enwog, yn glodfawr, yn hynod, *neu* yn urddasol; myned mewn parch, bri, cyfrif, urddas, *neu* gymmeriad; dyfod i ymddiried.

To pawn one's credit upon a thing—rhoi ar ei lawgair; rhoi ar ei logair.

Letter of credit—credlythyr, llythyr coel.

**Credit**, *v. a.* coelio, credu, achredu, achretu; rhoi coel ar; rhoi coel, cred, crediniaeth, *neu* ymddiried i; ymddiried; ymddiried i *neu* yn; rhoi ar goel; gwerthu ar goel *neu* ar ddydd; gwerthu yn *neu* ar echwyn; gwerthu ar gredid; gwerthu heb dalu i lawr; diddyledu; dilëu dyled; harddu, urddasu, anrhydeddu, ardduno, addurno; peri parch, bri, urddas, clod, cymmeriad, *neu* anrhydedd i; bod yn glod, yn urddas, yn anrhydedd, *neu* yn addurn i; bod er clod, credid, *neu* anrhydedd i.

To credit the amount paid—achredu *neu* achretu y swm â dalwyd.

**Creditable**, *a.* (o *credit*) cyfrifol, parchus, hybarch, gwiwbarch, anrhydeddus, hynod, clodfawr, enwog; o gymmeriad; o air ac enw da; mewn parch, bri, urddas, cymmeriad, *neu* gyfrifoldeb; cyfrifus.

**Creditableness**, *s.* hybarchedd, cyfrifiad, parch, cymmeriad, bri, cyfrifoldeb, parchusrwydd, parchusdeb, gwiwbarchedd, parchedd, cymrïad.

**Creditor**, *s.* (Ll.) achretor, coeliwr, gofynwr, dyledai, credidwr, echwynwr, perchen dyled; holwr, hawlydd;† credwr.

Debtor and creditor—dyledwr a gofynwr; dyledwr ac achretor; dyledwr a chredidwr.

**Creditrix**, *s.* (Ll.) achretores, gofynes, credides.

**Credulity**, *s.* (Ll. *credulitas*; Ff. *crédulité*) hygoeledd, rhygoeledd, coelgarwch, hygrededd, rhygrededd, ysgafn-goel.

**Credulous**, *a.* (Ll. *credulus*) hygoel, hygoelus, coelgar, hygred, credrydd, credin; hawdd ganddo goelio; dilettyb; hydwyll.

**Credulousness**, *s.* coelgarwch, hygoeledd, rhygoeledd, hygrededd, rhygrededd; hydwylledd.

Beyond all credulity is the credulousness of atheists—tu hwnt i bob hygoeledd yw coelgarwch annuwiaid; mae hygoeledd annuwiaid tu hwnt i bob coelgarwch.

**Creed**, *s.* (Ll., Ysp., a C. *credo*; S. *creda*) credo; cred, crediniaeth: *pl.* credoau.

Apostles' creed — credo yr apostolion; symlen yr ebostolion.

Athanasian creed — credo Athanasius, credo Sant Athanasius; y credo Athanasiaidd.

Nicene creed—credo Nicaia, credo Nicaea, credo Nicea; y credo Nicaiaidd.

The creed—y credo; credo yr apostolion.

**Creek**, *v. n.* (C. *crecian*)=*Creak.*

**Creek**, *s.* (S. *crecea*; Is. *kreek*; Ff. *crique*) cilfach, crigyll, ebach, morgilfach, morgeulan, cil, aberig; bachiad, tro, troad.

**Creeky**, *a.* (o *creek*) cilfachog, crigyllog, ebachog; igam-ogam.

**Creel**, *s.* (Is. *kraal*?) basged ferhelyg.

**Creep**, *v. n.* (S. *creopan*, *crypan*) ymlusgo, cropian, ymgropian, crepian, cripian, creinio, dygreinio, dysgreinio, ymlithro, ymgripian, gosgreinio; cerdded *neu* fyned ar dor; myned rhagddo yn araf deg; myned fel malwoden; cynffonloni; bod yn llawn; heidio, heinio; ymlusgo yn ddirgel; ymledu ac ymdaenu; ffalsio.

You must learn to creep before you go—rhaid yw cropian cyn cerdded.

Creeping thing — ymlusgiad, lledwigyn, (*f.* lledwigen): *pl.* ymlusgiaid, lledwigod, lledwigynod.

Creeping bent—maeswellt rhedegog.

Creeping root — llusg-wraidd, gwraidd rhedegog.

Creeping bell-flower—clychlys ymlusgol.

Creeping fescue-grass — peisgwellt ymdaenol.

**Creeper**, *s.* (o *creep*) ymlusgwr, ymlusgydd, cropiedydd, cropiwr, cropianwr; lledwigyn,

(*f.* lledwigen); crepianog, y grepianog; ymlusglys, rhedeglys; bach, crybach, crapach; ffollach; lleuen.

Creeper, Tree creeper, Common creeper, } crepianog, y grepianog.

Wall-creeper—mur-grepianog.

**Creep-hole,** *s.* dïangdwll, dïangfa, llechfa, cilfach, crepianfa; twll i ymlusgo iddo; esgus, coeg-esgus, rhith-esgus; ystryw i ddïanc.

**Creeping,** *s.* (o *creep*) ymlusgiad, cropiad, ymlithrad.

**Creeple,**† *s.*=*Cripple.*

**Creese,** *s.* bidog Malaia.

**Cremation,** *s.* (Ll. *crematio*) llosgiad; llosgiad y meirwon.

**Cremona,** *s.* (=tref yn yr Ital) crwth Cremona, Cremona, Cremon-grwth, argrythan.

**Cremor,** *s.* (Ll.) hufen; swyf, ysgai, ewyn; sug, sudd; sylwedd hufenog.

**Crena,** *s.* (Ll.) bwlch, rhint, rhic.

**Crenate, Crenated, Crenelled,** } *a.* (Ll. *crenatus*) bylchog, rhygnog, rhintiog, rhiciog, deintiog, tolciog, cyfylchog, bylchaidd; bylchedig, rhygnedig; deilfylchog.

Crenate-angular — bylch-onglog, rhintonglog.

Crenate-toothed—bylch-ddeintiog, bylchddanneddog.

**Crenature,** *s.* (o'r Ll. *crena*) bwlch, rhint, rhwgn; bylchiad, rhintiad, rhiciad, tolciad.

**Crencles, Crenkles,** } *s. pl.* (o *cringle* ?) ffillraffau, crychraffau.

**Crenellated,** *a.* bylchog, gwalciog.

**Crenelles,** *s. pl.* (Ff. *creneaux*) muragion, muragorion, tyllau saethu.

**Crenulate, Crenulated,** } *a.* (bychanig o *crenate*) bylchynog, rhintynog, manfylchog, manrintiog, manriciog, manddeintiog.

**Creoles,** *s. pl.* (Ysp. *criollo*) Creolwys, Creoliaid.

**Crepance, Crepane,** } *s.* (Ll. *crepo*) coesagen; ysbelwad ar goes ceffyl.

**Crepis,** *s.* (Ll.) gwalchlys, llysiau y gwalch.

**Crepitate,** *v. n.* (Ll. *crepito*) clindarddach, grillian, crinellu, clecian, clecdori, rhincian, crecian; swnio fel halen wrth losgi.

**Crepitation,** *s.* (o *crepitate*) clindarddach, crinelliad, cleciad, grilliad, rhinciad, rhygnad.

**Crepuscle, Crepuscule,** } *s.* (Ll. *crepusculum*) cyflychwyr, cyfnos, cyfddydd, cyflychwawr, gwyll y nos, gwyll y wawr, cyfwawr, llychwyr, llychwawr, lledwawr; lled-dywyllni; cyfliw gwr a llwyn; rhwng goleu a thywyll; rhwng tywyll a goleu; godywyll bore a nos; lledoleu nos a bore; rhwng gwyll a gwawr; brig y wawr; brig yr hwyr; brig y nos.

**Crepuscular, Crepusculous,** } *a.* perthynol i'r cyflychwyr *neu* i'r gyflychwawr; cyfnosol, llychwyrol, llychwawraidd; godywyll, lled-dywyll, lledoleu, llwydoleu, godywynol, anghlaer, anoleu.

**Crepusculine,**† *a.*=*Crepuscular, Crepusculous.*

**Crescendo,** *s.* (It. o'r Ll. *cresco*) chwyddawd, cynnyddawd.

**Crescent,** *a.* (Ll. *crescens*) cynnyddol, tyfol.

**Crescent,** *s.* cilgant; hanner lloer, hanner lleuad, cefn lloer; y lloer *neu* y lleuad ar gynnydd; lloergynnydd; crymas; lluman y Tyrciaid; gallu y Twrc: lloerdlws.

A crescent of gold—cilgant aur, eurgilgant.

**Crescent,** *v. a.* cilgantio; llunio yn gilgant; gwneuthur ar lun hanner lloer.

**Crescented,** *a.* cilgantog; cyfylchig; addurnedig â chilgant.

**Crescent-formed,** *a.* ar lun hanner lleuad; cilgant-luniog; cilgantaidd.

**Crescent-shaped,** *a.* lloerenaidd, lloeranaidd, cilgantaidd, tyfloeraidd; yn tyfu ar lun lloer ar gynnydd.

**Crescentia,** *s.* (er cof am P. *Crescentio*, Italiad) y pren Calabass.

**Crescive,** *a.* (Ll. *cresco*) cynnyddol, tyfol, tyfiannol, tyfiannus.

**Cress,** *s.* (Ff. *cresson;* Al. *kresse;* S. *cressen, cærse*) berwy, berwr, berw.

Garden cresses—berwy yr ardd, berwr yr ardd, berwy Ffreinig, berwy Ffrengig, berwy Ffrainc, berw y gerddi.

Water cresses—berwy y dwfr, berwy y dwr, berwy y ffynnonau.

Wall cresses—berwy y fagwyr, berwr y fagwyr, berwy y ceryg.

Bitter winter cresses, Yellow rocket, } berwy y gauaf, berwr y gauaf, berw y gauaf.

Swine's cresses, Wart cresses, } olbrain, olfran, berwy y moch, berwr y moch, olbrain dafadenog.

Sciatica cresses—beryn, berwy y glinwst, berw y glinwst.

Annual cress rocket—beryryn.

Creeping yellow cresses—berwy melyn ymlusgol y dwr.

Indian cresses—berwy yr India, berw yr Ind.

Normandy cresses, Belleisle cresses, } berwy cynnar, berwr cynnar, berwy Normandi.

**Cresset,** *s.* (Ff. *croisette*) coelcerth, goleu gwyldwr, banffagl tŵr gwylied, gwenfflam goleudy, tânfwdwl; erllen, llygorn, ffaglen, arffaglen, llugern, croeslygorn; trybedd; rhwyll.

**Crest,** *s.* (Ll. *crista;* It. *cresta;* Ff. *crête*) crib; cribell; copa, cobyn, siobyn, cob, sioba, copyn, siob; barfle; helmaddurn, penaddurn, penial, helm, penor, penffestin; cribaddurn; twff, mwng; trum, top, crim; balchder, uchder, ucheldrem, ffroenuchder, argonedd, arial, calondid.

Crest of a helmet—barfle, pyrgwyn, pyrchwyn, crib penial, crib helm, barfle helm, copa helm.

Crest (in heraldry)--crib, copa, penaddurn, helmaddurn, helm gribog, y grib, y gribell.

Crest of a bird—copa aderyn, cobyn aderyn.

Crest of a cock—crib ceiliog.

Crest of a horse—mwng march; gwelv mwng march; myngen; crib gwddf march; gwâr *neu* wegil march; crib march.

His crest is lowered—torwyd ei grib; darostyngwyd ei falchder; daeth ei falchder i lawr.

To set up one's crest—codi ei grib; ymfalchïo, ymddyrchafu, ymsythu, ymgodi.

**Crest,** *v. a.* cribogi, copynogi, cobyno; addurno â chrib *neu* gopa; hirlinnodi, hirlinellu.

**Crested,** *a.* (o *crest*) cribog, cobynog, copaog, copynog, copog, siobynog; cribellog; cribaddurnog; tyffog; arflenog; barfleog.

Crested dog's-tail grass—rhonwellt y ci cribog.

Crestedly-toothed — cribddeintiog, cribddanneddog.
Crested heron—crëyr copog.
**Crest-fallen**, *a.* prudd, digalon, llwfr, llwrf, penisel, penllipa, llipa, llibin; gwedi ei ddigaloni; gwedi ei wangaloni; wedi ei ddarostwng; wedi tori ei grib; crib-syrthiog.
**Crestless**, *a.* (*crest* a *less*) digrib, dïachen, dïarflen; heb arfarwyddion; heb arwyddion bonedd; difonedd, lledrywiog, lledachog, adlawaidd, gwerinaidd, anenwog.
**Crest-marine**, *s.* corn carw y graig, ffenigl y graig.
**Crest-tile**, *s.* crombeithynen, cribbeithynen, trumbeithynen, cefnbeithynen, cafnbeithynen: *pl.* crombeithyn, crombeithynau.
**Creta**, *s.* (Ll.) marm, gwynbridd, calchbridd.
**Cretaceous**, *a.* (Ll. *cretaceus*) marmog, marmaidd, marmlyd, gwynbriddog, marmain.
Cretaceous group—marm-gynnulliad, haib y marm, haib farmog, y cynnulliad marmaidd.
**Cretated**, *a.* marm-rathedig.
**Cretic**, *s.* (Gr. *crêticos*) corfan o dair sill, un fer rhwng dwy hir.
**Creticism**, } *s.* (o *Crete* neu *Creta*: gwel *Tit.*
**Cretism**, } i. 12) geudeb, celwydd, ffalsedd, geuedd, anwiredd; Cretiaeth; arfer y Cretiaid gynt.
**Cretin**, *s.* (Ff.) symlyn, gwirionyn, ffol geni.
**Cretinism**, *s.* symlyniaeth, symlogaeth, symlyndod=math ar anhwyldeb cyffredin mewn parthau o Switserland, ac mewn rhai gwledydd mynyddig ereill.
**Cretose**, *a.* (Ll. *cretosus*) marmog, marmaidd.
**Crevice**, *s.* (Ff. *crevasse*) breg, agen, hollt, gagen, ag, agoriad, egoriad, agor, gorel, rhwyg, gorimyn, crec.
**Crevice**, *v. n.* agenu, agu, hollti, bregu, agor, ymagor, fflawio.
**Crevis**, *s.* (Ff. *écrevisse*) ceimwch yr afon, ceimwch Mair, ceimwch coch, ceimwch dwr croew.
**Crew**, *s.* (S. *cread, cruth*) ciwed, ystrain, cnud, haid, cwlwm, cenfaint, myntai, rhawter, rhawd; cydforwyr, cydlongwyr, gwŷr llong; cymdeithion; dyhirwyr.
Ship's crew—ystrain llong, cydforwyr, cydlongwyr, dwylaw llong, gwŷr llong.
Infernal crew—cethern, cethern uffernol.
The resort of the infernal crew—y fallgyrch, cynghetbernan.
An infernal crew confined in chains—cethern gaeth-rau.
Idolatrous crew—gwehilion eilunaddolaidd (*Doeth.* xii. 6).
**Crewel**, *s.* (Is. *klewel* ?) hirwlan deugord; edef ddeugord; pellen edafedd.
**Crewet**, *s.* (Ff. *cruchette*) chwaethel.
**Crib**, *s.* (S. *crybb*; Is. *krib*) preseb; rhastal, rhesel; côr ychain; llogail; bwthyn, cotty; gwelyan, còrwely, gwely bach; blwch.
**Crib**, *v. a.* ffroncio, llocio, crutio, cutio; darnguddio, chwiwladrata; celcio, celcu, chwiwio, chwiwian, chwiwbigo.
**Cribbage**, *s.* math o chware ar gardiau.
**Cribble**, *s.* (Ll. *cribellum*) gogr, gwagr, gwagr tro, gogr nithio, gwagr yd, gogr diraianu, rhidyll; peillied *neu* flawd garw.
**Cribble**, *v. a.* gogryn, gwegryn, gogrynu, gwegrynu, rhidyllio.
**Cribration**, *s.* (Ll. *cribro*) gogryniad, gwegryniad, rhidylliad; glanhad.
**Cribriform**, *a.* (Ll. *cribrum* a *forma*) gograidd, gwagraidd, rhidyllaidd, rhidyllog, rhidyllwedd.
**Crichtonite**, *s.* (oddi wrth y Dr. *Crichton*) math o ddelidfaen.
**Crick**, *s.* (C. *crec, cric*) pigyn, gwyneg, tryboen, gwrwst leol;† crec, cric, gwich.
**Cricket**, *s.* (o'r sain; Is. *krekel*) criciedyn, criciedydd, cricell, criced, criciad, cricied, pryf y tân, grilliedydd: *pl.* criciaid, cricellod, cricellau.
Fen-cricket, } rhinc y tes, rhinc y
Mole-cricket, } llin.
House-cricket—pryf y tân, criciedyn, &c.
As merry as a cricket—mòr llon a'r brithyll.
Cricketing apple—crencyn, còrafal.
**Cricket**, *s.* (S. *cricc* ?) chware tafarch, chware humog, chwareu pel a chlwpa, humogaeth, tafarchiaeth, chware pel dafarch.
To play at cricket—chwareu pel a chlwpa; chware pel dafarch.
**Cricket**, *s.* (Sw. *krycka* ?) ystol isel.
**Cricketer**, *s.* (o *cricket*) chwariwr pel a chlwpa, tafarchwr, humogydd, humanwr.
**Cricket-match**, *s.* ymdrech dafarch, ymdrechfa dafarch, humgamp; cystadlaeth ar chware pel dafarch.
**Cricoid**, *a.* (Gr. *cricos* ac *eidos*) modrwyaidd, rhwyaidd.
**Crier**, } *s.* (o *cry*) crïwr; gwaeddwr, llefwr,
**Cryer**, } dolefwr; cyhoeddwr, hoeddiadur.
Public crier, } gwaedd gwlad, crïwr,
Common crier, } cyhoeddwr, cenad fawr ergryd, geilwad; dodwr cri; dodwr nad; rhingyll; crïwr cyffredin.
Crier of a court—gostegwr, gostegydd, cyhoeddwr llys.
**Crime**, *s.* (Ff.; Ll. *crimen*; Gr. *crima*) trosedd, bai, camwedd, cam, cwl, cwyl, efrad, gwŷd; pechod, drygioni, anwiredd; cyflafan, caredd, camweithred, cam cyhoeddus, camgwl; gweithred yn erbyn cyfraith; troseddiad.
Capital crime—trosedd marwol, trosedd dïenydd, trosedd angeuol, achos crog, mater crog, bai collfywyd; caredd teilwng o angeu; trosedd yn haeddu marwolaeth *neu* angeu; prif drosedd, camwedd dïenydd; cyflafan farwol *neu* angeuol.
Foul crime, } trosedd dybryd, achos
Heinous crime, } dybryd, cyflafan ddybryd; cyflafan.
To clear one of a crime laid to his charge—cyfiawnhau, diheuro, glanhau.
To clear one's self of a crime—ymlanhau oddi wrth drosedd; ymddiheuraw oddi wrth fai; diheuro ei hun oddi wrth fai; ymgyfiawnhau; dangos *neu* brofi ei ddiniweidrwydd; diddymu cyhudded.
**Crimeful**, *a.* (*crime* a *full*) troseddog, troseddol, troseddus, dryglawn, camweddog, beiog, beius, cwylfawr, cylus, euog, pechadurus, drygionus; croes i gyfraith.
**Crimeless**, *a.* (*crime* a *less*) didrosedd, difai, diniwed, diddrwg.
**Criminal**, *a.* (Ll. *criminalis*) troseddog, troseddol, camweddus, camweddog, dryglawn, camgylus, beius, cylus, cwylfawr, euog, drwg, drygionus, careddog, gwydus, pechadurus, anwireddus.

Criminal court — troseddlys, llys trosedd-au.
Criminal conversation (*crim. con.*)—cyweithas odinebus, cyfeillach odinebus, cystlwn godinebus, ymgystlwn anghyfreithlawn, cystlwn beius; cywestach anghyfreithlawn â gwraig briod.
Criminal law—troseddraith, cyfraith troseddau; cyfraith berthynol i droseddau.
Criminal action—gweithred anghyfreithlawn, gweithred droseddog, gweithred gylus; trosedd; bai cyhuddol.
Criminal prosecution—canlyniad trosedd, erlyniad trosedd, erlynad trosedd.

Criminal, *s.* troseddwr, drygweithredwr, drygweithredydd, camweddwr, troseddur, camweddog; un beius, cylus, camgylus, *neu* euog; euogwr, euogddyn, cyhuddog, cyhuddedig, cyhuddol.
Refuge for criminals—celefrad, celyfrad; noddfa troseddwyr.

Criminality, } *s.* troseddoldeb, troseddogrwydd, camweddusrwydd, camweddogrwydd, cylusrwydd, beiusrwydd; euogrwydd; camwedd, trosedd; careddogrwydd.
Criminalness, }

Criminate, *v. a.* (Ll. *criminor*) cyhuddo; cyhuddo yn euog; euogi, beio; dwyn cyhuddiad yn erbyn.

Crimination, *s.* (Ll. *criminatio*) cyhuddiad, cyhudded.

Criminatory, *a.* (Ll. *criminatorius*) cyhuddol, cyhuddiadol, cyhuddog, cyhuddgar, hyfeiol.

Criminous,† *a.* (Ll. *criminosus*) drwg, dryglawn, drygionus, anwireddus, euog, beius, cylus.

Criminousness,† *s.* euogrwydd; trosedd; beiusrwydd; drygioni.

Crimosin, *s.* =*Crimson.*

Crimp, *a.* (S. *acrymman;* Is. *kruim*) brau, hyfriw, hydor, hyfreg, briwsionllyd, briwysionllyd, crispin, crispiniol, breugras, cras, crych;† anghysson.

Crimp, *v. a.* (C. *crimpio*) dàl, dala; crimpio, gwasgu; gafaelyd yn; dàl a gwasgu.

Crimp, *v. a.* (S. *gecrympt*) crychu, telcu, crispio, crispinu, crybychu, crebachu, argrychu.

Crimp, *s.* goruchwylwyr dàn fasnachwyr glo; crimpyn; hudwr; †chwareu ar gardiau.

Crimpage, *s.* crimpyniaeth, cripyniad; llithdal.

Crimple, *v. a.* (Is. ac Al. *krimpen;* C. *crimpio*) crebachu, crybychu, crychu, argrychu; telcu, telgyngu; crimpio, tynu ato, cwtogi, còri, byrhau, tyrfu.
To go crimpling—myned dàn delgyngu; cerdded yn anwastad gàn wendid; ymlusgo, cloff-ymlusgo.

Crimpled, *p. p.* telging; crych, crepach, crybychedig.

Crimson, *s.* (It. *cremisino, cremisi;* Ff. *cramoisi*) rhudd, rhuddgoch, cochrudd, porffor, porfforliw, cochlas, glasgoch, rhuddon, rhuddain, coch, creuliw, cochliw, rhuddell, coch dwfn, ffuon, ffion.
Brownish crimson — gwineurudd, llwydrudd, rhuddlwyd.
Crimson blue—rhuddlas.

Crimson, *a.* rhudd, rhuddain, rhuddgoch, cochrudd, cochlas, glasgoch, porffor, porfforaidd, porfforliw, rhuddwawr, coch, ffuon, ffion.
Crimson stream—creulif, cochlif, cochre, creulanw; ffrwd rudd, &c.
Crimson plain—creulan, creulawr, rhuddlan, rhuddlawr, rhuddwaent, cochwaent; gwastadedd rhuddliw.
Crimson spot—rhuddfan, rhuddfa, cochfan, màn ruddain.

Crimson, *v. a.* rhuddo, cochi, gwrido, rhuddoni, ffuoni, porffori, rhuddeinio.

Crimson-hued, *a.* rhuddliwiog, rhuddliw, cochliwiog, cochliw, porfforliwiog, rhuddain, coch, rhuddwawr, cochwawr.

Crimson-warm, *a.* rhudd-wresog, rhudd-dwym, cochdwym.

Crinal, } *a.* (Ll. *crinalis*, o *crinis*) gwalltol, gwalltaidd; perthynol i'r gwallt.
Crinatory, }

Crinated, *a.* (Ll. *crinitus*) ffluwch, ffluwchog, gwalltyffog, tyffog, gwalltlaes, gwalltog.

Crincum, *s.* gwrwst, cwlwm gwythi; crebachiad; mympwy.

Crined, *a.* (Ll. *crinis*) gwalltog, gwalltedig.

Cringe, *v.* (Is. *kring, krinkel?*) capio, cynffonloni, ymgrymu, ymblygu; rhoi ei ben dàn draed; plygu ar bob glin; ymgrymu *neu* ymostwng yn isel; gwasaidd ymostwng; plygu glin yn dragostyngedig; truthio, trutheinio, gwenieitho, truthgrymu, cwrienu; crebachu, crybychu, crynöi, tynu ato.

Cringe, *s.* capiad, truthblygiad, truthgrymiad, truthgrwm; ymgrymiad isel gwenieithus; truthgar blygiad glin; truthgapiad; truthfoes, truth, gweniaith, truthad, cwrian.
Full of cringes—moesgar dros ben; llawn moes ac ymgrymiad; yn plygu ar bob glin; llawn truthblygion; truthlawn, truthgar.

Cringeling, } *s.* (o *cringe*) capiwr, isel gapiwr, isel blygwr; truthiwr, truthan.
Cringer, }

Cringle, *s.* (Is. *kring, krinkel, kronkel*) rhwyraff, dolraff, rhwy; gwden.

Criniculturul, *a.* (Ll. *crinis* a *cultura*) gwalltyfol, gwalltfeithrinol, gwallt-amaethol.

Crinigerous, *a.* (Ll. *criniger*) blewog, gwalltog.

Crinite, *a.* (Ll. *crinitus*) ffluwch, ffluwchog, gwalltyffog, gwalltlaes, gwalltog, tyffog.

Crinkle, *v.* (Is. *krinkelen*) crychu, ymgrychu; myned yn grychion, yn grychiau, yn grychiadau, *neu* yn ddilliau; ymddillio; dolenu, ymddolenu, dolystumio, ymblygu, ymdröi, ymgamu; rhychu, tolcio; gwneuthur yn grychion *neu* grychiadau.

Crinkle, *s.* crych, crychni, crychiad; plyg, dill; doleniad, dolystumiad.

Crinoid, *s.* (Gr. *crinon* ac *eidos*) elestfil, crinfil.

Crinoidea, } *s. pl.* (Gr. *crinon* ac *eidos*) elestfilod, crinfilod, crinonfilod.
Crinoideans, }

Crinoidal, } *a.* elestfilaidd, elestfilawl, crinfilaidd; perthynol i'r elestfilod.
Crinoidean, }

Crinose, *a.* (Ll. *crinis*) gwalltog, blewog; garw.

Crinosity, *s.* (o *crinose*) gwalltogrwydd, blewogrwydd.

Crinum, *s.* (Gr. *crinon*) elestlys, crinonlys.

Criocerates, } *s. pl.* (Gr. *crios* a *ceras*) myhargyrn, myhargorniaid.
Crioceratites, }

Cripple, *s.* (Is. *kreupel;* Al. *krüppel*) cloff, efrydd, un cloff, un efrydd, efryddyn, cloffyn; un ar faglau; un ar ffyn baglau; dyn baglog.

Cripple, *a.* cloff, efrydd.

Cripple, *v. a.* cloffi, efryddu; peri cloffi *neu*

gloffni; gwneuthur *neu* beri yn gloff; peri cloffni ar; gwneuthur yn efrydd; diffrwytho, analluogi, gwanychu.
**Crippleness**, *s.* (o *cripple*) cloffni, cloffi, efryddwch.
**Crisis**, *pl.* Crises, *s.* (Ll. a Gr.) eithafnod, eithafed, eithaf, terfenydd, eithafris, eithafradd, eithafgyrch, argyfwng, uchder, uchafnod; eithafgyrch, uchder, *neu* addfedrwydd clefyd; yr amser i droi ar wellhad *neu* waethygiad; yr amser i wneyd un o ddeubeth; addfedrwydd gorchwyl; y pryd y dirnedir pa ffordd y try peth; dwys gyfwng.
The distemper is at its crisis—y mae y clefyd ar yr uchaf; y mae y clefyd wedi cyrhaedd ei eithaf *neu* ei eithafnod.
**Crisp**, *a.* (Ll. *crispus*) crych, crispin, crispiniog, crispiniol, crispinaidd, crychedig; modrwyog; â chroesdro ynddo; llofnog, llywethog; tolciog, cyfylchog; brau, hyfriw, hydor, hyfreg, crin, sychgras.
**Crisp**, *v.* crychu, crisbinio, crispio, crispynu; ymrychu; torchi, nyddu, ymnyddu; gwneuthur yn grych *neu* grispin; myned yn grych *neu* grisbin; modrwyo, troi, ymdröi; tolcio, ystumio, dyströi; sychgrasu, breugrasu; ffillio, llofni, llywethu, pengrychu; chwibyrnu.
Crisped lock—crych-gudyn; cudyn crych, crychedig, *neu* fodrwyog; cudyn o grychwallt.
Having crisped hair—pengrych, gwalltgrych; cudynog, llofnog; â gwallt crych *neu* fodrwyog iddo.
**Crispated**, *a.* (Ll. *crispatus*) crispiniog, crispynog, crycharw.
**Crispation, Crispature,** crispiniad, crispiad, crychiad, crispyniad, ymgrychiad, ymnyddad; sychgrasiad.
**Crisping-pin, Crisping-iron,** *s.* crychnodwydd, crychnydwydd, crychiadyr; gwaell i grychu gwallt; haiarn crychu, crisppin.
**Crispisulcant**, *a.* (Ll. *crispus* a *sulcus*) crychffleuog, crychdonog, crychfflachiog.
**Crispness**, *s.* (o *crisp*) crispinrwydd, crispinder; crychni, crychedd, crychiant, crychineb; breuder, breuolrwydd; sychgrasder, crasder.
**Crispy**, *a.* (o *crisp*) crych, crispin, crispiniog, crychiannus, crispynog; cudynog, modrwyog, llofnog, llywethog; brau, hyfriw, sychgras, breugras, crin-gras.
**Cristate, Cristated,** *a.* (Ll. *cristatus*) cribog, copaog, cobynog, copog, copynog, tyffog, siobynog, topynog.
**Criterion**, *s.* (Gr.) safon, prawfaen, maen prawf, profiedydd, prawf, barnbrawf, seilbrawf, coelbrawf, prawfynag, prawgoel, talben.
**Crithmum**, *s.* (Gr. *crithê*) ffenigl y môr, corn carw y môr, sampier.
**Crithomancy**, *s.* (Gr. *crithê* a *manteia*) heiddarmes, heiddogan, heiddgoel, teisogan, teisddewiniaeth, dewiniaeth â theisenau.
**Critic**, *s.* (Gr. *criticos*) beirniad, llenfeirniad, beirniedydd; barnydd, barnor, barnwr, barnodydd; beiadur, hyfeiwr.
**Critic**, *a.* beirniadol, llenfeirniadol; manylgraff, manwl, craffus.
**Critic**, *v. n.* beirniadu, barnu; chwareu y beirniad.
**Critical**, *a.* (Gr. *criticos;* Ll. *criticus*) beirniadol, llenfeirniadol; manwl, manol, manylgraff, craffus, craff, cywrain, cywir, dichlyn, medrus; destlus ei farn; synwyrlym; enbyd, enbydus, peryglus; terfynol, pwysig, pwysfawr; eithafus, eithafnodol, terfenyddol; hyfeiol, cecrus; cytûn â rheolau beirniadaeth; hanfodol i farnu *neu* i benderfynu.
Critical times—amseroedd enbyd.
The critical day of a distemper—dydd barn am glefyd; dydd eithafgyrch, eithafradd, *neu* eithafnod clefyd; marwddydd, marddydd.
Critical sweat—chwys eithafnodol; chwys terfenyddol.
Critical journal — beirniadur, cyfnodur beirniadol.
**Criticalness**, *s.* beirniadoldeb, beirniadolrwydd; manyldeb, manylder, manylwch, manoldeb, manylrwydd, manyledd, cywreindeb, dichlynrwydd, cywirdeb, craffder, neisrwydd; enbydrwydd; terfenyddoldeb.
**Criticise**, *v.* beirniadu, llenfeirniadu; beirniadu ar, barnu, arholi, barnodi; beio, senu; beio ar; chwareu y beirniad; manylfarnu.
**Criticiser**, *s.* beirniad, beirniedydd; beiwr, beiadur.
**Criticism**, *s.* beirniadaeth, llenfeirniadaeth, beirniaeth; barnoriaeth, llenfarn, manylfarn; sylw *neu* sylwad beirniadol.
General criticism—beirniadaeth gyffredinol.
Æsthetical criticism—beirniadaeth ddeiniol, beirniadaeth ddeiniolig.
Historical criticism — beirniadaeth hanesol.
Philosophical criticism — beirniadaeth athronyddol.
Philological criticism—beirniadaeth ieithyddol.
Biblical criticism—beirniadaeth ysgrythyrol; beirniaeth Feiblig.
**Critique, Critic,**† *s.* (Ff. *critique*) beirniadeg, beirniadaeth, beirniadeb, sylw beirniadol, nodiad beirniadol, beirnnodiad; manwl ymholiad, arholiad.
**Crizzel, Crizzeling,** *s.* (Ll. *crispus*) gerwinder gwydr; crychni *neu* erwindeb ar wyneb gwydr.
**Croak**, *v. n.* (o'r sain; S. *cracettan;* Ll. *crocio*) crawcian, crawcio, crygleisio, crëu, dychrëu; cawcio, cogor, ysgrechian; grwytho, grymial, gryngian, grydian; lleisio *neu* nadu fel llyffant; crëu *neu* leisio fel cigfran.
**Croak, Croaking,** *s.* crawc, cryglais, dychre, creglais, grwyth, grwng, dychread, crawciad, crygleisiad; llais *neu* nad llyffant; cre, llais, ysgrech, *neu* gryglais cigfran.
**Croaker**, *s.* crawciwr, crygleisydd; grwythwr, grwgnachwr, achwynwr afresymol.
**Croats**, *s. pl.* (o *Croatia*) Croatwys; cadluoedd afreolaidd cynnwysedig o frodorion Croatia.
**Crocalite**, *s.* (Gr. *crocos* a *lithos*) saffrymfaen, saffyrfaen.
**Croceous**, *a.* (Ll. *croceus*) saffrymaidd, saffraidd, saffyraidd, saffrin; saffrymog, saffrog; melyn.
**Croches**, *s. pl.* (Ff. *croche*) blaendyfion corn carw; cornfywull; cnapiau blaen corn carw.
**Crochet**, *s.* (Ff.) crygwe, crymfachwe.
**Crocitation**, *s.* (Ll. *crocito*) crawciad, crygleisiad, cregleisiad; crawc, dychre, cryglais.
**Crock**, *s.* (S. *cruce, crocca*) cregen, llestr pridd; crochan, pot; cwpan, cib; ystol fechan.

**Crock**, *s.* parddu, huddygl; parddu cefn crochan.
**Crock**, *v. a.* pardduo; duo â pharddu.
**Crockery**, *s.* (o *crock;* C. *crochan*) llestri pridd, priddlestri, llestri priddion, cregenau.
**Crocket**, *s.* (Ff. *crochet*) deilffas, deiladdurn, deilglwm, crygaddurn.
**Crocodile**, *s.* (Gr. *crocodeilos;* Ll. *crocodilus*) afanc, crocodeil, crocodil; addanc: *pl.* afancod, efync, efeinc: bachell, bachelleb.
**Crocodile**, *a.* afancaidd, crocodeilaidd; twyllodrus, bradwraidd, rhagrithiol, ffugiol; twyllebus, bachellus.
Crocodile tears—dagrau bradus; dagrau bradwraidd, dagrau twyllodrus; gau ddagrau, dagrau gau, twyll-ddagrau, dagrau crocodeilaidd.
**Crocodilean**, **Crocodilian**, *a.* afancaidd, afancol, crocodeilaidd; perthynol i'r afanc.
**Crocodility**, *s.* afancusrwydd; ymresymiad cyfrwys, cipgar, *neu* dwyllodrus; bachellusrwydd.
**Crocodilurus**, *s.* (Gr. *crocodeilos* ac *ouros*) afanclost.
**Croconate**, *s.* (Gr. *crocos*) saffraint, hal saffrwm.
**Croconic Acid**, *s.* sur saffrig, sur saffrymig.
**Crocus**, *s.* (Ll.; Gr. *crocos*) saffrwm, saffr, saffyr, saffrwn: lleblwch, saffrymlwch, pylor melyn.
Saffron crocus — saffrwm meddygol, y feddyges felen.
Variegated spring crocus—saffrwm amryliw, saffr amliwiog.
Scotch crocus—saffrwm deuflodiog, saffr Ysgotig.
Spring crocus, Garden crocus, saffr gwanwynol, saffrwm gwanwynol, saffyr y gwanwyn.
Large yellow crocus—saffrwm llebliw; saffr melyn mwyaf.
Small yellow crocus — saffrwm euraid; saffr melyn bychan *neu* leiaf.
Cloth-of-gold crocus—saffrwm eurwe.
Sicilian crocus—saffrwm perarogl, saffrwm Sicilia, saffr hirflodiog.
**Croft**, *s.* (S.) cadlas, gower, bwra, talwrn, maes bychan, maesan wrth dy.
**Croisade**, *s.* (Ff. o *croix*, croes) croesawd, croessawd, crwysgad, croesgad, rhyfel y groes.
**Croises**, *s. pl.* (Ff.) crwyswyr, croessawdwyr, croesfilwyr, milwyr y groes; croesgeimiaid, crwysgeimiaid, pererinion y groes.
**Croissante**, *s.* (Ff.) croes gilgant.
**Croker**, *s.* aderyn Americaidd.
**Cromlech**, *s.* (C.) cromlech; *pl.* cromlechau.
**Crone**, *s.* (Gw. *criona;* Gr. *gerôn*) gwrach, hen wraig; hen ddafad, hen famog.
**Cronet**, **Cronel**, *s.* (o *coronet*) swrl, swrn, blew swrn march.
**Cronical**, **Chronical**, *a.* (Gr. *acros* a *nux*) cyfadegol.
**Crony**, *s.* (Gr. *gerôn;* Gw. *criona*) cyfaill, cydymaith, cyfaill monwesol, cyfaill agos; cyfeilles; hen gydnabod.
An old crony—hen gydnabod, hen gyfaill.
**Crook**, *s.* (Sw. *krok;* D. *krog;* C. *crwg*) bach, crwbach, crybach, gafaelfach, tynfach, craff, crwg, crwcyn, bachyn, bechyn, hwg; camni, cemi, camedd, gwyrni, crymedd, plyg; ffon bach, *neu* grybach bugail; bugeilffon, ffon gnwpa, baglan, bagl; ffon esgob; crogbren, crogwydd; cyfrwysder, cyfrwysdra, cyfrwyswaith, cast.
A bishop's pastoral crook—bugeilffon esgob, bagl esgob, baglan esgob, ffon gnwpa esgob.
Crook and eye—bach a llygad; bach a dolen; crwcyn a meilyn; bach a derbyniad.
By hook or by crook — rhyw fodd neu gilydd; rhyw ffordd neu gilydd; o fodd neu o anfodd; trwy deg neu drwy hagr; trwy gam neu trwy gymhwys; trwy gam neu drwy union; naill ai o fodd neu o anfodd; bid gam bid gymhwys; bid cam bid cymhwys; bid gam bid union; naill ai ar groes neu ar hyd; naill ai ar draws neu ar hyd; trwy hwg neu ddwg; ar hyd neu ar groes; ni waeth pa fodd; yn rhywffordd neu gilydd; o dde neu o chwith; i'r rhyd neu i'r bont.
**Crook**, *v.* camu, crymu, plygu, crybachu, crwcäu, crocäu, crwcanu; ymgamu; gwyro, gwyrdroi.
**Crook-back**, *s.* cefn cam, cefn crwca, camgefn, cefn crwbi.
**Crook-backed**, *a.* cefn-grwca, crwca, cefngrwm; gwargam; cefn-grwbi, cefn-grwba, cefnhwrwg.
**Crooked**, *a.* cam, crwca, (*f.* croca), crwm, (*f.* crom), achrwm; gŵyr, gwyrgam, gwyrdraws, gwyrog, agwyr, addwyr, trofäus; bachog, dolenog; ystumiol, anuniawn, ystwyrgam; pantog, pannylog; bwaog; cefn-grwm.
Crooked paths—llwybrau ceimion, llwybrau gwyrgeimion.
Crooked nose—trwyn crwca, trwyn bwa, trwyn bwaog, trwyn bilwg, trwyn cam.
Crook-nosed — trwyn-gam, trwyn-grwm, trwyn-grwca, trwynbwa; â thrwyn bwaog *neu* gefn-grwm iddo; trwynbant; â thrwyn cefnbant iddo.
Crooked two different ways—â phlyg a gwrthblyg ynddo.
Crooked generation—cenedlaeth drofäus.
To become crooked—camu, gwyro, crymu, achrymu; myned yn gam *neu* grwm.
**Crookedness**, *s.* (o *crooked*) camedd, cemi, camder, camni, cami, crymedd, gwyrni, gwyredd, gwyrgamedd, gwyrogrwydd, ystwyrgamedd, crwcanedd, crymder, bachogrwydd; trofäusder, gwyrdrawsedd, trawswyredd, trofäusrwydd, anunionder, anuniondeb.
**Crook-kneed**, *a.* glin-gam, gargam, glin-grwm, gargrwm; â gliniau ceimion iddo.
**Crook-shanked**, *a.* coesgam, gargam, gafigam, bon-gam.
**Crook-shouldered**, *a.* gwargam, ysgwyddgam, gwargrwm; cefn-grwm.
**Croop**, **Croup**, *s.* (Ysg. *croup;* S. *kreopan;* Goth. *kropyan*) grygwst, crygwst, gyddfwst, gyddglwyf.
**Crop**, *s.* (S.; Is. *krop;* Al. *kropf*) crombil, cromil, cropa.
**Crop**, *s.* cnwd, cnod, adgen, cynnyrch, heiniar, ffrwyth, cyffrwyth; toraeth; cynauaf; † top, blaen, diwedd.
First crop—cynnwyn, blaen-gnwd, y cnwd cyntaf, y gnod gyntaf.
To yield a crop—cnydio, cynnyrchu.
To bear a good crop—cnydio *neu* gynnyrchu yn dda.

Crop of berries—cnwd *neu* gnod o aeron; cnwd o rawn.
Crop of corn—cnwd o yd, cnod o yd; crewyn.
Crop of apples—cnwd o afalau.
Crop of pears—cnwd o ellaig, cnwd o ber.
Green crops—cnydau gleision.
Rotation of crops—trafn cnydau; cylch o gnydau.

Crop, *v. a.* tocio, blaendori, cwtäu, cwtanu, cytio, blaendocio, brigdori, brigladd, difrigo, ysgythru, trychu; blaenbori; tori, medi, lladd; gwelleifio, cneifio; tori blaen *neu* frig; tori yn anaddfed; tynu, plicio.

Crop,† *v. n.* cnydio, cynnyrchu.

Crop-ear, *s.* clustgwta, clustgwtog, ceffyl clustgwta.

Crop-eared, *a.* clustgwta, clustgwtog, cwla; gwedi tocio ei glustiau.

Cropful, *a.* â llonaid ei grombil; llawn ei grombil; wedi cael ei wala; â'i gropa yn llawn.

Crop-out, *s.* codiad haen i'r gwyneb; codiad allan; gwyneb godiad.

Crop-out, *v. n.* addfedu allan; addfedu yn gnwd toreithiog; codi i'r gwyneb; tori allan.

Cropper, *s.* (o *crop*, crombil) colomen grombilfawr, cropaog.

Cropper, *s.* (o *crop*, tocio) tociwr, tociedydd.

Cropping, *s.* (o *crop*) tociad, blaendoriad, trychiad, &c.; codiad cnydau.

Cropsick, *a.* alarglaf, glythglaf; meddw henbob; claf o'r meddwdod *neu* y glythineb ddoe; claf o lythineb; anhwylus o herwydd bwyta *neu* yfed gormod; claf o loddest; alarllyd.

Cropsickness, *s.* alarglefyd, alarglefni, alarglwyf, glythglefni, glythglefyd, glythglwyf; anhwyldeb oddi wrth lythineb *neu* feddwdod; clefni o'r meddwdod *neu* y glythineb ddoe.

Crosier, *s.* (Ff. *crosse;* Ll. drosgl, *crocia*) bugeilffon, ffon gnwpa, bagl esgob, baglan esgob, bugeilffon esgob, croesferllysg; croes, bagl, baglog.
Crosier and gospel—bagl ac efengyl.
Crosier (in astronomy) — Croes; pedair seren yn yr arddrych dde, ar lun croes.

Croslet, Crosslet, } *s.* (o *cross*) croesig, croes fechan.
Cross croslet—croes bengroes.

Cross, *s.* (Ll. *crux;* Al. *kreux;* Ff. *croix;* C. *croes*) croes, crog, crwys, croesbren, pren crog, pren croes; adfyd, gofid, blinder, trallod, ing, poen, rhwystr, croesineb, croesder.
Cross fitchee—croes bigog.
Cross tau—croes ar lun T; croes Sant Anthon.
St. Andrew's cross, Saltier cross, } croes Sant Andreas; croes ar lun X; croes ymgroes, croes gynghroes.
Let-in cross—croes gywirgroes, croes ymseidiog; croes ar lun †.
Weeping crosses—croesau wylofus, croesau penyd.
Crosses of memorial—croesau cyfargofiol.
Cross and pile—croes a chluder.
The sign of the cross—arwydd y grog; arwydd y groes.
His meritorious cross and passion — ei ryglyddus grog a'i ddyoddefaint.
Holy Cross Day — Gŵyl y Grog; Dydd Gŵyl y Grog; Dydd Gŵyl y Groes; Dydd y Groes Santaidd=Medi 14.
Invention of the Cross—Caffael y Groes.
Christ-cross-row—yr egwyddor; rhestr y llythyrenau; rhes gris groes.

Cross, *a.* croes, traws; gwrthwyneb, gwrthwynebus, gwrthwynebol; anynad, anfoddog, anniddig, sor, swr, dreng, gwrthnysig, trofäus, gwrthgas, anhywaith, cyndyn, anwesog, sarig.
Cross (in composition) — croes-, traws-, gwrth-.
Cross keys — allweddau croesion, croes allweddau; dau allwydd ar draws i'w gilydd.
Cross blow — ergyd llettraws; ergyd yn ngwrthwyneb llaw; ergyd traws, dyrnod croes.

Cross, *prep.* ar groes, ar draws, yn groes; ar ŵyr; croes, traws.

Cross, *v.* croesi; gwrthwynebu, gwrthladd; bod yn groes i; bod yn wrthwyneb i; bwrw ar draws eu gilydd; rhoddi ar draws i'w gilydd; myned drosodd; myned dros; beisio, arfeisio, rhydio; gwrthweithredu, gwrthweithio, rhwystro, attal, lluddias, lluddio; gwrthwedyd; dilëu, croesi allan, crafu ymaith; cymmysgu; cylchgyfnewid; croesnodi, nodi âg arwydd y grog; † bod yn anghysson.
To cross one's self—ymgroesi, ymswyno.
To cross over—croesi; myned dros; myned drosodd; beisio, rhydio, arfeisio.
To cross the sea—croesi y môr; myned dros y môr; mordwyo drosodd; morio drosodd.
He crossed over to us—efe a groesodd, a fordwyodd, *neu* a ddaeth drosodd atom ni.

Cross-armed, *a.* croesfreichiog; â'i freichiau yn groes i'w gilydd; â'i freichiau yn mhleth; dwyfreichiog; breichiog; parosglog, deuosglog; prudd.

Cross-bar, *s.* croesfar, bâr croes, trawsfar.

Cross-barred, *a.* rhwyllog, croesog; croesfarog; gwedi ei groesfario; gwedi ei groesfolltio.

Cross-barrow, *s.* saeth albrys, saeth croesfwa.

Cross-barshot, *s.* croes-farbelen, croes-farbeled, barbelen groes, croes-farbel, barbel groes.

Cross-beam, *s.* trawstlath, trawst.

Cross-bearer, *s.* croesddygydd, croesaddygur, croesddygiedydd, croesaddygydd, addygydd y groes.

Cross-bill, Cross-beak, } *s.* gylfin-groes.

Cross-bill, *s.* gwrth-hawl, croeshawl.

Cross-bite, *s.* twyll, hoced, twyllofaint.

Cross-bite, *v. a.* twyllo, hocedu; croesi drwy dwyll.

Cross-bow, *s*, albrys, bwa croes, croesfwa, bras, albras, blif.
To shoot with a cross-bow — albrysio; saethu âg albrys, &c.

Cross-bower, *s.* albrysiwr; saethwr âg albrys.

Cross-breed, *s.* trawsryw, croesryw.

Cross-breeding, *s.* croesrywiad, trawsrywiad, traws-epiliad, trawsfeithriniad.

Cross-bun, *s.* croeschwiog, croeschwiogen; chwiogen y croglith; teisen dydd Gwener y croglith.

He made cunning devices—efe a wnaeth ddychymygion celfydd (1 *Mac.* xiii. 29).
To devise cunning works—i ddychymygu cywreinrwydd (*Ecs.* xxxi. 4).
Cunning man—gwr hysbys, dyn hysbys, darllenwr tesni, darllenydd tesni.
Cunningly devised fables—chwedlau cyfrwys (2 *Pedr* i. 16).

**Cunning,** } *s.* cyfrwysder, cyfrwysdra,
**Cunningness,** } cyfrwysedd, ffelder, ffeldra, ffelrwydd, ystrywgarwch, ffalstedd, ffalsder, ffalsedd, ystryw, dichell, dichellgarwch, dichellrwydd, hoced, twyll, ffesawd, chwiongl, chwired, ymdro, dichelldro, cyfrwyswaith, dichellwaith, hud, cast, ffetusrwydd, ffelgraffder; cyfrwysgallder, callder, calledd, callineb; medr, medrusrwydd, hyfedredd, cywreinrwydd, cywreindeb, cynnildeb, cyfarwyddyd, celfyddyd, gwybodaeth.

**Cuntur,** *s.* yr aderyn Condor.

**Cup,** *s.* (S. *cupp, cop;* Ll. *cupa, cuppa;* Ff. *coupe*) cwpan, cib, mail, meilen, carfen, ffiol, cogan, cogyn, ban, gorflwch, pân, gŵn, buelin, diodlestr, godard; cwpanaid, cibaid, ffiolaid, llonaid cwpan.
A small cup—cwpenyn, cwpanig, cibyn, gynyn, cwpan bychan, cwpan bach.
A large cup—cibuo, gŵn, cwpan mawr.
Drinking cup — cwpan yfed, yfgib, yfgwpan, ban yfed, ban; hirlas.
Tea cup—cwpan te, te-gib.
Grace cup—cwpan cariad.
Standing cup—cwpan troedog.
Parting cup—ymadgib; cwpan ymadael; cwpan heddwch wrth ymadaw.
Communion cup—caregl, cwpan y cymun, cwpan cymun, cymungib.
Gold cup—cwpan aur; eurgwpan, eurfail, eurgib.
Cup of an acorn—cap *neu* gapan mesen; cwpan mesen.
Cups made of buffalo's horns—bualgyrn, buelinau (*sing.* bualgorn, buelin).
Flower cup — cwpan blodau, y cwpan, blodeugib, blodaulen, gwullaulen, blodeugaes, blodeulen, amwullen, amhulen; amwisg *neu* amlen blodau.
Golden cups—egyllt, crafanc y frân, troed y frân, llun troed y frân.
To take a cheerful cup—yfed i ymloni *neu* i ymgysuro; yfed o ffiol cysur; yfed o gwpan cysur.
Cup and can—cwpan a phiser; cymdeithion; cyfeillion monwesol.
To take a cup too much—yfed cwpanaid yn ormod; yfed ar y mwyaf; yfed nes myned dros y llestri.
In one's cups—yn ei ddiod; yn ei gwrw; yn ei freci; yn ei feddwdod; yn ei gyfeddach; ar ei derm; ar ei noswaith lawen.
To take off one's cups—yfed yn llwyr; yfed y cwbl; yfed i'r gwaelod.
Cup-shot, } gwedi yfed yn uchel *neu* yn
Cup-shotten, } helaeth; agos i feddwi; gofeddw, lledfeddw, gofrwysg; brwysg, meddw.
Cup-ful—cwpanaid, cibaid, cibynaid, carfenaid, meilaid, gynaid, &c.
Cup-liverwort—ffiolgen, cwpanau'r ddaiar.

**Cup,** *v.* cibwaedu, trychwaedu, craffinio, ysgraffinio, cwpanu.

**Cupbearer,** *s.* (*cup* a *bearer*) heilyn, trulliad, gwallofiad, menestr, heilydd, cibheilur: *f.* heilynes, trulliades, gwallofiades.

**Cupboard,** *s.* (*cup* a *board*) cwpbwrdd, nester, cibgell, llogawd, bwrdd cwpanau, cwpgell, cloer, bwydgist.

**Cupboard,†** *v. a.* nesteru, cwpbyrddu; casglu i gwpbwrdd; crugio.

**Cupel,** } *s.* (Ll. *cupella*) coethadyr, puradyr,
**Coppel,** } coethgib, coethlestr, toddyr, toddlestr.

**Cupel-dust,** *s.* coethlwch, llwch coethi, llwch delgoethi; llwch i goethi *neu* buro metteloedd.

**Cupellation,** *s.* (Ll. *cupella*) coethgibiar, sorodiad; purad metteloedd â choethadyr.

**Cup-fern,** *s.* ffiolell, ffiolredyn, cibredyn.
Toothed cup-fern — ffiolredyn deintiog, ffiolell ddeintiog, cibredyn deintiog.

**Cup-gall,** *s.* cibafal, cibafal dail derw.

**Cupidity,** *s.* (Ll. *cupiditas*) chwant, trachwant, awydd, gorawydd, darchwant, chwennychiad, dirchwant, gorchwant, chwantwch.

**Cup-moss,** *s.* cnwpfwsogl, clwpfwsogl, cnwpfwswn, clobfwsog.

**Cupola,** *s.* (It.) cromen, croman, crymdwr, nendwr, cromgop, cromgopa, copolan=tŵr pengrwn bwaog ar nen adeilad.

**Cupolaid,†** *a.* (o *cupola*) cromenog.

**Cuppa,** *s.* pân mewn arfarwyddion.

**Cupper,** *s.* (o *cup*) cibwaedwr, trychadur, ysgraffinydd, ysgraffiniwr, craffiniwr, cwpanydd.

**Cupping,** *s.* (o *cup*) cibwaediad, craffiniad, ysgraffiniad.
Dry cupping—sychgraffiniad, ysgraffiniad diwaed.
Cupping instrument—craffinai, ysgraffinai.

**Cupping-glass,** *s.* cibwydryn, gwaedwydryn, cibwaedryn, sugnwydr, sugnwydryn, craffinai, ysgraffinai, gwydryn craffiniol.

**Cupreous,** *a.* (Ll. *cupreus*) copraidd, o gopr, efyddaidd, efyddaid.

**Cupressus,** *s.* (Ll.) ffyllwydd, cypreswydd.

**Cupriferous,** *a.* (Ll. *cuprum* a *fero*) coprog; yn rhoddi copr; yn dwyn copr.
Cupriferous silver — arian coprog, coprarian.

**Cuprose,** *s.* (*cup* a *rose*) pabi, drewg, drewlys, drewglys, bulwg Ffreinig, bulwg Ffrengig, cibrosyn, cibros.

**Cup-valve,** *s.* cibgaffell, cibgloryn, cibfalog.

**Cupule,** } *s.* (Ll. *cupula*) cwpenyn, cwpanig;
**Cupula,** } cibyn, had, capan ffrwyth.

**Cupuliferæ,** *s. pl.* (Ll. *cupula* a *fero*) derlwyth, llwyth y derw.

**Cur,** *s.* (Gw. a Gael. *caor*, defaid, malpai *cur-dog*, ci defaid? C. *corgi?*) corgi, costog, costog costawci; ci bach afrywiog.

**Curable,** *a.* (o *cure*) gwelladwy, iachadwy, meddygadwy, meddyginiaethol, hywell; â ellir ei iachâu, ei wella, *neu* ei feddygu.

**Curableness,** *s.* iachadoldeb, gwelladoldeb, hywelliant, hywelledd; dichonoldeb iachâd.

**Curacy,** } *s.* (o *curate;* Ll. *cura*) curadiaeth,
**Curateship,** } curadaeth; bugeiliaeth, plwyfoffeiriadaeth.
Perpetual curacy — curadiaeth barhäus, curadiaeth barhaol, curadiaeth sefydlog, curadiaeth wastadol.

**Curassow,** }
**Curassow bird,** } *s.* yr aderyn Curassow.

**Curate**, *s.* (Ll. *curator*, *curatus*, o *cura*) curad, curadur; offeiriad plwyf, plwyf-offeiriad, isberiglor: *dim.* curedyn.
Perpetual curate — curad parhäus, curad parhaol, curad sefydlog.
**Curative**, *a.* (o *cure*) iachaol, iachol, meddygol, meddygin, meddyginiaethol.
**Curator**, *s.* (Ll.) ucholygwr, arolygwr; ceidwad, cedwidydd; ymddiriedur, ymddiriedai.
**Curatrix**, *s.* (o *curator*) meddyges, iachyddes.
**Curb**, *s.* (Ff. *courb*) genfa, genddal, gwenfa ffrwyn, gensyg, genffrwyn, haiarn gen; ffrwyn; attal, rhwystr, attalfa, ystwy, rhagod, lludd, attaliad; perging, achwre; chwydd, cornwyd.
**Curb**, *v. a.* ffrwyno, attal, rhwystro, ystwyo, cyfattal, nadael, rheoli, arafu, twyo; cadw i mewn; cadw dàn llaw; dàl yn dyn;† plygu, camu, crymu.
**Curbing**, *s.* (o *curb*) rhwystr, ystwy, attalfa, attaliad.
**Curbless**, *a.* (*curb* a *less*) dirwystr, dïattal; heb na lludd na gwaharddd arno.
**Curb-plate**, *s.* (Ff. *courber*) crymlafn, plyglafn, crymblad.
**Curb-roof**, *s.* crymglwyd, plygnen, cromnen.
**Curb-stone**, *s.* asfaen, minfaen, ymylfaen: *pl.* asfain, asfeini, &c.
**Curcuma Longa**, *s.* y turmerig, tyrmerig, trumrig.
**Curd**, *s.* (Gw. *cruth*; Ysg. *cruds*) caul; ceuleden, ceuledan; ceuled; blochda, caws gwŷn, caws, sopen caws, caws newydd geulo, llaeth ceuledig.
Cheese curds—ceulfraen, caws gwŷn, gwyn-[gaws.
Whey curds—caws maidd, meiddgaws.
Curds and whey—maidd, meiddion.
Second whey from the curds—maidd glas, llaeth glas, glasfaidd.
Crumbled curds—ceulfraen.
Posset-curds—caws posel, ffaced.
To crumble curd—ceulfraenu, ceulfraenu caws.
**Curd**, *v. a.* ceulo, ceuledu, cawsio, cawsu; peru ceulo; troi yn geuled *neu* yn gaws; troi.
**Curdle**, *v.* (o *curd*) ceulo, ceuledu, cawsio, cawsu, chwarelu; troi yn geuled *neu* yn gaws; peru ceulo *neu* gawsu; troi; tewychu, tewhau, cyttewychu, cydfferu, caledu.
**Curdy**, *a.* (o *curd*) ceulog, cawsog; ceulaidd; ceulfraenog.
**Cure**, *s.* (Ff.; Ll. *cura*; C. *cur*) gwellhad, gwellad, iachâd, gwelliant, meddyginiaeth, ymwared; adferiad i iechyd; meddygiad, meddyginiaethad; adferai, cyfnerthai; diwygiad, cyweiriad, cyweirdeb; gofal, cur, periglоriaeth, bugeiliaeth, bugeilwriaeth.
Cure of souls—gofal eneidiau, cur eneidiau; cur *neu* ofal dros eneidiau; cur; bugeiliaeth eneidiau.
Past cure—anaele, anfeddygol, anfeddyginiaethol; heb feddyginiaeth iddo.
My sore will be past cure—anaele fydd fy nolur.
It is past cure—nid oes meddyginiaeth iddo; nid oes meddyg iddo; darfu am dano; deryw am dano; y mae yn anfeddygol; mae yn anfeddyginiaethol.
He performed many considerable cures—efe a iachaodd laweroedd o glefydau *neu* glwyfau enbyd ac anobeithiol.
To effect a cure—iachäu, gwella, gwellhau, meddygu, meddyginiaethu.
**Cure**, *v. a.* (Ll. *curo*; Ff. *curer*) iachäu, gwella, gwellhau, meddygu, meddyginiaethu; gwneuthur yn iach *neu* holliach; adferyd un i'w iechyd; adferu ei iechyd i un; diwygio, difeio, adgyweirio; halltu, cyweirio, sychu.
To cure hay—cyweirio gwair, sychu gwair.
To cure fish—halltu pysg, cyweirio pysg.
**Cureless**, *a.* (*cure* a *less*) anfeddygol, difeddyg, anfeddyginiaethol, anwelladwy, aniachadwy, anaele; nad oes meddyg *neu* feddyginiaeth iddo; nas gellir ei iachäu; diwelliant, diwellhad.
**Curer**, *s.* (o *cure*) iachäwr, iechydwr, meddygwr, meddyg, meddyginiaethydd; halltwr, cyweiriwr.
**Curfew**, *s.* (Ff. *couvre-feu*) dyhuddgloch, huddgloch; hwyrgloch=y gloch wyth o'r nos, ar ganiad yr hon y gorfyddai i bob un, yn amser Gwilym Oresgynydd o leiaf, enhuddo ei dân, a diffoddi ei ganwyll.
Curfew bell — dyhuddgloch, huddgloch; hwyrgloch.
**Curfew**,† *s.* gorchudd aelwyd, clawr lle tân, tângudd.
**Curialistic**, *a.* (Ll. *curialis*) llysol; perthynol i'r llys.
**Curiality**,† *s.* (Ll. *curialis*) llysolion; breintiau a gosgordd llys.
**Curing-house**, *s.* sychdy, cyweirdy, sychdy sugr.
**Curiologic**, **Kyriological**, *a.* (Gr. *curiologia*) arwyddluniol, rhanarwyddol, bathluniol, cyforddwynol.
**Curiosity**, *s.* (Ll. *curiositas*) manylwch, manylder, cywreinrwydd, manylrwydd, cywreindeb, cywreinder, celfyddgarwch; manylgais, manylgarwch, holgarwch, chwilgarwch, holgaredd, ymofyngarwch; lledneisrwydd, neisrwydd, dillynder, dillynedd, destlusrwydd, tlysni; cywreinbeth, hynodbeth, cywreinwaith, peth cywrain, peth hynod, amguedd, rhyfeddod, prinod, tlysyn, hynodlyn; chwant gwybod, gweled *neu* glywed rhywbeth newydd; tra dyfalwch, prysurdeb, dichlynrwydd, dichlynedd; bryd ar ddillynedd *neu* ddestlusedd; serch at *neu* ymroddiad i ddillynedd *neu* ddestlusrwydd: *pl.* cywreinion, hynodion, manylion, gorbrinion, tlysion, prinodion, detholedigion, pethau cywrain, &c.
Curiosities of literature—cywreinion llenoriaeth; hynodion llenyddiaeth; cywreinbethau dysgeidiaeth.
**Curioso**, *s.* (It.; Ll. *curiosus*) hoffwr cywreinion, cywreinhoffwr, prinionhoffydd, prinodgarwr, hoffiedydd pob cywreinbeth, tlyshoffwr, tlyshoffydd, tlysionydd.
**Curious**, *a.* (Ll. *curiosus*) cywrain, cywraint, manwl, manol, dichlyn, cynnil, celfydd, celfyddgar, celfyddus, rhyfanwl; ymofyngar, holgar, ymchwilgar, chwilgar, manylgar, manylgeisiol, ymorolgar; chwannog i wybod, i weled, *neu* i glywed rhywbeth newydd; ymofyngar am newyddion *neu* newydd bethau; astud, gofalus, pryderus, dïesgeulus, destlus, destl, hyddestl, nais, llednais, dillyn, tlws, clws; hynod, nodedig, rhyfedd; prin, anghyffredin, anaml, òd, anarferol; tost, llymdost; anhyfodd; hoff; dyfal yn chwilio am bethau dyfnion a dirgel.
Curious work—cywreinwaith, manylwaith.

cynnilwaith, hynodwaith; cywreinrwydd.
Curious arts—rhodreswaith (*Act.* xix. 19).
Be not curious in unnecessary matters—na fydd ry fanwl mewn pethau afraid.
We must be curious to distinguish between—rhaid i ni fod yn graff i wahanu rhwng.
Too curious—rhy fanwl, rhy ymofyngar, &c.; anhawdd ei *neu* i'w foddio; anhyfodd.
Too curious a question—ymofyniad rhy fanwl, rhy ddyrys, *neu* ry rwystrus.
To be curious of high things—ymofyn yn fanwl am bethau uchel.
To do a thing curiously—cywreinio peth; gwneuthur peth yn gywrain.

**Curiousness**, *s.* (o *curious*) manyldeb, cywreindeb, cywreinrwydd, cynnilwch; cywreingarwch, holgarwch, ymofyngarwch; destlusrwydd, dillynder, hynodrwydd, &c.

**Curl**, *v.* (Is. *krullen*; D. *kröller*) crychu, torchi, dolenu, modrwyo, ymdorchi, ymgrychu, argrychu, pengrychu, llofni; nyddu, troi, ymdröi, ffillio, rholian; crybychu, crebachu, ymgrybychu; tònogi, tòno, ffreulo.

**Curl**, *s.* cudyn, crychgudyn, crych, crychyn, argrych, llofn, llyweth, modrwy; cudyn o grychwallt; llyweth o wallt modrwyog; doleniad, ymddoleniad, crychiad, tòniad, tònogiad, chwyfiad, ystumiad; tòn, tònen; mallgrychni.
Curl (in potatoes)—crychaint, grychni; grychni cloron, crychaint bwytatwys.

**Curlew**, *s.* (Ff. *courlis*, *corlieu*) gylfinhir, gylfinog, gylfhir, chwibanogl y mynydd, chwibanog y mynydd.

**Curl-headed**, **Curl-pate**, **Curl-pated**, *a.* pengrych, gwalltgrych, crychgudynog; â gwall crych iddo; â chanddo wallt modrwyog *neu* gudynog.

**Curliness**, *s.* (o *curly*) crychedd, crychni, crychineb, crychiant, crychder, crychogrwydd, cudynogrwydd, llofnogrwydd, llywethogrwydd.

**Curling**, *s.* (T. *krullen*; Ff. *crouler*) math o chware ar ia, yn yr Alban.

**Curling-irons**, **Curling-tongs**, *s. pl.* crychiadyr, haiarn crychu, gefail grychu, crychefail.

**Curling-stuff**, *s.* crychgoed, crychnwydd.

**Curly**, *a.* (o *curl*) crych, (*f.* crech), argrych, crychog, crychedig, cudynog, cudynaidd, modrwyog, modrwyaidd, llofnog, llywethog.

**Curly-headed**, **Curly-pated**, pengrych, gwalltgrych: *f.* pengrech.

**Curmudgeon**, *s.* (llygriad o'r Ff. *cœur méchant*) cerlyn, bawyn, carl, bawai, cerlyn cybyddlyd, cybydd, crinwas, cybydd anghawr, mab y crinwas, gwr crin; delff, drelyn, drengyn, taiogyn.

**Curmudgeonly**, *a.* cybyddaidd, cybyddlyd, cybyddus, crinwasaidd, crintach; cerlynaidd, delffaidd, drelaidd, bawaidd.

**Currant**, *s.* (o *Corinth*, yn Groeg) rhyfonen, rhyf; rhyfwydden, rhesinwydden: *pl.* rhyfon, rhyfion, grawn Corinth; rhyfwydd, rhesinwydd.
Currant tree—rhyfwydden, rhesinwydden: *pl.* rhyfwydd, rhesinwydd, rhyflwyni, coed rhyfon.
Black currants—rhyfon duon; rhyfwydd duon, eurddrain duon: *sing.* rhyfwydden ddu, eurddraenen ddu.
White currants—rhyfon gwynion; rhyfwydd gwynion.
Red currants—rhyfon cochion; rhyfwydd cochion.
Tasteless mountain currants—rhyfon mynyddol *neu* fynyddig; rhyfwydd mynyddol.
Currant worts—rhyfonwydd.

**Currant**, **Current**, **Coursant**, *a.* (Ll. *curro*; Ff. *cours*) rhedegol, rhedol, ar redeg, yn rhedeg, dywadnol, rhedeg.

**Currency**, *s.* (o *current*) cylchrediad, hyrediad, rhediad, hydreigledd, amdreiglad, amrediad, amred, damred, treiglad; mynediad o law i law; cerddediad, mynediad; cylcharian; treiglarian, arian treigl, cylchdal; bod o arian yn gymmeradwy; pasiad; mynediad arian o law i law; rhead, cerhynt; rhugledd, hylithredd, rhwydd rediad, cerddediad rhwydd; gwerth, cyfrif; treinwerth, talbenedd.
Silver currency—arian damred, arian train, arian treigl, arian ar drain, cylcharian.
Gold currency—aur damred, aur train, aur treigl, aur ar drain.
Currency of a discourse—rhediad ymadrodd *neu* araeth; rhugledd ymadrodd.
The report has had a general currency—y mae y chwedl wedi myned yn rhugl.
Currency of time—rhedfa amser, gyrfa amser, rhediad amser, treiglad amser, treigl amser.

**Current**, *a.* (Ll. *currens*, o *curro*) cylchredol, damredol, amredol; cymmeradwy, derbyniol, derbyniadwy, derbynedig; cyffredin, rhugl, cyhoedd, poblogaidd; cyfreithlawn; à dderbynir yn gyffredinol; derbynedig yn gyffredin; à fo mewn parch *neu* gymmeriad; à gerddo, à basio; pasiadwy; à gaffo dderbyniad; sefydledig, sefydlog; presennol; arferol, gnodol.
The current price—y pris cyffredin; y pris sy'n cerdded; y pris à fo yn cerdded; y pris à fo ar gerdded.
The current year—y flwyddyn sydd yn cerdded, yn treiglo, yn rhedeg, *neu* yn pasio; y flwyddyn hon, eleni, y flwyddyn bresennol, y flwyddyn re; y flwyddyn yr ydys ynddi.
Current money—arian cymmeradwy, arian bath, arian derbyniol; cylcharian, treiglarian, arian treigl, arian train.
Current value—treinwerth, treiglwerth, talbenedd, talbenig; gwerth cyffredin.
The tenth current—y degfed cyfisol; y degfed o'r mis hwn; y degfed o'r mis sy'n cerdded; y degfed rhe.
To pass for current—myned *neu* gerdded yn lle gwir; cael ei gredu *neu* ei goelio yn gyffredin.
If that part of the history may pass for current—os ydyw y rhan hòno o'r hanes i'w choelio; os oes coel ar y rhan hòno o'r hanes.
It is currently reported—mae y gair yn rhugl; y mae y gair yn hollol.

**Current**, *s.* rhediad, cerhynt, ffrwd, gyrhynt, llif, gorllifiad; rhedfa, gyrfa, rhawd, rhed, rhe, llyry, ystrym, rhedegfa; cyfres; parhad: *pl.* cerhyntiau, cerhyntoedd.
A small current—ffrwd fechan; gofer, nant, cornant, afonig.

A strong current—cerhynt cryf, gorffrwd, gorllifiant, gorlifiant.
Current of a river—ffrwd afon, cerhynt afon, ffrydle afon, brwynen afon, rhed afon, rhedle afon.
Account current—cyfrifred.
The current of public opinion—rhediad llais y wlad.
To stem the current—sefyll, ymgynnal, *neu* nofio yn erbyn y llif *neu* y dwr; dàl i fyny yn erbyn y llif *neu* y dwr; gwrthsefyll y ffrwd *neu* y cerhynt; nofio yn erbyn y ffrwd.

Currentness, *s.* (o *current*) rhediad, cylchrediad, hyrediad; rhugledd, hylithredd, hydreigledd; cyffredinoldeb, cyffredinolrwydd; derbyniad cyffredinol.

Curricle, *s.* (Ll. *curriculum*) cerbydan, rhedglud, hannerglud; cerbyd dwy olwyn, à dynir gàn ddau geffyl; † cerbyd; † hynt.

Curriculum, *s.* (Ll.) rhedegfa, rhedegfan, rhedegrawd, rhedrawd, rhedyrfa; efrydrawd, myfyrgylch, cyfanred; cyfres o efrydion; cerbyd, clud.

Currier, *s.* (Ll. *coriarius*; Ff. *corroyeur*) lledrwr, lledrydd, lledreilliwr, lledrgyffeithiwr, cyffeithydd, lledr, uchafedwr, ysgrafellwr lledr, lledr-ysgrafydd.

Currish, *a.* (o *cur*) corgïaidd, fàl corgi; costog, costogaidd, sarig, anfwyn, cruseiriog, difoes, afrywiog, sur, sor, taiog, anhynaws, croes, anwesog; cecrus, cynhenllyd, cwerylus, cwerylgar, cynhengar, cynhenus, anhydrin, anhydyn; brathlyd, hygno, cipgar; annynol, dideimlad, milain, gwrgïaidd, derfoes.
A currish fellow—sarigyn, monyn, costogyn, soryn, taiogyn.

Currishness, *s.* costogrwydd, sarigrwydd, afrywiogrwydd, derfoes, taiogrwydd, anfwynder, &c.

Curry, *v. a.* (Ff. *corroyer*) cyffeithio, cyweirio, *neu* gaboli lledr; lledreillio, ysgrafellu, rhistyllio, crafellu, gwrychellu; crafu, crafangio; rhathu, rhwbio, llyfnu, llyfnhau; truthio i; gweniaitho i; cynffonloni ar; boddio; ystwytho; cosi, gogleisio.
I will curry thy coat for thee—mi dy gosaf di; ti a gei genyf gosfa *neu* faethgen.
To curry favour with one—cynffonloni ar un; ymerlyn am fodd un; ceisio ymlusgo i ffafr *neu* gyfeillach un; ceisio ymlithro i ffafr *neu* gyfeillach un; ymbil, ymbilio, ymgais, *neu* ymgeisio âg wyneb un.

Curry, *s.* dofedn, pysg, *neu* gig mallferw (yn yr India).

Curry-comb, *s.* ysgrafell; crafell, rhistyll, crib march.

Currying, *s.* (o *curry*) ysgrafelliad, rhistylliad; cyffeithiad, cyweiriad, gwrteithiad, *neu* gaboliad lledr; ymerlyniad am fodd.

Curry-powder, *s.* mysglwch, plithbylor, poethfysg, poethbylor; cymmysgedd o had coriander, turmerig, sinsir, a phupyr, yn nghyd â halen, grawn paradwys, clows, canel, wynwyn, garlleg, a chnau Cocoa, os ewyllysir.

Curse, *v.* (S. *cursian, corsian*) melltithio, melltigo, rhegu, ymregu; cablu; erchi aflwydd ac echrys; dymuno drwg i.
To curse and swear—tyngu a rhegu.
To curse mutually—ymregu.
To curse to the pit of hell — gorchymyn *neu* offrymu i ddiawl; offrymu *neu* orchymyn i ddiafol.
Apt to curse—rheglyd.

Curse, *s.* melltith; rheg; ymreg; cabl; cystudd, artaith, torment.
The curse causeless shall not come — y felldith ddiachos ni ddaw; nid adwyth rheg ni haedder.
They entered into a curse and an oath—aethant mewn rhaith a llw (*Neh.* x. 29).
They bound themselves under a curse—rhwymasant eu hunain â dïofryd (*Act.* xxiii. 12).

Cursed, *a.* melltigedig, melltigaid, melltithiedig, rhegedig; esgymun, ysgymun, esgymunedig, echryslawn, ysgeler, ádgas, atgas, achas, dygas, hygas, cas, anfad, erchyll, diriaid, diried, diras, ffiaidd, ffieiddgas, adwythig, aethus; blin, trallodus, cythryblus.
Cursed thing — esgymunbeth, ysgymunbeth, dïofrydbeth, peth esgymun.
Cursed fellow — dyhiryn melltigedig, esgymun, *neu* atgas, &c.; direidyn, direidddyn, diried-ddyn, drygddyn, direidwas; adyn ysgeler *neu* anfad.

Cursedness, *s.* (o *cursed*) melltigedigrwydd, melltigrwydd, melltigeidrwydd, melltithrwydd, esgymunrwydd, anfadrwydd, echryslonrwydd, echryslonedd, ysgelerder, ysgelerdod, direidi, atgasrwydd, dygasrwydd, rhegedd, &c.

Curser, *s.* (o *curse*) melltithiwr, melltigwr, rhegwr, rhegydd, ymregwr, cablydd, cablwr.

Curship, *s.* (o *cur*) costogrwydd, costogeiddrwydd, sarigrwydd, anfwynder, anhynawsedd, afrywiogrwydd, taiogrwydd, blyngder, cïeiddrwydd, drygnaws, dryganian, dryganiaeth, dryganedd, dryganwyd, natur ddrwg, anian ddrwg, derfoes.

Cursing, *s.* (o *curse*) melltithiad, rhegiad, melltigiad; melltith, rheg, ymreg.

Cursitor, *s.* (o'r Ll. *curso, cursito*) gwysgofiadur, gwysgofnodydd, arwysiadur, gwysebiadur.

Cursive, *a.* (Ff.; It. *corsivo*; o'r Ll. *curso*) rhedeg, rhedegol, rhedegog, rhedol, brysiol, brysfawr; ar redeg, ar frys.
Cursive hand—llaw redeg, ysgriflaw redeg; llawysgrifen redeg *neu* redegog; bryslaw, rhedlaw.

Cursor, *s.* (Ll.) rhedyr, llithrydd = offeryn gwyddonol.

Cursorary, † *a.* = *Cursory*.

Cursorily, *ad.* (o *cursory*) ar frys, ar redeg, dàn redeg, ar ddyfrys, ar ffrwst, ar hynt, ar ei hynt, ar ffull, ar yrfa, ar redfa, ar gip, wrth fyned heibio, ar gipdrem, ar gerdded; yn ysgafn, yn ddiofal, yn frysfawr, &c.

Cursoriness, *s.* (o *cursory*) brys, ffrwst, ffull, ffullder, ffulldra, dyfrys, brysforedd, brysioldeb, brysiogrwydd, buanwedd, cyflymedd, cyflym rediad, brysrediad; cipolwg, cipdrem, diofalwch, anystyrioldeb, annwysder; rhediad dros beth mewn gormod brys.

Cursorius, } *s.* (Ll. *curso*) y rhedadar, y rhed-
Courser, } yddion, y rhedegyddion; rhedaderyn; llwyth y rhedadar.

Cursory, *a.* (Ll. *cursorius*) brysiog, brysfawr, brysiol, ffrystiol, ffrystiog, ffulliog, buan, buanred, cipdremiol, ysgafn, ysgafnddull, difyfyr, disymmwth, rhull, ffest, ffestin; à wnaed ar redeg, ar frys, ar ffrwst, yn ddifyfyr, *neu* yn frysiog; diofal, dibryder,

esgeulus, dïymdawr, diddarbod; arwynebol; ansefydlog.
Cursory view—cipolwg, cipdrem; golwg ar beth wrth fyned heibio.
**Curst**, *a.* (o *curse*) cas, adgas, atgas, ffiaidd, achas, hygas; melltigedig, melltigaid, esgymun, esgymunedig, ysgymun, ysgeler, echryslawn, echrys, anfad, erchyll, andwyol, diriaid, diried, diras, adwythig, aethus; creulawn, ffyrnig, anynad, annynol, anhynaws, dywal, sarig, blwng, hyddig, afrywiog, craseiriog, dryganianol, dryglawn, rhempus.
**Curstness**, *s.* casineb, adgasedd, ffieidd-dra, ffieiddiant, melltigedigrwydd, esgymunrwydd, ysgelerder, ysgelerdod, anfadrwydd, anynadrwydd, afrywiogrwydd, sarigrwydd, blyngder, creulonder, &c.
**Curt**, *a.* (Ll. *curtus*) cwta, byr, talfyr: *f.* cota, bèr.
Curt penny—ceiniog gota.
**Curtail**, *v. a.* (Ll. *curtus*, a Ff. *tailler*) cwtogi, byrhau, talfyru, cytio, dyfyru, cilfyru, gofyru; tori ymaith; tori yn fyr; tocio, toli; lleihau; cymmedroli.
He will curtail the expense — y draul a gymmedrola efe; efe a gymmedrola y draul; efe a gwtoga y draul.
**Curtail-dog**, *s.* ci cwta, ci cwtog.
**Curtailer**, *s.* (o *curtail*) cwtogwr, cwtogydd, talfyrwr, byrhäwr, lleihäwr.
**Curtailing**, *s.* cwtogiad, talfyriad, byriad, byrhad, tociad.
**Curtail-step**, *s.* cwtogris, gris gota.
**Curtain**, *s.* (It., Ysp., a Port. *cortina;* Ff. *courtine*) croglen, llèn, cauadlen, caeadlen, cylchlen, cylchedlen, rhedlen, tynlen, cylched, cortyn; cysgodlen, ffedon; brithlen: *dim.* llenig. [en.
Curtain rod—llenlath, llenialen, llenwialen.
The curtains of thy habitations—cortynau dy breswylfëydd (*Esa.* liv. 2).
Curtain lecture — pregeth y cortyn; darlith y groglen; llenlith; ymremial *neu* ymserth gwraig â'i gwr yn y gwely.
To drop the curtain — cau *neu* ddiweddu yr olygfa; dybenu, diweddu, talmu; gadael i'r gysgodlen syrthio; diweddu *neu* ddybenu y chware; gollwng y llèn i lawr.
To raise the curtain—codi y llèn; codi y gysgodlen; dechreu chwareu; dechreu o'r chware.
To draw the curtain—cau y llèn; tynu y llèn; cuddio, celu, dirgelu; cau yr olygfa i fyny.
Behind the curtain — tu draw i'r llèn; tu draw y llèn; yn y dirgel; mewn dirgelwch; yn nghudd, yn gel, yn nghel, yn ddirgel, dan gel; wrth gefn; allan o'r golwg.
**Curtain**, *v. a.* croglenu, llenu, cauadlenu, cysgodlenu, cylchedu, cylchlenu; cau â chrogleni.
**Curtainless**, *a.* (*curtain* a *less*) digroglen, digylched, digauadlen; heb grogleni.
**Curtal**, *s.* (Ll. *curtus*) ceffyl cwta, ceffyl toc, march cynffon-gwta.
**Curtal**, *a.* (Ll. *curtus*) cwta, byr, talfyr, talfyredig, byredig.
**Curtate**, *a.* (Ll. *curtatus*) byr, talfyr, cwta.
Curtate distance — byr bellder, pellder byredig.
**Curtation**, *s.* (o *curtate*) cwtogiant; talfyriant, byriant.
**Curtein**, } *s.* (Ll. *curtus?*) teyrn-gledd, teyrn-
**Curtana**, } gleddyf; cleddyf Iorwerth y Cyffeswr=cleddyf à ddygir o flaen breuinoedd Prydain ar ddydd eu coroniad.
**Curtesy**, } *s.* =*Courtesy.*
**Courtesy**, }
**Curtilage**, *s.* (o *court*) cadlas, buarth, gower, llanerch wrth dy.
**Curtness**, *s.* (o *curt*) byrder, byrdra, cwtogrwydd, talfyrder.
**Curucui**, *s.* coed-delor Brasil.
**Curule**, *a.* (Ll. *curulis*) cerbydol; perthynol i gerbyd; gorfoleddol.
Curule chair—cludgader (yn Rhufain gynt).
Curules — cludgadeiriaid, cadeirogion = uchel swyddogion yn Rhufain gynt.
**Curvant**, } *a.* (Ll. *curvans*, *curvus*) crwm,
**Curval**, } crwca, cam, cyrfedig.
**Curvated**, *a.* (o *curve*) crwca, crwm, cam, cyrfog, crymedig, gwyrog, cam rheolaidd.
**Curvation**, *s.* (Ll. *curvatio*) plygiad, camiad, crymiad, cyrfiad, comiad, doleniad, gwyrgamiad, arystumiad.
**Curvature**, *s.* (Ll. *curvatura*) camedd, plygedd, crymedd, camder, cemi, camni, crymder, comder, comer, cyrfedd, crwcanedd, gwyrgamedd, gwyredd, gwyrogrwydd; doleniad, dolystumiad, arystum, dolystum, doliad, gwyrgamiad, doliad.
Circle of curvature — crymgylch, cylch camedd.
**Curve**, *a.* (Ll. *curvus*) crwm, crwca, achrwm, cam, plygedig, gŵyr, agwyr, addwyr, gwyrog, bwaog, dolenog, dolystumiog, dolystumiol, gwyrgam: *f.* crom, croca, achrom.
Curve line — cyrflin, cyrflinell, comlinell, crymlinell, cromlinell, com, comell; llinell grom, &c.
**Curve**, *s.* com, comell, cwrf; cyrflin, cyrflinell, comlinell, comlin, comell, crymlinell, cromlinell; plyg, plygedd, camedd, crymedd, crymder, crymbeth, dôl, dolen, dolystum, comer: *pl.* comion, comau, cromau, cyrfau.
To describe a curve—crynlinellu, cyrflinellu; tynu crymlinell; tynu llinell grom.
**Curve**, *v. a.* camu, plygu, crwcäu, cyrfu, comi, crymu, doli, dolenu, dolystumio, gwyro, gwyrgamu, crwcanu, lleddfu.
**Curvet**, *s.* (It. *corvetta;* Ff. *courbette*) cyrflam, cyrfnaid, crychnaid, crychlam, cwrnaid; pranc, carlam, rhont, llamsach.
**Curvet**, *v. a.* (It. *corvettare:* Ff. *courbetter*) cyrflamu, cyrfneidio, crychlamu, crychneidio, carlamu, cwrneidio; prancio, rhonta, llamsach, llamsachu; bod yn amgyrfod.
**Curvilinear**, } *a.* (Ll. *curvus* a *linea*) crymlin-
**Curvilineal**, } ellaidd, cromlinellaidd, cyrflinellaidd, cyrflinaidd, comlinellaidd, cromlinaidd; cyrflinellog, crymlinellog, cyrflinog, cromlinellog; cyrflinellol, cyrflinol, gwyrlinellol, crymlinol.
**Curvilinearity**, *s.* cyrflinogrwydd, crymlinogrwydd, crymlinellogrwydd, cyrflineiddrwydd.
**Curving**, *s.* (o *curve*) cyrfiad, plygiad, camiad, crymiad; cwrf.
**Curvity**, *s.* (Ll. *curvitas*) crymder, cyrfedd, camder, camedd, crymedd, crymder, cemi, gwyredd, gwyrni, gwyrogrwydd, cyrfog-

**rwydd, cromedd, dolenedd, camrwydd, camni.**
**Cuscuta,** *s.* (*cechout,* yr enw Arabig) llindag, llinglwm, llindro, cyfnydd.
**Cushat,** *s.* (?) ysguthan, cuddan, cuthan, cuddon.
**Cushew-bird,** *s.* tyffantog, gobfantog.
**Cushion,** *s.* (Ff. *coussin;* Al. *küssen*) clustog, gobenydd, gob, seddob.
To be beside the cushion, } colli ei amcan;
To miss the cushion, } colli ei ergyd; methu cyrhaedd ei ddyben; camsynied, camgymmeryd, cyfeiliorni; bod allan *neu* i maes o'r ffordd.
Sea cushion—clustog Mair, clustog Fair, archmain.
Lady's cushion—tormaen mwsoglaidd.
**Cushion,** *v. a.* clustogi; seddobi; gosod ar glustog.
**Cushioned,** *a.* clustogol, clustogog; yn cael ei gynnal â chlustogau.
**Cushionet,** *s.* (o *cushion*) clustogan, clustog fechan, seddoban.
**Cuskin,**† *s.* cwpan ifori.
**Cusp,** *s.* (Ll. *cuspis*) corn; lloergorn; blaen, dyflaen, pig; cornel, cil.
Cusps of the moon—cyrn y lloer, lloergyrn, lleuadgyrn, cyrn y lleuad.
**Cuspated,** *a.* (Ll. *cuspis*) pigfain, blaenfain, penfain, brigfain.
**Cuspidal,** *a.* (Ll. *cuspis*) blaenfain, pigfain, blaenllym.
**Cuspidate,** } *a.* (Ll. *cuspidatus*) pigfain, pen-
**Cuspidated,** } fain, blaenfain, brigfain, blaenllym, blaenbigog, piglym.
**Cuspidate,**† *v. a.* blaenllymu, llymhau, piglymu, pigfeinio.
**Cuspidation,**† *s.* blaenllymiad, blaenfeiniad, pigfeiniad.
**Cuspis,** *s.* (Ll.) blaen, dyflaen, pig, corn, crif.
**Custard,** *s.* (C. *cwstard,* yn ol y Drd. *Johnson* a *Webster*) brithog, cwstardd, cwstard, costardd, cawstardd, ceulfwyd.
**Custard-apple,** *s.* afal cwstardd, afal brithog.
**Custodial,** *a.* (o *custody*) gwarchodol, cysdodol, cadwyol; gwarchodyddol, gwarcheidwadol.
**Custody,** *s.* (Ll. *custodia*) cadwraeth, ceidwadaeth, cadwadaeth, cadwyaeth, gwarchodaeth, gwarchad, gwarchadw, cadw, cadwedigaeth, cysdodiaeth, cyfarchwyl, gofal; dalfa, carchar, carchardy, cysdotty; carchariad; caethiwed; diffyniad, adne, adnes, nodded, amddiffyn, sicrwydd, diogelwch; gwarcheidwadaeth, gorfodogaeth; ceidwadaeth ac amgeledd.
To put in custody—rhoi *neu* osod mewn dalfa; rhoi *neu* fwrw yn ngharchar; rhoi yn nghadw; rhoi yn nghadwraeth; rhoi yn ngofal; traddodi i garchar *neu* gysdotty.
Under the custody and charge of the sons of Merari—yn nghadwraeth meibion Merari (*Num.* iii. 36).
Unto the custody of Hege—dàn law Hege (*Esth.* ii. 3).
**Custom,** *s.* (Ff. *coûtume,* am *coustume;* It. *costuma, costume*) defod, arfer, cynnefod, moes, henfoes, arferiad, ymarfer, ymarferiad, gnawd, hen arfer, hen arferiad, arddefod, dullwedd, moesffurf; trefn, dull, modd, ffurf, munud; ffordd; cynneddf, gnotâd, cynnefindra, gorddyfn, gorddyfnad; prŷn, gwerth, cysmeriaeth, trafnid, masnach; cyrchfa; gwaith; toll, cyllid, treth, tâl, nwydd-dreth, dofraeth, arian porth, mâl, teyrnged.
An evil custom — drygfoes, drygddefod, mall-arfer, arfer ddrwg, defod ddrwg.
The custom is—mae yn arfer; mae yn ddefod ac arfer; yr arfer yw; y ddefod ydyw.
The custom of the world is this—moes y byd a'i arfer yw hyn; defod ac arfer y byd yw hyn.
To grow into a custom—tyfu *neu* fyned yn arfer; dyfod i fod yn arfer; gnotäu.
For it had grown into a custom—canys gnotasai; canys daethai yn ddefod.
He has plenty of custom—y mae ganddo ddigon o brŷn, o brynu, o drafnid, o gysmeriaeth, *neu* o gysmeriaid.
An agreement will break a custom—ammod a dyr ddefod.
To take custom—tolli, derbyn toll, codi toll.
To pay custom—talu toll.
Receipt of customs—tollfa, tolldy, y dollfa, y tolldy, cyllidfa.
Custom-free—didoll, tollrydd.
Customs' union—toll-undeb.
A levier of customs—casglwr *neu* gasglydd toll; tollwr, tollydd, tollur, amobrydd, ceisiad, cais, codwr treth.
Customs, } cyllid, y cyllid; tollau,
Custom duties, } cyllidau.
**Custom,** *v.* arfer, arferu, arferyd, darferu; ymarfer, ymarferu, ymarferyd, cynnefino, ymgynnefino, gnotäu, gnodi.
**Customable,** *a.* (o *custom*) arferol, arferedig, cynnefin, cynnefinol, cynnefodig, gnodol, gnotaol, defodol; cyffredin, mynych.
**Customableness,** *s.* arferoldeb, cynnefinoldeb, cynnefinolrwydd, cynnefindra; cyffredinrwydd, mynychrwydd, mynychder.
**Customably,** *ad.* yn arferol, &c.; fel arferol; yn ol yr arfer; yn y dull arferol.
**Customarily,** *ad.* yn arferol, &c.; yn ol yr arfer; yn ol y ddefod; fel arferol.
**Customariness,** *s.* arferoldeb, defodoldeb, defodolrwydd, defodrwydd, cynnefindra, arferedigrwydd, cynnefodogrwydd; cyffredinrwydd, cyffredinoldeb, mynychrwydd, mynychder, mynychdra, arferiad.
**Customary,** *a.* (Ff. *coutumier*) arferol, arferedig, cynnefodol, cynnefodig, cynnefin, cynnefinol, gnodol, gnotaol, gnawd, gnodus, gnodig, defodol; unol â defod ac arfer; cyffredin, mynych.
This is now become customary—aeth hyn weithian yn ddefod.
It is customary—mae yn arferol; mae yn arfer; mae yn ddefod; gnawd yw, gnodol yw, arferol yw.
**Customary,** } *s.* arferlyfr, defodlyfr, gnodlyfr;
**Custumary,** } llyfr arferion *neu* ddefodau.
**Customed,** *a.* (o *custom*) arferedig, cynnefodig, cynnefin, gnotäedig, cyffredin; trafnidiog, cysmeriog; âg iddo brynwyr; hygyrch; â mawr gyrchu iddi; âg iddi aml gysmeriaid.
**Customer,** *s.* (o *custom*) prynwr, cysmeriad, cysmer, prynwr gwastad, prynydd arferol, dybrynydd, masnachwr; trethgasglydd;† mwyglen.
Tarshish was thy customer—Tarsis oedd dy farchnadyddes.

**Custom-house,** *s.* cyllidfa, tollfa, tolldy, cyllitty.
Custom-house brokers — rhyngfaelwyr y gyllidfa.
**Custos,** *s.* (Ll.) ceidwad, cedwidydd, gwarcheidwad.
Custos rotulorum — ceidwad llysgofion, ceidwad y rholau, ceidwad cofnodau brawdlys, ceidwad y cofnodau.
**Custrel,** *s.* (hen Ff. *coustillier*) ysgwydwas, tarianwas, aesddyn, cludydd tarian; costrel win, cunnach.
**Cut,** *v.* (Gr. *coptô*; Norm. *cotu*; C. *catio*, *cytio*) tori; trychu, gorthori, naddu, hacio, cymmynu; lladd, lladd ar; ymdori; gwahanu; briwo, archolli; lleifio, catio, cateia; croesi, croesdori, cynghroesi; cerfio.
To cut about—amdori, amdrychu; tori o gylch.
To cut across—croesi; tori yn groes; myned yn groes i; myned y ffordd feraf.
To cut asunder, To cut in two, } tori ymaith; tori yn ddau; gwahanu; rhanu yn ddau; tori i ffwrdd.
To cut away—tori ymaith, trychu ymaith; dystrywio, dyfetha, dinystro, dinystrio, dilëu; tori ar.
To cut before—rhagdori, blaendori, rhagladd.
To cut capers — carlamu, crychneidio, prancio.
To cut down—tori i lawr; trychu i lawr; lladd; lladd â phladyr *neu* â chryman; cymmynu *neu* gwympo â bwyell; cymmynu; medi; taro â; cwympo; dryllio; arloesi; cywilyddio, darostwng, dystewi; rhagori, gorchfygu.
To cut in pieces—tori yn ddarnau, yn ddrylliau, yn gatiau, yn dipiau, yn ddifynion, yn yfflon, yn gandryll, *neu* yn dameidiau; darnio, dryllio, catio, difynio, manddryllio; cinynio.
I will cut thee to pieces—mi'th anafaf di; mi'th doraf yn ddarnau, &c.
To cut into slices—tafellu; tori yn defyll.
To cut into thongs—careio; tori yn gareiau.
To cut off—tori ymaith; tori i ffwrdd; trychu ymaith; lladd; dystrywio, dyfetha, dinystro, dinystrio, dilëu, difodi; diwreiddio; ysgythru, brigladd; gwahanu, dydoli; rhwystro, attal; dybenu, diweddu; gosod terfyn ar; symmud ymaith; rhagod, rhagflaenu; cau allan, byrhau, cwtogi; lliasu; ysu.
To cut off the boughs *or* branches—ysgythru, digeincio, brigladd, brigladd coed.
To cut off the head—tori pen, lladd pen, dibenu, torfynyglu, dïyddfu, pendori.
To cut off an heir—dïetifeddu; tori etifedd ymaith.
To cut off a speech—cwtogi araeth; tewi yn ddisymmwth; tori yn fyr; diweddu *neu* ddarfod yn ddirybudd; talmu yn swta.
To cut off delays—gwneuthur *neu* fyned yn ddïannod; myned yn nghylch peth yn ddïannod; gwneuthur yn ddïohir, yn ddïaros, *neu* yn ddïoed.
To cut off the stragglers of an army—lloffa y gwasgaredigion; tori ymaith y rhai gwasgaredig.
To cut off the top—brigdori, blaendori, brigladd; tocio, brigdocio; tori y brig.
To cut out—tori allan; tori i maes; ffurfio, llunio, amcanu, dyfeisio, cynllunio, tori; naddu, naddu allan; cymhwyso, addasu; blaenori; cymmeryd y blaen ar; rhagori ar; cau allan.
To cut one out *or* down—rhagori *neu* flaenori ar un; myned dros un; bod *neu* fyned yn drech nag un; maeddu un; gorchfygu un; trechu un; cael y goreu ar un.
To cut one to the heart—tori i'r byw; dygn ofidio *neu* ddygn flino un; gofidio *neu* flino calon un; gofidio *neu* flino un yn ei galon; peru i un ffromi yn ddirfawr *neu* yn aruthr; brathu *neu* wanu i'r byw; dwysbigo un.
To be cut to the heart—ymofidio *neu* ffromi yn ei galon.
To cut on—brysio, prysuro, crysio, ysguto, ysgudo, ysgutho; bwrw arni; ffrystio, ffullio, ffysgio, cyflymu.
To cut the air—hollti y gwynt; gwanu y gwynt; gwahanu y gwynt; ehedeg drwy yr awyr; hollti yr awyr; tori yr awyr.
To cut the sea—hollti *neu* wanu y môr; aredig y môr; hollti y tònau; cwyso y weilgi; cwyso y dyfnder.
To cut short—tori yn fyr; cwtogi, cwtäu, byrhau, talfyru, tocio, dyfyru; lleihau; rhwystro.
To cut up—tori i fyny; tori; dadwreiddio, diwreiddio; tori ymaith; tori i ffwrdd; tori ffwrdd; tori yn ddarnau.
To cut as a tally—rhygnu, rhicio; tori rhwgn *neu* ric; tori rhiciau *neu* rygnau.
To cut one's throat—torfynyglu un; tori gwddf *neu* wddwg un; tori corn gwddf un; tòri corn breuant un; tori ceg un; tori gwythi gwaed un; tori mwnwgl un.
To cut one's short—tori ar chwedl un.
To cut hay—lladd gwair; tori gwair.
To cut turf—lladd mawn, lladd tywarch; tori mawn.
To cut with a saw—llifio; tori â llif.
To cut with a knife—tori â chyllell; cyllellu.
To cut a great figure—dwyn rhwysg mawr; ymddangos yn wych; gwneuthur rhodres; tori cynllun gwych; torsythu.
To cut (as the teeth)—tori; tori allan; tyfu allan.
He cuts teeth, He is cutting teeth, } y mae efe yn cael dannedd; y mae efe yn magu dannedd; y mae ei ddannedd yn tori allan; y mae yn cael dannedd.
To cut (as horses do)—swrn-daro; briwo; taro wrth eu gilydd.
To cut for the stone—maenddeoti, maendrychu.
He cut short their communication—torodd ar eu hymddyddan hwynt.
To cut trees—tori coed, cymmynu coed, cwympo coed.
To cut and mangle—llurgunio, sinachad, sinachu; cigyddio, merthyru; tori yn annhrefnus, yn afluniaidd, *neu* yn anfedrus.
To cut into mis-shapen luncheons—ysgylffo; tori yn gylffau; ysgolpo.

This tongue of yours must be cut out—rhaid yw tori eich tafod.
The froward tongue shall be cut out—y tafod cyndyn a dorir ymaith.
I will cut out work for you—mi a beraf *neu* a roddaf waith i chwi i'w wneuthur; mi doraf i chwi waith allan.
He cutteth him out windows—efe a nadd iddo ffenestri (*Ier.* xxii. 14).
To be cut out for some particular business *or* profession—bod wedi ei eni, ei ddonio, ei gynnysgaeddu â doniau, ei gymhwyso, *neu* ei gyfaddasu i fod o ryw swydd *neu* alwad neilltuol; gwedi ei dori allan i orchwyl, &c.
He is cut out for a scholar—ganwyd ef i fod yn ysgoläig.
They were cut to the heart—ffromasant yn eu calonau (*Act.* vii. 54).
He cutteth large thongs out of another man's leather—hael Hywel o bwrs y wlad.
I cut him to the quick—mi a'i gwanais *neu* a'i brathais i'r byw; mi a'i dygn flinais ef; mi a berais iddo flinder nid ychydig.
Cut the sole according to the foot—tor *neu* lladd y gwadn yn ol y troed; lladd y gwadn yn ol fel y bo'r troed; tor dy bais yn ol dy frethyn.
To cut each other at right angles—croesi eu gilydd; croesdori eu gilydd; trawsdori y naill y llall yn union; uniongroesi y naill y llall; ymgroesi yn gyfongl.
Neither shall men cut themselves for them—nid ymdorir drostynt.

**Cut**, *s.* toriad, tor, gorthoriad, gorthoriant, trwch, trychiad; archoll, briw, clwyf, anaf, gweli; lladd; ergyd; hac, twc, bwlch, hollt, agen, adwy; cymmyn; darn, dernyn, cat, cetyn, dryll, cinyn, difyn, trychyn; tafell, tafellan; rhwgn, rhign, rhygn, gwlf, rhigol, cwys, sylch; ffos, dyfrffos, dyfrglawdd; dull, modd, ffurf, llunwedd, dullwedd, delw; argraffiun, argrafflafn, cerfiad, cerflun; cwtws, coelbren, blewyn cwta; berffordd; trychineb, trychni, aflwydd; llach, ffonod; parthiad, gwahaniad, rhwyg;+ ffwlcyn.
A cut with a weapon — arfawd; archoll âg erfyn.
A cut with a sword--cleddyfawd, cleddyfal, ffosawd, cleddyfod; archoll â chleddyf.
A cut with a knife—cyllellawd; archoll â chyllell.
A cut with a whip—ffrewyllawd, fflangellawd; archoll â fflangell; ysleifiad.
A cut with an axe--bwyellawd; cymmynad; archoll â bwyell.
This is the shortest cut—dyma y ffordd feraf *neu* agosaf.
There was the shortest cut—yno yr oedd y croesiad byraf; yno yr oedd y lle byraf *neu* y fàn feraf i fyned drosodd.
Wood-cut—coedlun, coettor, coettoriad, argrafflun ar goed, coedgerflun, coedargraff, coedarlun, coedgerfiad.
In cuts — yn ddarnau, yn ddrylliau, yn gatiau, yn doriadau, yn drychau, yn drychion, yn ylfion.
Cut and long tail—y gwych a'r gwael; pawb o bob gradd.

**Cut**, *p. p.* toredig, &c.; trwch; anafus; cwta, byr, swta; cerfiedig, cerfluniedig.
Cut about--amdrwch, amdoredig, amdrychedig.
Cut asunder — gwahanedig, rhanedig, parthedig; gwahanol.
Cut short—cwta, (*f.* cota), byr, (*f.* bèr), talfyr, talfyredig, dyfyr; rhyfyr.
Easily cut, } Easy to be cut, } hydor, hydrwch, hyfriw; hyladd; hyfed; hawdd ei dori, &c.
Not easy to be cut—anhydor, anhydrwch; anhyladd; anhawdd ei dori, &c.

**Cutaneous**, *a.* (Ll. *cutis*) croenaidd, croenol, croendarddiadol; perthynol i'r croen.
Cutaneous diseases — clefydau y croen, clefydon y croen, heintiau y croen; clefydau croenaidd.
Cutaneous eruption — croendarddiant; tarddiant yn y croen; llyfrithiad *neu* lyfrithiant y croen; toriad allan yn y croen.

**Cute**, *a.* (o *acute*) craffus, craff, llym, glew, deallus.

**Cuticle**, *s.* (Ll. *cuticula*) croenen, croenyn, glasgroen, pilen, pilionen, tònen, tòn, caen, caenen, en, teneugroen, argroen, uchgroen; y croen *neu* y groenen uchaf; tòn *neu* dònen y croen.
A thin cuticle — glasgroenen, glasgroen, croenen deneu.

**Cuticular**, *a.* (Ll. *cuticularis*) croenynol, croenenaidd, glasgroenaidd, pilenaidd, argroenaidd, uchgroenaidd, croenynaidd, croenaidd, croenol; yn nhòn *neu* yn nhònen y croen.

**Cutlas**, } **Cutlass**, } *s.* (Ff. *coutelas;* Ll. *cultellus*) anglas, crymgleddyf, crymgledd llydan; ffoswn, cleddyf, bidog.

**Cutler**, *s.* (Ff. *coutelier;* o'r Ll. *culter, cultellus*) cyllellwr, cyllellydd; cyllellof, cleddof; gof cyllyll.
Sword cutler — cleddof, gof cleddyfau, cleddyfof.

**Cutlery**, *s.* (Ff. *coutellerie*) cyllellyddiaeth, cyllellwriaeth, cyllyriaeth, cyllellofiaeth, cleddofiaeth; gwneuthuriad arfau awch; miniogaeth; miniogion, arfau awch.

**Cutlet**, *s.* (Ff. *côtelette*) golwyth; dernyn.

**Cutpurse**, *s.* (*cut* a *purse*) ysbeiliwr llogellau, lleidr alwarau, lleidr pyrsau, pyrsleidr, codbigwr, llogellbigwr; lleidr, ysbeilydd.

**Cutter**, *s.* (o *cut*) torwr, torydd, toriedydd trychwr, trychydd, naddwr, ysgythrydd, ysgythrwr, cymmynwr; toriadyr, cyllen, cyllan, cyllyr, catai, ysgïen; blaenddant;† murniwr, llofrudd, dyhiryn.

**Cutter**, *s.* ysgoren, ysgilong, ysgafnlong, trychlong; trychfad; llong unfwrdd, unhwyliar, fuanred.

**Cutters**, *s. pl.* trychbriddfeini, priddfeini meddal.

**Cut throat**, *s.* torgeg, llofrudd, murniwr, lleiddiad, bidogwr, grafil, drygddyn, dyhiryn, mab y fall.

**Cut-throat**, *a.* llofruddiol, llofruddiog, llawrudd, murniol; ciaidd, barbaraidd, milain, mileinig.

**Cutting**, *s.* (o *cut*) toriad, trychiad, gorthoriad, gorthoriant, naddiad, rhwygiad, maendrychiad: *pl.* toriadau, &c., naddion, trychion, torion, ciniach, cinynion, darnau, dernynau, tocion, plan-dorion, lleinellau, lleiniau.

**Cutting**, *a.* brathol, trywanol; yn treiddio i'r byw; yn treiddio i'r galon; llym, pigoglym, pigog, treiddlym, llymbigog, brathiadol, llymdost, tostlym, chwerw, gwanol, terig; i'r byw.

Cuttle, Cuttle-fish, } *s.* (S. *cudele*) ystifflog, morgyllell, morlawes, ystiffog: dyhiryn cegddu.

Cuttle bone—bron alarch, asgwrn ystifflog.

**Cutwater**, *s.* (*cut* a *water*) torddwr, torddwfr, duryn llong; barglawdd: llurs, gwalch y penweig.

Cyamilede, *s.* sur creisflorig anhydawdd.

Cyanates, *s. pl.* (Gr. *cuanos*) glashalion.

Cyanic Acid, *s.* (Gr. *cuanos*) sur llasufelai, sur creisflorig, sur glasarig.

Cyanide, *s.* (Gr. *cuanos*) creisflorid, cresflorid.

Cyanilic Acid, *s.* sur glasilig, sur lleblychig, sur melonig.

Cyanite, Kyanite, } *s.* (Gr. *cuanos*) glasith=math o ddelidfaen.

Cyanogen, *s.* (Gr. *cuanos* a *gennaô*) glasai, glasarai, llasai, creisflorai, cresflorai = nwy, cynnwysedig o un ran o florai, a dwy o ulyf.

Cyanometer, *s.* (Gr. *cuanos* a *metron*) glasfesur, glasfeidyr, glasfesurydd = offeryn i fesur glesni yr wybren.

Cyanuret, *s.* (Gr. *cuanos*) creisflorid, cresflorid.

Cyanopathy, Cyanosis, Cyania, } *s.* (Gr. *cuanos* a *pathos*) glasglefyd, glasglwyf, glaswst, y glesni.

Cyanose, *s.* (Gr. *cuanos*) copras glas, careg las, efyddgris, coprhalan, glasfaen.

Cyanuric Acid, *s.* sur creisfloridig, sur creisflorid.

Cyanus, *s.* (Gr. *cuanos*) penlas yr yd, penlas wèn, cramenog yr yd.

Cyathea, *s.* (Gr. *cuathos*) ffiolell, ffiolredyn, cibredyn.

Cyathiform, *a.* (Gr. *cuathos*; Ll. *cyathus* a *forma*) cwpanaidd, cibynaidd, ffiolaidd, cibaidd; ar ddull cwpan.

Cyclamen, *s.* (Gr. *cuclos*) egel, llysiau y ddidol, bara yr hwch, moch-wraidd, didol.

Cyclamine, *s.* (o *cyclamen*) egelnur=dansawdd à geir yn ngwraidd yr egel, neu lysiau y ddidol.

Cycle, *s.* (Gr. *cuclos*; Ll. *cyclus*) cylch, chwyl; cylchred, cylchrediad, cylchwy, rhygylch, cant; ysbaid cyfnodol.

Cycle of the moon, Lunar cycle, } cylch y lleuad, cylch y lloer, y cylch lleuadol, y rhif euraid, y prif, y cylch Metonig=ysbaid à gwblheir yn mhen pob 19 mlynedd, pan y dychwel y lleuadau newydd a llawn i'r un dyddiau o'r mis ag o'r blaen, ac y dechreu y lloer ei gyrfa drachefn gyda'r haul.

Cycle of the sun, Solar cycle, } cylch yr haul, y cylch heulog, y cylch heulaidd, cylch y Suliau=ysbaid o 28 flynedd, ar ddiwedd y sawl y dychwel y llythyrenau Sul i'w lle blaenorol, ac y dechreuant drachefn ar y cylch o newydd.

Cycle of indiction—cylch y cyhoeddiant, cylch y pumthegiant, cylch y cyhoeddwys=ysbaid o 15 mlynedd, à sefydlwyd gàn Cystenyn Fawr, a dechreuwyd cyfrif wrtho, Ionor 1, 313.

Paschal cycle—cylch y Pasc.

Cyclic, *a.* (Gr. *cuclicos*) cylchig; cylchol, cylchaidd.



Cyclic poets—prydyddion cylchig, cylchbrydyddion, cylch-feirdd, cyrchynfeirdd; Homeridiaid.

Cyclic chorus—cylchgor, cydgor cylchig (yn Athen gynt).

Cyclical, *a.* cylchig, cylchol, cylchaidd, cylchynol.

Cyclobranchia, Cyclobranchians, Cyclobranchiata, } *s. pl.* (Gr. *cuclos* a *bragchia*) cylchdagellogion, cylchdagelliaid, cylchdagellion.

Cyclograph, *s.* (Gr. *cuclos* a *graphô*) cylchgomellyr, cylchgraff, cylchofferyn.

Cycloid, *s.* (Gr. *cuclos* ac *eidos*) crogyrfen, crogwrf, cylchgom, cylchgomell.

Cycloidal, *a.* crogyrfol, cylchgomaidd, cylchgam.

Cycloidal pendulum—dringlyn crogyrfol.

Cycloidians, *s. pl.* (Gr. *cuclos* ac *eidos*) rheiddlibogion, creiddlibogion, rheiddfeddalogion.

Cyclolite, *s.* (Gr. *cuclos* a *lithos*) cylchwylar.

Cyclometry, *s.* (Gr. *cuclos* a *metron*) cylchfesuriaeth; cylchfesuriad.

Cyclopean, Cyclopic, } *a.* (o *Cyclops*) cawraidd, gorfawr, erfawr, amrosgo, anferth; erchyllfawr, dychrynllyd; anwar; Cyclopig, Cyclopaidd.

Cyclopedia, Cyclopædia, Cyclopede, } *s.* (Gr. *cuclos* a *paideia*, *egcuclopaideia*) gwyddoniadur, gwyddiadur, gwybodiadur, geiriadur gwyddorol a chelfyddol, arleniadur, cyfwyddonur; cylch gwybodaeth; llyfr gwybodaeth gyffredinol.

The Penny Cyclopædia—y Gwyddoniadur Ceiniog.

Cyclopedia of arts—gwyddoniadur y celfyddydau, gwyddoniadur celfyddol, gwyddiadur celfyddydol, celfeiriadur.

Cyclopedia of sciences — gwyddoriadur, gwyddoniadur y gwyddorion, gwybodiadur gwyddorol.

Cyclopedian, Cyclopediac, } *a.* gwyddiadurol, gwyddoniadurol, gwyddiaduraidd.

Cyclosis, *s.* (Gr.) ysgogiad llyswy, cylchwyad.

Cyclostoma, *s. pl.* (Gr. *cuclos* a *stoma*) cychsafnogion, cylchencuaid, crynsafniaid.

Cyclostomes, *s. pl.* (Gr. *cuclos* a *stoma*) safngrynogion, prysg safn-grwn, pysg geneugrwn.

Cyclostomous, *a.* safn-grwn, geneugrwn.

Cyclostylar, *a.* (Gr. *cuclos* a *stulos*) cylchgolofnog, cylchbilerog, cylchbillog, cylchbillresog.

Cyclura, *s. pl.* (Gr. *cuclos* ac *ouros*) cylchlostogion.

Cyder, *s.* (Ff. *cidre*, *sidre*) osai, afalwy, dïod afalau.

Cydonia, *s.* (o *Cydon* yn Candia) Cydonia, cwins.

Cygnet, *s.* (Ll. *cygnus*, *cycnus*) alarchen, alarchan, alarch ieuanc, cyw alarch.

Cygnus, *s.* (Ll.) yr Alarch=un o'r hen gydserau.

Cylinder, *s.* (Gr. *culindros*; Ll. *cylindrus*) rhol, rholyn, trolyn, trolen, trol, hirgrwn, rholen; rholbren, rholfaen, corff hirgrwn.

Cylindraceous, *a.*=*Cylindric*, *Cylindrical*.

Cylindric, Cylindrical, } *a.* (o *cylinder*) rholaidd, trolaidd, rholynaidd, trolynaidd, rholenaidd; trolenaidd, trolynog, rholynog; hirgrwn, hirgrynol; ar wedd rhol.

**Cylindricity,** *s.* rholynogrwydd, trolynogrwydd, rholeiddrwydd, troleiddrwydd, trolyneiddrwydd, rholyneiddrwydd, hirgrynedd, rholynoldeb; ffurf drolynaidd. [llysfadfall.
**Cylindricodon,** *s.* (Gr. *culindricos* ac *odôn*)
**Cylindriform,** *a.* (Ll. *cylindrus* a *forma*) rholaidd, trolaidd, rholynaidd, trolynaidd; ar ddull rhol.
**Cylindroid,** *s.* (Gr. *culindros* ac *eidos*) gorolyn, godrolyn, lledrolyn, lledrolen.
**Cylindrometic,** *a.* (Gr. *culindros* a *metron*) rholfesurol, trolfesurol.
**Cymar,** *s.* (It. *ciamare*; Ff. *simarre*) ysgablar, ystola; gwisg deneu, godudded; simwr.
**Cymatium,** } *s.* (Ll.; Gr. *cumation*) tònfolden,
**Cyma,** } tònfold, tònaddurn; moldaddurn.
**Cymbal,** *s.* (Gr. *cumbalon*; Ll. *cymbalum*) symbal, taron.
High-sounding cymbals—symbalau soniarus, symbalau llafar.
**Cymbiform,** *a.* (Ll. *cymba* a *forma*) cychaidd, badaidd; ar ddull cwch *neu* fad.
**Cyme,** } *s.* (Gr. *cuma*) impyn, impen; cydflod-
**Cyma,** } ionos; paniglen.
**Cymbling,** *s.* math o afal melyn hir.
**Cymoid,** *a.* (Gr. *cuma* ac *eidos*) impaidd, impenaidd; cydflodionaidd; paniglaidd.
**Cymophane,** *s.* (Gr. *cuma* a *phainô*) eurferyl.
**Cymophanous,** *a.* (o *cymophane*) lliwdonog, cathlygeidiol, troliwemol; yn llewyrchu fel llygad cath yn y tywyll.
**Cymose,** } *a.* (Ll. *cymosus*) impynog; cyflod-
**Cymous,** } ionog, cydflodionog; paniglog.
**Cynanche,** *s.* (Gr. *cunagchê*) hychgryg, cegwst, dolur gwddf.
**Cynanthropy,** *s.* (Gr. *cuôn* ac *anthrôpos*) dynddaredd, cynddaredd=math o gynddaredd neu wallgofrwydd, yn yr hwn y mae i ddynion deithi cwn.
**Cynarctomachy,** *s.* (Gr. *cuôn*, *arctos*, a *machê*) cynarthannos, arthannos â chwn; annos arth â chwn.
**Cynegetics,** *s. pl.* (Gr. *cunêgeticos*) cynyddiaeth, helgyneg, helwriaeth, helwreg; helyddiaeth â chwn.
**Cynic,** } *a.* (Gr. *cunicos*, o *cuôn*, ci) costog-
**Cynical,** } aidd, costog, craseiriog, sarig, afrywiog, anfwyn, croes, anhynaws, anwesog, difoes, anynad, sor, sur, taiog, cras, duchanus, duchanllyd, duchangar, cipgar, cecrus, cecraidd, cwerylus, cwerylgar, cymhendraws, brathlyd; gerwin, garw, tost; cŷnig, cïaidd, terig.
Cynic spasm—gwyneg gŷnig; udwyneg, ciwyneg; gwyneg â bair i'r goddefydd udo fel ci.
**Cynic,** *s.* costogyn, cŷnig, gwrgi, sarigyn, monyn, taiogyn, soryn; athronydd craseiriog; dyngashäwr, annyngarwr: *pl.* cŷnigiaid, costogiaid, sarigiaid, sarigion, &c.
**Cynicalness,** *s.* costogrwydd, sarigrwydd, costogeiddrwydd, afrywiogrwydd, &c.; dirmyg cyfoeth a difyrion.
**Cynicism,** *s.* (o *cynic*) costogaeth, cŷnigaeth, taiogaeth, afrywiogaeth; derfoes; dyngasineb.
**Cynoglossum,** *s.* (Gr. *cuôn* a *glôssa*) pigl, pigyl, tafod y bytheuad.
**Cynoglossus,** *s.* (Gr. *cuôn* a *glôssa*) pigylbysg.
**Cynography,** *s.* (Gr. *cuôn* a *graphô*) cihanes, hanes cwn.
**Cynolyssa,** *s.* (Gr. *cuôn* a *lissa*) cynddaredd, y gynddaredd.
**Cynosbatus,** *s.* (Gr. *cunosbatos*) ciros, egroeswydd, ogfaenllwyn, rhos y cwn, marchfieri.
**Cynorexy,** *s.* (Gr. *cuon* ac *orexis*) gorwanc, y wanc, rheibglwyf.
**Cynosure,** } *s.* (Gr. *cunosoura*; Ll. *cynosura*)
**Cynosura,** } yr Arth Leiaf, yr Arthan; seren y morwyr, seren y gogledd, cyfarwyddyd y morwyr; Rhonell y ci; Men Carl, y Cerbyd.
**Cynosurus,** *s.* (Gr. *cuôn* ac *oura*) rhonwellt y ci.
**Cynoxalic Acid,** *s.* sur cisuranig.
**Cynthia,** *s.* (un o enwau Diana, oddi wrth fynydd *Cynthus*) y lloer, y lleuad.
My fair Cynthia—fy lloer wèn.
**Cyophoria,** *s.* (Gr. *cuos* a *phereô*) cyfebrawd, cyfebriad, beichiogiad, beichiogi, cyfebri.
**Cypher,** *s.*=*Cipher.*
**Cyphonism,** *s.* (Gr. *cuphôn*) melgosp.
**Cyperaceæ,** *s. pl.* (Ll. *cyperus*) hesg, yr hesg.
**Cuperaceous,** *a.* hesgaidd; perthynol i'r hesg.
**Cyperus,** *s.* (Ll.) ysnoden Fair.
**Cyphel,** }
**Cyphelle,** } *s.* (Gr. *cuphos*) eilun briweg.
**Cypræa,** *s.* (*Cypria*, enw ar Gwener) cregyn Mair.
**Cypress,** *s.* (Ll. *cupressus*; Gr. *cuparissos*) ffyllwydd, cypreswydd: *sing.* ffyllwydden, cypreswydden.
Cypress tree—ffyllwydden, cypreswydden.
Evergreen American cypress—ffyllwydden fythwerdd Amerig: cedrwydden feidiog America; cypreswydden wèn.
Spreading cypress—ffyllwydden ymdaenol, cypreswydden lorwedd.
Cypress spurge—fflamgoed gedrol.
**Cyprian,** *s.* (o *Cypria*, un o enwau Gwener) mwyglen, anllades, puten.
**Cypripedium,** *s.* (*cypris*, enw ar Gwener, a *podion*, llopan) esgid Fair, llopan Fair.
**Cyprus,** *s.* (llygriad o *cypress*?) teneuwe du.
**Cyriologic,** *a.* (Gr. *curios* a *logos*) priflythyrenol, braslythyrenol, priflythyrol.
**Cyst,** } *s.* (Gr. *custis*) coden, cod, gwain,
**Cystis,** } crawngod, crawngoden, llidgai, gorgai, coden hwrwg, cod crawn, crawnwain; pledren.
**Cystic,** *a.* (o *cyst*) crawngodog, crawngodenol, crawngodenog, crawnweiniol, llidgeiol, gorgeiol.
Cystic oxide—crawn-egrid.
**Cystocele,** *s.* (Gr. *custis* a *cêlê*) torbledren.
**Cystotomy,** *s.* (Gr. *custis* a *tomê*) agoriad crawngoden, agoriad cornwyd, gorgeiagiad, agoriad gorgeion.
**Cytisine,** *s.* (o *cytisus*) euron-gyfog, llebgyfog; dansawdd chwerw euron.
**Cytisus,** *s.* (Ll. oddi wrth ynys *Cythnus*, yn yr Ynysfor) euron, pyswydd, eurwydd, euronwydd.
**Cytisus Scoparius,** *s.* banadl, banal, banad.
**Czar,** } (o *Cæsar* neu *Kaisar*?) Csar, Tsar=
**Tzar,** } senw neu enwawd â roir i Amherawdwr Rwssia: teyrn, brenin, penadur.
**Czarina,** *s.* Csares, Csarîna, Tsares=enw â roddir i Amherodres Rwssia.
**Czarinian,** *a.* (o *czarina*) Csaresaidd, Csarinaidd; perthynol i Amherodres Rwssia.
**Czarish,** (o *czar*) Csaraidd, Tsaraidd, Csarig; perthynol i Csar Rwssia.
**Czarowitz,** *s.* (*czar*, a R. *witz* neu *vitz*, mab) Csarowits, Tsarowits, Csarab=mab hynaf y Csar, neu Amherawdwr Rwssia.

# D.



D, fel rhifnod, a saif am bum cant=500.

**Dab**, *v. a.* (Ff. *dauber*) cnithio, ffatio, cisio, gogisio, ysgafn daraw; ysgafn gyffwrdd â; yslapio, llabio; cyffwrdd, cwrdd, *neu* daraw yn ysgafn; tirion daraw; godaraw; taraw â pheth masw *neu* wlyb.

**Dab**, *s.* cnith, cis, ffat, gogis, yslapen, llab, cnipws; ergyd, palfod, *neu* fonclust ysgafn; talp, telpyn, clap, soegyn, sypyn gwlyb, tylffyn, telpyn masw: lleden genog, llythïen genog: un hyfedr, hyfedrydd, medrusydd, crefftwr.

A dab of fat—llab, tameidyn, telpyn, *neu* dylffyn o frasder.

A dab at a thing—un hyfedr ar ryw beth; meistr ar beth; crefftwr, medruswr.

**Dabble**, *v.* (Is. *dabbelen*, *dabben*; H. *tabal*) ymdryboli, tryboli, yslotian; trybaeddu, ymdrybaeddu, trochi, ymdrochi, ymdröi, ymsicio, ymolchi; chwareu mewn dwr; chwareu mewn dwr a llaca; ymyryd, ymyru, ymyraeth, ymhel â; gwneuthur *neu* drin peth yn anhyfedr; cyffwrdd yma acacw; gwneuthur peth yn arwynebol; dwbio; gwlychu, taenellu, ysgeintio, lleithio; tasgu dwr; diblo.

To dabble in the water—yslotian yn y dwr; chwareu â'i ddwylaw yn y dwr; mynych drochi ei ddwylaw yn y dwr; ymsicio, ymolchi, *neu* ymdrochi yn y dwr; chwareu yn y dwr.

To dabble in the dirt—trybaeddu, ymdrybaeddu, tryboli, ymdryboli, trochi, ymdrochi, maeddu, *neu* ymdröi mewn tom; trin, trafod, *neu* faeddu tom â dwylaw.

To dabble one's clothes—diblo, ymddiblo, ymdryboli, &c.

You must be always dabbling—rhaid i chwi fod â bys yn mhob peth.

To dabble with one—erlyn ar un; llithio, denu, *neu* gyffröi un i wneuthur rhyw beth; arferu amryw ffyrdd, amryw foddion, *neu* amryw resymau er denu un.

**Dabbler**, *s.* (o *dabble*) yslotiwr, ymdrybolwr, ymdrybaeddwr; ymyrydd, ymyrwr arwynebol; gwagdriniwr; â ymyro â'r hyn ni bo hyfedr arno; hanner crefftwr, eilun crefftwr.

**Dabchick**, *s.* (*dab* a *chick*) tindroed, ymdrochiar, soddiar=math o wylan fechan.

**Dabster**, *s.* (o *dab*, neu *adept*, a'r terfyniad *ster?*) un hyfedr, un medrus; medruswr, hyfedrydd; meistr ar ei waith; crefftwr.

**Da Capo**, *ad.* (It.) at y pen, eilchwyl, eilwaith, eto, etwa, o'r dechreu.

**Dace**, *s.* (Is. *daas*) brwyniad=math o gippysg.

**Dactyl**, } *s.* (Gr. *dactulos*; Ll. *dactylus*) corfan
**Dactyle**, } crych disgynedig, bysgorfan, bysfan=mydr teirsill, y flaenaf yn hir, a'r ddwy olaf yn fyr, fel cymmalau bys (– ⏑ ⏑).

**Dactylar**, *a.* (o *dactyl*) bysgorfanol, bysgorfanaidd; perthynol i gorfan crych disgynedig.



**Dactylet**, *s.* (o *dactyl*)=*Dactyl*, *Dactyle*.

**Dactylic**, *a.* (o *dactyl*) bysgorfanig, bysfanig, bysgorfanog, bysfanog.

**Dactyliography**, } *s.* (Gr. *dactulios* a *graphô*)
**Dactylography**, } gemgerfiadaeth, gemgerfiaeth, gemgrifiadaeth, crifemrwyaeth.

**Dactyliomancy**, } *s.* (Gr. *dactulios* a *manteia*)
**Dactylomancy**, } modrwyarmes, bysonarmes, modrwygoel, dewiniaeth â modrwyau.

**Dactylology**, *s.* (Gr. *dactulos* a *logos*) bysiaith, llawiaith, llofebiaeth; bysoneg, bysoniaeth, bysrwyeg.

**Dactyloglyph**, } *s.* (Gr. *dactulos* a *gluphô*)
**Dactylioglyph**, } modrwygerfiwr, byson-gerfiwr; gemargraffeb.

**Dactylist**, *s.* (o *dactyl*) rhwyddfydrydd, rhyddfydrwr.

**Dactylis**, *s.* (Gr. *dactulos*) byswellt, grugwellt, troed y ceiliog, dant y ci.

**Dactylonomy**, *s.* (Gr. *dactulos* a *nomos*) bysrifiadaeth, bysrifiaeth, bysgyfrif, bysgyfrifiaeth.

**Dactylopterous**, *a.* (Gr. *dactulos* a *pteron*) bysadeiniog, bysasgellog, bysadenog.

**Dad**, } *s.* (gair o ffurfiad plant, odd wrth y
**Daddy**, } sawl ei cymmerwyd: C. a Llyd. *tad*; Gw. *taid*; Cern. *tad*, *taz*; Sans, *tada*) tada, tata, data, tad (yn iaith plant).

**Daddle**, *v. n.* (?) honcian, gwegian, gwegio, honcio; gwegryn wrth gerdded (fel plentyn neu henwr).

**Dade**, *v. a.* cynnal â llinyn arwain.

**Dado**, *s.* (It.) ffrist, dis, dis ysbur.

**Dædal**, *a.* (Ll. *Dædalus*; Gr. *Daidalos*, enw celfyddwr cywrain) amrywiol, amrywiog, amryddull; cywrain, cywraint, cynnil, celfydd, medrus.

**Dædalian**, *a.* (o *Dædalus*) amrywiog, amrywiol, amryw, amrywiedig, amryfal; celfydd, cywrain, cywraint, hyfedr, medrus, celfydd; dyrys, astrus; dyrysfaog, bachdrofaog, cymhlyg, cymmysg, penbleth.

**Dæmon**, } *s.* (Ll. *dæmon*; Gr. *daimôn*)=*De-*
**Demon**, } *mon*.

**Daff**, } † *s.* (Isl. *dauf*) penbwl, pendew,
**Daffe**, } hurthgen, clwpa, delff.

**Daff**, *v. a.* digaloni, llyfrhau.

**Daff**, *v. a.* rhoi heibio; rhoi o'r neilltu; dodi, rhoddi, symmud, *neu* fwrw ymaith.

**Daffodil**, *s.* (Is. *affodille*; Al. *doppelte narcisse*; Ll. *asphodelus*; Gr. *asphodelos*) gylfinog, cenin y gwinwydd, cenin Pedr, croesaw gwanwyn, blodau Mawrth.

Checkered daffodil—britheg.

Pale daffodil, } gylfinog ddeuflodeu-
Primrose peerless, } og.

Common daffodil—gylfinog gyffredin, &c.

**Dag**, † *s.* (Ff. *dague*) dagr; gwn llaw, llawddryll.

**Dag**, † *s.* gwlith.

**Dag**, *s.* (S.) godre, dibl, dible, coten; carai ledr; cinyn.
**Dag**,† *v. a.* diblo, caglo, caglu; careio, lleincllu, tori yn gareiau.
**Dagger**, *s.* (Ff. *dague;* Is. *dagge;* Llyd. *dager;* Gw. *daigear*) dagr, dager, dagyr, bidog, corgledd, cleddyfan, byrgleddyf, cleddyf cwta.
  Dagger (in typography)—bidog, bidag, pignod=fel hyn †.
  A small dagger—dageran, bidogan.
**Dagger**, *v. a.* bidogi; trywanu â dagr *neu* fidog; brathu, trywanu.
**Daggers-drawing**, *s.* diweiniad *neu* dyniad dagerau; dager-dyniad; dynesiad i ruthro *neu* ymosod ar; ymgiprys, ymrafael.
  To be at daggers-drawing—bod ar fyned benben; bod ar fyned ben yn nghad; bod ar fyned wrth y clustiau; bod ar ymdrafodi *neu* ymddarfodi; bod yn barod i daro *neu* ymladd.
**Daggle**, *v.* (o *dag*, gwlith) diblo, caglu, caglo, llodro; diwyno; llusgo mewn llaca; diwyno *neu* lytrodi y godre; bryntäu, budru; bod yn llusgo, yn crogi, *neu* yn dibynu yn y tom.
  To daggle one's self—ymddiblo, ymgaglu, ymlodro.
**Daggle-tail**, **Daggle-tailed**, **Dag-tailed**, *a.* diblog, caglog, dibledig; â chanddo odre caglog.
**Daggle-tail**, *s.* yslebren, llaesen, diblen, yslebog, yslabi, dwgan, hafnai, diblydd, caglen.
**Daglock**, *s.* (*dag*, cinyn, a *lock*) dibl, dible, cagl, cagl-gudyn, godre: *pl.* godreon, godrau.
**Dagswain**, *s.* (*dag*, cinyn) hulgarped.
**Daguerreolite**, *s.* (*Daguerre*, a Gr. *lithos*) aguerrfaen, lluganfaen.
**Daguerreotype**, *s.* (oddi wrth Mr. *Daguerre*, Ffranc, y dyfeisydd, a Gr. *tupos*) Daguerrdebiaeth; heuldebiaeth; Daguerryddiaeth.
**Dahlia**, *s.* (oddi wrth Andreas *Dahl*, o Sweden) llwyth blanigion.
**Daily**, *a.* (S. *dæglic*, o *dag*, dydd) beunyddiol, peunyddiol, peunydd, beunydd, dyddiol; â wneler *neu* â ddygwyddo bob dydd; bob dydd.
**Daily**, *ad.* beunydd, yn beunyddiol, yn feunyddiol, peunydd; bob dydd; o ddydd i ddydd; o ddydd bwygilydd; bob dydd yn ei ddydd.
**Daintiness**, *s.* (o *dainty*) moethusder, moethusrwydd, mwythusrwydd, moethusdra, mwythusdra, moethineb, danteiddrwydd, almes, ammeutholdeb, ammoetholdeb, ammoetholder, ammeuthynrwydd, ammeuthynder, minflysigrwydd; dicräwch, dichlynrwydd, neisrwydd; †defodgarwch.
**Daintrel**,† *s.* (o *dainty*) ammeuthyn, ammoethyn.
**Dainty**, *a.* (C. *deintaidd*) moethus, mwythus, danteithiol, danteiddiol, deintaidd, ammeuthyn, ammoethyn; meddfaeth, blysig, minfelus, minflysig, dantfelus, blasus, melus; dicra, nais, llednais, destl, dillyn, tlws, misi, dichlyn, manwl; mwyth, blydd, tyner, meddf; masw, gwych; costfawr; defodgar, rhyfoesog; hyfryd.
  A dainty person—moethyn: *f.* moethes, moethen.
  Dainty-mouthed — minfelus, minflysig, minfoethus.
  Dainty dishes — danteithion, moethau, ammeuthynion, mwythau.
  To fare daintily—byw yn foethus, yn finflysig, yn finfelus, *neu* yn fwythus; cymmeryd byd da yn helaethwych.
**Dainty**, *s.* danteithfwyd, danteiddfwyd, moeth, ammeuthyn, ammoethyn, almes, melusfwyd, blasusfwyd, mwythusfwyd, ammoeth, danteeth, ammeuthynfwyd, saig ammeuthyn, ancwyn: *pl.* danteithion, moethau, blysion, ammeuthynion, &c.
**Dairy**, *s.* (o *dey*, hen air am laeth, yn ol *Junius* a *Lye;* Sw. *dia*) llaethdy, llaethfa, blithdy, blithfa; hafotty, hafod, maerondy, maerdy; blith, maerwri, triniaeth llaeth, maeroniaeth; llaethdyddyn.
  Dairy-man—maeronwr, maeronydd, llaethwr, llaethydd, meirion, maeron, maerwr, hafodwr, hafodydd, blithwr.
  Dairy-maid — llaeth-wraig, maerones, meiriones, maerwraig, maeres, hafodwraig, morwyn llaeth, morwyn y blith.
  Dairy-farm — llaethdyddyn, maerondyddyn, maeron-syddyn, blithdyddyn, tyddyn blith, maerwri, maeroniaeth, tyddyn maeronol, llaethdir.
  Dairy-house, Dairy-room, llaethdy, llaethgell, maerondy, maeronfa, blithdy, cawsdy, blithgell.
**Dairying**, *s.* (o *dairy*) llaethwriaeth, maeroniaeth, triniad llaeth, trin blith.
**Dais**, **Deis**, *s.* (Ff. *d'ais;* Ll. *de assibus*) ethais; uchlawr; uchelfwrdd; palisgader.
**Daisied**, *a.* (o *daisy*) swynfrïog, aspyganog; llawn o lygaid y dydd; addurnedig â llygaid y dydd.
**Daisy**, *s.* (S. *dæges-ege*) llygad y dydd, swynfri, yswynfri, blodau y gwyddau bach; aspygan, sensigl, esgob gwyn, briallu y dydd.
  Greater daisy, Great white ox-eye, aspygan, llygad y dydd mawr, esgob gwyn, sensigl.
  Common daisy—llygad y dydd cyffredin, swynfri, yswynfri.
  Daisy-mead—dôl swynfrïog; gweirglawdd addurnedig â swynfri; gwaen frith o lygaid y dydd; dôl feillionog.
**Daker**, *s.* (Gr. *deca*) deg, degrif; deg o nifer.
**Daker-hen**, *s.* creciar, rhegen yr yd, rhegen y rhych.
**Dakir**, *s.* (Gr. *deca*) deg o grwyn.
**Dale**, *s.* (Is., Sw., a D. *dal;* Al. *thal;* C. *dôl*) dyffryn, glyn, dôl; doldir, dyffryndir, dyffrynt; cwm, pant, ystrad, allmor, tyno, maenol, llawrbant, pantle, dyfrhynt: *pl.* dolau, dolydd.
**Dalliance**, *s.* (o *dally*) maldod, maldodaeth, nwyfchware, ymgytwaith, tolach, ymchware, chware, chwareu, chware maldodus, ysbleddach, cymmwedd, dorlawd, caredigad, ymgarawd, anwylwch, anwylad, anwylawd, anwesdod, gogus, maswedd; cydgam, cellwair, *neu* ymfawrhad cariadon; ymgystlwn, cystlwn, cywestach, cyridiad, ymdesach, tesach, trythyllwch; †oediad, gohiriad.
  Wanton dalliance—ymdesach, cywestach, tesach, dyre, dyrain, nwyfchware, nwyfiant, ymnwyf, trythyllwch, maldod gwantan.
  Full of dalliance — nwyfus, nwyfog, chwareugar, chwarëus, maldodus.
**Dallier**, *s.* (o *dally*) maldodydd, maldodwr, maldodur, dorlotwr, simerwr, simerydd, simerddyn, masweddwr, gwageddwr, oferwr,

gwagsiaradwr, ysbleddachwr, nwyfchwarëydd, tolachwr, cymmweddwr, oferddyn; gohiriwr, oedwr.

**Dallop,**† *s.* (anhysbys) twff, cwlff; talp.

**Dally,** *v.* (C. *dàl, dala;* Is. *dollen*) maldodi, simera, ymchwareu, chwareu, nwyfchwareu, nwyfware, chwariena, cydgam, cydgamu, ymnwyfo; ofera, maswedda, gwageddu, gogusa, goguso, cellwair, gwagdreulio, oferdreulio, treulio yn ofer, segura, diffrwytho; tolach, ymdolach, ymgytwaith, ymgaredigo, dorlota, anwesu, cocri, cuo, tesach, ymdesach, tesa, dyrain, serchog ymgiprys, ymdrythyllu, rhewyddu, ymrewydd, cyridio; bod yn nwyfus; ymddifyru, arabeddu, ymddigrifo, gofregu; chwareu 'r gwas digrif; dywedyd maldod *neu* fabiaith; moelystota; oedi, gohirio, hoetian.

To dally off the time — diffrwytho yr amser; oferdreulio yr amser; pencawna; gwersa.

**Dalmatica,** *s.* (o *Dalmatia*) gwenwisg dïaconiaid (yn Eglwys Rhufain).

**Dam,** *s.* (o *dame,* meddylir) mam (anifel).

Thou shalt not take the dam with the young—na chymmer y fam gyda'r cywion (*Deut.* xxii. 6).

**Dam,** *s.* (Ff. *dame;* Ysp. *dama*) y brenin (yn chware gwyddbwyll).

**Dam,** *s.* (Is. a D.; Al. a Sw. *damm*) argae, cronfa, dyfrglawdd, clawdd, arglawdd, pwnt, lloc, bwrch; cored.

Mill-dam—pynfarch melin, pwnt melin, gwâr pwnt melin.

**Dam,** *v. a.* (S. ac Is. *demman;* Al. *dämmen*) argau, croni, cau ar, cau i fyny, attal, dyor, gwrthgau; llynio, dargroni, dyfrgloddio, llocio; cau i fewn.

To dam up waters—croni dyfroedd.

To dam up one's light—rhwystro goleu at un; tywyllu goleu un; sefyll yn ngoleu un; caddugo, cysgodi.

**Damage,** *s.* (Ff. *dommage;* S. *dem;* Ll. *damnum*) niwed, niwaid, colled, coll, eniwed, erniwed, erniwaid, eniwaid, erniw, erniwiant, argywedd, rhygoll, rhygolled, afles, anfantais, asgen, adwyth, echrys, drwg; llwgr; iawn; camlwrw, camgwl; traul, cost; iawnobrwy, cospprid.

**Damage,** *v.* niweidio, colledu, eniweidio, eniwedu, eniwo, erniwo, argyweddu, drygu; gwaethu, gwaethygu, gwaethäu, drycio; peri colled i; cael colled; llygru; adfeilio; aflesu.

**Damageable,** *a.* (o *damage*) niwedadwy, niweidadwy, llygradwy, gwaethygadwy, hylwgr, hywaeth; darostyngedig i waethygiad; niweidiol, colledus, argyweddus, adwythig, dinystrol, dinystriol.

**Damage-feasant,** *a.* (Ff. *faisant*) troseddol, colledus; yn gwneuthur colled *neu* niwed; argyweddol; yn troseddu.

**Damajavag,** *s.* castandrwyth, cyffaeth castanwydd.

**Damar,** } *s.* (gair dwyreiniol) math o
**Dammar,** } byg neu ystor, nid annhebyg i gopal.

**Damascene,** *s.* (Ll. *damascenus,* oddi wrth *Damascus,* yn Syria) eirinen Damascus, eirinen Damasc, eirinen Ddamasc, eirinen hir: *pl.* eirin Damascus, eirin hirion.

**Damascus Blades,** *s. pl.* llafnau Damascus, cleddyfau Damascus.

**Damask,** *s.* (It. *dommasco;* Ff. *damas;* o *Damascus*) Damasc, Damasc-we, ardumwe, blodionwe; sidan Damascus; sidanwe gaerog, flodeuog, droellog, *neu* droellenog; llian caerog, blodeuog, troellog, *neu* droellenog; lliw coch, coch. [leiniog.

Damask steel—dur Damascus, dur brith-

Damask garment — gwisg ardumweog; dilledyn sidan â gwaith troellenog arno; gwisg Ddamasc.

Damask work — Damasc-waith; gwaith caerog, troellog, *neu* droellenog.

**Damask,** *v. a.* gwau yn gaerog, yn droellog, yn droellenog, *neu* yn flodeuog; gweithio yn gaerog, yn flodeuog, yn droellog, *neu* yn droellenog; fflurioni, blodioni; amrywio, amrywioli, neillio, amryfelu; durflodioni.

**Damasked,** } *p.p.* caerog, troellog, troellenog,
**Diapered,** } blodeuog; blodionedig; blodweog, caerweog; Damascog.

**Damasken,** } *v. a.* (Ff. *damasquiner;* o
**Damaskeen,** } *Damascus*) deleuro, delarianu; dureuro; brithaddurno; blodweithio; addurno dur *neu* haiarn âg aur *neu* arian.

**Damaskeening,** *s.* deleurad, delarianad; brithaddurniad; blodeuwaith aur *neu* arian mewn dur *neu* haiarn caboledig.

**Damaskin,** *s.* (o *Damascus*) crymgledd, crymgleddyf, cleddyf.

**Damask-plum,** *s.* eirinen Damascus, eirinen Ddamasc, per-eirinen ddu fechan.

**Damask-rose,** *s.* rhosyn Damascus, rhosyn cannalenog, rhosyn candalen.

**Damassin,** *s.* (Ff.) Damasc-we flodeuog.

**Dame,** *s.* (Ff. o'r Ll. *domina*) meistres; rhian, boneddiges, boneddes; arglwyddes, arlwyddes, breyres; benyw, merch, gwraig; hen wraig, henrïan, hynafwraig; modryb, bodo.

Dame school — ysgol athrawesol, ysgol addysgesol.

A haughty dame—benyw uchelfalch.

Troy's proud dames — rhianod balch Troia; gwragedd balch Troia; merched balch Troia; llancesau balch Ilion.

**Dame's-violet,** } *s.* disawr.
**Dame-wort,** }

**Damn,** *v. a.* (Ll. *damno;* Ff. *damner*) dyfarnu, collfarnu, damnio, damno, euogfarnu, colledigo; beio, barnu; bwrw yn euog; bwrw i ddystryw; bwrw; melltithio, melltigo, rhegu; gwrthod.

**Damnable,** *a.* (o *damn*) collfarnadwy, dyfarnadwy, colladwy, damnadwy, barnadwy, hyfarn; damniol, damnedigol; ysgeler, esgymun, ysgymun, melltigedig, melltigaid, melltithlawn, adwythig, echryslawn, anfad, adgas, cythreulig, dieflig, diriaid, dygas, achas, hygas, dinystriol, dinystrol.

**Damnableness,** *s.* damnioldeb, damniolrwydd, hyfarnoldeb, dyfarnoldeb.

**Damnation,** *s.* (Ll. *damnatio*) colledigaeth, collfarn, damnedigaeth, barnedigaeth, collfarnedigaeth, barn.

The damnation of hell—barn uffern (*Mat.* xxiii. 33).

**Damnatory,** *a.* collfarnol, barnedigol, damnedigol, colledigol, dyfarnol, melltigol, colliannol.

**Damned,** *a.* colledig, dyfarnedig, collfarnedig, damnedig; melltigedig, rhegedig; gwrthodedig; adgas, dygas, hygas, achas, ffiaidd, adwythig, echryslawn, ysgeler, esgymun.

The damned—y colledigion, y damnedigion; collddynion, y damniaid.
Damnific, *a.* niweidiol, dinystrol, dinystriol, dystrywiol, niweidiog, dystrywiog, drygiog, colledus, drygweithiol; â bair golled *neu* niwed; collbair, collbarol, colledbair, dryglawn, drygbair.
Damnify, *v. a.* (Ll. *damnifico*) niweidio, colledu, eniweidio, niwedu, eniwo, argyweddu, drygu; gwaethu, gwaethygu, gwaethäu, drycio, llygru, difwyno, anafu, anaddwyno; briwo, clwyfo, yssigo; peri colled *neu* niwed.
Damning, *a.* (o *damn*) collfarnol, damniol; â bair gollfarniad.
Damning sin—pechod damniol.
Damningness, *s.* damnioldeb, collfarnoldeb; tuedd i ddwyn barn.
Damp, *a.* (Is.; Al. *dampf*) llaith, ynwst, wst, gwst, gyst, ul, merydd, gwlyb, gwlybyrog, dyfrllyd; tarthlyd; ir, iraidd; digalon, llipa, llibin, prudd, trist, trwm, trymaidd.
To make damp=*Dampen.*
To grow damp—lleithio, lleithäu; myned yn llaith; ynystäu, ireiddo, ulo.
Damp, *s.* lleithder, lleithdra, lleithrwydd, lleithineb; gwlybnaws, gwlybyrwch, gwlybrwydd, gwlybaniaeth, gwlybiant, ulder, ynwst, wst, gwst; tarth, tawch, mygdarth, niwl, nifwl, nudd; ager; anghalondid, gwangalondid, digalondid, oerni, llaesder meddwl, ymollyngiad ysbryd, llibindod, llibinrwydd, tristedd; llewyg, syndod.
To cast *or* strike a damp on the spirits—digaloni, gwangaloni, anghalonogi, llyfrhau, llyrfhau; tori awch *neu* awen; oeri, diffoddi, gwanhau, diflasu; llaesu dwylaw.
Choke-damp, Carbonic acid gas, } nwy sur ulwin, nwy sur ulyfig, tagnwy, tagawyr, nwy ulyfsur, tagdawch, trengnwy.
Fire damp — tanchwa, llosdarth, llosgager, llosgnwy.
Damp, *v. a.* lleithio, lleithäu, ynystäu, gystäu, ulo, gwlybeiddio, lledwlychu, gowlychu, mwydo, ireiddio, gwlychu, gwlybhau; oeri, lliniaru, dofi, diffoddi; digaloni, llyfrhau, llyrfhau, tristäu, gwangaloni; tori awch *neu* awen; tori *neu* ddofi angerdd; mogi, mygu; marweiddio; tolio, toli, lleihau, gwanhau, gwanychu, llaesu, gostwng, darostwng; attal, rhwystro, nadael, ystwyo, dyor; pylu, diflasu; plygu.
Dampen, *v. a.* lleithio, lleithäu, lleithlydu, ynystäu, gwlychu, lledwlychu; gwneuthur yn llaith.
Damper, *s.* (o *damp*) moglithren, doflithren.
Dampish, *a.* (o *damp*) lledlaith, golaith, lleithlyd, lled ynwst, lleithaidd, lledwlyb.
Dampishness, *s.* (o *dampish*) lledleithder, lledleithdra, goleithder, goleithdra, goleithrwydd, lledleithineb; tarthlydrwydd.
Dampness, *s.* lleithder, lleithdra, lleithrwydd, lleithineb, lleithiogrwydd, ynwst, wst, gwst, gyst, ynystrwydd, gwlybaniaeth, merolaeth, irder, ireidd-dra; tarthlydrwydd, tarthogrwydd.
Dampy, *a.* golaith, lledlaith, lleithlyd, lleithaidd; digalon, llwfr, llwrf, llibin, athrist, trist.
Damsel, *s.* (Ff. *damoiselle, demoiselle*) llances, geneth, llodes, morwyn, morwynferch, bun, eigr, eigren; herlodes, bachgenes, hocrell, hogen: *dim.* genethig, genethan, llancesig, morwynig, merchan.
Damson, *s.* (talfyriad o *damascene*) eirinen Damascus, eirinen Ddamasc, eirinen hir: *pl.* eirin Damascus, eirin hirion, eirin Damasc.
Dan,† *s.* (Ysp. *don ;* Ll. *dominus*) meistr, syr.
Dance, *v.* (Ff. *danser ;* Ysp. *danzar ;* Al. *tanzen ;* Llyd. *danczal*) dawnsio, corelwi, coroli, taplasu, taplasa; crychneidio, llemain, llamsach, llamu, llamsachu.
To dance a child—dawnsio plentyn; hoetian, hwntian, *neu* ysgytian plentyn.
To dance one about—dwyn, tywys, tywyso, *neu* arwain un o amgylch; dwyn, tywys, *neu* arwain un o le i le.
To dance attendance—cynffonloni, cytysloni; capio am sylw; dysgwyl gyda pharodrwydd i wneuthur y peth â fyner; ymdrechu rhyngu bodd drwy ufyddgarwch a moeswychedd.
Dance, *s.* dawns, corelw, taplas, corol, chware dawns; chware, twmpath chware.
No longer pipe, no longer dance—deryw y gân, deryw y chware.
Morris-dance — Mwr-ddawns, dawns y Mwriaid; dawns yn ol dull y Mwriaid; corelw llawn o funudiau breichiau a dwylaw.
To lead the dance — arwain y dawns; blaenori *neu* flaenu y dawns.
To lead one a dance—arwain *neu* dynu un drwy y dawns; amdywys *neu* gylcharwain un o amgylch ogylch.
The leader of the dance—blaenor *neu* flaen y dawns; blaenor *neu* arweinydd y chware; blaenor y dawnswyr; penchwareÿdd.
Dancer, *s.* (o *dance*) dawnsiwr, dawnsydd, corelwydd, corelwr, taplaswr, corolydd; llamsachwr, chwareuwr.
Rope-dancer—rhaff-ddawnsiwr, dawnsiwr rhaff, rhaff-gerddedwr, rhafflamidydd; un â gerddo ac â chwareuo ar raff.
A company of dancers—dawnslu, myntai o ddawnswyr, chwareuyddion dawns.
Dancette, *a.* (Ff. *danché*) gorfylchog, trahiciog, trarhigolog.
Dancette, *s.* cypladdurn, cebraddurn, moldaddurn igam-ogam.
Dancing, *s.* (o *dance*) dawns, corelw; dawnsiad, corelwad, taplasiad; dawnsyddiaeth; llamsach, damsang.
He has as many tricks as a dancing bear—nid oes yn fyw mo'i ddigrifach; efe yw y gwas digrifaf yn fyw; efe yw y dyn digrifaf yn fyw; ni ddichon yr epa ond ei ddynwared mewn castiau digrif.
Dancing wench—hocrell lamsachus, morwynig lamsachus; llances lamre; dawnsyddes, corelwes.
Thou hast turned my mourning into dancing—troaist fy nghalar yn llawenydd (*Salm* xxx. 11).
Dancing-master, *s.* athraw dawns, dawnsathraw, dawnsddysgwr, dawnsiadur, athraw chwareÿddion dawns, addysgwr dawnsio.
Dancing-school, *s.* ysgol ddawns, dawns-ysgol, dawnsiadfa; ysgol i ddysgu dawnsio.
Dandelion, *s.* (Ff. *dent de lion*) dant y llew.

Marsh dandelion—dant y llew y waen.

**Dander**, *v. a.* (?) crwydro, gwibio; crwydraw o amgylch; siarad yn anghysson.

**Dandiprat**, *s.* (Ff. *dandin*) côr, coryn, corddyn, cono, cymhenffraeth, gwelchyn, dynyn, dyno, coryn bach.

**Dandle**, *v. a.* (Al. *tändeln*) maldodi, dyddanu, difyru, pratio, hoetian, hwntian, chwareu â, chwareu, porthi mwythau, dorlota, dylofi, llochi, hoffiochi, cufoddio, teganu ;† oedi, gohirio.

A dandled child — plentyn meddfaeth, plentyn anwesog, plentyn maldodus.

**Dandler**, *s.* (o *dandle*) maldodwr, dyddanwr, chwareuwr, chwariwr.

**Dandruff**, *s.* (S. *tan* a *drof*; Ff. *teigne?*) mardon, mandon, marwdon, ysgen, cen.

**Dandy**, *s.* (Ff. *dandin*) coegyn, ysgoegyn, mursen oddyn, mursenwas, pefryn, dillynwas, gwas dillad; un â dillad yn lle ymenydd.

**Dandyish**, *a.* (o *dandy*) coegynaidd, ysgoegynaidd, pefrynaidd, coegfalch, ysgoeg, rhyddillyn.

**Dandyism**, *s.* (o *dandy*) coegyndod, ysgoegyndod, pefryndod; moes ysgoegyn.

**Danegelt**, **Danegeld**, *s.* (*Dane*, Daeniad, a S. *gelt*, dyled; Al. *geld*, arian) Daendreth, treth y Daeniad=treth â delid gynt yn Lloegr er mwyn cynnal cadluoedd i wrthsefyll ymgyrch y Daeniaid, neu er mwyn prynu heddwch â hwynt.

**Danewort**, *s.* (*Dane* neu *Danes*, a *wort*) corysgaw, creulys mawr, gwaed y gwŷr, ysgaw Mair, ysgaw y ddaiar, ysgaw bendigaid.

**Danger**, *s.* (Ff.) perygl, perigl, enbydrwydd, enbyd, argywedd, niwed, pyd; antur: *pl.* enbydion.

To be in danger of one's life, To go in danger of one's life, — bod mewn perygl bywyd; bod mewn perygl am ei hoedl; bod â'i fywyd mewn perygl *neu* enbydrwydd; bod ar antur bywyd.

To expose to danger, To bring into danger, — peryglu, pydio; dwyn *neu* arwain i berygl; rhoi *neu* osod mewn perygl.

To expose one's self to great danger—tra-ymbydio, trambydio, tra-ymberyglu; gosod ei hun mewn mawr berygl.

He shall be in danger of the judgment—euog fydd o farn.

We are in danger to be called in question for this day's uproar—enbyd yw rhag achwyn arnom am y terfysg heddyw.

In great danger—ar antur mawr; mewn mawr berygl.

I am in great danger—y mae yn enbyd iawn arnaf; yr wyf mewn perygl mawr.

In danger of death—yn mherygl marwolaeth.

Without any danger to you—yn gwbl ddiberygl i chwi.

When his camp was in danger of being plundered by them—pan oedd ei wersyll ar gael ei anrheithio ganddynt; pan yr oedd ei wersyll yn agos â'i anrheithio ganddynt.

**Danger**, *v. a.* peryglu, enbydio, enbydu, pydio.

**Dangerless**, *a.* (*danger* a *less*) diberygl, diberigl, diniwed, dibyd; diogel; heb berygl.

**Dangerous**, *a.* (o *danger*) peryglus, enbyd, enbydus, pydus, pydol, pydaidd, pyd, perygl; certh; llawn perygl *neu* enbydrwydd; anturus; niweidiol, adwythig, dinystriol.

To render dangerous—peryglueo, pyduso, enbydoli; gwneuthur yn beryglus.

**Dangerousness**, *s.* enbydrwydd, peryglusrwydd, peryglusedd, perygledd, enbydusrwydd, pydusrwydd, pydoldeb; perygl, pyd.

**Dangle**, *v. n.* (o *dandle?* D. *dingler*) hongian, crogi, dibynu; ymddibynu, rhydd grogi, llaes hongian, rhydd hongian; bod yn nghrog *neu* yn nibyn; ymdaflu, siglo, *neu* chwareu yn ol ac yn mlaen; helgyd, ymddylyn, ymganlyn; ymlusgo ar ol.

To dangle about *or* after—dylyn, canlyn; ymddibynu wrth; glynu wrth; hongian wrth; hongian oddeutu; byw *neu* ymgynnal ar gefn un; bod wrth osgordd un.

To dangle about a woman—ymganlyn *neu* ymddylyn â bun; ymganlyn â benyw; ymddibynu wrthi; glynu wrthi; helgyd ar ol menyw.

**Dangler**, *s.* (o *dangle*) ymganlynwr, ymganlynydd, gwagddylynwr; un yn ymddylyn *neu* ymganlyn; ufyddwas; cynffonlonwr, truthiwr.

**Dank**, *a.* (Al. *tunken?*) llaith, ynwst, gwst, gyst, merydd; ul; tarthlyd; gwlyb; blydd.

**Dank**, *s.* lleithder, lleithrwydd, lleithdra, lleithineb, gwlybnaws, ynwst, ulder, gwst, gystrwydd, gwlybaniaeth, gwlybiant.

**Dankish**, *a.* (o *dank*) lledlaith, golaith, lleithlyd, lleithaidd, lledwlyb, lled ynwst.

**Dankishness**, *s.* (o *dankish*) lledleithder, lledleithdra, lledleithrwydd, goleithder, goleithdra, goleithrwydd, lledleithineb, tarthlydrwydd.

**Dap**, **Dape**, *v. n.* (Goth. *daupyan*) gollwng i'r dwr; gollwng i syrthio yn araf i'r dwr.

**Dapatical**, *a.* (Ll. *dapaticus*, o *dapes*) danteithiol; costfawr, treulfawr; perthynol i sir dda.

**Daphnate**, *s.* (o *daphne*) bliwaint, bliwlysaint, llosglysaint.

**Daphne**, *s.* (=un o elenod Diana) bliwlys, llosglys, bliw, bliwyn, nidwydden.

**Daphnin**, **Daphnine**, *s.* (o *daphne*) bliwnur, bliwlysnur; dansawdd chwerw bliwlys myn-yddig.

**Dapifer**, *s.* (Ll. *dapes* a *fero*) huliedydd, heilydd, seigiwr, arseigydd; â ddygo saig i'r bwrdd.

**Dapper**, *a.* (Is.; Sw. a D. *tapper*; Al. *tapfer*) bychan a bywiog; pert, sionc, gweisgi, gwisgi, bywiog, eidiog, chwimmwth, esgud, esgeiddig, chwim, chwai, clic; tlws, cryno, destl, pinc; tyn.

A dapper fellow—sioncyn, dyn bach pert, dynyn cydnerth gweisgi, pertyn, dynyn pert.

Dapper nag—crynfarch, sioncyn.

**Dapperling**, *s.* (bychanig o *dapper*) dynyn, dyno, coryn, côr, corddyn, cono, pertyn, destlyn: *f.* dynan.

**Dapple**, **Dappled**, *a.* (?) mânog, brith, (*f.* braith), tryfrith, brithliw, ysmotiog, amryliw, amliwiog, amryliwiog, amliw, cymmysgliw, troellog, ceiniogog, ysmotliw, molaid, dosog.

Dapple-gray—glas ceiniogog, glas mânog, brithlas, glas gwynfânog, glas ysmotiog, ysmotlas.

A dapple-gray horse, A dapple-gray, — march glas ceiniogog, ceffyl glas ceiniogog.

Dapple-bay—coch ceiniogog, gwineu mànog, gell ceiniogog.
Dapple, *v. a.* britho, ysmotio, brithliwio, amryliwio, amliwio, mànogi, amliwiogi.
Dar, Dart, } *s.* pysg à geir yn yr afon Hafren.
Dare, *v.* (S. *dearran, durran;* Al. *dürfen*) beiddio, arfeiddio, llyfasu, llafasu, anturio, rhyfygu, erllyfasu, hyderu; bod yn hyf *neu* yn eofn; herio, hyrio, rhoi her, rhoi baidd, rhoi hew; annog; dychrynu, synu, orni; clywed ar ei galon; cydgam, cydgam â; bod yn ddigon hyf.
Do it if you dare—gwnewch ef os beiddiwch; gwnewch os beiddiwch.
I dare say—beiddiaf ddywedyd; nid oes arnaf ofn dywedyd; mi a warantaf.
I dare not say it—yr wyf yn ofni dywedyd hyn; y mae arnaf fi ofn dywedyd hyn; nis beiddiaf ei ddywedyd; ni feiddiaf *neu* nis gallaf fi ddywedyd mo hyny.
None is so fierce that dare stir him up—nid oes neb mòr hyderus a'i godi ef (*Iob* xli. 10).
I will lay you what you dare on it—mi a ddaliaf à fynoch arno; mi a ddaliaf â chwi y peth à fynoch arno.
You dare as soon take a bear by the tooth—cynt y cymmerech *neu* y daliech lew gerfydd ei farf.
To dare larks—dyrysu uchedyddion; dàl hedyddion trwy gymhorth drych.
Dare,† *s.* baidd, beiddiad, arfeiddiad.
Dare, *s.*=*Dace.*
Dareful,† *a.* (*dare* a *full*) heriog, llawn her.
Darer, *s.* (o *dare*) beiddiwr, arfeiddiwr, llyfaswr, llafasydd, beiddiwr, heriwr, heriedydd.
Daric, *s.* (Gr. *dareicos*, oddi wrth *Dareios* neu *Darïus*) darn aur perthynol gynt i Persia, gwerth oddeutu *P.*1 1*s.* 10*c.*; neu, yn ol ereill, 16*s.* 3*c.*
Daring, *a.* (o *dare*) hyf, hy, eofn, eon, anturiol, anturus, anturiog, llyfasol, llafasol, llyfasus, arfeiddiol, beiddiol, ewn, dïarswyd, hyfaidd; dewr, glew, hydr, dewrwych, erfain, drud, dihafarch, calonog, gwrol, pybyr, dïofn; hyderus; rhyfygus, haerllug, heriol.
Rather daring—go hyf, &c.; lled hyf, tràn hy.
Extremely daring—tra hyf, tra hy, &c., hyf iawn, &c.
Daring, *s.* gweithred hyf, &c.; antur *neu* ymgais peryglus; llyfas, llafas, llyfasiad, beiddiad.
Daringness, *s.* (o *daring*) hyfder, hyfdra, hydeb, hyder, eonder, eondra, eofnder; dewredd, dewrder, glewder, glewineb, glewdid, glewdra, drudiant, dewrwychedd, calondid, gwroldeb; trahyfder, rhyfyg, haerllugrwydd; arfeiddioldeb, beiddgarwch.
Dark, *a.* (S. *deorc;* Gael. *dorch*) tywyll, (*f.* tywell), dywyll, gwyll, du, tywyllddu, anoleu, caddugol, gwrm, (*f.* gorm), dïoleu, dilewych, dilewyrch; cethin; cymylog, niwlog; dyrys, cuddiedig, anamlwg, aneglur, dirgel, cudd, anhysbys; anghlaer, afloew; anhylon, ansiriol; anhyddeall; aflan; damegol;† dall.
Very dark—trathywyll, tywyll iawn, gordywyll, gorwyll.
Somewhat dark—godywyll, lled dywyll, tràn dywyll; lled-anhawdd ei ddeall.
Altogether dark—hollol dywyll, cwbl dywyll, cynhywyll.
It is dark night—mae yn nos ddu dywell; y mae yn nos dywell; y mae yn dywell *neu* dywyll nos.
To grow dark—tywyllu, dywyllu, caddugo, duo, cymylu; myned yn dywyll.
It grows dark—mae yn tywyllu; mae yn nosi; mae hi yn myned yn dywyll.
A dark sentence—dameg, adameg, grymeg, dychymyg; ymadrodd tywyll; ymadrodd anhawdd ei ddeall.
Dark chamber—gwyllebyr, cuddbeithiadyr, cuddwelyr, cuddnodyr, cuddbeithyr.
Dark lantern—llusern gel, cuddlygorn, gwyllerllen, erllen wyll, llygorn cel.
Dark green—duwyrdd, tywyllwyrdd, gwyrdd tywyll.
Dark, *s.* tywyll, tywyllwch, tywyllni, tywyllwg, gwyll, gwyllni, caddug; gwrm, cudd, hudd; dirgeledd.
In the dark—yn y tywyll.
Dark,† *v. a.* tywyllu, caddugo.
Dark-browed, *a.* aelddu; gwrm ei ael; du ei ael; cuchiog, aeldrwm, gygus, sarig, ffroensur, blwng.
Dark-coloured, *a.* tywyllwawr, duaidd, twtnai, gwrm, erch; o liw tywyll.
Darken, *v.* (S. *adeorcian*) tywyllu, gwyllu, dywyllu, duo, caddugo, cymylu, cymylo, gwrmu; cethino, huddo, enhuddo, cysgodi; dirgelu; dyrysu, methlu, nidro; diwyno; afloewi; myned yn dywyll.
Darkener, *s.* tywyllwr, tywyllydd, tywyllawdr, tywyllor, caddugwr, düwr.
Dark-eyed, *a.* llygad-ddu, llygatddu; du ei lygad.
Dark-house, *s.* ty tywyll, gwallgofdy, tywylldy.
Darkish, *a.* (o *dark*) godywyll, lled dywyll, tràn dywyll, tywyllaidd, gwyllaidd, llwyddywyll, gwrmaidd; lled-anhawdd ei ddeall.
If the bright spots be darkish white—os bydd y dysgleiriadau gwynion wedi gordduo (*Lef.* xiii. 39).
Darkling, *a.* (o *dark*) à fo yn y tywyll; yn y gwyll; tywyll, gwyll, gwyllwawr.
Dark-minded, *a.* tywyllfryd, gwyllfrydig, tywyllfrydig.
Darkness, *s.* (o *dark*) tywyllwch, tywyllni, gwyll, tywyllwg, caddug, tywyllder, tywyll; hudd, cudd; cysgod; niwl, cwmwl; afagddu, y fagddu; cyfuch.
Utter darkness—tywyllwch eithaf, afagddu, magddu, y fagddu, trywyll, trywyllwch.
I will give thee the treasures of darkness—rhoddaf i ti drysorau cuddiedig (*Esa.* xlv. 3).
Gross darkness—y fagddu (*Esa.* lx. 2); tywyllwch dudew, tywyllwch tew.
Light and darkness—gwawl a gwyll; goleuni a thywyllwch.
Darksome, *a.* (o *dark*) tywyll, gwyll, dywyll, anoleu; godywyll.
Dark-souled, *a.* tywyll ei enaid; gwyll-eneidiog.
Dark-working, *a.* tywyll-weithiol, gwyllweithiol; dirgel-weithiol; yn gweithio yn y tywyll, yn y cudd, *neu* yn y dirgel.
Darling, *a.* (S. *deorling*) anwyl, hoff, cu, anwylgu, gorhoff, cuain, anwyl gariadus; hyfryd.

**Darling**, *s.* anwylyd, anwylyn, (*f.* anwylen, anwyles), anwylddyn, hoffddyn, hoffyn, (*f.* hoffen), dewisddyn; enaid ac anwyl, enaid ac anrhaith, unig enaid, calon anwyl, gwir galon; plentyn anwes, mab anwes; gorhoffedd.

**Darn**, *v. a.* (C. a Llyd.; Ff. *darne*) darnwnio, brodwnio, brodio; cyweirio, rhedeg twll; cyweirio twll â nodwydd ac edef; cymhlethu.

**Darn**, *s.* darnwniad, brodwniad, brodiad.

**Darnel**, *s.* (?) efr, efre, efryn, yd meddw, efrwellt; efrau; llêr: *sing.* efryn: *pl.* efrau.

Perennial darnel, } efryn parhäus, efr par-
Red darnel, } häus, rhygwellt: *pl.*
Rye grass, } efrau parhäus.

Bearded darnel—efryn coliog, efr coliog, yd meddw.

Beardless darnel, } efr digol, efryn digol,
White darnel, } yd meddw gwyn.

**Darner**, *s.* (o *darn*) darnwniwr, brodwniwr, brodiwr, cyweiriwr.

**Darning**, *s.* (o *darn*) darnwniad, brodwniad, brodiad, cyweiriad.

**Daroo-tree**, *s.* masarn yr Aifft, masarn yr Aipht, y masarn Aifftig, sycamorwydd Aifftaidd.

**Darrain**,† *v. a.* (Norm. *dareigner*) cattrefnu, cadhwylio; byddino; parotöi; cynnyg, osio, beiddio; ymdrechu.

**Dart**, *s.* (Ff. *dard;* Ll. *dard*, *dared*) picell, pilwrn, gaflach, saeth, chwarel, gwaewffon fechan, rheinen fèr, tafl, (*pl.* teifl), erfyn tafl.

He is good at darts—y mae efe yn hyfedr *neu* yn feistr ar daflu picellau; y mae efe yn hynod *neu* yn enwog am daflu picellau; picellydd hylaw *neu* hyfedr ydyw efe.

The Irish armed with darts—y Gwyddyl gaflachog; y Gwyddelod picellog.

To cast darts—picellu, pilyrnu, picio; taflu picellau, pilyrnau, *neu* aflachau; bwrw saeth *neu* bicell.

**Dart**, *v.* picio, saethu, picellu, pilyrnu, taflu picellau, taflu gaflachau, taflu pilyrnau, bwrw saeth; bolltio; ergydio, saethyta, ymsaethu, tasgu, tarfu, taflu; ffiachio, lluchio, rheiddio; anfon; myned mòr gyflym a'r saeth; neidio.

That may be darted—hydafl, tafladwy; hawdd ei *neu* i'w ergydio.

To dart upon one—saethu, picio, rhuthro, *neu* ymosod ar un.

**Dart**, } brwyniad; *pl.* brwyniaid.
**Dart-fish**, }

**Darter**, *s.* (o *dart*) picellydd, picellwr, piciwr, gaflachydd, pilyrnydd, saethwr, ergydiwr; taflwr, taflydd, *neu* dafledydd picellau, &c.

**Dartrous**, *a.* (Gr. *dartos;* Ff. *dartre*) iddyfaidd, taenol, croendarddol, croendaenol.

**Dash**, *v.* (D. *dask;* Sw. *daska;* Gr. *dazomai*) taraw, taro, lluchio, pwyo, cymhwyo, curo, briwo, briwio, cymriwo, gyrthio, dulio, yssigo, baeddu, malurio, chwyrn-daro; taenellu, ysgeintio, taenu, ysgeinio, tasgu, arwlychu; diwyno; cymmysgu; gwaethygu; bwrw *neu* roi am ben; dilëu, croesi, croesi ymaith; tynu y pin drwy; tori, dryllio; somi, seithugio, diddymu; clechdyrio, clechdori; cywilyddio, gwaradwyddo, synu, delwi; peri gwrido *neu* ddelwi; rhuthro, picio, saethu.

To dash out—croesi, dilëu, croesi allan, croesi ymaith.

To dash together—cymhwyo, cydbwyo, cydluchio, &c.

To dash in pieces—tori yn yfflon; tori yn dipiau; tori yn chwilfriw; tori yn deilchion; taro yn chwilfriw; tori yn ddrylliau *neu* yn ddarnau; tori yn gandryll; tori *neu* daro yn glechdyr; tori yn gregyn; tori yn ysgyrion; malurio, dryllio, briwo; maeddu, curo, *neu* bwyo yn fân; chwilfriwio, dryllio.

To dash out the brains—dïymenyddio, difenyddio; taro yr ymenydd allan; curo yr emenydd allan.

To dash one on the chops—gweflodio; rhoi gweflod i un; taro un ar ei eneu; taro un ar *neu* yn ei ddannedd; rhoi cernod i un; cernodio.

To dash a design—diddymu amcan *neu* fwriad; taro bwriad ar ei ben.

I will dash them one against another—tarawaf hwynt y naill wrth y llall.

The ship dashed against a rock—tarawodd y llong wrth graig.

He dashed them against the ground—efe a'u curodd hwynt wrth y llawr.

Their bows also shall dash the young men to pieces—eu bwäu hefyd a ddrylliant y gwŷr ieuainc.

The mother was dashed in pieces upon her children — drylliwyd y fam ar y plant.

**Dash**, *s.* ergyd; tarawiad; lluchiad; gwrthdarawiad, gwrthdaraw, gwrthergydiad, gwrthdar, cyfergyr, gyrth, dul, ermid; cymmysgedd, cymmysg; tywalltiad i mewn; taenell, taen, ysgaen; llymeidyn, dyferyn; diffyglin, rhedlin, croeslin, bryslin, troddlin, llinell; rhuthr, cyrch, ymgyrch; rhodres, rhwysg, coegrodres, conedd, ymddangosiad trystfawr.

At one dash—ar un ergyd; ar unwaith.

Give him a dash on the teeth—taro ef yn *neu* ar ei ddannedd; dyro iddo ergyd *neu* ddyrnod ar *neu* yn ei ddannedd.

He is out at first dash—efe a dramgwyddodd ar y trothwy; efe a gollodd *neu* a fethodd ar y cynnyg *neu* yr ergyd cyntaf.

A dash on the lips—gweflod, gweflawd.

**Dash-board**, *s.* lluchastell, lluchfwrdd.

**Dashing**, *a.* (o *dash*) rhuthrol; trystfawr, trystiog, rhodresog, bochsachus, ffrostfawr; rhyfrys, brysiog, byrbwyll, ehud, anhybwyll, rhyfrysgar.

The dashing of the waves disturbeth him not—nis cyffröir ef gàn gynhwrf y tònau.

**Dastard**, *s.* (S. *adastrigan*) anwr, annewryn, llyrfwas, cilgi, llwfr, llibinwas, llegach, adwr, cachadur, cachan, cachgi, ofnog, bawyn, bawddyn, adyn; dyn llwfr, llwrf, digalon, gwangalon, annewr, anŵraidd, dïysbryd, ofnus, ofnog, anhy, llegach, llegus, *neu* lyferthin.

**Dastard**, } *a.* annewr, anŵraidd, llwfr, llwrf,
**Dastardly**, } digalon, gwangalon, dïysbryd, llyrfaidd, ofnog, ofnus, anwrol, llipa, llibin, llyferthin, anlew, llegus, llegach, llyferthus, cilgïaidd, cachgïaidd, gwael, distadl, bawaidd, brwnt.

The dastardly spirit of a timorous man—llyfredd dyn ofnus.

**Dastard,** } *v. a.* digaloni, llyfrhau, hurtio,
**Dastardize,** } anwroli, gwangaloni; gwneuthur yn annewr, &c.
**Dastardliness,** } *s.* anwredd, annewredd, llyrfder, llyrfdeb, llyrfdra, llyfrder, llyfrdra, llyfrdeb, llyfredd, llyrfedd, llyfrineb, ofnogrwydd, ofnusrwydd, anghalondid, anlewdid, adwriaeth, anwroldeb, cilgïedd, cilgïeiddrwydd, cachgïedd, cachgïeiddrwydd, llyrfwasedd, llibindod, llibindra, aneofnder, aneondra.
**Dastardness,** }
**Dastardy,** }
**Dasypus,** *s.* (Gr. *dasus* a *pous*) armellog, cendyrchyn.
**Data,** *s. pl.* (Ll.) dodion, rhoddedigion; seilon, seiliau.
The Data of Euclid—Dodion Euclid.
**Datary,** *s.* (Ll. *datum*, o *do*) dyddiedydd, dyddiadwr, dyddnodwr; dyddiadaeth.
**Date,** *s.* (Ff.; Ll. *datum*) dyddiad, dyddiant, dyddnodiad, amseriad; yr amser, y dydd, *neu* y flwyddyn pryd yr ysgrifenwyd peth; rhoddiad y dydd *neu* yr amser; parhad, para; diwedd, terfyn.
Your letter has neither seal nor date—nid oes wrth eich llythyr nac insel nac amser; nid oes wrth eich llythyr na dydd na sel.
Out of date—allan o arfer *neu* barch; i maes o arfer *neu* barch; gwedi ei anghofio; gwedi myned yn annefodol; gwedi myned mewn annefod *neu* anmharch; wedi methu, pallu, *neu* heneiddio; wedi myned ar ddim; gwedi myned yn ddirym; allan o fri; heb ddim cyfrif o hano.
**Date,** *v.* dyddio, dyddnodi, amseru, amsernodi; rhoi y dydd *neu* yr amser wrth; cyfrif; dechreu; dechreu cyfrif; bod i'w gyfrif.
**Date,** *s.* (Ff. *datte*; Ll. *dactylus*) palmaeron, aeron talbalmwydd, aeron y palmwydd tàl.
**Dateless,** *a.* (*date* a *less*) diddyddiad, annyddnodol; heb ddyddiad, amseriad, *neu* ddyddnodiad; heb ei ddyddio; heb un dydd wrtho; diddydd.
**Dater,** *s.* dyddiedydd, dyddiadwr, dyddnodwr.
**Date-tree,** *s.* talbalmwydden, grawnbalmwydden, gorbalmwydden; palmwydden aeronddwyn, palmwydden fysddail.
**Dative,** *a.* (Ll. *dativus*) rhoddiadol, rhoddedigol, rhoddol.
Dative case—cyflwr rhoddiadol, rhoddol, *neu* roddedigol; achos rhoddiadol; achos rhoddol; cwympod rhoddiadol *neu* roddol; y rhoddai.
Dative executor—olweinydd, gweinifiad, gweinydd, gweinyddwr.
**Datum,** *pl.* Data, *s.* (Ll.) dawd; sail; peth dodedig *neu* roddedig: *pl.* dodion, rhoddedigion, seilon, seiliau.
**Datura,** *s.* (o'r Ar. *tatorah*) meiwyn, afal dreiniog; dalen meiwyn.
*Datura stramonium*—meiwyn, afal dreiniog.
**Daturina,** } *s.* (o *datura*) llyshal meiwyn, alcali meiwyn.
**Daturia,** }
**Daturine,** }
**Daub,** *v.* (C. *dwbio*; Ff. *dauber*; Is. *dabben*) dwbio, plastro, edlynu, iro; iro *neu* blastro drosto; diwyno, llytrodi, trybaeddu, gorchuddio, priddo; taro â; truthio, rhagrithio; llygru.
Daubed with lace—siderog.
Daubed with golden lace—eursiderog.
**Daub,** *s.* dwb, plastr; brasbaentiad.
**Dauber,** *s.* dwbiwr, dwbinwr, dwbinydd, dwbiedydd, plastrwr, irwr; brasbaentiwr, paentiwr trwsgl, paentiwr anhyfedr; truthiwr, gwenieithwr cywilyddus.
**Daubery,** } *s.* (o *dauber*) dwbiad, dwbwaith, dwbin, dwbiniad, plastrad, plastr, dwb.
**Daubry,** }
**Daubing,** *s.* (o *daub*) dwbiad, plastrad, edlynad, dwb, plastr, dwbin; llaid, tom, clai; brasbaentiad; rhagrith cywilyddus.
**Dauby,** *a.* (o *daub*) gludiog, edlynol, ymlynol, gwydn, glynol, dyludiol, dwblyd; llyslyd, lleidiog.
**Daucus,** *s.* (Gr. *daucos*) moron, y moron.
**Daughter,** *s.* (S. *dohter*; Al. *tochter*; Is. *dogter*) merch; geneth, llodes, llances, eigr.
Daughter in law—gwaudd, dawes, merch yn nghyfraith, merch yn y gyfraith.
Step-daughter — llysferch, merch wèn, elses.
God-daughter—merch fedydd.
Grand-daughter—ŵyres.
First-born daughter — cynferch, merch gyntaf-anedig, merch gynt-anedig.
Thou daughter that dost inhabit Dibon—O breswylferch Dibon (*Ier.* xlviii. 18).
**Daughterliness,** *s.* merchedd, mercheiddrwydd, mercholdeb.
**Daughterly,** *a.* merchaidd, merchol.
**Dauk,** } *s.* llythyrgludiaeth (yn yr India Ddwyreiniol).
**Dawk,** }
**Daunt,** *v. a.* (Ll. *domito*; Ff. *dompter*) digaloni, gwangaloni, anghaloni, anghefnogi; brawychu, llyfrhau, llyrfhau, dychrynu, dyddelwi; peri ofn ar; peri synu, delwi, *neu* dewi; arswydo, ofni; goluddio.
**Dauntless,** *a.* (*daunt* a *less*) calonog, hyf, hy, eofn, eon, dïofn, dïarswyd, diddychryn, diargyswr, dïargyswrw, hyfaidd, difraw, beiddgar, dewr, gwrol, drud, glew, arlyfasol.
**Dauntlessness,** *s.* calonogrwydd, hyfdra, eondra, dewredd, dewrder, gwroldeb, hyfeiddrwydd, anofn, arlyfasedd.
**Dauphin,** *s.* (Ff.=dolffyn; Ll. a Gr. *delphin*) Dolffin, Delphin; mab hynaf brenin Ffrainc, cyn Chwyldroad 1830.
**Dauphiness,** *s.* (o *dauphin*) gwraig y Dauphin, Dolffines, Delphines.
**Davit,** *s.* camlath, cyfodlath.
**Daw,** *s.* (?) bran, -fran; cogfran: arferedig mewn cyfansoddiad.
Jack-daw—cogfran, coegfran, cawci, corfran.
**Daw,**† *v. n.* (S. *dagian*) gwawrio.
**Dawdle,**† *v. n.* (Al. *tändeln*) simera, ofera, gohytian, llercian, sefyllian; difyru *neu* ddiffrwytho yr amser; pencawna.
**Dawdler,**† *s.* simerwr, oferwr, llerciwr, gwageddwr.
**Dawish,** *a.* cogfranaidd, coegfranaidd.
**Dawk,** *v. a.* (C. *tocio*?) bylchu, rhicio, rhigoli, tori.
**Dawk,** *s.* hollt, agen, toriad.
**Dawn,** *v. n.* (S. *dagian*; Al. *tagen*; Is. *taagen*) gwawrio, dyddhau, dyddio; myned yn ddydd; codi *neu* dori o'r wawr; rhaciaw o'r wawr; rhaciaw o'r dydd; cleisio, goleuo, boreuo, tywynu, goleuannu; ymagor, ymddori; dechreu ymagor.

It dawns—y mae yn gwawrio, yn dyddhau, yn dyddio, yn goleuo, *neu* yn goleuannu; mae y wawr yn tori, yn codi, *neu* yn rhacio; mae y dydd yn tori *neu* yn cleisio.

**Dawn**, *s.* gwawr, y wawr, y wawrddydd, y wawr ddydd, clais y dydd, cyfddydd, cynddydd, pylgain, plygain, pylgaint, plygaint, dychlais y dydd, llug, llug y dydd, toriad y dydd, glasiad y dydd, glasddydd, glaswawr, toriad y wawr, rhaciad y wawr, codiad y wawr; boreuddydd, bore, y goleu cyntaf; gwawl; dechreu, cychwyniad; Gwawron.
 First dawn—cynwawr.
 The dawn is breaking—y mae yn gwawrio, yn dyddhau, *neu* yn dyddio; mae y wawr yn tori; y mae yn myned yn ddydd; y mae y wawr yn rhacio; y mae hi yn rhacio y wawr; mae y wawr yn codi *neu* yn tori.
 The dawn of the day—gwawr y dydd, y wawrddydd; glasiad, rhaciad, *neu* doriad y dydd; llug y dydd, ieuenctyd y dydd; clais y dydd; dychlais y dydd.

**Dawning**, *s.* (o *dawn*) gwawriad; codiad, toriad, rhaciad, *neu* gleisiad y wawr; llugiad, boreuad, cynddyddiad; dechreuad, dechreu; ymagoriad, ymddangosiad.
 Then came the woman in the dawning of the day—yna y wraig a ddaeth pan ymddangosodd y bore (*Barn.* xix. 26).

**Day**, *s.* (S. *dag, dæg, deg*; Is. *dag;* Al. *tag;* Ll. *dies*) dydd, diwarnod, dïwrnod, dwthwn, dyw; cofwyl, dygwyl, cylchwyl; goleuni, goleu; pryd, amser, oes: *pl.* dyddiau, diwarnodau, dïau.
 This day, To-day, } heddyw, y dydd heddyw, y dydd hwn.
 Noon-day, Mid-day, } canol dydd, hanner dydd, canolddydd, nawn, craidd dydd.
 Break of day=*Daybreak*.
 At break of day—ar y wawr; gyda'r dydd, gyda'r wawr; ar doriad y dydd; gyda thoriad y dydd; gyda thoriad y wawr; gyda chlais y dydd, &c.
 Before day—cyn dydd, cyn y dydd; plygeiniol, pylgeiniol.
 A little before day—ar *neu* yn y pylgain; ychydig cyn dydd.
 The day before yesterday, Two days ago, } echdoe.
 Two days hence, The day after to-morrow, The third day to come, } trenydd, drenydd, tradwy; ail dranoeth, y trydedydd, y trydydd dydd; y dydd nesaf ar ol efory.
 Two days ago—echdoe; ers deuddydd; er ys deuddydd; deuddydd yn ol; er ys dau ddïwrnod.
 Three days ago—ers tridiau; er ys tridiau; gwrthdrenydd; cyn echdoe; y dïwrnod cyn echdoe.
 Four days hence—trydwan; yn mhen pedwar diwarnod.
 Two days after—yn mhen deuddydd; yn mhen dau ddiwarnod; gwedi deudydd.
 These two days—er ys deuddydd; er ys dau ddïwrnod.
 Three days—tridiau, tri dïwrnod, tri diwarnod.
 Four days ago, Four days since, } er ys pedwar dïwrnod; pedwar dïwrnod yn ol.
 Many days ago, Days ago, } er ys dyddiau; er ys dyddiau bellach; er ys llawer dydd; er ys dyddiau yn ol; er ys talm; ers llawer o ddyddiau.
 Two days' space—ysbaid deuddydd; ysbaid dau ddïwrnod.
 This day sevennight, A week ago, } wythnos i heddyw; er ys wythnos; er ys wythnos yn ol.
 This day fortnight—pythefnos i heddyw; er ys pythefnos.
 The next day, The day after, The day following, } tranoeth, dranoeth, y dydd nesaf, y dydd canlynol, y dydd nesaf ar ol.
 The day past—y dydd eddyw; y dydd â aeth heibio; y dydd neithiedig.
 Holy-day—gŵyl, dydd gŵyl.
 Feast-day—dydd gŵyl, gŵyl, cofwyl, dygwyl.
 Ember-days—dyddiau y cydgoriau; dyddiau ympryd, dyddiau y lludw.
 Day of judgment, Doomsday, } dydd y farn, dydd barn, dydd brawd.
 Intercalary days—dyddiau gorymddwyn, dyddiau ymsang, dyddiau ymsangol, dyddiau y gorymddwyn.
 Twelfth-day, Twelfth-tide, } ystwyll, yr ystwyll, gŵyl ystwyll, dydd ystwyll, y serenwyl.
 Gala day—dydd rhwysg, dydd rhodres, dydd ceinwychder; prifwyl-ddydd, dydd prifwyl.
 Every day—pob dydd, bob dydd, beunydd, peunydd.
 From day to day—o ddydd i ddydd; o ddydd bwygilydd; beunydd; bob dydd; yn feunyddiol.
 Preparation day—darparwyl, rhagwyl, darpar ŵyl.
 Day and night—dydd a nos.
 A day and a night—diwarnod a noswaith.
 A year and a day—undydd a blwyddyn.
 All-Souls' day—dygwyl yr Eneidiau, gŵyl yr Eneidiau, dydd gŵyl yr Eneidiau, cofwyl yr Eneidiau; dygwyl y Meirw, gŵyl y Meirw.
 Day by day—dydd yn ei ddydd; o ddydd i ddydd; bob dydd; beunydd; yn feunyddiol; o ddydd bwygilydd; o'r naill ddydd i'r llall; o ddïwrnod i ddïwrnod; o'r naill ddïwrnod i'r llall.
 Day by day we magnify thee—beunydd a byth y clodforwn dydi.
 All the day long—trwy gydol y dydd; ar hyd y dydd; trwy y dydd.
 To this very day—hyd gorff y dydd hwn; hyd gorff y dydd heddyw; hyd y dydd heddyw; hyd y dydd hwn.
 Future day—tranydd; dydd â ddaw; dydd i ddyfod.
 Every other day—bob yn eilddydd; bob yn ail dydd *neu* dïwrnod.
 On a day—ar ddïwrnod; ar ddyddgwaith.
 On a certain day—ar ryw ddïwrnod; ar ddydd penodol, hysbys, nodedig, *neu* osodedig; ar ddyddgwaith; ar ryw ddydd; ar y dydd a'r dydd.
 Certain days—rhai dyddiau; ennyd o ddyddiau; talm o ddyddiau; rhyw ddyddiau.

A few days—ychydig o dyddiau; ychydig ddyddiau; rhynawd o ddyddiau; ennyd o ddyddiau.
Within a few days—o fewn ychydig ddyddiau; cyn nemawr o ddyddiau; cyn pen nemawr o ddyddiau; ar fyr o ddyddiau.
Within these few days—o fewn yr ychydig ddyddiau hyn.
Days of grace—dyddiau oed, oed-ddyddiau; dyddiau gras, dyddiau rhad.
Days of respite—dyddiau gorphwys, dyddiau oed cyfraith, dyddiau dyddon.
Vacation days—dyddiau dyddon; dyddiau dysbeidiant.
Court days, } dyddiau llys, dyddiau hawl,
Law days, } dïwrnodau llys, llysddyddiau; dyddiau coll a chaffael; dyddiau cyfraith; dyddiau ar y rhai y cynnelir cyfraith.
A set day—dydd penodol, dydd penodedig, dydd nodedig, oed dydd.
A day appointed—dydd penod, dydd penodedig, dydd ammodol.
A day appointed for hearing—dydd penod hawl; penod-ddydd hawl.
Days of return—dyddiau attychwel, dyddiau ymchweliad, dyddiau cyfreithiol.
Day for prognosticating—coelddydd, dydd coel.
Sidereal day—dydd seryddol, dydd seronol.
Living but for a day—undyddiog.
A fine day—dïwrnod teg, diwarnod hyfryd.
The other day—y dydd arall; ychydig ddyddiau yn ol; y dydd a'r dydd; y dydd neu'r dydd; er ys dim llawer o amser.
Now-a-days—y dydd heddyw; yr oes hon; yn yr oes hon; yr amser hwn; yn awr; yn y dyddiau hyn; yn y dyddiau presennol; y dyddiau hyn; heddyw; y to hwn; y to presennol; y to y sydd.
Of late days—yn ddiweddar; yn hwyr ddyddiau; yn y dyddiau diweddar; yn hwyr o amser; yn hwyr; yn ddiweddar o amser; yn yr amseroedd diweddar.
At shutting in of day—yn y cyfnos; yn y cyflychwyr; yn y gogyfnos; yn y gorchyfarwy; yn hwyr *neu* ucher y dydd; yn nghyfliw gwr a llwyn; pan ucherai y dydd; yn ngwyll y nos; yn min nos.
It is day—y mae yn ddydd; mae yn oleu.
As soon as it is day—cyn gynted ag y byddo hi yn ddydd *neu* yn oleu; cynted ag y dyddhao hi.
In the day-time, } wrth oleu y dydd; wrth
By day, } liw dydd; wrth liw
By day-light, } dydd goleu; lliw dydd; liw dydd; liw dydd goleu; liw goleu ddydd; liw goleuddydd; yn ngoleuddydd; ddydd goleu; yn ystod y dydd.
The day breaks—mae hi yn dyddhau; mae yn dyddhau; mae yn dyddio; mae y dydd yn tori; mae y wawr yn tori, yn codi, *neu* yn rhacio; mae y dydd yn cleisio; y mae hi yn gwawrio; y wawr a gyfododd.
When it was day—a hi yn ddydd.
To spend one's days—treulio ei ddyddiau, ei oes, *neu* ei amser; byw, bucheddu, oesi.
A day, } y dydd, yn y dydd, wrth y
By the day, } dydd.

He came that day—efe a ddaeth y dwthwn hwnw.
To give one the time of the day—cyfarch y pryd o'r dydd i un; cyfarch un *neu* i un; dywedyd 'dydd da iwch' wrth un; dywedyd y pryd o'r dydd wrth un.
A day's work—gwaith dïwrnod; gwaith undydd; dïwrnod o waith.
Work day—dydd gwaith, dïwrnod gwaith.
Day's wages—hur undydd, cyflog undydd, dyddged, dyddwobr, dyddobrwy.
Forty days—deugain diwarnod; deugain nïwrnod; deugain nïau.
Close of day—diwedydd, hwyr, ucher, hwyr y dydd; terfyn y dydd.
First day—unfed dydd, unfettydd.
Second day—ail ddydd, eilfed dydd, eilfettydd, deufettydd, deuettydd.
Third day—trydydd dydd, trydedydd, trifed dydd.
Fourth day—pedwerydd dydd, pedrydydd, pedwarfed dydd.
Fifth day—pummed dydd, pummettydd.
Sixth day—chwechfed dydd, chweched dydd, chwechettydd.
Seventh day—seithfed dydd, seithfettydd.
The first day of the month—y dydd cyntaf o'r mis; calan y mis.
May-day—calanmai, calan Mai.
Day school—ysgol ddyddiol.
Day scholar—ysgolor dyddiol.
To win the day—ennill y dydd; ennill y gamp; myned â'r gamp; cario y dydd; cael y dydd; ennill y fuddugoliaeth; y maes, y bel, *neu* y gâl; cael yr oruchafiaeth; cael y maes; cael y goreu; dwyn y bel; dwyn y gloch; myned â'r dydd.

**Daybeam**, *s.* (*day* a *beam*) goleuni dydd, goleu y dydd; goleuni, gwawl.
**Daybed**, *s.* dydd-wely, gwely dydd, gwely anwes.
**Daybook**, *s.* dyddlyfr.
**Daybreak**, *s.* gwawr, y wawr, gwawrddydd, toriad y dydd, clais y dydd, cyfddydd, cynddydd, pylgain, plygain, pylgaint, plygaint, glasiad y dydd, llug y dydd, dychlais y dydd, gwawriad y dydd; glaswawr; toriad y wawr, rhaciad y wawr, rhaciad y dydd, codiad y wawr; boreuddydd, glasddydd, bore, boreddydd, y goleu cyntaf.
A little before daybreak—ychydig cyn toriad y dydd, &c.; ar y pylgain; yn y pylgain.
**Daycoal**, *s.* dyddlo, haen uchaf glo.
**Daydream**, *s.* breuddwyd lliw dydd; dyddfreuddwyd.
**Dayflower**, *s.* dyddflodyn, dyddflodeuyn.
**Dayfly**, *s.* dyddgleren, dyddglyryn; cleren *neu* gylionen undydd; trychfil undydd; trychfil undyddiog.
**Dayflyer**, *s.* dyddhedegydd; milyn à ehedo wrth liw dydd.
**Daylabour**, *s.* dyddwaith, dyddlafur, gwaith dïwrnodol, dïwrnodwaith; gwaith wrth hur y dydd; gwaith wrth y dydd.
**Daylabourer**, *s.* dyddweithiwr, dyddweithwr, dyddweithydd, gweithiwr hur, gweithiwr wrth y dydd, dïwrnodwr, dyddlafurwr.
**Daylight**, *s.* goleuni dydd, goleu dydd, goleu y dydd, dydd goleu; dyddwawl, gwawl dydd.
It is just upon daylight—mae hi ar wawrio.

ar oleuo, **ar** ddyddio, *neu* **ar** ddyddhau; mae hi ar y dydd; mae hi yn mron dydd; mae y wawr ar dori.

Day-lily, *s.* cilgain, gwaew y brenin.

Dayly, *a.* (o *day*)=*Daily*.

Day-rule, Day-writ, *s.* dyddysgrifwys, dyddreol.

Daysman, *s.* (*day* a *man*) dyddiwr, canolwr, cyfryngwr, cyfryngydd, cylafareddwr; barnwr.

Dayspring, *s.* y wawr, y wawrddydd, gwawr, gwawrddydd, y wawr ddydd; toriad, glasiad, *neu* gleisiad y dydd; pylgain, plygain, pylgaint, plygaint; bore.

The dayspring from on high—codiad haul o'r uchelder (*Luc* i. 78).

Daystar, *s.* seren ddydd, y seren ddydd, gwenddydd, seren fore, y seren foreu; Gwener, y seren Gwener, seren Wener; Gwawlddwyn, Goleuddwyn.

Day's-work, *s.* gwaith diwarnod, gwaith dïwrnod; gwaith undydd; dïwrnod o waith.

Daytime, *s.* dydd, y dydd; amser goleu y dydd; ystod y dydd.

Day-wearied, *a.* dydd flin, dydd-flinderog, dydd-flinedig; blin gàn lafur *neu* ludded y dydd.

Day-woman, *s.* llaethwraig, maerones, meiriones, maerwraig, hafodwraig, morwyn llaeth, morwyn y blith.

Daywork, *s.* dyddwaith, dyddlafur; gwaith wrth y dydd; gwaith wrth hur y dydd; gwaith dïwrnodol, dïwrnod-waith.

Daze,† *v. a.* (S. *dwæs, dysi*) gorddysgleirio, pelydru, teryllu.

Daze, *s.* teryllfaen, llacharfaen.

Dazzle, *v. a.* (S. *dwæs, dwæscan*) serenu, teryllu, pelydru, ardywynu, gorddysgleirio, gorlathru, lluganu, llathru, dallu; peru i'r llygaid serenu *neu* deryllu; dallu y llygaid *neu* yr olwg; dallu â gormodd oleuni *neu* ddysgleirdeb; cymylu llygaid; bwrw hud *neu* niwl dros lygaid.

My eyes dazzle—mae fy llygaid yn serenu; mae'm llygaid yn teryllu.

Dazzlement,† *s.* (o *dazzle*) sereniad, terylliad, gorddysgleiriad.

Dazzling, *a.* teryll, llachar, dysglaer, gorddysglaer, ffloew, llathraid, llathr, llathraidd, echdywynol, ysblenydd, serenol, seirian, gloew, llewyrchol, ysblan, claer, claerwych, glai, eirig, eirian, tanbaid, lluglawn, pelydrol, efflan; yn dallu y llygaid.

De, (Ll.) rhagddawd yn dynodi *oddi wrth, o, ymaith; i lawr; an- dad-, di-, dis-; tra, gòr-; hollol.*

Deacon, *s.* (Gr. *diaconos;* Ll. *diaconus*) dïacon, dïagon, degon, aeddon, iagon.

Deaconess, *s.* dïacones, dïagones, aeddones, degones, iagones; gweinidoges.

Deaconry, Deaconship, *s.* (o *deacon*) dïaconiaeth, dïagoniaeth, degoniaeth, aeddoniaeth, iagoniaeth; swydd *neu* urddas dïacon.

Dead, *a.* (Is. *dood;* Sw. *död;* Al. *todt*) marw; marwaidd, difywyd, dïenaid, dïysbryd; wedi marw; wedi trengu; heb nac enaid nac anadl; merwin; yn merwino; â chwsg *neu* gysgfa ynddo; syth; diffrwyth, gwyw, gwywedig, crin; cysglyd, llwfr, llwrf; musgrell, dïog, swrth, (*f.* sorth), trwm, trymaidd, trymllyd, trymhyrddig, anfywiog, dïymadferth, anweithgar, llesg, llesgenaidd, llibin; pwl; henaidd; oerllyd, anwresog, dïwres; dïeffaith; dideimlad, dïymdeimlad; diflas, merf, merllyd; dwfn; digyffro; gwag.

To make dead=*Deaden*.

Naturally dead—gwedi marw a threngu; gwedi trengu a marw.

Dead sleep—trymgwsg, trymhun, margwsg, cwsg marw, marw gwsg.

To be dead—bod yn farw; bod wedi marw *neu* drengu; bod wedi darfod am dano; bod wedi ymadael â'r byd; bod wedi terfynu.

He is dead—y mae wedi marw; y mae yn farw; y mae wedi trengu, &c.

When he was dead—pan oedd efe wedi marw; pan oedd efe yn farw; gwedi ei farw; ac efe wedi marw; gwedi marw o hono; gwedi ei farwolaeth.

Dead of itself—burgunaidd, llurgunaidd; gwedi marw *neu* drengu o hono ei hun.

That is dead of itself—abwy, abo, burgun, llurgun, buria, abod, abar; à fo farw o hano ei hun.

Half-dead—hanner marw; lledfarw, gallmarw, go-farw; lledfyw, breiddfyw.

Dead body—corff marw, celain, celan.

Dead coal—marworyn diffoddedig, glo marwor.

Dead drink—dïod farw, ferf, *neu* ddiflas; dïod egr ddiflas; dïod wedi colli ei grym *neu* nerth; dïod ddinerth.

Dead pays—talion coll; talion marw; cyflog y lladdedigion a'r ffoedigion mewn rhyfel.

Dead-born—marw-anedig, marw-enedig, marw geni; à anwyd *neu* à enir yn farw.

Dead water—dwr sefydlog, marw, merydd, *neu* ferllyd; merddwfr, merddwr, merllyn, llynwyn, marwddwfr, marddwfr.

Stone dead—marw syth; mòr farw a'r gareg; marw gelain.

Dead language—iaith farw; iaith ddïarfer; iaith nad yw ar arfer gwlad.

Dead letter—llythyr dïarddel, llythyr dïarddelw; llythyren farw.

Dead-letter office—swyddfa llythyrau dïarddel.

Dead, *s.* marw; meirw, meirwon; dyfnder, cefnaint, canol.

The dead—y meirw, y meirwon.

The quick and the dead—y byw a'r meirw.

The dead of night—dyfnder nos, cefnaint nos, canol nos, trymder nos, perfeddion y nos.

The dead of winter—dyfnder gauaf; canol gauaf.

To mourn for the dead—arwylo; galaru am y marw.

Make no mourning for the dead—na wna farwnad (*Esec.* xxiv. 17).

Dead,† *v.* marweiddio, lladd, marwolaethu; ymfarweiddio.

Dead-doing, *a.* dinystrol, dinystriol, angeuol, dyfethol, dystrywgar, adwythig; à laddo yn ddifeth.

Dead-doors, *s. pl.* dorau segur; dorau i ddysgwyl taro.

Dead-drunk, *a.* llwyrfeddw, llwyrfrwysg, abrwysg, cwbl feddw; marw gàn feddwdod; cancr-feddw; meddw chwibwrn.

Deaden, *v.* (Is. *dooden;* Al. *tödten;* o *dead*) marweiddio, marwhau, marwolaethu, marwolhau, lladd, marwoli; peri yn farw; marthu,

gwanhau, gwanychu; pylu, dïawchu; merfu, diflasu.
Dead-eye, *s.* marlygad; math o chwerfan dro.
Dead-flat, *s.* marblyg.
Dead-freight, *s.* llonglog marw, gwag longlog.
Dead-hearted, *a.* calon-farw, calon-lesg; digalon, gwangalon, dïysbryd, llwfr.
Dead-heartedness, *s.* gwangalondid, digalondid, llyfrdra, llyrfedd.
Dead-hedges, *s. pl.* margloddiau, cloddiau annhyfol, cloddiau tocion.
Deadish, *a.* marwaidd, gofarw, lledfarw, marth, marthig.
Dead-lift, *s.* trymbwysi, pwysi; angen, angenoctyd; dygn angen, dygnedd, cyfyngder, cyfyng-gynghor, eithaf perygl; y cynnyg diweddaf; y weddi ddiweddaf; angen dïobaith; yr hwp olaf.
He came to their assistance at a dead-lift—efe a ddaeth yn gynnorthwy iddynt pan oedd reitaf iddynt wrtho; daeth yn gynnorthwy iddynt pan oeddent ar y weddi ddiweddaf, yn eu hangenoctyd, yn eu cyfyng-gynghor, *neu* ar yr hwp olaf.
Dead-light, *s.* marlewyrch; rhwyllglawr; tyllglawr; cauad goleu *neu* ffenestr llong.
Deadlihood,† *s.* marwolrwydd; sefyllfa *neu* gyflwr y meirw.
Deadliness, *s.* angeuoldeb, angeuolder, angeuolrwydd, marwolder, marwoldeb, marwolrwydd, dinystroldeb, dinystrioldeb.
Deadly, *a.* (o *dead*) marwol, angeuol; dinystrol, dinystriol, gwenwynig, gwenwynllyd, niweidiol, adwythig, creulawn.
Deadly, *ad.* yn farwol, &c.; fel yr angeu; fel angeu; fel un marw; dygn, iawn, dros ben, tra.
Deadly pale—gwelw fel yr angeu; glas fel yr angeu; glas angeuol; gwelw angeuol; cyn lased a'r angeu; cyn welwed a'r angeu; mòr welw a'r angeu.
Deadly wounded—gwedi cael *neu* dderbyn archoll farwol; gwedi cael *neu* dderbyn archoll *neu* glwyf angeuol.
He was deadly fatigued—yr oedd efe yn mron marw gàn ludded; yr oedd yn barod i farw gàn ludded; yr oedd ar farw gàn ludded; yr oedd efe yn ddygn luddedig; yr oedd efe yn lluddedig iawn; yr oedd yn lluddedig dros ben.
Deadly-carrot, *s.* moron marwol.
Deadly-nightshade, *s.* codwarth = math o blanigyn gwenwynig.
Dead-neap, *s.* trai, gordrai, iseldrai, iselfor, marwddwfr, llanw isel, dystyll.
Deadness, *s.* (o *dead*) marweidd-dra, marwedd, marweidd-dod; gwendid, syrthni, marthrwydd; marweiddiad; pylni, pyledd; oeredd, oerder; diflasdod, difaterwch; merfedd, merfdra.
Deadnettle, *s.* (*dead* a *nettle*) marddanadlen, marwddanadlen, marwddanaden, marddanaden; danadlen ddall, fud, *neu* farw; danaden ddall, fud, *neu* farw.
Yellow deadnettle — eurddanadlen, marddanadlen felen.
Red deadnettle — marddanadlen goch, marwddanadlen goch, danaden farw goch, danadlen farw goch.
White deadnettle — marddanadlen wèn, marwddanadlen wèn, danadlen farw wèn, danaden fud wèn.
Dead-pledge, *s.* marwystl, marw-wystl, gwystl.
Dead-reckoning, *s.* margyfrif, marwgyfrif, marw gyfrif.
Dead-ropes, *s. pl.* marwraffau.
Dead-shoar, } *s.* marbren, marwddarn.
Dead-shore, }
Deads, *s. pl.* amsothach mwn; y pethau sy'n amgylchu mwn yn y ddaiar.
Dead-struck, *a.* gwedi delwi; gwedi ei daraw â syndod, â dychryn, *neu* âg arswyd; gwedi ei daraw yn farw.
Dead-water, *s.* marwddwfr, marddwfr, merddwfr, merddwr, merllyn, llynwyn; dwr marw, sefydlog, llonydd, merllyd, *neu* ferydd.
Dead-wind, *s.* marwynt; gwrthwynt, gwynt gwrthwyneb.
Dead-works, *s. pl.* y rhanau uwch y dwr (o long).
Deaf, *a.* (S.; Is. *doof;* D. *döv;* Sw. *döf*) byddar; trymglyw, clustfyddar; trwm ei glywed; trwm ei glybod; diglyw; aneglur, anghroew, anhyglyw; anystyriol; gwedi ei fyddaru.
To be deaf — bod yn fyddar; bod yn glustfyddar; bod yn drwm ei glywed *neu* glybod.
To be deaf to—troi y glust fyddar at; bod heb fynu *neu* chwennych clywed; bod yn fyddar i.
To make deaf — byddaru; syfrdanu; gwneuthur yn fyddar.
To become deaf, } myned yn fyddar; trymhau o'r clybod; trymhau o'r clywed; byddaru; myned yn drwm ei glywed.
To grow deaf, }
A deaf person—byddar, dyn byddar, un byddar: *pl.* byddariaid.
A deaf woman—byddares, byddar, dynes fyddar, dyn fyddar, benyw fyddar, un fyddar.
Deaf eared—clustfyddar.
A deaf ear—clust fyddar, byddarglust.
Deaf and dumb—mud a byddar; mudfyddar, byddarfud.
Somewhat deaf — go fyddar, lledfyddar, anhyglust; trwm ei glybod; trwm ei glywed; tràn fyddar.
Deaf,† *v. a.* byddaru.
Deafen, *v. a.* (o *deaf*) byddaru; syfrdanu; tynu clustiau.
Deafness, *s.* (o *deaf*) byddarwch, bydderi, byddardra, byddardod; trymder clyw, trymder clywed, trymder clybod, trymglybod.
Deal, *v.* (S. *dælan, bedælan, gedalan;* D. *deeler*) rhanu, cyfranu, dosbarthu; rhoi, rhoddi; rhoi rhan; rhoi peth yn rhanau; tori i; gwasgaru, taenu, lledu; taflu o amgylch; masnachu, trafnidio, ymdrafnidio, maeliera, marchnata, negeseua, trafnu; trin, ymdrin, trafod, trafodi, ymdrafod, ymdrafodi; cywerthu, cyfaelio; ymgystlynu; gwneuthur, gwneyd; ymddwyn; ymwneyd, ymwneuthur, gweithredu, ymweithredu; gweithio; llywodraethu; bod â wnel; bod â wnelo; cyfryngu; rhoddi un ar ol y llall; rhoi yn aml.
To deal blows — rhoi aml ddyrnodiau, ergydion, *neu* ffonodiau; amlhau dyrnodiau *neu* ergydion; mynychu ergydion; dyblygu *neu* ddyblu dyrnodiau *neu*

ergydion; taflu ergydion; rhoi dyrnodiau yn fân ac yn aml; llachio, paffio, dyrnodio, ymarfodi.

I will deal plainly — gwnaf yr hyn a fyddo amlwg, eglur, goleu, *neu* ddidwyll; ymddygaf yn deg *neu* yn ddidwyll.

Deal not foolishly—nac ynfydwch.

You deal friendly—yr ydych yn gwneuthur yn garedig; yr ydych yn gwneuthur fel câr *neu* gyfaill; caredig y gwnewch; fel câr yr ydych yn gwneuthur.

To deal deceitfully—ymddwyn yn dwyllodrus; gwneuthur *neu* drin yn dwyllodrus; gwneuthur lliw o beth; somi, bradychu, twyllo; bod yn anffyddlawn i; gwneuthur dirdra; bod yn dwyllodrus.

To deal deceitfully in bargaining—twyllfarchnata, twyll fasnachu.

He dealeth very subtilely—mae efe yn gyfrwys iawn.

The men of Shechem dealt treacherously with Abimelech—gwŷr Sichem a aethant yn anghywir i Abimelech (*Barn*. ix. 23).

To deal with one about *or* concerning—ymddyddan, ymchwedleua, siarad, *neu* ymdrin âg un yn nghylch.

About whom all the Jews have dealt with me — oblegid pa un y galwodd holl luaws yr Iuddewon arnaf fi (*Act*. xxv. 24).

To deal with *or* by—gwneuthur âg; ymddwyn tuag at; ymddwyn at; trin, trafod; ymwneyd âg.

Deal not with us after our sins—na wna â ni yn ol ein pechodau.

To deal with—gwneuthur â; gwneyd â; ymddwyn at *neu* tuag at; trin, trafod; ymwneyd â; gweithredu â; ymgystlynu âg; ymgystlwn âg; ymweithredu â; masnachu âg; ymfasnach âg; ymdrin â; bod â wneloâg; ymryson â; gwrthsefyll; rhybuddio, rhagrybuddio.

To deal in — ymfasnachu yn *neu* mewn; masnachu yn *neu* mewn; trafnidio yn *neu* mewn; ymfasnachu; ymwneyd âg; ymwneuthur â; bod â wnel âg; arferu, arfer; ymdrin â; cytuno, bargena; arfer cadw.

Do you deal with me so?—ai felly y gwnewch â mi? ai felly yr ymddygwch ataf?

He dealt basely by me—efe a wnaeth yn frwnt, yn anaddas, yn anffyddlawn, yn gywilyddus, yn fawaidd, yn greulawn, yn anŵraidd, *neu* yn anfoneddigaidd â mi.

He dealt roughly with her—triniodd hi yn anhynaws.

Deal not with me according to my deserts —na thâl i mi yn ol fy haeddiant.

Deal truly with me—dywed y gwir i mi; na thwylla fi; na soma fi; na thwylla mo honof.

Wherefore dealt ye so ill with me?—pa ham y'drygasoch fi?

God hath dealt graciously with me—Duw a fu dda wrthyf; Duw a fu raslawn wrthyf.

He becometh poor that dealeth with a slack hand—y neb a weithio â llaw ddiog fydd dlawd.

He dealt with familiar spirits—mawrhaodd swynyddion (2 *Bren*. xxi. 6).

Who dealeth in proud wrath—â wnelo beth mewn digllonedd balch.

To deal with one another—ymdrafnidio.

To deal the cards—rhanu, cyfranu, dosbarthu, *neu* yru y cardiau.

I am to deal next—myfi sydd i ranu yn nesaf; mi biau rhanu yn nesaf.

Deal away—gyrwch y cardiau; gyrwch arni.

**Deal**, *s*. (S. *dæl*, *dal*, *gedal*; Is. *deel*; Al. *theil*) twysged, swrn, twysgen, llawer, amledd, amlder, llaweroedd, nid ychydig, swm, swmp, syrnyn, crŷn swrn, crŷn lawer, rhan, cyfran, cetyn, tipyn, craff, wmredd; hobyn, gyr.

A great deal, } llawer, twysged, swrn, amlA good deal, } edd, amlder, helaethran, llaweroedd, llawer iawn, nid ychydig, mwy na mwy, llawer byd, cyfran fawr.

He has a deal of wealth—y mae ganddo lawer o gyfoeth; y mae ganddo amledd o gyfoeth; mae ganddo lawer iawn o gyfoeth; y mae ganddo gyfoeth lawer; y mae yn berchen da lawer; y mae ganddo gyfoeth nid ychydig; y mae ganddo gyfoeth mawr aneirif; mae ganddo beth anfeidrol o gyfoeth; y mae ganddo swrn o gyfoeth, &c.

It is a great deal better—mae yn well o lawer; y mae yn llawer gwell; llawer gwell yw; gwell o lawer ydyw.

One of them is a great deal better than the other—y mae un o honynt yn rhagori yn mhell ar y llall; y mae y naill o honynt yn well o lawer na'r llall.

He is a great deal wiser—mae efe yn gallach o lawer; y mae efe lawer yn gallach; mae efe yn llawer callach.

It is a great deal better to beg than starve—llawer iawn gwell yw cardota na newynu.

A considerable deal—syrnyn, swrn, crŷn swrn, twysged, twysgen, craff, talm, twysg.

I have but a very unconsiderable deal of it—nid oes genyf graff yn y byd o hono; nid oes genyf ddim craff o hono; nid oes genyf ond y prinder o hano; nid oes genyf fawr swrn o hono.

A deal of cards—gyr o gardiau, hobyn o gardiau; hobyn, gyr.

**Deal**, *s*. (Al. *diele*; Is. *deel*) ffaw-wydd, pren ffaw-wydd, ffeinidwydd; astell, llifwydden, ystyllen: *sing*. ffaw-wydden.

Deal boards—byrddau ffaw-wydd, estyll ffaw-wydd.

**Dealbate**, *v. a.* (Ll. *dealbo*) gwynhau, gwŷnu, cânu.

**Dealbation**, *s*. (Ll. *dealbatio*) gwynhad, gwŷnad, cânad.

**Dealer**, *s*. (o *deal*) masnachwr, masnachydd, trafnidiwr, marchnatwr, maelier, maelierydd, maelierwr, maelotai, maelur, maelanydd, cyfaeliwr, cywerthydd; prynwr; gwerthwr; rhyngfaelwr; rhanwr, cyfranwr, dosbarthwr, dosbarthydd, rhoddwr; hobynydd, hobynwr, gyrwr y cardiau.

Petty dealer — maelotyn, gofasnachydd, maeleryn, maelieryn.

Itinerant dealer — teithwicwr, gwicwr,

gwicydd, edwicwr, cylchwicydd, gwerthwr teithiol.
Wholesale dealer—cyfanwerthwr, cyfanwerthydd.
Retail dealer—manwerthwr, mânwerthydd, adwerthwr, adwerthur, mânwerthiedydd.
Dealer in linens—llieinydd, llianwerthwr, llieinwerthydd; masnachydd mewn llian; masnachwr llieiniau; gwerthydd lliain.
Double dealer, False dealer, } twyll-fasnachwr, hocedydd, twyllwr, somwr, bradwr, twyll i'w gyfaill, twyll i'w gydymaith, dyn anffyddlawn, dyn bradwrus, dyn twyllodrus, dyn deuwynebog; à chwareuo y ffon ddwybig; à fedro chwareu y ffon ddwybig.
Plain dealer—cywirddyn, cleuddyn, dyn gonest, dyn clau, dyn cywir, dyn difrad; dyn teg *neu* onest yn ei fasnach; dyn uniawn a gonest yn ei fasnach; dyn dihoced yn ei fasnach.

**Dealing**, *s.* (o *deal*) masnach, trafnid, trafnidiaeth, marchnadaeth, cyfaeliaeth, cydfasnach, ymdrafnidiaeth, maelieraeth, cysmeriaeth; ymddygiad, ymarweddiad, arfer, ymarfer; gwaith, gweithred; triniaeth, ymdriniaeth, trafod, trafodiaeth, gorchwyl; cystlwn, ymgystlwn, cyfathrach, cyweithas, cyfeillach; neges, negeswriaeth; cyfraniad, rhaniad.
I never had any dealing with him—ni bu i mi erioed fasnach, neges, *neu* drafnid âg ef; ni bu rhyngof fi ac ef fasnach erioed; ni bu rhyngof fi ac ef na masnach na neges erioed.
I will have no dealing with you—ni bydd i mi à wnelwyf â chwi.
The Jews have no dealings with the Samaritans—nid yw yr Iuddewon yn ymgyfeillach â'r Samariaid.
I hear of your evil dealings—clywaf ddrygair i chwi.
We have no dealings with them—nid oes i ni ymdriniaeth â hwynt; nid ydym ni yn ymdrin â hwynt.
Such was his dealing toward me—y cyfryw oedd ei ymddygiad tuag ataf fi; dyma y fath oedd ei ymddygiad tuag ataf fi; dyma y driniaeth à gefais ganddo; dyma y driniaeth à gefais oddi ar ei law ef; dyma y modd y triniodd efe fi.
There is no dealing with him—nid oes dim i'w wneyd âg ef.
Double dealing, False dealing, Indirect dealing, } twyll-fasnach, deuwynebedd, anonestrwydd, hoced, twyll, twyll-ymddygiad, somchware, anffyddlondeb, brad, bradwriaeth, dichell, chwired, ffalsedd, chwiongl, somedigaeth; twyll drwy ymddiried; chware y ffon ddwybig; chware y llaw wèn.
A double-dealing man—dyn deuwynebog, hocedus, twyllodrus, cyfrwysddrwg, dichellgar, *neu* ystrywgar; twyllfasnachwr.
Hard dealing — gwasg-farchnad, gwasgwerth, caled-werth, gwasg-bryniad, gwasg-bryn, caled-bryn, gwasgiad, caledrwydd, *neu* galedwch wrth brynu *neu* werthu; cribddail, gormail; triniaeth anhynaws *neu* galed.

**Deambulate**,† *v. n.* (Ll. *deambulo*) gwibio, crwydro, rhodiana, amrodio; rhodio yn rhydd.
**Deambulation**, *s.* (Ll. *deambulatio*) rhodiad, amdramwyad, amwibiad; gorymdaith.
**Deambulatory**, *s.* (Ll. *deambulatorium*) rhodfa, rhodle, rhodianfa.
**Deambulatory**, *a.* rhodianol, amdramwyol, tramwyol, rhodiol, amwibiol.
**Dean**, *s.* (Ff. *doyen*; Ysp. *dean*, *decano*; It. *decano*; o'r Ll. *decanus*) deon, dean: *pl.* deoniaid, deonau, deaniaid.
Rural dean—deon gwladol, ardal-ddeon.
Dean and chapter—deon a glwysgor; deon a chabidwl; y deon a'i gôr.
Dean of the Arches—Deon yr Archau, Deon yr Archlys.
Dean of Peculiars—Deon y Gwahanlysoedd, Deon y Gwahanfreintiau.
The Very Reverend the Dean—y Trapharchedig y Deon; y Gorbarchedig Ddeon; y tra Pharchedig Ddeon.
The Very Reverend the Dean of Bangor —y Trapharchedig Deon Bangor; Gorbarchedig Ddeon Bangor; Tra pharchedig Ddeon Bangor.
**Deanery**, *s.* (o *dean*) deoniaeth, deaniaeth; deondy, deonfa; llywodraeth *neu* awdurdod deon; ardal deon; cyllid deon.
**Deanship**, *s.* (o *dean*) deoniaeth, deaniaeth; swydd ac urddas deon.
**Dear**, *a.* (S. *deor*; Al. *theuer*; Sw. *dyr*; Is. *duur*) anwyl, hoff, cu, cariadus, caredig, anwylgu, cuain, cuaidd, hoffain, hoffaidd, anwylaidd; drud, prid, gwerthfawr, prisfawr, costus, costfawr, uchelbris, mawrwerth, mawrbris, mawrwerthiog.
Too dear—rhy ddrud, rhy brid, rhybrid.
Dearly beloved—anwyl gariadus, anwyl garedig, anwylgu; anwylyd: *pl.* anwyl garedigion, anwyliaid, caredigion, anwylion.
Dearly beloved brethren—anwyl gariadus frodyr; anwyl garedig frodyr; fy anwyl gariadus frodyr; brodyr anwylgu.
Somewhat dear — gobrid, go ddrud, go brid, lled ddrud, crỳn ddrud.
To make dear—gwneuthur *neu* beri yn hoff *neu* yn anwyl; peri bod yn hoff *neu* yn anwyl; gwneuthur yn ddrud *neu* yn brid; codi y pris; peri bod yn ddrud *neu* yn brid; gwneuthur *neu* beri yn brid *neu* yn ddrud.
To buy dear—prynu yn ddrud; prynu yn brid; prynu cyhyryn gàn gath; prynu ar grogbris.
**Dear**, *s.* anwylyd, anwylyn, (*f.* anwylen, anwyles), anwylddyn, hoffddyn, hoffyn, (*f.* hoffen), enaid ac anwyl, enaid ac anrhaith, calon anwyl, gwir galon, unig enaid.
My dear—fy anwylyd, fy nghalon, fy anrheithi, fy anrhaith, fy anwyl un, fy nghoffaid.
My dear boy—fy machgen anwyl, fy anwyl fachgen; fy machgen hoff; fy machgen bach i.
My dear sir—fy anwyl syr.
**Dear**,† *v. a.*=*To make dear.*
**Dear**,† *a.* (S. *derian*) niweidiol, blin, cas, adgas.
**Dearborn**, *s.* pridglud (yn y Taleithiau Cyfunol).
**Dearbought**, *a.* (*dear* a *bought*, o *buy*) drud-

brynedig; à brynwyd yn ddrud *neu* yn brid; wedi ei brynu ar grogbris; drud, prid, costus, costfawr.

Dearbought and far-fetched—bargen ddrud a'i chyrchu o bell.

**Dearling**, *s.* (o *dear*)=*Darling*.

**Dearloved**, *a.* (*dear* a *love*) anwylgu, anwyl garedig, tra charedig, tra anwyl, gorhoff, goranwyl, anwyl iawn.

**Dearn**,† *a.* (S. *deorn*) unig, unigol; prudd, pruddaidd; wrtho ei hun.

**Dearness**, *s.* (o *dear*) drudaniaeth, prinder, pris uchel, uchelbris, mawrbris, mawrwerth; anwyldeb, anwylder, anwylwch, anwyledd, hoffedd, hoffder, cudeb, hoffaint, hoffiant, cuedd.

**Dearth**, *s.* (o *dear*) drudaniaeth, prinder, prindra; angen, dirangen, newyn, eisieu, diffyg, pall; diffrwythder, diffrwythdra, anffrwythlondeb.

**Dearticulate**,† *v. a.* (Ll. *deartuo*) dadgymmalu, dadgysylltu; tynu bob yn gymmal.

**Death**, *s.* (S.; Is. *dood;* Al. *tod;* D. a Sw. *död*) marwolaeth, angeu, tranc, trancedigaeth, trang, dylaith, dïen, dïenydd, llaith, golaith; ymadawiad, ymddattodiad, cwymp, dinystr, dystryw; mas.

Death (personified)—angeu, yr angeu.

Pale death—yr angeu glas, angeu glas, yr angeu gwelw.

Sudden death—angeu disyfyd, angeu sydyn; marwolaeth ddisyfyd *neu* ddisymmwth.

Present death—angeu parod.

Ignominious death—marwolaeth ddifenwol, marwolaeth waradwyddus.

Lingering death—angeu hirboenus, nychlyd, anhyfrys, afrys, *neu* hwyrfrydig; nych-ddïenydd.

To put to death — marwolaethu, lladd, dïenyddu, dïenyddio; rhoi *neu* rhoddi i farwolaeth; rhoi i farw; dyfetha; cymmeryd *neu* dori ymaith.

To put one to a lingering death—nychddïenyddu, nych-ddïenyddio; rhoi i farwolaeth hirboenus; rhoi i angeu hirboenus, &c.

Worthy of death—yn haeddu marwolaeth *neu* angeu; yn haeddu barn marwolaeth *neu* angeu; yn haeddu barnedigaeth angeu; yn teilyngu marwolaeth; eneidfaddeu, collfywyd, dywynfaddeu; dïenyddadwy, colladwy.

At the point of death—ar farw; yn mron marw; ar ddarfod am dano; ar dranc; ar drancedigaeth; ar drengu; ar ei derfyn; yn barod i farw; yn mhorth angeu; yn nrws angeu; yn mhorth marwolaeth; yn safn angeu; ar fin angeu; gwàn dïobaith; llesg dïobaith; arfarwol.

From death to life—o farw i fyw; o farwolaeth i fywyd.

Death pangs—gloesion angeu, gwasgfaon angeu.

Civil death — angeu gwladol; ysgariad oddi wrth gymdeithas ac oddi wrth freintiau gwladol.

Instruments of death — arfau angeuol; offerynau angeu.

It is death to do it—peth angeuol *neu* farwol yw gwneuthur hyn; angeu *neu* farwolaeth yw ei wneuthur; mater *neu* berygl bywyd yw ei wneuthur; marw sy raid os gwneir ef.

Let me not see the death of the child—ni allaf fi edrych ar y bachgen yn marw (*Gen.* xxi. 16).

Isaac was comforted after his mother's death—Isaac a ymgysurodd ar ol ei fam (*Gen.* xxiv. 67).

If these men die the common death of all men—os bydd y rhai hyn marw fel y bydd marw pob dyn (*Num.* xvi. 29).

The place of one's death—marw dywarchen, marwdy, mardy.

The gates of the shadow of death—pyrth cysgod angeu.

**Deathbed**, *s.* gwely angeu, marw-ysgafn, llogwydd, gwely marw.

Death-bed song—marw-ysgafn, cân gwely angeu.

**Death-boding**, *a.* yn darogan angeu; angeufynag.

**Death-darting**, *a.* angeu-luchiol, aerfwrw; yn lluchio angeu; yn saethu angeu at.

**Death-doing**, *a.* angeuol, marwol, dinystriol, lladdol, lladdedigol, dyfethol, adwythig; à laddo yn ddifeth.

**Death-doomed**, *a.* dyfarnedig i farw; eneidfaddeu, collfywyd, dywynfaddeu.

**Deathful**, *a.* (*death* a *full*) angeulawn, angeuol, marwol, angeuog; dinystriol, dyfethol, llofruddiol.

**Deathfulness**, *s.* angeuoldeb, angeuogrwydd, angeulonedd, marwoldeb; angeuaeth.

**Deathless**, *a.* (*death* a *less*) anfarwol; bythol; na fydd farw byth.

**Deathlike**, *a.* (*death* a *like*) angeuaidd, dïenig; fel angeu; tebyg i angeu; trengwedd, celanaidd, llurgunaidd; glas fel yr angeu; gwelw, gwelwlas, glaswelw, oerwelw, hyll, irad; gwyll, gwrm, (*f.* gorm); tawel, tangnefus, llonydd, digyffro; mòr dawel a'r bedd; marwol.

Death-like countenance — celyrwedd; gwedd angeuaidd, &c.

**Death's-door**, *s.* porth angeu, porth marwolaeth, drws angeu; pyrth angeu, pyrth marwolaeth; min trancedigaeth.

**Death-shadowed**, *a.* yn nghysgod angeu; hudd gàn angeu; yn nglyn cysgod angeu.

**Death's-head Moth**, *s.* gwyfyn pen angeu; pryf pen angeu.

**Deathsman**, *s.* dïenyddwr, crogwr, crogydd, dïaleddwr, lladdwr.

**Death-stroke**, *s.* dyrnod angeu, ergyd angeu.

**Death-token**, *s.* marwgoel, argoel angeu; arwydd agoshad angeu; angeu-goel.

**Death-ward**, *ad.* tuag angeu; tua marwolaeth.

**Deathwatch**, *s.* (*death* a *watch*) marw-oriawr, marorïawr, oriawr farw, ticbryf.

**Deaurate**, *v. a.* (Ll. *deauro*) goreuro, euro; gorthöi *neu* orchuddio âg aur.

**Deaurate**, *a.* goreurog, goreuredig, euredig.

**Deauration**, *s.* goreurad, eurad.

**Debacchate**, *v. n.* (Ll. *debacchor*, o *Bacchus*) llerthu, ymleferydd, ynfydu; wttresu a dwndro.

**Debacchation**, *s.* (Ll. *debacchatio*) llerthiad, ynfydiad; wttres a dwndwr; llerth, penwendid.

**Debacle**, *s.* (Ff.) tudlifer, tudlifeiriant, llifeiriant, dylif, rhyferthwy.

**Debar**, *v. a.* (*de* a *bar*) attal, rhwystro, llestair, llesteirio, lluddias, lluddio, arluddio, goluddio, rhagod; llysu, gwahardd, rhag-

rwystro, dyor; cadw oddi wrth; cau, cadw, *neu* fwrw allan; attal rhag; attal oddi wrth; gwarafun i; cadw *neu* gau rhag; rhagu.

**Debark**, *v.* (Ff. *débarquer*) glanio, tirio, arlanio, dadlongi, dadforio; myned i dir; myned i'r lân; disgyn o long; rhoddi ar y lân; bwrw i dir; dilwytho, dadlwytho.

**Debarkation**, *s.* (o *debark*) glaniad, tiriad, arlaniad, dadlongiad, dadforiad; dadlwythad; disgyniad o long; dyfodiad *neu* fynediad i dir.

**Debarring**, *s.* (o *debar*) rhwystrad, attaliad, attalfa, llesteiriad; cauad allan.

**Debase**, *v. a.* (*de* a *base*) iselu, iselhau, gwaethygu, gwaethu, gwaethäu, bychanu, dibrisio, dirmygu, dïystyru, diraddio, difrïo, darostwng, ishau; gwneuthur yn waeth *neu* waelach; peri yn waeth *neu* waelach; llygru, difwyno, diwyno, anharddu, anurddo, enserthu; lleihau *neu* iselu pris; bwrw, gyru, gwthio, *neu* daflu i lawr; gwaradwyddo, gwarthruddo, gwarthäu, anmherchi, dïelwi, gwarthnodi.

To debase one's self—ymiselu, &c.; gwael ddarostwng ei hun; dibrisio ei hun; iselu ei hun; gwneuthur ei hun yn wael a dirmygus.

To debase silver—llygru arian, gwaethygu arian, gwaelu arian; erblithio arian.

χ **Debased**, *p. a.* iseledig, gwaethygedig, llygredig, &c.; isel, gwael, gorisel, dibris, dirmygus, dïelw, dïelwig, difwyn, difanw; gwrthdröedig; enserthus.

**Debasement**, *s.* (o *debase*) gwaethygiad, iselhad, iseliad, darostyngiad, diraddiad, ymddibrisiad, anfrïedd, difrïedd; llygriad, anurddiant, anurddiad; anmharch, dibrisdod, dirmyg.

**Debaser**, *s.* gwaethygwr, gwaethygydd, iselwr, iselhäwr, bychanydd; llygrwr, llygrydd, anurddwr, difwynwr; anmharchwr, anmherchwr, gwaradwyddwr, enserthwr.

**Debasing**, *a.* iselhaol, anurddol, diraddiol, andwyol; yn tueddu i iselu; à dueddo i waethygu.

**Debatable**, *a.* (o *debate*) dadladwy, dadleuadwy, hyddadl; agored i ddadl; à fo mewn dadl; ammhëus.

**Debate**, *s.* (Ysp.; Ff. *débat*) dadl, dadleu, ymddadl, ymddadleu, arddadl, arddadledd; ymresymiad, cymhwylliad, ymbynciad; cynnadl; gwrthddadl; ymryson, amryson, amrafael, anghydfod, cecr, cecraeth, cweryl, cynhen, gwaethl, gwrthryn; cwyn.

Ye fast for strife and debate—i ymryson a chynhen yr ymprydiwch (*Esa.* lviii. 4).

Friendly debate — cynnadl, cynnadledd; dadl gyfeillgar; cydymddyddan cyfeillgar ar ryw bwnc dadleuadwy.

Beyond debate—diddadl, dïammheu; tu hwnt i ddadl.

**Debate**, *v.* dadlu, dadleu, arddadlu, ymddadlu, ymddadleu; rhesymu, cymhwyllo, ymresymu, arbwyllo, argymhenu; cynnadlu; pyncio, ymbyncio, ymgomio, parlio; dadleu am, dadlu yn nghylch; ymrafaelio, amryson, cecru, cweryla, ymeirio, cywaethlu, cynhenu; dàl dadl; dàl y tant.

Debate thy cause with thy neighbour—ymresyma â'th gymmydog.

He debated this matter with himself rightly—da y barnodd, y pwysodd, *neu* yr ystyriodd efe y peth yma yn ei fonwes ei hun.

To debate on *or* in—ymresymu yn nghylch; ymgynghori; ymgynghori yn nghylch.

**Debateful**, *a.* (*debate* a *full*) dadleugar, ymddadleugar, cwerylgar, ymrysongar, gwrthddadleugar, cecrus, amrafaelus; dadleuol, ammhëus.

**Debatement**, *s.* (o *debate*) dadl, dadleu, dadleuad, dadliad, ymddadleu, ymresymiad, cymhwylliad.

**Debater**, *s.* dadleuwr, dadlwr, dadleuor, ymddadleuwr, arddadlwr, ymresymwr, ymresymydd, rhesymwr, rhesymydd; ymbynciwr.

**Debauch**, *v. a.* (Ff. *débaucher*) llygru, halogi, diwyno, difwyno; wttresa, wttresu, glodiesta, trythyllu, rhewyddu, rhyseddu; treisio, diforwyno, llathludo, llathruddo, anlladu; ymlygru â; gwneuthur yn llygredig, yn anfoesol, yn anniwair, yn anllad, *neu* yn anghymmedrol; peri gwyraw oddi wrth yr hyn sy dda.

To debauch a woman—llygru *neu* halogi merch; treisio *neu* ddiforwyno un; llitho merch o lwybr rhinwedd.

A debauched course—ymroddiad i aflendid ac anlladrwydd; ymroddiad i wttres a gloddest; ymroddiad i feddwdod a glythineb; wttres, gloddest, meddwdod, anlladrwydd, aflendid; llwybr llygredig, halogedig, trythyll, anllad, anniwair, aflan, *neu* anfoesol; llwybr anghymmedrol, gwingar, *neu* feddw; gyrfa ddiffaeth; drygfuchedd, buchedd lodinebus.

**Debauch**, *s.* wttres, gloddest, gormodedd, rhysedd, meddwdod, meddwaint, anghymmedroldeb, cyfeddach; anlladrwydd, anlladedd, llodineb.

**Debauchedness**, *s.* anghymmedroldeb, wttresiaeth, trythyllgarwch, trythylldod.

**Debauchee**, *s.* (Ff. *débauché*) wttreswr, wttresydd, gloddestwr, meddwyn, rhyseddwr, glwth, oferddyn, cyfeddachwr; anlladwr, anlladfab, trythyllwr, trythyllfab, llodinebwr, trythyllgarwr, anlladyn, merchetwr, rhewyddwr, anfadwr, dyn anfucheddol, dyn anfoesol.

**Debaucher**, *s.* llygrwr, llygrydd, halogwr, llygror; anlladai, llathludwr, llathruddwr; trythyllwr, trythyllgarwr.

**Debauchery**, *s.* wttres, gloddest, wttresiaeth, wttreswaith, rhyseddwaith; trythyllwch, llodineb, anlladrwydd, anlladedd, rhewyddiaeth, rhewydd, aflendid, trythyllgarwch, afradlonrwydd; meddwdod, meddwaint, anghymmedroldeb, cyfeddach, yfgarwch, gormod rhysedd; diffeithder; brynti, drygfuchedd; llygriad, halogiad, llithiad.

**Debauchment**, *s.* (o *debauch*) llygriad, halogiad, diwyniad, difwyniad, llygrawd; llwgr, llygredigaeth; hud, rhith.

**Debellate**, } † *v. a.* (Ll. *debello*) darostwng,
**Debel**, } gorchfygu, goresgyn.

**Debellation**, † *s.* (Ll. *debellatio*) darostyngiad, gorchfygiad, cadorfod, cadorfodiad.

**Debenture**, *s.* (Ff. o'r Ll. *debeo*) dylysgrif, dyladdefeb, dyledysgrif, dyledeb, hawleb, hawlysgrif.

**Debentured**, *a.* dylysgrifog, dylebedig, dylebedebog.

Debentured goods — nwyddau dylebog, nwyddau dyledebog.

**Debile**, *a.* (Ll. *debilis*) egwan, gwàn, gwan-

aidd, dinerth, eiddil, gwanllyd, llesg, diffygiol, nychlyd, llegach, llegus, llyth.
Debilitate, *v. a.* (Ll. *debilito*) gwanhau, gwanychu, dinerthu, annerthu, llesghau, eiddilo, dirymio, dirymu, llesgu, egwanu.
Debilitating, *a.* gwanychol, gwanhaol, llesghaol.
Debilitation, *s.* (Ll. *debilitatio*) gwanhad, gwanychiad, egwaniad, eiddilad, llacâd.
Debility, *s.* (Ll. *debilitas*) gwendid, gwander, egwander, llesgedd, eiddilwch, gwandra, gwanwch, llesgrwydd, eiddiledd, annerth, annerthedd, methiant, llythiant, egwanaeth, llesgarwch, nychdod; mall.
Debit, *s.* (Ll. *debitum*) dyled.
Debit, *v. a.* dyledu; gofyn yn ddyled.
Debitor, *s.* (Ll.) dyledwr, dyledydd.
Debonnair, Debonair, *a.* (Ff.) moesgar, hyfoes, moesog, moeswych, cyweithasol, rhadlawn, cyflys, mynog, mwyn, mwynlan, mwynaidd, hynaws, hyfwyn, dygiadus, moddgar, moddus; da ei foes; addfwyn, gwâr, llariaidd, llary; ceinwych, gorwych, dillynwych, dillynaidd, dillynfoes, berthyll; hoenus, gorhoenus.
Debonnairness, *s.* moesgarwch, hyfoesedd, cyflysdod, mwynder, addfwynder, hynawsder, gwaredd, gwarineb, llaryedd, llarieidd-dra, ceinwychedd, gorwychedd, &c.
Debouch, *v. n.* (Ff. *déboucher*) dylifo *neu* darddu allan; ymarllwys; cyrchu, rhuthro, *neu* neidio allan; ymdywallt allan o fwlch *neu* gyfyngle.
Debris, *s.* (Ff.) malurion, ysbwrial, teilchion, creigdeilchion, creigdeilch, marlurgreig; darnau, adfeilion; dibrision.
Debruised, *a.* trososodig.
Debt, *s.* (Ll. *debitum*) dyled, dylyed; gofyn.
 Pretended debt—annyled.
 Original debt—cynnyled, cynddyled.
 In debt—mewn dyled; tàn ddyled, dàn ddyled; dyledog.
 To be in debt—bod mewn dyled; bod dàn ddyled; bod â dyled *neu* ddyledion arno; bod â gofynion arno; bod yn ddyledwr.
 To contract debt—tynu dyled; myned i ddyled; rhedeg i ddyled; rhedeg mewn dyled; tynu dyled arno.
 To run in debt — rhedeg mewn dyled; rhedeg i *neu* dàn ddyled; myned i ddyled.
 To pay the debt of nature—talu teyrnged natur; talu dyled natur; talu olaf ddyled anian; marw.
 National debt — dyled y wlad; dyled y wladwriaeth; dyled y goron; y ddyled wladol.
 Forgive us our debts—maddeu i ni ein dyledion.
 To liquidate a debt — toddi dyled; talu dyled; lleihau dyled.
 Dribbling debts—dyledach, mân ddyledion.
Debtee, *s.* (o *debt*) dyledai, achretor, coeliwr, gofynwr, credidwr.
Debtless, *a.* (*debt* a *less*) diddyled.
Debtor, *s.* (Ll. *debitor*) dyledwr, dyledydd.
 Original debtor—cynnogn, cynddyledwr, cynnyledwr.
 Debtor and creditor—dyledwr a gofynwr; dyledwr ac achretor; dyledwr a chredidwr.
 You are on the debtor side—yr ydych mewn dyled; yr ych yn sefyll mewn dyled.
Debullition, *s.* (*de* a *bullition*) berwad drosodd, trosferwad, bwrlymad trosodd.
Debut, *s.* (Ff.) cynwedd, dechreu, dechreuad, cynnechreu; y cynnyg cyntaf; y cais cyntaf; ymddangosiad cyntaf; y cam cyntaf; argynnyg, cychwyniad.
Deca, *s.* (Gr.; Ll. *decem*) deg: arferedig yn nghyfansoddiad geiriau Seisonig.
Decachord, Decachordon, *s.* (Gr. *deca*, deg, a *chordê*, tant) degtant, dectant.
Decadal, *a.* (o *decade*) degeidiol, degrifol.
Decacuminated, *a.* (*de* a *cacuminate*) tociedig, blaendociedig, blaendociog, difrigedig.
Decade, *s.* (Ff.; Ll. *decas*, *decadis*) degaid, deg, degrif.
 The decades of Livy—degeidiau Livius.
 A decade of years—dengmlynedd, deng mlynedd, deg mlynedd; deg o flyneddau, degaid o flyneddoedd.
 To divide into decades—degeidio; dosbarthu yn ddegau neu ddegeidiau.
Decadence, Decadency, *s.* (Ll. *de* a *cado*) adfeiliad, dadfeiliad, adfail, methiant, methineb, gwaethygiad, edwaint, meth, pall, cwymp, dinystr, diffygiad.
Decagon, *s.* (Gr. *deca* a *gônia*) degongl, degonglon, degochr, degochron, degochryn, dengochryn, degonglyn.
 Regular decagon—degochr rheolaidd.
Decagram, *s.* (Ff. *décagramme*; o'r Gr. *deca*, a Ff. *gramme*) degram=pwysi Ffreinig, yn cynnwys deg *gram*, neu 154·44 gronyn.
Decagyn, *s.* (Gr. *deca* a *gunê*) degbenyw, dengfenyw.
Decagynia, *s.* degbenyw; y llwyth degbenyw, yn nhrefniant Linnæus.
Decagynian, *a.* degbenywaidd, dengfenywaidd, degbenyw.
Decahedral, *a.* (Gr. *deca* a *hedra*) degochrog, dengochrog, degochrol, degochraidd, degochr.
Decahedron, *s.* (Gr. *deca* a *hedra*) degochr, degochron, degochryn.
Decalitre, Decaliter, *s.* (Ff. *décalitre*; o'r Gr. *deca*, a Ff. *litre*) degliter, deglitr=mesur Ffreinig yn cynnwys 610·28 o fodfeddi cubig.
Decalogist, *s.* (o *decalogue*) dengeirydd, dengeirwr, eglurwr y deg gorchymyn.
Decalogue, *s.* (Ff.; Gr. *decalogos*) dengair, y dengair, y dengair deddf, y deg gorchymyn.
Decameron, *s.* (Gr. *deca* a *meros*) degparth, degparthog; cyfrol yn cynnwys deg llyfr; degnydd.
Decametre, Decameter, *s.* (Ff. *décamètre*; o'r Gr. *deca* a *metron*) degmesur, degmydrai=hydfesur Ffreinig, o 393·71 modfedd Seisonig.
Decamp, *v. a.* (Ff. *décamper*) dadwersyllu, dadwersylltu, symmud gwersyll, symmud gwersyllt, mudo gwersyll; mudo, myned ymaith, cychwyn; cilio, ffoi.
Decampment, *s.* dadwersylliad, dadwersylltiad; symmudiad gwersyll; mynediad *neu* symmudiad ymaith; mud.
Decanal, *a.* (Ll. *decanus*) deonol, deanol; perthynol i ddeoniaeth.
Decander, *s.* (Gr. *deca* ac *anêr*) degwryw, planigyn degwryw, dengwryw.
Decandria, *s.* Degwryw, Dengwryw=enw y ddegfed genedl o blanigion, yn ol trefn Linnæus.

**Decandrian,** } *a.* degwrywaidd, dengwrywaidd,
**Decandrous,** } degwryw.
**Decangular,** *a.* (Gr. *deca*, ac *angular*) degonglog, degonglaidd, degonglawl.
**Decant,** *v. a.* (Ll. *decanto;* Ff. *décanter*) allwys, tywallt, gwallofi, arllwys, dywallaw, gwehynu, gwehyn, glân dywallt, dyneu, dyneuo, gorddyneu; tywallt *neu* arllwys yn araf; tywallt o'r naill lestr i'r llall.
**Decantation,** *s.* gwallofiad, allwysiad, tywalltiad, gwehynad; diwaddodiad; tywalltiad araf oddi ar waddod.
**Decanter,** *s.* (o *decant*) gwydrel, trancel, gwallofiestr, gwallofyr, tranced; gwallofydd, wallofi ad, gwallofwr, tywalltydd.
Glass decanter—gwydrel, tranced wydr.
Water decanter — dyfrel, tranced ddwr, dwr-wydrel.
Spirit decanter—tranced wirod, gwydrelwirod, gwallofiestr gwirod, gwirodyr.
**Decaphyllous,** *a.* (Gr. *deca* a *phullon*) degdalen, degdalenog, degualenog, degnalen, dengnalenog.
**Decapitate,** *v. a.* (Ll. *decapito*) dibenu, tori pen, lladd pen, torfynyglu, pendori.
**Decapitation,** *s.* dibeniad, torfynygliad, toriad pen, pendoriad, lladdiad pen.
**Decapod,** } *s.* (Gr. *deca* a *pous*) degtroed, dec-
**Decapode,** } troed, degped, degtroedog.
**Decapoda,** } *s. pl.* degtroediaid, degpediaid,
**Decapods,** } degtroedogion, degpedogion.
**Decapodal,** *a.* (o *decapod*) degtroed, degtroedog, degtroedaidd, degpedaidd.
**Decarbonate,** *v. a.* (*de* a *carbon*) dadulyfu, dadulwadu; difodi ulyf o'i lysnur *neu* soda.
**Decarbonization,** *s.* (*de* a *carbonization*) dadulyfiad, dadulyfeiddiad, dadulwad.
**Decarbonize,** *v. a.* dadulyfu, dadulyfeiddio, dadulwadu.
**Decardinalize,** *v. a.* (*de* a *cardinal*) dadgyniaduro; difuddiaw o urdd cyniadur.
**Decastich,** *s.* (Gr. *deca* a *stichos*) degban, pennill deg llinell.
**Decastyle,** *s.* (Gr. *deca* a *stulos*) degpiler, degpillres, degpillas; rhes o ddeg colofn.
**Decasyllabic,** *a.* (Gr. *deca*, a *syllabic*) degsillog, degsill, degsillafog, degsillafol, degsillol, degsillafaidd.
Decasyllabic verse—mydr degsill.
**Decay,** *v.* (Ff. *déchoir;* Ysp. *decaer;* o'r Ll. *de* a *cado*) dadfeilio, adfeilio, methu, gwaethu, gwaethygu, gwaethäu, nychu, dihoeni, pallu, anmharu, edwi, edwino, gwywo, diflanu, difanu, gwanychu, gwanhau, llesghau, difancolli, ffaelu, llaesu, ymlaesu, llipäu, lliprynu, diwrygio, dyddfu, bradwyo; myned ar feth; ymollwng, aballu, gwallygio, crino, gwystno, diffrwytho; colli ei wawr a'i degwch; pydru, braenu, llygru; pylu; digynnyddu, anghynnyddu.
To decay utterly—darfod; myned ar ddim; methu yn llwyr; cyfrgolli; methu *neu* ballu yn hollol.
To decay with age—heneiddio; myned yn hen; talmu ar henaint; methu gan henaint; amdrymu o henaint.
**Decay,** *s.* dadfail, adfail, adfeiliad, dadfeiliad, meth, methiant, methineb, gwaethygiad, pall, anmhariad; edwaint, nych, nychdod, darfodedigaeth, darfodiant, edwinwst; dihoeniad, diflaniad, difaniad; gwendid, llesgedd; bradwy; pydredd, pydrni, braen, hadledd, llwgr, gwywder.
In decay — methedig, dadfeiliedig, &c.; wedi methu; wedi myned ar feth; yn adfeiliedig; mewn dadfail.
To go to decay, } dadfeilio, adfeilio,
To fall to decay, } methu, &c.; myned ar feth; bod yn methu; bod yn adfeilio, &c.
Apt to decay—hyfeth, diflan, difan, diflanol, diflanus, diflannus, difanus, difanw.
**Decayed,** *p. p.* dadfeiliedig, adfeiliedig, methedig, &c.; wedi dadfeilio, &c.; wedi myned ar feth; ar feth; anmhar, anmharus, bradw, bradwyog; edwin, edw, nychlyd, gwyw, crin, gwystyn; dadfeiliog; ar syrthio; serfyll; wedi colli ei wawr a'i degwch; hadl, braen, pwdr, llygredig, braenllyd, wedi braenu; henaidd; wedi myned yn hen *neu* yn henaidd; wedi heneiddio *neu* henu.
Decayed appearance — edwedd; golwg adfeiliedig, &c.
**Decaying,** *p.* yn dadfeilio, &c.; methiannus, methiannol, edwinol.
**Decayedness,** *s.* (o *decayed*) methedigrwydd, adfeiliedigrwydd, dadfeiliedigrwydd, dadfeiliogrwydd, anmharusrwydd, &c.; methiant, methineb.
**Decayer,** *s.* dadfeilydd, adfeilydd, anmharydd, anmharwr.
**Decaying,** *s.* meth, methiant, methineb, dadfail, adfail, nychdod, nych, anmhariad.
**Decease,** *s.* (Ll. *decessus;* Ff. *décès*) marwolaeth, tranc, trancedigaeth, trang, trengiad, ymadawiad; ymadawiad â'r byd; mynediad oddyma.
**Decease,** *v. n.* marw, trengu, ymadaw, trancu; ymadaw â'r byd; myned oddyma; myned oddi yma.
He deceased—bu farw, marwodd, trengodd; ymadawodd â'r byd.
**Deceased,** *a.* trengedig, trancedig, marw, ymadawedig, marwedig; wedi marw; wedi ymadaw â'r byd.
**Decedent,** *s.* (Ll. *decedens*) un trengedig, trancedig, *neu* farw; y trengedig, y marw.
**Deceit,** *s.* (Ll. *deceptio;* Norm. *deceut*) twyll, hoced, twyllofaint, dichell, geudeb, som, somiant, somedigaeth, siom, hud, hudoliaeth, ffalsedd, ystryw, cyfrwysedd, cyfrwysdra, cyfrwysder, hudiaith, hiced, chwired, ffug, ffuant, chwiongl, geuawd, dichellgarwch.
To ensnare by deceit—tynu i'r rhwyd; tynu i'w rwyd; tynu i'r fagl; denu i ddystryw; dyrwyn un i mewn; bachellu, methlu; maglu drwy dwyll; bachellu â dichell.
**Deceitful,** *a.* (*deceit* a *full*) twyllodrus, hocedus, dichellgar, twyllfawr, twyllog, ystrywgar, cyfrwys, chwiredus, chwiredol, anffyddlawn, anghywir, deuwynebog, deueiriog, bradog, bradwrus, bradychus, ffals, geuog, geuol, llithiog; llawn o dwyll.
A deceitful knave — hocedydd; diffeithwr twyllodrus.
To speak deceitfully—llafaru yn dwyllodrus, &c.; dywedyd geiriau amwys, deu-ddeall, *neu* ddeu-ystyr; dywedyd mwyseiriau.
Favour is deceitful — siomedig yw ffafr (*Diar.* xxxi. 30).

**Deceitfulness**, *s.* twyll, dichellgarwch, twyllgarwch, hudoliaeth, dichell, ffalsedd, ffalsder, twyllodrusedd, twyllodrusrwydd, somedigaeth, siomedigaeth.

Deceitless, *a.* (*deceit* a *less*) didwyll, dihoced, diddichell, &c.

Deceivable, *a.* (o *deceive*) twylladwy, hydwyll; à ellir ei dwyllo; hawdd ei *neu* i'w dwyllo; hyhud; twyllodrus, dichellgar, hudoliaethus.

Deceivableness, *s.* hydwylledd, hyhudrwydd; twyllgarwch, twyll, dichellgarwch, dichell, hudoliaeth; somedigaeth.

Deceive, *v. a.* (Ll. *decipio;* Ff. *décevoir*) twyllo, hudo, hocedu, somi, coegio, ffalsu; camarwain, camdywys; tywyllu llygaid; bwrw hud ar lygaid; dallu; seithugio, ffugio; peri seithugio.

To be deceived—camgymmeryd, camsynied, camsynio, camdybied, cyfeiliorni; cael ei dwyllo, &c.

You are deceived—twyllwyd chwi; e'ch twyllwyd chwi; fe'ch twyllwyd chwi; chwi a dwyllwyd; yr ydych yn camsynied.

They have deceived my expectation—nid atebasant fy nysgwyliad; twyllasant fy nysgwyliad.

Easy to be deceived, Easily deceived, } hydwyll, hyhud; hawdd ei *neu* i'w dwyllo.

Deceiving and being deceived — gàn dwyllo a chael eu twyllo.

To deceive with crafty wiles—chwareu y cadnaw âg un; methlu, bachellu, bagellu, ffyrnigo.

**Deceiver**, *s.* (o *deceive*) twyllwr, twyllydd, twyllodwr, twyllawdr, twyllor, hocedwr, hocedydd, somwr, somydd, hudwr, coegiwr, geuwr, geuadur, hudolydd, hudolwr, hudol, un twyllodrus, ffugiwr.

The deceived and the deceiver are his—efe biau y twylledig a'r twyllodrus.

**Deceiving**, *s.* twylliad, twyllawd, hocediad; twyll, hoced.

In their own deceivings—yn eu twyll eu hunain (2 *Pedr* ii. 13).

**Decem**, *s.* (Ll.; Gr. *deca*) deg: arferedig yn nghyfansoddiad geiriau Seisonig.

**December**, *s.* (Ll.) Rhagfyr, mis Rhagfyr; y mis du bach cyn y Nadolig=y 12fed mis; ond y 10fed yn mhlith y Rhufeiniaid boreuol.

**Decemdentate**, *a.* (Ll. *decem*, deg, a *dentatus*, o *dens*, dant) degdeintiog, dengneintiog, degdant, degdaint.

**Decemfid**, *a.* (Ll. *decem* a *findo*) deghollt, deghólltog, degranog, degparthog.

**Decemlocular**, *a.* (Ll. *decem* a *loculus*) deghadgellog, deg-cellog.

**Decempedal**, *a.* (Ll. *decem* a *pes*) degtroedfeddol; deg troedfedd o hyd; degtroed, degtroediog, degtroedog, degpediog.

**Decemvir**, *pl.* Decemvirs, Decemviri, *s.* (Ll. *decemviri*) dengwr, degwr: *pl.* dengwyr, degwyr=deg penswyddog yn Rhufain gynt.

**Decemviral**, *a.* (Ll. *decemviralis*) dengwriol; perthynol i'r dengwyr.

**Decemvirate**, *s.* (Ll. *decemviratus*) dengwriaeth, y ddengwriaeth.

**Decence**, *s.*=*Decency.*

**Decency**, *s.* (Ll. *decentia;* Ff. *décence*) gweddusrwydd, gweddusder, gweddusdra, gweddeiddrwydd, gweddeidd-dra, addasrwydd, addwynder, cymhwysder, harddwch, prydferthwch, telediwrwydd, iawnfoes; gwylder, gwyledd, lledneisrwydd; glendid, sywder, sywdra, syberwyd; priodolder.

Decennary, *s.* (Ll. *decennium*, o *decem* ac *annus*) degmlwyddiant, dengmlwyddiant, degrifiant, deng mlynedd; degoliaeth; ysbaid 10 mlynedd; degtref.

Decennial, *a* (Ll. *decennis*) dengmlwyddol, dengmlyneddol, degmlyneddol; bob deng mlynedd.

Decennoval, Decennovary, } *a.* (Ll. *decem*, deg, a *novem*, naw) degnawol, dengnawol; perthynol i bedwar ar bumtheg; bob 19 blynedd.

Decent, *a.* (Ll. *decens;* Ff. *décent*) gweddus, gweddaidd, gweddol, addwyn, addas, cymhwys, cymmesur; hardd, trefnus, prydferth, harddwedd, moddus, moddgar, telediw; gwylaidd, llednais; glân, glanwedd, glanwaith, syw, syber, syberw.

Decent clothes — dillad gweddus, dillad addwyn, &c.

Decentness, *s.* (o *decent*)=*Decency.*

Deceptibility, *s.* hydwylledd, hyhudrwydd, twylledd.

Deceptible, *a.* (Ll. *deceptio*) twylladwy, hydwyll, hyhud, somadwy; à ellir ei dwyllo.

Deception, *s.* (Ll. *deceptio*) twyll, hud, hoced, twyllofaint, hudiad, twyllad, twyllawd, som, somiad, siomiad, dichell, hudoliaeth, lledrith; ffalsedd, ffug.

Deceptious, *a.* twyllodrus, twyllgar, somgar, dichellgar, geuol, hocedus.

Deceptive, Deceptory, } *a.* twyllodrus, hudolawl, twylladol, twylledigol, twyllgar, hudol, ffals; à ddichon dwyllo; yn cynnwys twyll; yn tueddu i dwyllo.

Deceptive cadence — twyll-oslef, twyllostyngiad.

Decern, *v. a.* (Ll. *decerno*) barnu, dyfarnu.

Decerniture, *s.* (Ll. *decerno*) barn, barn llys, dedfryd.

Decerp, *a.* (Ll. *decerptus*) pliciedig; wedi ei dynu ymaith; casgledig, tociedig.

Decerptible, *a.* pliciadwy, tociadwy; à ellir ei dynu ymaith; gwahanadwy, ffwyradwy.

Decerption, *s.* (Ll. *decerptio*) pliciad, tyniad, tyniad ymaith, tociad, blaendoriad, tyniad ffwrdd.

Decertation, *s.* (Ll. *decertatio*) ymryson, amryson, amrafael, cynhen, dadl, ymrysoniad, ymrafaeliad, ymdrech, ymdrechiad. [fynt.

Decession, *s.* (Ll. *decessio*) ymadawiad, ed-

Decharm, *v. a.* (*de* a *charm*) dadswyno, dadrinio, diswyno, gwrthswyno, dadreibio, dadgyfareddu.

Dechristianize, *v. a.* (*de* a *christianize*) dadgristionogi, dadgristionoli, dadgristioneiddio, anghristionogi.

Decidable, *a.* (o *decide*) terfynadwy, penderfynadwy.

Decide, *v.* (Ll. *decido*) penderfynu, terfynu, dybenu, diweddu; gosod terfyn ar; tori ymryson, ymrafael, *neu* ddadl; barnu; dosbarthu; barnu *neu* gylafareddu rhwng pleidiau; rhoi barn; gwneuthur cylafaredd; rhoi barn cylafaredd.

To decide controversies—dosbarthu cynhenau; penderfynu dadleuon; tori amrafaelion.

Thyself hast decided it—ti a'i rhoddaist ar lawr (1 *Bren.* xx. 40).
Is it thus you decided it?—ai felly y bernwch chwi y peth? ai hon yw y farn à roddwch chwi yn yr achos?
To decide by battle—ymbroffi drwy frwydr; terfynu drwy frwydr; terfynu mewn brwydr; rhoi *neu* fwrw ar dyngedfen brwydr; penderfynu drwy frwydr.

**Decided**, *a.* penderfynol, dïammheuol, dïammheu, diddadl, sicr, dilys; amlwg, eglur; anamwys; hollol, cwbl; penderfynedig, terfynedig; tu hwnt i ddadl.

**Decidedly**, *ad.* yn benderfynol, &c.

**Decidence**, *s.* (Ll. *decidens*) syrthiad ymaith; syrthiogrwydd.

**Decider**, *s.* penderfynwr, penderfynydd, terfynwr; torwr ymryson, dadl, *neu* amrafael; barnwr, cylafareddwr; dosbarthwr.
Decider of controversies — dosbarthwr cynhenau; penderfynwr dadleuon; torwr amrafaelion.

**Deciduous**, *a.* (Ll. *deciduus*) syrthiol, cwympol, syrthiadol; yn syrthio *neu* gwympo yn yr hydref; diweddar-gwymp, anmharhäus.

**Deciduousness**, *s.* syrthioldeb, cwympoldeb; syrthiad unwaith yn y flwyddyn; blwyddsyrthioldeb.

**Decigram**, *s.* (Ff. *décigramme*) degfedram=pwysi Ffreinig, yn cynnwys y ddegfed ran o'r *gram*.

**Decil**, *s.* (Ll. *decem;* Gr. *deca*) pelldrem (dwy blaned); degfedran (y sidydd).

**Decilitre**, } *s.* (Ff. *décilitre*) degfedlitr, degfed-
**Deciliter**, } liter=mesur Ffreinig, yn cynnwys y ddegfed o'r *litr*.

**Decillion**, *s.* (Ll. *decem*) degsawdd, degsoddrif.

**Decillionth**, *a.* degsoddol; perthynol i'r degsawdd.

**Decimal**, *a.* (Ll. *decimus*) degol, degiadol, degfedol, degfed, degranol; degymol.
Decimal fractions—degiadau; swlliadau degol, yllion degol, yllion degranol, toriadau degol; degiadaeth, swlliadaeth ddegol, ylliadaeth ddegol.
Decimal arithmetic—degiadaeth, degrifiaeth; rhifyddiaeth ddegiadol *neu* ddegranol.
Decimal numbers—rhifau degol, degiadol, *neu* ddegranol; degrifau.
Decimal part—degfed ran, y ddegfed, y degfed, degfedran.
Decimal notation—nodiant degol, nodiant degiadol, degnodiant.

**Decimal**, *s.* degiad, degran; y degfed: *pl.* degiadau, degolion, degranau.
Decimals (as a rule)—degiadaeth, degrifiaeth.
Circulating decimals—corddegiadau, adddegiadau; corddegiadaeth, ad-ddegiadaeth.

**Decimally**, *ad.* yn ddegol, &c.; bob yn ddeg; yn ddegau.

**Decimate**, *v. a.* (Ll. *decimo*) degymu, degoli, degu; cymmeryd *neu* dynu un o bob deg; tynu *neu* gymmeryd y ddegfed.

**Decimation**, *s.* (Ll. *decimatio*) degymiad, degoliad; cymmeriad y ddegfed; tyniad y degfed.

**Decimator**, *s.* (o *decimate*) degolwr, degiedydd, degymwr; tynwr y ddegfed.

**Decimetre**, } *s.* (Ff. *décimètre*) degfedfydrai
**Decimeter**, } degfedfesur=hydfesur Ffreinig o 3 modfedd a rhyw ychydigyn.

**Decimo-sexto**, *s.* (Ll.) 16 plyg, un plyg ar bumtheg.

**Decipher**, *v. a.* (Ff. *déchiffrer*) dehongli, deongli; dehongli, esbonio, egluro, darllen *neu* egori dirgelnodau; darllen celnodau egluro celysgrif; dadrysu, dad-ddyrysu, diddyrysu, annirgelu, egluro, amlygu, darllen dadguddio, annirgelu, dadblygu, dadenhuddo dattod, dirnad, celagori, celegori; dadguddio tywyllbeth; darlunio, nodi, argraffu, nodebu, awyddnodi, tynu llun.

**Decipherable**, *a.* dehongladwy, dattodadwy.

**Decipherer**, *s.* dehonglydd, dehonglwr, deonglwr, esboniwr, eglurwr, dadblygwr, &c. dehonglwr dirgelnodau.

**Deciphering**, *s.* dehongliad celnodau, esboniad dirgelnodau, darlleniad celysgrifen; celagoriaeth, celegoriad.

**Decision**, *s.* (Ll. *decisio*) penderfyniad, terfyniad, dybendod, terfyndod, penderfyndod, pendod, dedfryd, tor ymryson, terfyniad ymryson; toriad ar ymryson; barn, dybeniad, dyben, barniad, cylafareddiad, dïofryd; diysgogrwydd, sadrwydd, gwadalwch, ansigledd, gwadaledd; †ysgariad.
Decision of controversies — dosbarthiad cynhenau; penderfyniad dadleuon.
In the valley of decision — yn nglyn terfyniad.

**Decisive**, *a.* (Ll. *decido, decisum*) penderfynol, terfynol, dybenol, dybenus, terfynedigol, pendant; à derfyna yr ymryson *neu* y mater.

**Decisiveness**, *s.* penderfynoldeb, terfynoldeb, terfynolrwydd, penderfynolrwydd, terfynder, terfynoledd, dybenolder, dybenolrwydd, pendantrwydd.

**Decisory**, *a.* à eill benderfynu *neu* farnu; penderfynol, terfynol, dybenol, dybenus.

**Deck**, *v. a.* (Is. *dekken;* Al. *decken;* S. *gedecan, thecan*) trwsio, tacluso, taclu, trwsiadu, addurno, gwychu, harddu, teghau, pincio, harddwisgo, gwisgo, arwisgo, dilladu, hatru, neisio; hulio, byrddio.
To deck one's self—ymdrwsio, &c.

**Deck**, *s.* bwrdd llong, bwrdd; hurtyr, hul; cnud *neu* dŵr o gardiau.
Quarter-deck — pedryfwrdd, uchelfwrdd, uchelfwrdd llong.
Upper deck, } trydefwrdd, trydyfwrdd;
Main deck, } uchfwrdd, bwrdd uchaf.
Half-deck—hannerfwrdd, hanner bwrdd.
Middle deck—canolfwrdd, bwrdd canol.
Gun-deck — gynfwrdd, magnelfwrdd, bwrdd y gynau, bwrdd y cyflegrau.
The deck of honour — maes anrhydedd, bwrdd clod.

**Decker**, *s.* (o *deck*) trwsiwr, tacluswr, taclusydd, addurnwr, &c.; huliwr; hulier, huliedydd.
A two-decker — llong ddeufwrdd.
A three-decker—llong dribwrdd.
She is a two-decker — llong ddeufwrdd ydyw hi; y mae iddi ddau fwrdd.

**Decking**, *s.* (o *deck*) addurn, harddwch, harddwisg; addurniad, harddiad, taclusiad.

**Declaim**, *v.* (Ll. *declamo*) areithio, ymadroddi; llafaru yn areithyddol; gwneuthur araeth; gwneuthur araeth ddychymyg; gwneuthur tôn *neu* acen; chwareu yr areithiwr; arebu;

ffraethebu, nwyfebu; †arddadlu, dadleu dros.

To declaim against—areithio, bloeddio, gawri, germain, *neu* ddadwrdd yn erbyn; dywedyd yn uchelgroch yn erbyn; dwys feio; hwtio; rhoi uchel sen i; rhoi mynych wfft i.

Declaimant, } *s.* areithydd, areithiwr, arodor,
*Declaimer,* } arodydd, treithydd; rheithiorydd; ffraethebydd, ffraethebwr, aronan, nwyfebwr; llafarwr cyhoeddus; llefarydd ar osteg; ffug-areithydd, coeg-areithiwr, dadyrddwr, bloeddiwr.

Declaiming, *s.* araeth, araith, arawd; arebiad.

Declamation, *s.* (Ll. *declamatio*) araeth, araith, arawd, araeth wneuthur, araith ddychymyg, ffug-araeth, coeg-araeth, newyddwawd; *traetheg*, treitheg, traethoriaeth, arawn.

Science of declamation—treitheg, traetheg, traethoriaeth.

*Declamator, s.* (Ll.)=*Declaimant, Declaimer.*

Declamatory, *a.* (Ll. *declamatorius*) areithiol, areithyddol, arodol, rheithegol; ffug-areithiol; fel ffug-areithydd; o natur ffug-araeth; ar wedd ffug-araith; nwyfebus, nwyfebawl, ffraethebus; seinfawr, dadyrddus, trystfawr, crochlefus, crochlefol, gwaeddgar; dwys-*feiol*, crochfeiol.

Declarable, *a.* (o *declare*) traethadwy, treithadwy, mynegadwy, dadganadwy, &c.

Declarant, *s.* traethydd, treithydd, traethwr, mynegwr.

Declaration, *s.* (Ll. *declaratio*) mynegiad, traethiad, treithiad, traethad, mynegiant, mynegiaeth, adroddiad, cyhoeddiad, dadganiad, hysbysiad, dywediad, mynag, hysbysrwydd, ardystiad, tystiad, tystiolaethad, tystiolaeth, ardystiolaeth, sicrhad, haeriad, gwiriad, honiad, cadarnhad, dangosiad, arddangosiad, arddangos, gosodiad allan, ymadrodd, gair, eglurad, eglurhad, amlygiad, deongliad, traethawd; adroddiad hawl, adroddiad cwyn, traethiad cwyn; arddangosiad camwedd *neu* drosedd.

To declare abroad—cyhoeddi, gosod allan; gyru ar led; traethu ar led; cyffredino.

To declare beforehand—rhagfynegu, rhagddangos, rhagddywedyd, rhagddadgan, rhagdreithu, rhaghysbysu; dywedyd yn mlaen llaw; canu'r cywydd.

To declare for one—bod o blaid un; dywedyd yn mhlaid un; dywedyd o blaid un; rhoi ei air gydag un; pleidio *neu* sefyll gydag un; amddiffyn un; addef un; bod dros un; sefyll o blaid un.

Easily declared, } hydraeth, hydraith;
Easy to be declared, } hawdd ei draethu; hawdd i'w dreithu.

Not easy to be declared—anhydraeth, anhydraith.

That cannot be declared—annhraethadwy, annhreithadwy, anhydraeth, anhydraith, annhraethol.

Declare thou unto me—dysg dithau fi (*Iob* xlii. 4).

They declared their pedigrees—rhoddasant eu hachau (*Num.* i. 18).

Declaredness, *s.* (o *declare*) traethedigrwydd, mynegoldeb, dadganoldeb, cyhoeddolder.

Declarement, *s.* (o *declare*) treithiad, traethiad, mynegiad, cyhoeddiad.

Declarer, *s.* (o *declare*) traethwr, treithwr, traethydd, mynegwr, mynegydd, cyhoeddwr, dadganwr, hysbysydd, hysbyswr, &c.

Declaring, *s.* mynegiad, treithiad, traethad, traethiad, cyhoeddiad, dadganiad, hysbysiad, adroddiad.

Declension, *s.* (Ll. *declinatio*) gogwyddad, gogwyddiad, osgoad; dirywiad, gwaethygiad, adfeiliad, dadfeiliad, ymlaesiad; disgyniad, syrthiad, cwympad, cwymp; treiglad, treigliad, treigl, treigl gair, geirdreiglad, amrywiad, amgenedigaeth, dychwyl, cwympod; dygwydd; ciliad *neu* ffoad oddi wrth; ciliad, enciliad, gocheliad; plygiad ar waered; plygiad gyda'r gwaered; disgynfa *neu* ddisgyniad tir; llechwedd, lledbeirwydd, lledbeiedd, gorwaered, llethr, osgo; ystlysiad; meth, methiant, methineb; traul, trai, tawl, toliant.

Declension of a distemper—ymlaesiad clefyd; trai clefyd; troad ar wellad; bod ar wellhad.

Declension of nouns—treiglad enwau, treigl enwau, treigl sylweddeiriau, amrywiad sylweddebion, amgenedigaeth enwau.

Declinable, *a.* (Ff.; o *decline*) treigladwy, hydreigl; gocheladwy, gwrthodadwy.

A declinable noun—enw treigladwy, enw hydreigl, sylweddeb treigladwy.

Declinant, } *a.* syth i lawr, unionwaered.
Declivant, }

Declinate, *a.* (Ll. *declinatus*) yn plygu i lawr; plygedig i lawr; gogwyddedig, lleddf, lleddfedig, lleddy, lledbeiedig, osgedig, llipa; crymogwyddol.

Declination, *s.* (Ll. *declinatio*) gogwyddad, gogwyddiad, osgoad, ysgoad, gogwydd, osgo, ysgo; lleddfad, plygiad, gostyngiad, gwyrad; anuniondeb, anuniondedd, aniawnedd; gwaethygiad, dirywiad, adfeiliad, dadfeiliad, meth, methiant; disgyniad; treigl, treiglad, treigliad, amgenedigaeth, amrywiad, geirdreigl.

Declination of a planet—osgoad planed, gwyrad planed=pellder planed oddi wrth linyn y cyhydedd, naill ai tua'r de neu tua'r gogledd.

Circles of declination—cylchau osgoad, cylchau gogwyddiad.

Declination of the compass—amrywiad y compawd; osgoad y compawd.

Declinator, } *s.* (o *decline*) osgadyr, osgoadyr,
Declinatory, } lleddfadyr.

Declinatory plea—dadl cyn barn; dadl ochel.

Decline, *v.* (Ll. *declino*) gogwyddo, osgöi, ysgöi, gwyro; gochelyd, gochel, gwrthod, llysu, ymwrthod â; cilio, encilio, ffoi, troi, cadw, ymgadw, *neu* osgöi oddi wrth; gwrthneu; gogwyddo tua'r llawr; gogwyddo tuag i waered; plygu, gostwng, gostyngu, ymlaesu, lledbeio, ystlysu, tueddu, lledochri; bod ar ei ogwydd; pwyso; pwyso i lawr; pwyso tuag i waered; pwyso tua'r naill du; peidio â; gwaethygu, methu, adfeilio, dadfeilio, pallu, anmharu, llesghau, gwanhau, nychu; treiglo, amrywio, lleddfu; syrthio, cwympo; tueddu at; tynu tua'r diwedd; lleihau, treio.

To decline a word—treiglo gair; geirdreiglo

Declining age — methoed, meth-oedran, henoed.

In a declining state of health—â'i iechyd yn pallu *neu* yn methu; â'i iechyd yn gwaethygu; yn wael ei iechyd; yn adfeiliaw o ran iechyd; â'i iechyd yn adfeilio; mewn auniwyg.

Let not thine heart decline to her ways—na thuedded dy galon at ei ffyrdd hi (*Diar.* vii. 25).

Neither have our steps declined from thy way—ac nid aeth ein cerddediad allan o'th lwybr di (*Salm* xliv. 18).

They tarried till the day declined—hwy a drigasant nes gostwng y dydd; hwy a drigasant hyd brydnawn.

**Decline**, *s.* methiant, methineb, meth, gwaethygiad, adfail, dadfail, adfeiliad, dadfeiliad, dirywiad; nychdod, nych, darfodedigaeth, edwaint, anmhariad; mynediad ar *neu* ar ei waeth; traul, pall, trai; gogwydd, osgo, gogwyddiad, osgoad, gwyrad.

Decline of the moon—traul y lleuad; adeg y lloer; cil y lleuad; adfan cil.

Decline of life—methoed, meth-oedran, henoed; meth-flyneddoedd, blynedd-oedd methiant.

On the decline—ar ogwydd; ar ei ogwydd; ar drai; ar ball; ar feth; ar osgo; yn gwaethygu, yn dirywio; yn syrthio, yn cwympo.

In the decline of his affairs—pan oedd ei dda yn treio *neu* ar drai; pan oedd ei foddion yn treio *neu* ar drai; yn nhrai ei foddion; pan oedd ei amgylchiadau yn pallu.

**Declinous**, *a.* (Ll. *declino*) gogwyddedig, lleddfedig, lleddy, osgöedig, lledbeiedig, llipa; yn plygu *neu* ogwyddo i lawr; gogwyddedig tua'r ddaiar.

**Declivity**, *s.* (Ll. *declivitas*) gwaered, gorwaered, disgyniad, disgynfa, gogwyddiad, cwymp; llethr, llechwedd; goriwaered, gogwyddfa, serthedd, serthfa, lledbeirwydd, serthallt, gosgo, osgo, epynt; disgyniad *neu* ddisgynfa tir.

**Declivous**, } **Declivitous**, } *a.* (Ll. *declivis*, *declivus*) serth, llethrog, llechweddol, serthus; ar ogwydd, ar waered; yn graddol ddisgyn; osgoawl, lledbai.

**Decoct**, *v. a.* (Ll. *decoquo*) trwytho; berwi, berweddu; treulio; cryfhau, ffrwytho.

**Decoctible**, *a.* trwythadwy, hyferw, berwadwy; treuliadwy, hydraul; â aller ei ferwi, ei drwytho, *neu* ei dreulio.

**Decoction**, *s.* (Ll. *decoctio;* Ff. *décoction*) trwyth, godrwyth, isgell; trwythad, berwad, dyferwad.

First decoction — cyndrwyth, blaendrwyth.

Decoction of bark—rhisgwy, rhisgdrwyth, trwyth rhisg, trwyth rhisgl.

**Decoctive**, *a.* trwythol, trwythadol; hydrwyth; hawdd ei drwytho.

**Decocture**, *s.* (Ll. *decoctura*) trwythad, trwythyd; y sylwedd â dynir drwy drwytho.

**Decollate**, *v. a.* (Ll. *decollo*) torfynyglu, dibenu, tori pen, lladd pen, pendori, tori gwddf, diyddfu.

**Decollation**, *s.* (Ll. *decollatio*) torfynygliad, dibeniad, toriad pen, lladdiad pen, pendoriad, toriad gwddf.

**Decoloration**, *s.* (Ll. *decoloratio*) afliw, diliwiant, dadliwiant, disliwiad, diffyg lliw.

**Decomplex**, *a.* (*de* a *complex*) dygymhlyg; cyfansoddedig o ddelfrydau cymhlyg.

**Decomposable**, *a.* (o *decompose*) dadgyssoddadwy, dadgyfansoddadwy, dadansoddadwy.

**Decompose**, *v. a.* (Ff. *décomposer*) dadgyfansoddi, dadgyssoddi, dadgyssodi, dadansoddi; dadelfyddu; dadgyssylltu, dadgymhlitho, dadblitho, diblitho; adgyfansoddi; ail gyfansoddi; ofi, chwalu, toddi.

**Decomposite**, *a.* (Ll. *de* a *compositus*) adgyfansawdd, adgyfansoddol, adfysgedig, adgymmysg, adgymmysgedig, adgyssoddedig, adgyfansoddedig, dadblithiol, diblithiol, ail-gyfansawdd, ail-gymmysg, ail-gymmysgedig, ail-gyfansoddedig; gwedi ei gyfansoddi *neu* ei gymmysgu ddwywaith; gwedi ei gydgymmysgu â'r hyn oedd gymmysgedig eisoes.

**Decomposition**, *s.* (Ll. *de* a *compositio*) dadansoddiad, dosraniad, dadgyfansoddiad, dadgyssoddiad, dadgyssodiad, trychwaliad, dadchwaliad, dadblithiad, chwaliad, dattodiad, dadglymiad, ofiad, ofawd;† adgyfansoddiad.

**Decompound**, *v. a.* (*de* a *compound*) adgyfansoddi, adgyssoddi, adgymmysgu, adfysgu, adblitho, adgyssylltu, ail gyfansoddi, ail gymmysgu, ail gyssoddi, ail gyssylltu;† dadgyfansoddi, dadgymmysgu.

**Decompound**, *a.* adgyfansawdd, adgyssoddedig, adgymmysgedig, adgymmysg, adblithiedig, adgyfansoddol, ail-gymmysg, ail-gymmysgedig.

**Decompoundable**, *a.* (o *decompound*) adgyssoddadwy, adfysgadwy, adgyfansoddadwy.

**Decorament**,† *s.* (Ll. *decoramen*) addurn.

**Decorate**, *v. a.* (Ll. *decoro*, *decoratus*) addurno, harddu, gwychu, gorwychu, prydferthu, teghau, tecäu, tegychu, eirioni, eirianu.

**Decorated**, *p. p.* addurnedig, addurnog.

Decorated style—dullwedd addurnog, dullwedd addurnedig, addurnwedd, dull addurnog.

**Decorative**, *a.* addurnol, addurniadol, prydferthol, eirionol.

**Decorativeness**, *s.* addurnoldeb, addurnolrwydd, prydfertholdeb.

**Decoration**, *s.* (o *decorate*) addurniad, addurnad, addurniant, addurniaeth, harddiad, tegychiad, eirianad, eirionad, prydferthad; addurn, harddwch, dillynedd, trwsiad, gwychder.

**Decorator**, *s.* addurnwr, addurnydd, harddwr, eirionwr, prydferthwr, destlydd, tacluswr.

**Decorous**, *a.* (Ll. *decorus*) gweddus, gweddaidd, gweddol, addwyn, addas, cyfaddas, cymhwys, cymmesur; hardd, trefnus, prydferth, harddwedd, moddus, moddgar, dygiadus, telediw; priodol; hawddgar.

**Decorticate**, *v. a.* (Ll. *decortico*) dirisglo, dirisgo, dadrisglo, dadrisgo, pilio, digroeni, plisgo, digibo, diblisgo.

**Decortication**, *s.* (Ll. *decorticatio*) dirisg'ad, dirisgad, dadrisgad, dadrisglad, digroenad, piliad.

**Decorum**, *s.* (Ll.) gweddusder, gweddusdra, gweddusrwydd, gweddeidd-dra, gweddeiddrwydd, harddwch, addwynder, addasrwydd, cymhwysder, prydferthwch; priodolder, trefn; priodoldeb ymddygiad.

**Decouple**, *a.* (Ff. *découplé*) gwahan, gwahanedig, anghypledig.

**Decoy**, *v. a.* (Is. *kooi, kooijen*) hudo, llithio, denu, twyllo; maglu; tynu, hudo, llithio, denu, *neu* dwyllo i'r rhwyd *neu* i'r fagl.

**Decoy**, *s.* hud, llith; llithiad, hudiad, deniad, hudedd, hudoliaeth; llithle, hudle, hudfa, llithfa, llithlyn, hudlyn; cyfrwysdra, cyfrwyswaith.

**Decoy-duck**, *s.* hudhwyad, hudnwy, hudhwyaden.

**Decoy-man**, *s.* llithddyn, hud-ddyn, maglwr, llithlynwr; un à lithio ednod gwylltion.

**Decrease**, *v.* (Ll. *decresco*) lleihau, treio, treulio, cilio, digynnyddu, toli, tolio, prinhau; cwympo, llaesu, adfeilio, darfod; myned ar gil; myned yn llai; byrhau, lleiadu.

**Decrease**, *s.* lleihad, lleiad, trai, treiad, tawl, toliant; byrhad; cil, ciliad; cwymp.
- Decrease of the moon—adeg y lleuad; cil y lleuad; traul y lleuad; ciladeg y lloer; adfan cil; gwendid y lleuad; lloergil.
- The moon is in her decrease—y mae y lleuad ar ei hadeg; mae y lleuad ar ei chil, &c.; mae godrig ar y lleuad.

**Decree**, *s.* (Ll. *decretum*; Ff. ac Al. *decret*) gorchymyn, deddf, gosodiad, gosodiaeth, gosod, gosodedigaeth, cyfraith, rhaith; archiadeb, cyhoeddeb; dedfryd, barn, penderfyniad, penderfyndod, tynged; ordeiniaeth, ordinhad, ordinhad gyhoedd, ystatyn; arfaeth, bwriad, amcan, rhagfwriad.
- The decrees of God—arfaethau Duw.
- Interlocutory decree — barn gychwedl, dedfryd gychwedl.
- An umpire's decree — barn cylafaredd, cyfryngfarn.
- A decree of the court of chancery—dedfryd y canghellys.
- A decree of a court of law—barn llys cyfraith, barn cyfreithlys.
- The common decree of the city—cyfundeb y ddinas (2 *Mac.* xii. 4).

**Decree**, *v. a.* gosod, gosodi, gorchymyn; dedfrydu, barnu, penderfynu, terfynu; penodi, trefnu, ordeinio, sefydlu, sicrhau, appwyntio, pwyntio; gosod deddf *neu* gyfraith; deddfu, gwneuthur cyfraith; arfaethu, amcanu, rhagarfaethu, bwriadu, rhaglunio, lluniaethu; bod ar oddeu; rhoi ei fryd ar.
- Thou hast decreed—gosodaist orchymyn.

**Decreed**, *p. p.* gosodedig, gorchymynedig, terfynedig, arfaethedig, trefnedig, &c.

**Decrement**, *s.* (Ll. *decrementum*) lleihad, lleiad, traul, treuliad, treuliant, trai; cil.
- To pay decrements—talu tuag at draul, ac am wasanaeth rhyw fân gelfiach.

**Decrepit**, *a.* (Ll. *decrepitus*) methiannus, methiantus, methianllyd, llesg, gwàn, methedig, henaidd, henddynaidd, cleirchaidd, cleiriachaidd, cymhercyn, methoedranus, gwanllyd.
- A decrepit old man—clairch, (*dim.* cleirchyn), cleiriach, hen glairch, hen gleb, hen gleirchyn, hen wr methiannus.
- Decrepid old age=*Decrepitness, Decrepitude.*

**Decrepitate**, *v.* (Ll. *decrepo*) crinellu, clindarddach, grillian, grillio, grillgrasu.

**Decrepitation**, *s.* (o *decrepitate*) crinelliad, clindarddach, clindarddiad, grilliad, grillgrasiad.

**Decrepitness, Decrepitude**, *s.* methiant, methineb, llesgedd, gwendid, hen oedran, henaint, egwander, edwaint, cleircheiddrwydd, cleiriacheiddrwydd, gwendid a methiant; cymhercyndod.

**Decrescendo**, *s.* (It.) lleihad, lleiawd.

**Decrescent**, *a.* (Ll. *decrescens*) yn lleihau, yn treio, yn treulio; treiol, lleihaol, treuliol; ar draul, ar gil; yn myned leilai; yn gwaethygu, yn methu.

**Decretal**, *a.* (Ll. *decretum*) gosodol, gorchymynol, ordeiniol, ordinhadol, rheithiol; dedfrydol, penderfynol; arfaethol; deddflyfrol.
- Decretal epistle—llythyr gosodol, rheithlythyr.

**Decretal**, *s.* gosodlyfr, llyfr gosodau, deddfodlyfr; deddflyfr y Pab; llyfr cyfraith crefydd; casgliad o gyfreithiau a gosodau eglwysig; gosodiaethau a chyfreithiau yr eglwys; casgliad o osodau Pabau Rhufain; llythyr gosodol, gosodlythyr, deddflythyr; rheithgorff, rheithgynnull.

**Decretion**, *s.* (o'r Ll. *decresco*) lleihad, lleiad, treiad.

**Decretist**, *s.* (Ll. *decretum*) un hyddysg mewn gosodlyfrau, &c.; gosodlyfrwr; astudiwr gosodau y Pab; gosodiaethwr.

**Decretory**, *a.* (Ll. *decretorius*) barnol, barnedigol, terfynol, penderfynol, gosodol, pendant, penodol, dybenol, awdurdodol; beirniadol; à ddengys y modd y terfyna peth.

**Decrew**,† *v. n.* lleihau.

**Decrial**, *s.* (o *decry*) difenwad, goganiad, bychaniad, beiad; gogan, hort, anair, enllib, sen; cais ar leihau parch a chymmeriad peth.

**Decrier**, *s.* goganydd, difenwydd, hortiwr, bychanwr.

**Decrown**, *v. a.* (*de* a *crown*) dadgoroni, digoroni.

**Decrustation**, *s.* (*de* a *crustation*) dadgrofeniad, dadgraweniad, dadgrestiad, dadgrameniad, digraweniad, digrofeniad.

**Decry**, *v. a.* (Ff. *décrier*) goganu, difrïo, cablu, hortio, bychanu, beio, beio ar, difenwi, anfrïo, lladd ar, rhedeg ar; rhoi anair, drygair, *neu* anghlod i; rhedeg i lawr; difenwi ar gyhoedd; ceisio lleihau parch a chymmeriad; gwaradwyddo, gwarthäu, gwarthu, gwarthruddo, senu; dywedyd gair twn am.

**Decubation**, *s.* (Ll. *decumbo*) gorweddiad; gorweddiad i lawr.

**Decumbence, Decumbency**, *s.* (Ll. *decumbens*) gorweddiad, gorweddawd, gorwedd, gorweddiad i lawr; ystum gorweddiad; gogwyddiad.

**Decumbent**, *a.* (Ll. *decumbens*) gorweddol, gogwyddol; yn gogwyddo i lawr; yn plygu i lawr.

**Decumbiture**, *s.* (o'r Ll. *decumbo*) claforweddiad; y gorweddiad cyntaf mewn clefyd; cadwad gwely cyntaf mewn afiechyd.

**Decuple**, *a.* (Ll. *decuplus*; Gr. *decaplous*) degplyg, degtro, degnyblyg, deng nyblyg, deg cymmaint, cynnifer ddengwaith; ar y ddegfed; ar ei ddegfed.

**Decuple**, *s.* degplyg, degtro, peth deng nyblyg.

**Decurion**, *s.* (Ll. *decurio*) dengwriad; pen ar ddeg o wŷr (yn y fyddin Rufeinig gynt).

**Decurrent**, *a.* (Ll. *decurrens*) yn estyn i lawr; yn ymestyn i waered; yn rhedeg i waered; arwaeredol.

**Decursion**, *s.* (Ll. *decursio*) rhediad, dylifad, dylifiant; cerhynt, hytynt; rhediad i waered, rhediad i lawr.

**Decursive,** *a.* rhedol, rhedegol, dylifol; rhedegol i lawr; yn rhedeg *neu* yn llifo i waered.
**Decurt,†** *v. a.* (Ll. *decurto*) cwtogi, byrhau; tocio.
**Decurtation,** *s.* (Ll. *decurtatio*) cwtogiad, byrhad, byriad, talfyriad, dyfyriad, toriad yn fyr; toriad yn gwta.
**Decury,** *s.* (Ll. *decuria*) deg o wŷr, torf o ddeg, deglu, deg.
**Decussate,** *v. a.* (Ll. *decusso*) croesi, cynghroesi, croesdori; croesi eu gilydd fel X.
**Decussate, Decussated,** *a.* croes, cynghroes, croesedig, cynghroesedig, traws; croes fel X.
**Decussation,** *s.* (Ll. *decussatio*) cynghroesiad, croesiad, ymgroesiad, cydymgroesiad.
**Dedalian,** *a.* (Ll. *Dædalus;* Gr. *Daidalos*, enw celfyddwr cywrain) amrywiol, amrywiog, amryw, amrywiedig, amryddull, amryfal; cywrain, cywraint, hyfedr, medrus, celfydd, cynnil; dyrys, astrus; dyrysfaog, bachdrofaog, bachdroawl; cymhlyg, cymhleth, cymmysg, penbleth.
**Dedalous,** *a.* (o *Dædalus*) minwyrog, minrwyog, mindroawg, nidrymylog; ceinbleth.
**Dedecorate,†** *v. a.* (Ll. *dedecoro*) anurddo, gwarthruddo, gwaradwyddo, anharddu.
**Dedecoration,†** *s.* anurddiad, gwarthruddiad.
**Dedecorous,** *a.* (Ll. *dedecoro*) gwaradwyddus, cywilyddus, gwarthus, gwarthruddus, gwarthruddol, anweddus, anhardd, gwrthun, anurddol, anmharchus.
**Dedentition,** *s.* (*de* a *dentitio*) diddeintiad, dad-ddeintiad, bwriad dannedd, syrthiad daint, colliad dannedd.
**Dedicate,** *v. a.* (Ll. *dedico*) cyssegru, cyflwyno, dïofrydu, anrhegu, rhoddi, rhoi; gorchymyn; priodoli, neilltuo; dyanerch, dyanerchu, anerch; offrymu, aberthu.
 To dedicate one's self—ymgyssegru, ymgyflwyno, ymroddi, ymddïofrydu.
 To dedicate a book—cyflwyno llyfr; anrhegu llyfr.
**Dedicate, Dedicated,** *a.* cyssegredig, cyflwynedig, dïofrydedig, dïofrydog, dïofrydol, cyssegrol, cyssegr, segredig.
**Dedicatee,** *s.* (o *dedicate*) cyflwynai, anrhegai; yr un y cyflwyner iddo.
**Dedication,** *s.* (Ll. *dedicatio*) cyflwyniad, cyflwynad, cyssegriad, rhoddiad, anrhegiad; priodoliad, neilltuad; dyanerchiad.
 Feast of dedication — cyssegrwyl, gŵyl cyssegriad; gŵyl goffa; gŵyl mabsant.
**Dedicator,** *s.* (o *dedicate*) cyflwynydd, cyflwynwr; anrhegydd, anrhegwr; cyssegrwr.
**Dedicatory,** *a.* (o *dedicate*) cyflwynol, cyflwyniadol, anrhegol, gorchymynol; anerchol, cymmediwol, dyanerchol; cyssegrol.
 Epistle dedicatory — llythyr cyflwyn, llythyr cyflwynol, cyflwyneb.
**Dedition,** *s.* (Ll. *deditio*) ymroad, ymroddiad, gildiad, gorfod-roddiad, dirddodiad, rhoddiad i fyny; gwarogaeth.
**Dedolent,** *a.* (Ll. *dedoleo*) dïedifar, anedifar, anedifarus, anedifeiriol; dïofid.
**Deduce,** *v. a.* (Ll. *deduco*) tynu, casglu, *neu* gynnull oddi wrth; tynu *neu* gasglu o; erthynu; dwyn allan o; dwyn i lawr; dwyn o; arwain oddi wrth; tynu, casglu, tynu casgliad; dwyn i lawr yn ddidor *neu* yn ddïodor o'r dechreuad; †trawsblanu.
**Deducement,** *s.* (o *deduce*) casgliad, casgl; canlynawd, canlyniad; casgliad *neu* dyniad oddi wrth.
**Deducive,** *a.* casgladwy, hygasgl; à aller ei gasglu; canlyniadol.
**Deducive,** *a.* casgliadol, casgledigol.
**Deduct,** *v. a.* (Ll. *deduco, deductum*) tynu o; tynu ymaith; tynu oddi wrth; tynu *neu* gymmeryd allan o; erthynu, tanddygyd, tynu; tynu yn ol; tynu heibio; deoli, gohanu, toli, lleihau, lleiadu, gwahandynu.
**Deduction,** *s.* (Ll. *deductio*) tyniad ymaith; tyniad o; tyniad oddi wrth; tyniad allan; cymmeriad ymaith; cymmeriad oddi wrth; casgliad, arganlyniad, canlyniad, cynghlo; erthyniad, tanddygiad, tyniad, gwahandyniad; lleihad, cwtogiad; y swm à dynir allan; y swm à gymmerir allan *neu* ymaith.
**Deductive,** *a.* casgliadol; casgladwy, hygasgl.
 All knowledge is deductive—peth à gesglir yw pob gwybodaeth; casgliad oddi wrth yr hyn a aeth o'r blaen yw pob gwybodaeth.
**Deductively,** *ad.* yn gasgliadol; ar ddull *neu* wedd casgliad oddi wrth yr hyn a aeth o'r blaen; trwy dynu casgliadau *neu* ganlyniadau.
**Deed,** *s.* (S. *dæd;* Is. a D. *daad;* Al. *that*) gweithred; gwaith, gober, praith, peth, ffaith; gorchest, gorug, gorchestedd, gorchwyl; gweithrediad.
 Deed (in law)—gweithred; ysgrifen, ammodysgrif, gweithredeb, ammodeb; gweithred tir, gweithred ysgrifenedig, ysgriflais, ysgrifenlais.
 Act and deed—gwaith a gweithred.
 Good deed—gweithred dda, gwaith da, twrn da, tro da, ced, cymmwynas, mwynas.
 It were a good deed to beat you—da fyddai eich curo; gorchwyl da fyddai eich curo; gwaith da fyddai eich curo; da yr haeddech eich curo.
 Ill deed—gweithred ddrwg, gwaith drwg, drygwaith, drygweithred, anghymmwynas, twrn drwg, tro drwg, chwired.
 Foul deed—gweithred ddybryd, gweithred annhelediw, gweithred front, cyflafan, cyflafan ddybryd, anfadwaith, erchyllwaith.
 In the very deed—ar y weithred; yn y weithred.
 In very deed—yn wir ddïau; yn wir; mewn gwirionedd; yn ddïau; yn wir ddïammheu; yn sicr ddïammheu; yn wir ddilys; yn lle gwir.
 By thought, word, and deed—ar feddwl, gair, a gweithred.
**Deed,** *v. a.* trosi *neu* drosglwyddo drwy weithred.
**Deed-achieving,** *a.* gorchestfawr, gorchestlawn, gorugiol, gorchestol; yn gwneuthur gorchestion.
**Deedless,** *a.* (*deed* a *less*) diweithred; anweithgar, diwaith, segur, dïymadferth, dibraith.
**Deed-poll,** *s.* gweithred anmwlch; gweithred seml anmwlch.
**Deedy,** *a.* gweithredog, clodfawr, enwog, gorchestlawn.
**Deem,** *v. a.* (S. *deman;* Is. *doemen;* D. *dömmer*) tybied, tybio, tybygu, barnu, meddyliied, meddylio, meddwl, cyfrif, bwrw, ystyried, ystyrio.
**Deem,†** *s.* tybiant, tybiaeth, tyb, barn, tybygiad.

**Deemster**, *s.* (o *deem*, a'r terfyniad *ster*) ynad yn Manaw ac yn Iersey; barnydd, barnwr, ynad.

**Deep**, *a.* (S. *deop, dypa;* Is. *diep;* D. *dyb*) dwfn, (*f.* dofn); isel, anfas, anoddyfn, anoddyn, gwys; dwys; cudd, cel, celedig, cuddiedig; craff, craffus, call, amwel; treiddiol, treiddgar; cynhyrfiol; cyfrwys, dyfeisgar; difrif, difrifol; cryf; caled; trwm; tywyll, du; dyrys; annealladwy; syn; dyfn-, tra-, gor-, try-.

Very deep—gorddwfn, tra dwfn, dwfn iawn, anoddyfn, anoddyn.

Deep sorrow—tristwch dwys, tristwch mawr, dwys gystudd *neu* ofid calon.

Deep sleep—trymgwsg; marw gwsg, margwsg, trymhun, cwsg trwm, hun drom.

Deep poverty—dwfn dlodi, mawr dlodi.

Deep sense—dwys ymsyniad, ystyriaeth ddwys, dofn ystyriaeth, ystyriaeth ddofn; dwys ac iawn ymsyniad; ymdeimlad dwys.

Deep silence—dystawrwydd dwys, dystawrwydd mawr, gorddystawrwydd.

Deep consolation—cysur cryf.

The deep places of the earth—gorddyfnderau y ddaiar; dyfnderau y ddaiar.

Deep pits—ceuffosydd (*Salm.* cxl. 10).

To drink deep, To drink deeply, } yfed yn helaeth; yfed yn gryf.

To dig deep—dyfn-gloddio; cloddio yn ddwfn; cloddio yn isel.

To search deep—dyfn-chwilio; chwilio i'r dyfnder, i'r gwaelod, *neu* i'r eithaf; dyfn-geisio; chwilio yn drwyadl; trychwilio.

A people of deeper speech than thou canst perceive—pobl o iaith ddyfnach nag a ddeallech di (*Esa.* xxxiii. 19).

To make deep—dyfnhau; gwneuthur yn ddwfn.

Deep-sea-line—plymlin dyfnfor, llinyn dyfnfor.

Deep-sea-lead—plymen ddyfnfor=plymen â chaen o wer o'i hamgylch, i godi graian o'r gwaelod.

**Deep**, *s.* dyfnder, y dyfnder, eigion, yr eigion, dwfn, y dwfn, y môr, dyfnfor, y weilgi, gorddyfnder, gorddwfn, y cenfor, y cefnfor, y cyfanfor, y môr mawr, eigion y môr, affwys, anoddyn, anoddyfn, môr affwys, aig, noddyn, dylan; canol.

Launch out into the deep—gwthia i'r dwfn.

In deep of night, In the deep of night, } yn nyfnder nos; yn nghefnaint nos; yn nhrymder nos; yn nghanol nos; ar ganol nos; yn mherfeddion y nos.

Her counsels are profounder than the great deep—y mae ei chynghor yn ddyfnach na'r dyfnder mawr (*Eccles.* xxiv. 29).

Their persecutors thou throwest into the deeps—eu herlidwyr a fwriaist i'r gwaelod (*Neh.* ix. 11).

**Deep-drawing**, *a.* dyfnsuddol, dyfnsoddol; yn suddo yn ddwfn.

**Deep-drawn**, *a.* dyfn-dynedig; tynedig o ddyfnder.

**Deepen**, *v.* (o *deep*) dyfnhau; gwneuthur yn ddwfn *neu* yn ddwys; gwneuthur yn ddyfnach; tywyllu, duo; gwneuthur yn dywyllach; difrifoli; pruddhau; gwneuthur yn ddifrifolach; cymylu; trymhau; chwanegu; myned yn ddyfnach.

**Deep-laid**, *a.* dyfn-osodedig; â luniwyd â medrusrwydd dwys.

**Deeply**, *ad.* yn ddwfn, &c.; yn mhell i mewn; yn bell i fewn; i'r eithaf; i'r môr; o'r galon; o ferion y galon; o eigion y galon; o eigion calon; o'r merion; i'r gwaelod; hyd y gwaelod; yn llwyr.

They are deeply in debt—maent yn mhell *neu* yn ddwfn mewn dyled; maent mewn dyled hyd eu llygaid; y maent mewn dyled hyd eu clustiau.

He is deeply in love with her—y mae efe yn ei charu o'i galon; mae efe yn glaf o'i chariad; y mae efe mewn mawr gariad â hi; y mae yn ei charu *neu* ei hoffi yn fawr dros ben; y mae ganddo fawrserch *neu* draserch arni; mae ganddo fawr gariad tuag ati; y mae efe yn ei thracharu hi.

Deeply red colour—lliw coch dwfn; lliw coch tywyll.

Deeply coloured—dyfnliwiog, dyfnliwiedig, dyfnliw; tryliwiog.

**Deep-mouthed**, *a.* crochlais, crochsain, crochseiniog, crochlafar; â rydd lais croch cryglyd; â rydd sain groch gregled; croch ei geg.

**Deep-musing**, *a.* myfyrgar, meddylgar, dyfnfyfyr, dwys fyfyriol, dwys fyfyrgar, dwfn fyfyriol; dwys ei fryd.

**Deepness**, *s.* (o *deep*) dyfnder, dyfndra, dyfnedd, gorddyfnder, dyfnawd; callder, cyfrwysder.

**Deep-read**, *a.* tryddarllenog, dyfn-ddysgedig, trahyddysg, gorhyddysg, gorddysgedig, llwyrddarllenog, dyfn-ddarllenog, uchelddysg, cyfarwydd; gwedi darllen yn ddwys *neu* yn llwyr; â ddarllenodd nid ychydig; â ddarllenodd yn galed.

**Deep-revolving**, *a.* dwys fyfyriol, myfyrgar, dyfn-fyfyr; yn dwys dreiglo yn y meddwl.

**Deep-scarred**, *a.* dyfn-greithiog, dyfn-graith.

**Deep-seated**, *a.* dyfnseddog; dyfnsaf, dyfnsafedig; gwedi ei osod yn ddwfn; yn bod yn ddwfn.

**Deep-sounding**, *a.* dyfnseiniol, dyfnseiniog, dyfnsain, iselsain, dyfnlais, dyfnleisiog; dwys ei sain.

**Deep-thinking**, *a.* dwys fyfyriol, dwys fyfyr, dwys fyfyrgar, dyfn-fyfyriol, dyfn-fyfyr, myfyrgar, meddylgar.

**Deep-throated**, *a.* cegddwfn; dwfn ei geg; dwfn ei lais; dyfnlais, dyfn-gegog.

**Deep-toned**, *a.* dwys ei dôn; dwfn ei dôn; dyfnsain, dyfnseiniog; dyfn ei oslef; difrif ei dôn; prudd ei sain.

**Deep-vaulted**, *a.* dyfn-fwaog.

**Deep-waisted**, *a.* dyfn-wasg, dyfn-ganolog; yn meddu canol dwfn.

**Deep-worn**, *a.* dyfn-dreuliedig; gwedi ei dreulio i ddyfnder mawr.

**Deer**, *sing.* a *pl.* (S. *deor;* Is. *dier;* Al. *thier*) danas, danys; hydd, carw, eilon, cerwyd, llwdn hydd, cellaig, celaig, cyllaig; hyddod, ceirw.

Fallow-deer—hydd, danas, danys, llwdn hydd, bwch danas, bwch danys; hyddes, gafr ddanas, gafr ddân, ewig lwyd: *pl.* bychod danys, geifr danas, geifr danys.

Male deer — bwch danas, bwch danys, hydd, carw, eilon.
Female deer — gafr ddanas, gafr ddân, ewig lwyd, ewig.
Young deer, Deer fawn, } elain, rhydain, rhydol, danas ieuanc, hydd ieuanc, carw ieuanc, llwdn ewig.
Red deer, Stag, } carw, carw coch, cerwyd, celaig, cellaig, cyllaig ; carw coch pummlwydd oed ac uchod : *f.* ewig.
Rein-deer—algar, algarw, carw Llychlyn.
Black-tailed deer—carw cynffonddu, danas cynffonddu, danys llostddu, carw rhonddu.
Long-tailed deer—carw cynffonhir, danas rhonhir.
Deer-park — hyddgae, parc ceirw, parc ewigod, hyddgoed, hyddbarc, danasgae.
Herd of deer—hyddgant, hyddre ; deadell o hyddod.
Deer's skin—hyddgen, hyddgroen, croen carw, croen hydd, croen llwdn hydd.
The rutting of deer—hyddfref, hyddgyrid, hyddridiad.
Deer's horn—hyddgorn, corn hydd, ban hydd.
The knag of a deer's horns—osglau cyrn hydd ; blaen cyrn hydd.

**Deer-stealer,** *s.* hydd-leidr, lleidr danas ; lleidr hyddod *neu* geirw : *pl.* hydd-ladron : *f.* hydd-ladrones.

**Deer-stealing,** *s.* hydd-ladrad, hydd-ledrad, hydd-ladrata.

**Deesis,** *s.* (Gr. *deêsis*) dwyfanerch, nefanercheb, ymoralwad, gweddi.

**Deess,**† *s.* (Ff. *déesse*) duwies.

**Deface,** *v. a.* (*de*, a Ll. *facio ;* Ff. *défaire*) anffurfio, anharddu, anurddo, gwrthuno, anferthu, hagru, hacru, hagrhau, aflunio, aflunieiddio, anaddwyno, difwyno, diwyno, anafu, hyllu ; dilëu, diddymu, dïoli, tynu ymaith, crafu ymaith ; dystrywio, dinystro, dinystrio, anrheithio, dyfetha ; llygru, halogi.

**Defaced,** *p. p.* anffurfiedig, &c.; gwrthun, anffurfiol, anffurfaidd, anosgeddig, anaddwyn.

**Defacement,** *s.* anffurfiad, anharddiad, afluniad, anurddiad, hagriad, hacriad, dilead, &c.; cam, niwed, dystryw ; hagredd, aflunieiddrwydd.

**Defacer,** *s.* anffurfiwr, anharddwr, anurddwr; hagrydd, anafydd, gwrthunydd, dinystrydd.

**Defæcation,** *s.* (Ll. *defæco*) diwaddodiad, dadwaddodiad, dadffesiad ; purad, coethiad, glanhad ; puredigaeth oddi wrth waelodion ac anmhuredd ; ysgothiad.

**Defailance,**† *s.* (Ff. *défaillance*) meth, pall, diffyg ; methiad, erthyliad.

**Defalcate,** *v. a.* (Ll. *defalco ;* Ff. *défalquer*) ysgythru, tori ymaith ; erthynu, tynu o, lleihau, cwtogi, lleiadu, toli ; tynu rhan o ; rhangymmeryd.

**Defalcation,** *s.* (Ll. *defalcatio*) ysgythrad, ysgythriad, toriad ymaith ; erthyniad, lleihad, lleiad, cwtogiad, toliad, toliant, talfyriad, colliant.

**Defalk,**† *v. a.*=*Defalcate.*

**Defamation,** *s.* (Ll. *diffamatio*) difenwad, hort, enllib, cabl, cablair, gogan, athrod, athrawd, athrodiaeth, drygabsen, absen ddrwg, sen, sarhad, cabledigaeth, hortiad, enllibiad, gwarthruddiad ; gwaradwydd, anair, anghlod, achlod, gwarth, gwaradwydd, gwarthred, gwarthrudd, athrodwaith, absenw.

**Defamatory,** *a.* enllibus, enllibaidd, enllibiol, athrodus, athrodol, athrodgar, athrodaidd, difenwol, goganus, hortiol, cablus, cablaidd, goganawl, gwarthredus, difrïol.

**Defame,** *v. a.* (Ll. *defamo, diffamo ;* Ff. *diffamer*) enllibio, enllibo, athrodi, difenwi, hortio, cablu, absenu, goganu, difrïo, gwarthruddo, gwaradwyddo, difenwi, sarhau ; rhoi anair, drygair, drygabsen, *neu* anghlod i ; dywedyd gair twn am.

**Defamer,** *s.* (o *defame*) athrodwr, athrodydd, enllibiwr, enllibwr, enllibydd, difenwr, difenwydd, hortiwr, goganwr, absenwr, drygabsenwr, cablwr, cablydd, difrïwr, gwaradwyddwr, absenwr drwg.

**Defaming,** *s.*=*Defamation.*

**Defatigable,** *a.* (Ll. *defatigo*) blinadwy, diffygiadwy ; agored i ddiffygio, lluddedu, *neu* flino.

**Defatigate,** *v. a.* (Ll. *defatigo*) blino ; gwneuthur *neu* beri yn lluddedig ; peri blinder *neu* ludded ; lluddo.

**Defatigation,** *s.* (Ll. *defatigatio*) lludded, blinder, lluddedigaeth, lluddedigrwydd, llyferthiant, llyferthineb, llyferthedd, llyferth, llyferthrwydd.

**Default,** *s.* (Ff. *défaut, défault*) diffyg, pall, gwall, meth, nam, aball ; gwallusder, gwallusdra, gwallusrwydd, esgeulusder, esgeulusdra, esgeulusrwydd, esgeulusiad, esgeulusdod ; bai ; palldal ; ffled.
Default of appearance—gwall ymddangosiad, tormach, toriad mechni ; gwall ymddangosiad yn y llys ar y dydd penodedig.
To make a default of appearance—gadaw y maes ; tori mechni.
In default whereof—yn niffyg hyny ; o ddiffyg hyny ; o wall hyny.
To suffer a default—goddef gwall ymddangosiad ; goddef i gwyn gael ei alw heb ateb iddo.

**Default,** *v.* pallu, aballu, methu, diffygio, gwallygio ; bod yn ol am ei ddyledswydd ; esgeuluso cyflawnu addewid *neu* ammod ; gadaw y maes ; tori mechni ; galw cwyn yn yr hwn nid ymddengys yr amddiffynydd.

**Default,**† *v. a.* tramgwyddo.

**Defaulter,** *s.* aballwr, pallwr, methwr, esgeuluswr, anymddangosydd, meth-ymddangosydd, gwall-ymddangosydd, torwr mechni ; pallalwr.

**Defeasance, Defeazance,** } *s.* (Norm. *defesance ;* Ff. *défaisant*) dadammodiad, dadrwymad, dadymrwymad, dadymrwym ; diddymiad cytundeb *neu* ammod ; dirymiad ysgrifrwym ; diddym-ysgrif, ysgrif ddiddymol ; † gorfodaeth.
To make a defeasance—dadammodi, dadrwymo, dadymrwymo ; diddymu cytundeb *neu* ammod ysgrifenedig ; dirymio ysgrifrwym ; dadwneuthur ammod.

**Defeasible,** *a.* diddymadwy, dirymadwy, aballadwy, dadrwymadwy ; â ellir ei ddiddymu.

**Defeasibleness,** *s.* aballedd, diddymedd, hydirymedd.

**Defeat,** *s.* (Ff. *défaite*) dadymchweliad, dymchweliad, gorchfygiad, colliad y maes, coll

dïangu, dïengu; tynu allan, cipio allan; dadrwystro; rhwyddhau; colwyno, esgoryd; traethu, treithu, ymadroddi, llafaru, llefaru, dywedyd, mynegu, yngan, gweyd, dosbarthu allan; rhoddi allan.

To deliver a sermon — traddodi pregeth, treithu pregeth, pregethu pregeth, parablu pregeth, pregethu.

To deliver a speech — traddodi araeth; areithio, traethu, ymdroddi, parablu, llafaru, llefaru.

To deliver from confinement—rhyddhau o gaethiwed; digaethiwo; edfryd i ryddid; rhoi *neu* osod mewn eangder; gwared o garchar; gwaredu o gaethiwed.

To deliver (as an accoucheur)—rhyddhau, colwyno, esgoryd; rhoi gwregys rhydd i.

To deliver one's self—ymryddhau, ymddirwyllo, dïanc, ymachub; achub ei einioes ei hun.

God deliver me—Duw a'm gwaredo; Duw a'm dïango.

Deliver me from the sword — gwared fi rhag y cleddyf; ysgwlf *neu* ysgylfa fi rhag y cleddyf.

To deliver down—trosglwyddo i lawr.

To deliver into one's hands — rhoddi *neu* ddodi yn llaw un; traddodi i law un.

To deliver up—rhoi i fyny; rhoddi i fyny; edfryd, adferu, adferyd, adroddi, dadroddi, dadroi, gwrthferu, gwrthfer, gwrthfryd; rhoi *neu* dalu adref; talu *neu* roddi yn ol; traddodi, bradychu; rhoi yn fradwrus yn nwylaw *neu* i ddwylaw gelyn.

To deliver to the wind—traddodi i'r gwynt; bwrw *neu* daflu gyda'r gwynt; gwrthod; bwrw *neu* daflu ymaith.

To deliver to memory—rhoi ar gof; gyru ar gof; rhoi ar gof a chadw; trosglwyddo i'r oes à ddel; trosglwyddo i'r to nesaf.

To be delivered of young—esgor; cael ei rhyddhau; dwyn newyddian i'r byd, &c.

To be delivered before her time — esgor cyn tymp; erthylu.

To deliver a message — traethu neges; traddodi cenadwri.

To deliver an office to one—rhoi swydd i un; gwystlo swydd i un.

Deliver, † *a.* (Ll. *liber*) rhydd; gweisgi, bywiog.

Deliverable, *a.* gwaredadwy, &c.

Deliverance, *s.* (Ff. *délivrance*) gwaredigaeth, gwared, ymwared, achubiaeth, rhyddhad, gollyngdod, dïangfa, gwarediant, gwarededigaeth; iechydwriaeth, iachawdwriaeth; traethiad,† ymadroddiad;† esgoriad, esgorfa.

Delivered, *p. p.* gwaredig, gwarededig, achubedig, gwaredol; traethedig, &c.

The delivered—y gwaredigion.

Deliverer, *s.* (o *deliver;* Ff. *délivreur*) gwaredwr, gwaredydd, achubydd, achubwr, achubiad, ymwaredwr, gwaredog, ceidwad, ymddiffynwr, diffynwr; iachawdwr; rhyddhawr o gaethiwed; traddodwr, traddodydd; traethwr, parablwr.

Delivery, *s.* (o *deliver*) gwarediad, gwarediant, gwaredigaeth, gwared, ymwared; rhyddhad, gollyngdod, gollyngiad; traddodiad, rhoddiad, dodiad, dyroddiad; trosglwyddiad, trosiad; rhoddiad i fyny; rhoddiad allan; parabl, parabliad, llafar, llafariad, llefariad, traethiad, adroddiad, ymadrodd, cynaniad; esgorfa, esgoredigaeth, esgor, colwyniad, genedigaeth, tymp.

A good delivery—parabl croew, parabl da; parabliad rhwydd *neu* rydd; ymadrodd rhugl, rhwydd, rhydd, croew, *neu* drybelid; per araeth; hyawdledd.

He has a good delivery — y mae iddo *neu* ganddo barabl croew; y mae efe yn groew ei barabl; mae ganddo barabl da.

I know not one that has a better delivery —nid adwaen i yr un sydd yn fwy parablus; nid adwaen i neb gwell ei barabl.

A poor delivery — parabl gwael, parabl anghroew, ymadrodd afrugl, ymadrodd iad anhyawdl, parabl afrwydd.

He has but a poor delivery — nid oes iddo ond parabl anghroew; nid yw efe ond gwàn *neu* wanaidd ei barabl; nid yw ei barabl ond gwael.

Woman's delivery—rhyddhad, esgorfa, esgoriad, esgoredigaeth, esgor, genedigaeth, tymp.

Dell, *s.* (Is. *dal;* Al. *thal;* S. *dcgle*) ceule, ceubwll, ceufan, ceugwm, ceunant, ceubant; glỳn, pant, nant; pwll.

Delph, *s.* (o dref *Delft*, yn Holand)=*Delf.*

Delphin, *s.* enw à roddir i'r argraffiad o'r uchawduron Lladin, à gyhoeddwyd ar orchymyn Lewis XIV. o Ffrainc, er budd ei fab, edlin y goron ('*in usum Delphini*').

The Delphin classics — yr uchawduron Delphinaidd, yr uchawdwyr Delphinig.

Delphinate, *s.* (Gr. a Ll. *delphin*) dolffynaint.

Delphine, *a.* (Ll. *delphinus*) dolffynaidd; perthynol i'r dolffyn: Delphinaidd, Dolffinaidd: perthynol i etifedd coron Ffrainc.

The delphine edition of the classics — yr argraffiad Delphinaidd o'r uchawduron.

Delphinic Acid, *s.* (Ll. *delphinus*) sur dolffynig; sur à geir o olew y pysg dolffyn.

Delphinina, Delphinia, Delphina, Delphia, Delphine, } *s.* (o *delphinium*, ysbardun y marchog, o *delphin*) alcali llysieuaidd à dynir o'r lleulys, llysiau y llau, *neu* lewyg y llau; llysalcali lleulys; alcali llysieuaidd y lleulys.

Delphinite, *s.* dolffynfaen.

Delphinium, *s.* (Gr. a Ll. *delphin*) ysbardun y marchog, llysiau yr hedydd, tafod yr hedydd.

Delphinus, *s.* (Ll.) y dolffyn.

Delta, *s.* (Gr.) enw y llythyren Δ yn y Groeg, yn ateb i D yn y Gymraeg: ynys yn aber afon fawr, megys y Neilus.

Deltoid, *a.* (Gr. *delta* ac *eidos*) ar lun Δ; triongl, trionglog, trichonglog; lleddbedrog; llwyarnaidd; Deltaidd.

Deludable, *a.* (o *delude*) twylladwy, hydwyll, hyhud, ffugiadwy; hawdd ei dwyllo *neu* ei hudo.

Delude, *v. a.* (Ll. *deludo*) twyllo, hudo, llithio, hocedu, coegio, somi, seithugio, gwatwar, gwatwor; tynu ar ddidro; llithio ar gyfeiliorn; hudo, denu, *neu* lithro â geiriau teg a thwyllodrus; camdywys, camarwain; bwrw hud ar lygaid; ffugio.

Deluder, *s.* twyllwr, twyllydd, twyllodwr, twyllawdr; hudwr, somwr, somur; camdywysydd, camarweinydd; ffugiwr.

**Deluding**, *s.* twyll, hoced, hud, twylleb, twyllawd, geudeb.

**Deluge**, *s.* (Ff. *déluge;* Ll. *diluvium, deluvies*) dylif, diluw; gorlif, llifeiriant, gorllif, rhyferthwy, llifddwr, llif, lli, dyli, ffrydlif, lliant, dwll.

**Deluge**, *v.a.* gorlifo, llifeirio, gorlifeirio, dylifo, gorllifo; peri *neu* wneuthur yn fôr; gwneuthur yn ddylif; gorchuddio â dwr *neu* â llifddwr; rhoi dàn ddwr; troi dwr *neu* lifddwr dros; dyllio, dyllu, cluddio, dargluddio, gorchuddio; boddi.

**Delusion**, *s.* (Ll. *delusio*) twyll, hudoliaeth, hud, twyllofaint, somiant, somedigaeth, som, ffug, lledrith, geurith, geuwedd; twyllad, twyllawd, twylledigaeth; geudeb, ffalsedd, hoced; camarweiniad, camdywysiad; amryfusedd, cyfeiliornad, camolygiad.

Strong delusion — amryfusedd cadarn (2 *Thess.* ii. 11).

Optical delusion — twyll olwg, twyllweledíad, tremdwyllad, twylldremiad, twyllymddangosiad, gau ymddangosiad.

**Delusive**, } *a.* (Ll. *deludo, delusi*) twyllodrus,
**Delusory**, } twyllgar, somgar, hudolawl, twylledigol, twylladol, lledrithiol, hudol, hudolaidd, lledrithgar.

**Delusiveness**, *s.* (o *delusive*) twylledd, twyllodrusedd, twyllodrusrwydd, twyllgarwch; somgarwch; twyll, hud, hoced.

**Delve**, *v. a.* (S. *delfan;* Is. *delven*) cloddio; palu; treiddio i; plymio; beisio; chwilio; mesuro; cael gwaelod; gwaelodi.

**Delve**, † *s.* clawdd, pwll, bradbwll, cloddbwll, ffos; ogof, gogof.

**Delver**, *s.* (o *delve*) cloddiwr, cloddiedydd, palwr.

**Demagogue**, *s.* (Gr. *dêmagôgos*) cornor yr adlawiaid, penadlawiad, penadlaw, cyrniad y cyffro, pen yr adlawiaid, blaenor yr adlawiaid, corn y gynhen, arweinydd y werin, rhwyf yr ymraniad, eilun y werinos, arweinydd y bobl, cornor, pencyffröydd, ciwedlyw, gwaerflaenor.

**Demain**, } *s.* (Norm. *demainer*) eiddionydd,
**Demesne**, } maerdref, maenor, maenol, tyddyn cartrefol; tiriogaeth, treftadaeth, treftad, tattref; y maenordy a'r tir cyfagos.

Demesne land — tir y faerdref, tir bwrdd, maenordir, maenoldir; tir y goron, tir bwrdd y llys.

The king's demesnes—y frenindref, y faerdref.

The king's demesne lands—tir bwrdd y llys, tir y faerdref, tir y frenindref, tiroedd y goron.

**Demand**, *v. a.* (Ff. *demander; de,* a Ll. *mando*) gofyn, holi, ceisio, erchi; gofyn i; ymofyn âg; ymofyn am; ymholi â; ymoralw am, ymorol am; arddelwi, arddelw; hòni hawl i; ymarddelw o, hòni o; ymgeisio am, ymgais am; dyerchi; gofyn yn awdurdodol; mynu.

I will demand of thee, and answer thou me —a mynega i mi yr hyn a ofynwyf i ti (*Iob* xxxviii. 3).

The chief captain demanded who he was— y pen-cadben a ymofynodd pwy oedd efe (*Act.* xxi. 33).

They were demanded—dywedwyd (*Ecs.* v. 14).

David demanded of him how Joab did— Dafydd a ymofynodd am lwyddiant Ioab (2 *Sam.* xi. 7).

**Demand**, *s.* gofyn, gofyniad, hawl, holiad, holedigaeth, arch, archiad, mynad; arddelwad, arddelw; ymofyn, ymofyniad, galw, galwad; erfyn, deisyf, deisyfiaeth, eidduned, dymuniad, dymuniant; y peth à ofyner; y peth à geir wrth ofyn; gofyn awdurdodol; dyled.

What is your demand?—beth yw eich gofyn?

I promise to pay on demand—mi a dalaf i chwi pa bryd bynag y galwoch arnaf; talaf bryd bynag y gofyner *neu* y ceisier; talaf pryd y mynir.

That lady is in great demand—y mae ymofyn mawr am *neu* ar y rhian hòno.

**Demandable**, *a.* gofynadwy; à ellir ei ofyn.

**Demandant**, *s.* (o *demand*) gofynydd, gofynwr, hawlydd, holydd, holwr; hawlblaid, ymofynblaid, achwynydd, achwynwr.

**Demander**, *s.* (o *demand*) gofynwr, gofynydd, mynwr, ymofynwr, holwr, holydd, ymholwr, deisyfwr, eirchiad, archwr, archydd.

**Demandress**, *s.* (o *demander*) gofynes, gofynyddes, gofynwraig, holyddes, holiedyddes, achwynwraig; hawlblaid.

**Demarcation**, } *s.* (Ysp. *demarcacion*) terfyn-
**Demarkation**, } iad, terfyn, ffiniad, rhaniad, parthiant, ffin, cyffin, cyffinlin, terfynlin, llinell ffin; tirbarthiad.

Line of demarcation—llinell ffin, cyffinlin, cyffinidlin.

**Demarch**, *s.* (Gr. *dêmarchos*) penswyddog plwyf yn Attica; pencordd: *pl.* demarchiaid.

**Demarch**,† *s.* (Ff. *démarche*) trawd, trodiad, cerddediad, mynediad.

**Demean**, *v. a.* (Ff. *démener*) ymddwyn, ymarweddu, ymarwedd, arweddu, agweddu, dwyn; trin.

To demean one's self—ymddwyn, ymarwedd, ymarweddu, ymagweddu; dwyn ei hun.

**Demean**, *v. a.* (*de* a *mean*) iselu, diraddio, iselhau, difrïo, dibrisio, darostwng, gwael ddarostwng.

To demean one's self—iselu ei hun, &c.; ymiselu, ymddibrisio; dibrisio ei hun; gwael ddarostwng ei hun; gwneuthur ei hun yn wael a dirmygus.

**Demean**,† *s.* ymddygiad, ymarweddiad, moes, agwedd.

**Demeanour**, *s.* (o *demean*) ymddygiad, ymarweddiad, ymarwedd, moes, buchedd, buchwedd, bucheddiad; ymagweddiad; dull.

Good demeanour—ymddygiad da, ymarweddiad da, gwiwfoes, syberi.

Kingly demeanour — teyrnfoes, moes brenin.

Chaste demeanour—diweirfoes, ymddygiad diwair.

**Demeanure**,† *s.*=*Demeanour.*

**Demembration**, *s.* (Ll. *de* a *membrum*) dïaelodiad.

**Demency**, } *s.* (Ll. *dementia*) gwallgofrwydd,
**Dementia**, } gorphwylledd, gwallgof, gorphwyll, llerthedd, collbwyll, gwallsynwyr, lledfryd, lledfrydedd, gwallbwyll, penwendid, ffoledd.

**Dementate**, *a.* (Ll. *dementatus*) gwallgof, gorphwyllog, gorphwyllus, gwallgofus, llerth, ynfyd, lledfrydig, iwin.

**Dementate**, *v. a.* (Ll. *demento*) gwallgofi, gor-

phwyllo; gwneuthur yn wallgof, &c.; peri gorphwylledd.
Dementation, *s.* (Ll. *dementatio*) gwallgofiad, gorphwylliad, ynfydiad; gwneuthuriad yn orphwyllog; lledfrydedd, ynfydedd, gwallgofrwydd.
Demented, *a.* (o'r Ll. *demento*) gorphwyllog, gwallgofus, gwallgof.
Demephitization, *s.* (o *demephitize*) dad-ddrygsawriad; purad oddi wrth ddrygsawr, drewsawr, *neu* ddrewchwa.
Demephitize, *v. a.* (*de* a *mephitis*) dad-ddrygsawru; puraw o ddrygsawr; puraw o awyr afiach.
Demerge, *v. a.* (Ll. *demergo*) trochi, soddi, suddo; gyru i'r gwaelod; boddi, grawthu, cleigio.
Demerit, *s.* (Ff. *démérite*) anhaeddiant, anhaedd, drygbaeddiant, drwg haeddedigaeth, afryglyddiant, anrhyglyddiant.
Demerit, *v. a.* dryghaeddu, anhaeddu, afryglyddu; haeddu cosp *neu* gospedigaeth.
Demersed, *a.* (Ll. *demersus*) soddedig, suddedig, trochedig, boddedig, grawthedig; o dan y dwr; yn tyfu tan ddwfr.
Demersion, *s.* (Ll. *demersio*) trochiad, soddiad, suddiad, suddiant, soddiant, grawth, boddiad, bawdd; toddiad.
Demesne, } *s.* = } *Demain.*
Demain, } } *Demesne.*
Demi, (Ff. o'r Ll. *dimidium; Gr. semi*) rhagddawd arferedig mewn cyfansoddiad, yn arwyddo *hanner, go, lled.*
Demibath, *s.* (*demi* a *bath*) hanner baddon, hannerfadd, hannerfaddon.
Demibastion, *s.* hanner rhagfur, goragfur, lledragfur.
Demibrigade, *s.* hanner brigad, hanner torfas.
Demicadence,† *s.* lledoslef, goddisgynsain.
Demicannon, *s.* hanner cyflegr, gogyflegr, hannerfagnel.
Demicross, *s.* hannergroes = offeryn i fesur uchder yr haul a'r lloer.
Demiculverin, *s.* lledhirfagnel.
Demideify, *v. a.* goddwyfoli, godduwio, godduweiddio.
Demidevil, *s.* hanner diafol, hanner diawl, hanner cythraul, go-ddiafol; dieflyn, diawlyn, diawlddyn.
Demidistance, *s.* hannerbellder, gobellder, hanner pellder.
Demiditone, *s.* (*demi*, a Gr. *ditonos*) godrydydd, isdrydydd. [lled-dduw.
Demigod, *s.* godduw, hanner duw, hannerdduw,
Demigoddess, *s.* godduwies, hanner duwies.
Demigorge, *s.* hannerlwnc.
Demigrate, *v. n.* (Ll. *demigro*) mudo, ymfudo, ymmudo, trawsfudo, ymsymmud, newid trigias, preidio.
Demigration, *s.* (Ll. *demigratio*) mudiad, ymfudiad, ymmudiad, symmudiad, trawsfudiad, preidiad.
Demilance, *s.* hanner gwaew, hannerlost, hanner rheinen, hannerwaew, gobicell.
Demilune, *s.* hanner lleuad, hanner lloer, hannerlloer, lledloer, cilgant.
Demiman, *s.* hanner dyn, hannerddyn, lledddyn; adyn.
Demi-natured, *a.* hanner-anianog, hannernatnriog.
Demi-official, *a.* hannerswyddol, lledswyddol, lledswyddogol, go-swyddol.
Demipremises, *s. pl.* gogynseiliau.
Demiquaver, *s.* gogrychyn, gogrychnod, hanner crychyn, hanner crychnod.
Demirep, *s.* (*demi*, a thalfyriad o *reputation*) gofudrogen, gobuten, gobutan; benyw o nodwedd ammhëus.
Demirilievo, *s.* hannersaf, goddelwad.
Demisable, *a.* (o *demise*) cymmynadwy.
Demise, *s.* (Ff. *démis, démise; Ll. demissio*) marwolaeth, tranc, trancedigaeth; ymadawiad; rhoddiad i lawr; trosiad, trosglwyddiad, symmudiad, trosglwydd.
Demise, *v. a.* trosi, trosglwyddo; cymmynu, ewyllysio, cymmynroddi, gwyllysgedu, gadael; rhoi mewn ewyllys; rhentu allan.
Demisemiquaver, *s.* trygrychyn, trygrychnod, gorgrychyn, hanner gogrychyn.
Demission, *s.* (Ll. *demissio*) gostyngiad, iseliad, diraddiad; bwriad *neu* dafliad i lawr; dirmyg.
Demiss, } *a.* (Ll. *demissus*) gostyngedig, isel,
Demissive, } ufydd.
Demit,† *v. a.* (Ll. *demitto*) gollwng i lawr; iselu, iselhau, gostwng, darostwng; dirmygu.
Demitint, *s.* lledliw, lledwawr, hannerne, hannerliw. [hanner tôn.
Demitone, *s.* hannerton, hannersain, lledsain,
Demiurge, } *s.* (Gr. *dêmiourgos*, o *dêmios* ac
Demiurgus, } *ergon*) Dwyfladmer, Dwyfladmerydd; Demiurgus; gallu creadol, creallu.
Demiurgic, *a.* (Gr. *dêmiourgicos*) dwyfladmerol; perthynol i allu creadol; crealluol.
Demivill, *s.* (Ff. *demi* a *ville; Ll. villa*) gobentref, lled bentref, hanner pentref.
Demivolt, *s.* hannerllam, hannernaid, lednaid.
Demiwolf, *s.* hannerflaidd, hanner blaidd, goflaidd; bleiddgi, ciflaidd.
Democracy, *s.* (Gr. *dêmocratia*) gweriniaeth, gwerinlywiaeth, gwaerlywodraeth, gwerinlywodraeth, gwerinwladwriaeth, gwaerlywiaeth.
Democrat, } *s.* (o'r Gr. *dêmocratia*) gwer-
Democratist, } iniaethwr, gweriniaethydd, gwaerlywodydd, gwerinwladwr.
Democratic, } *a.* (Gr. *dêmocraticos*) gwerin-
Democratical, } iaethol, gwaerlywodraethol; perthynol i werinlywodraeth; poblogaidd.
Democraty,† *s.*=*Democracy.*
Demolish, *v. a.* (Ff. *démolir; Ll demolior*) dinystro, dinystrio, dystrywio, dymchwelyd; tynu, taflu, tori, *neu* fwrw i lawr; difrodi, dyfetha, andwyo, dadymchwelyd, dadadeiladu, dadadeilo, diadeilo, dryllio, adfeilio, anrheithio; gwneuthur yn garnedd; gwneuthur yn gydwastad â'r llawr.
Demolisher, *s.* dinystrydd, dinystrwr, dinystriwr, dystrywiwr, dymchwelwr, tynwr i lawr.
Demolishment, *s.* (o *demolish*) dinystr, dystryw, adfail, adfeiliad, dymchweliad, dadymchweliad.
Demolition, *s.* (Ll. *demolitio*) dinystriad, dinystrad, dystrywiad, dymchweliad, dadymchweliad; tyniad, tafliad, toriad, *neu* fwriad i lawr; dinystr, dystryw, adfail.
Demon, } *s.* (Gr. *daimôn; Ll. dæmon; Ff.*
Dæmon, } *démon*) cythraul; elfod, dwyfon; ysbryd da; ysbryd drwg, drygelfod, ellyll, elff.
Demon of war—buddugre, elfod rhyfel.
Demoness, *s.* elfodes, dwyfones; cythreules, elffes, ellylles.

**Demoniac,** } *a.* (Gr. *daimoniacos, daimonios*)
**Demoniacal,** } cythreulig; elfodol, dwyfonol;
**Demonian,** } meddiannedig gàn gythraul; gwedi ei feddiannu gàn ysbryd aflan; â'r ysbryd drwg ynddo; dieflig, diawlaidd, ellyllig.

**Demoniac,** *s.* cythreulig, gwanasiad, gwanasgiad; un cythreulig; un âg ysbryd drwg *neu* aflan ynddo; sach diawl: *pl.* cythreuligion, cythreuligiaid.

**Demoniacism,** *s.* cythreuligaeth, gwanasiadaeth.

**Demoniacs,** *s. pl.* Cythreuligion=cangen o'r Adfedyddwyr, y rhai a gredent y bydd y diafol, ar ddiwedd byd, yn gadwedig.

**Demonianism,** *s.* cythreuligaeth.

**Demonism,** *s.* elfodaeth, dwyfoniaeth, cythreulgred; geudduwiaeth.

**Demonocracy,** *s.* (Gr. *daimôn* a *crateô*) elfodlywiaeth, elfodlywodraeth, llywodraeth cythreuliaid.

**Demonolatry,** *s.* (Gr. *daimôn* a *latrêia*) cythreuladdoliaeth, cythreuladdoliad, elfodaddoliant, addoliad cythreuliaid.

**Demonology,** *s.* (Gr. *daimôn* a *logos*) cythreuliaeth, cythreuleg, elfodeg, treithawd ar gythreuliaid.

**Demonomist,** *s.* (o *demonomy*) deiliad cythraul, cythreul-ddeiliad.

**Demonomy,** *s.* (Gr. *daimôn* a *nomos*) cythreuloniaeth, elfodlywiaeth, llywodraeth cythreuliaid.

**Demonship,** *s.* cythreuldeb, cythreuldod, dwyfondod, dwyfondeb, cythreuligrwydd, elfodigrwydd.

**Demonstrable,** *a.* (o *demonstrate*) hybrawf, profadwy, dangosadwy, egluradwy, amlygadwy, hyglaer; à ellir ei brofi yn eglur; à ellir ei ddangos yn oleu; hawdd ei egluro.

**Demonstrableness,** *s.* hybrofedd; hawddineb i'w brofi; hyglaeredd; yr ansawdd o fod yn hybrawf, &c.

**Demonstrate,** *v. a.* (Ll. *demonstro*) arddangos, dangos, amlygu, damlygu, profi, tryddangos, goleufynegu, eglurhau, hysbysu, egluro, dirbrofi; dangos yn oleu *neu* yn amlwg; profi yn eglur *neu* ddïymwad.

**Demonstrator,** *s.* arddangoswr, arddangosydd, eglurydd, amlygwr, eglurhäwr.

**Demonstration,** *s.* (Ll. *demonstratio*) arddangosiad, arddangos, goleufynag, dangosiad, tryddangosiad, profiad, dirbrofiad, arbrofiad, damlygiad, eglurhad, amlygiad, dangos; prawf *neu* brofiad eglur a dïymwad; rheswm dïymwad; ymddïosfa; ymddangosiad.

Geometrical demonstration—arddangosiad meintonol, tryddangosiad medonol.

Ocular demonstration — arddangosiad golygol, arbrofiad llygadol, golygbrawf; prawf à welir â'r llygaid; prawf â'r llygaid.

Will you not be convinced by ocular demonstration?—oni chredwch chwi eich llygaid eich hun?

**Demonstrative,** *a.* (Ll. *demonstrativus*) arddangosol, dangosol, dangosiadol, dangosedigol, arddangosiadol, arddangosiadus; amlwg, eglur, dïymwad, dïammheuol, goleu; eglurhaol, eglurol, amlygol, damlygol.

Demonstrative pronoun—rhagenw dangosiadol, rhagenw dangosol, rhagenw cyfeiriadol, rhagenw dangos.

**Demonstrativeness,** *s.* arddangosoldeb, dangosoldeb, dangosiadolrwydd, amlygder, dïymwadrwydd.

**Demonstrator,** *s.* (Ll.) arddangosydd, arddangoswr, eglurhäwr, amlygwr, eglurydd, tryddangoswr.

**Demonstratory,** *a.* dangosiadol, arddangosol, arddangosiadol, dangosedigol, tryddangosol.

**Demoralization,** *s.* (o *demoralize*) anfoesoliad, dadfoesoliad, difoesoliad; llygriad egwyddorion moesol; llygriad moesau.

**Demoralize,** *v. a.* (*de* a *moralize*) anfoesoli, dadfoesoli, difoesoli; llygru *neu* andwyo moesau; gwneuthur yn anfoesol; llygru.

**Demoralizing,** *a.* andwyol i foesau *neu* i foesoldeb; anfoesolawl, dadfoesolawl, dadfoesol; llygriadol, andwyol; yn andwyo moesau.

**Demotic,** *a.* (Gr. *dêmoticos*) poblogaidd, poblog, poblig; pobaidd; perthynol i'r bobl; cyffredin, gwerinol, gwerinaidd.

Demotic alphabet—egwyddor boblogaidd, egwyddor werinol; egwyddor y werin *neu* y bobl.

**Demulce,** *v. a.* (Ll. *demulceo*) esmwytho, esmwythäu, lloddi, lleddfu, tyneru, meddalu, mwytho, tawelu, llinaru.

**Demulcent,** *a.* (Ll. *demulcens*) esmwythol, esmwythaol, tynerol, llinarol, llareiddiol, meddalhaol, meddalus, mwythol, llonyddol, lloddiadol, dofiadol, lleddfiadol; yn esmwytho, yn tyneru, &c.

**Demulcent,** *s.* cyffyr esmwythol *neu* linarol; esmwythor, esmwythai, mwythor, mwythai, tynerydd.

**Demur,** *v. n.* (Ff. *demeurer;* Ll. *demoror*) oedi, gohirio, addoedi; petruso, peuo, cyngydio, ammheu; gohirio dadl, oedi hawl; gwrthddadlu; aros, ymaros.

To demur to—bwrw ammheuaeth, ammheuon, *neu* anach yn erbyn; bwrw, gosod, *neu* ddodi yn erbyn.

To demur upon a thing—cyngydio; bod ar gyngyd; bod ar gynghor; ammheu, petruso, oedi.

**Demur,** *s.* oed, gohir, attreg, oediad, gohiriad, attregwch; gohir dadl, oed hawl, gorsaf cyfraith; petrusder, petrusedd, ammheuaeth, cyngyd, godrig.

Demur (in law)—gohir dadl, oed hawl, gorsaf cyfraith.

**Demure,** *a.* (o *demur*? Ff. *des mœurs*, yn ol y Dr. *Johnson*) gŵyl, gwylaidd, syber, yswil, llednais, gorchŵylus, gorwylaidd, gwyleddog, gwladaidd, mul, mulaidd, cynwyl, cynwylus, prudd, difrifol, difrif, dwys, sad; tawedog, disiarad, dywedwst, gwedwst, dystaw; prudd ei drem; yn edrych i lawr; yn gwneuthur wyneb hir; mursenaidd, mursenwedd, gwepddwys, gweflsych.

She looks so demurely, as if butter would not melt in her mouth—gellid meddwl wrth ei golwg na lyncai hi mo'r llefrith.

**Demure,**† *v. n.* edrych yn brudd, yn ŵyl, *neu* yn yswil.

**Demureness,** *s.* gwylder, gwyledd, gorchŵylaidd, syberwch, cynwyledd, lledneisrwydd, neisrwydd, mulder, muldra; rhithwyledd, murseneiddrwydd, mursendod; tawedogrwydd; pruddineb, difrifoldeb.

**Demurrage,** *s.* (o *demur*) gohirdal=tâl i feistr am oediad neu attaliad y llong dros yr amser penodedig.

**Demurrer,** *s.* (o *demur*) oedwr, gohiriwr, attregydd, attregwr, cyngydiwr; oed, gohir, attreg; gohir, gohiriad, oed, *neu* oediad dadl.

**Demy,** *s.* (Ff. *demi*) lledlen, lledanlen; gogymrawd, gofrodor, lledgymrawd, hanner cymrawd.
  Demy of Magdalen college—gogymrawd coleg Magdalen (yn Rhydychain).
  Demy paper—papyr lledlen, papyr llydanlen=papyr o ran maint rhwng y breninol a'r un coron, ac yn mesur 22 wrth 18 modfedd.

**Den,** *s.* (S. *den, dene, denn*) ffau, ogof, gogof, gwâl, gwalfa, twll, ceudwll, caf, godechfa, llech, llechfod, llechfan, llechfa, lloches, cuddfa, trigfan.
  Lions' den—ffau llewod; ffau y llewod.
  Den of thieves—ogof lladron.

**Den,** *v. n.* llochesu, ymlochesu, llechu, llechfodi; trigo mewn ffau, &c.

**Denarcotize,** *v. a.* (o *de* a *narcotic*) dadgysori.

**Denarius,** *s.* (Ll.) ceiniog Rufeinig=gwerth o ddeutu 7¾*c.*
  *Denarius Sancti Petri*—ceiniogau Pedr, ceiniogau Petr.
  *Denarius Dei*—ceiniog Duw; arian briduw.

**Denary,** *a.* (Ll. *denarius*, o *deni*, deg) degol, deg, degaidd; â fo yn ddeg; degfed.

**Denary,** *s.* deg, degrif, y rhif deg.

**Denationalize,** *v. a.* (o *de* a *nation*) gwneuthur yn anghenelgarol; gwneuthur yn anwladgar; difuddiaw o nodwedd a defion cenedlaethol.

**Denaturalize,** *v. a.* (o *de* a *naturalize*) dadnaturioli, dadanianoli; dadfreinioli; dadryddfreinio; gwneuthur yn annaturiol.

**Denay,**† *s.*=*Deny.*

**Denay,**† *v. a.*=*Deny, v. a.*

**Dendrachate,** *s.* (Gr. *dendron* ac *achatês*) prenagat, prenfuchem, agat prenaidd, prysg-agat.

**Dendrite,** *s.* (Gr. *dendron* a *lithos*) prenfaen, prysgfaen, prysfaen; delfaen prysgaidd *neu* goedaidd; prysgfwn.

**Dentritic,** } *a.* prenfeinin, prenfeinig, prysfeinig, prysgfeinin; coedaidd, prenaidd.
**Dentritical,** }

**Dendrography,** *s.* (Gr. *dendron* a *graphô*)=*Dendrology.*

**Dendroid,** } *a.* (Gr. *dendron* ac *eidos*) prysgaidd, prysaidd, prysgoedaidd, manwyddaidd, prenaidd, prysgenaidd.
**Dendroidal,** }

**Dendroit,** *s.* (Gr. *dendron*) cangenfaen, cangfaen.

**Dendrolite,** *s.* (Gr. *dendros* a *lithos*) delfaenwydd, delidgoed, delidwydd, maenbrysg.

**Dendrology,** *s.* (Gr. *dendron* a *logos*) coedyddiaeth, coedhanes, coedyddeg; hanes naturiol coed; treithawd ar goed.

**Dendrometer,** *s.* (Gr. *dendron* a *metreô*) coedfesur, coedfydrai, coedfeidyr=offeryn i fesur uchder a thryfesur coed.

**Dendromus,** } *s.* (Gr. *dendron* a *mus*) coedlygod =rhywogaeth o bedrybedion, priodol i Ddeheudir Affrig.
**Dendromys,** }

**Dendronessa,** *s.* (Gr. *dendron* a *nêssa*) coedhwyad, hwyad goed.

**Dendrophis,** *s.* (G. *dendron* ac *ophis*) coedsarff, sarff goed.

**Denegate,**† *v. a.* (Ll. *denego*) gwadu, nacäu, naghau, nagu.

**Denegation,**† *s.* (o *denegate*) gwad, gwadiad, nag, nacâd.

**Dengue,** *s.* (Ysp.) gwibgymmalwst.

**Deniable,** *a.* (o *deny*) gwadawy, hywad; â ellir ei wadu.

**Denial,** *s.* (o *deny*) gwad, gwadiad; ymwad; nag, nacâd, naghad, negyddiaeth, negyfiaeth, gomedd, pall, dywad; gomeddiad, llysiant, llysiad, llys, ymwadiad, gwrthodiad, negyddiad, dywediad; scithugrwydd, seithugiant; anghyfaddefiad.
  Denial of one's self, } ymwadiad, hunanwadiad, ymwad,
  Self-denial, }
  hunan-ymwadiad, hunan-ymwad.
  Complete denial—llwyrwad, gwad hollol, gwadiad hollol.
  Plea of denial—dognwad.

**Denied,** *p. p.* gwadedig, &c.; anghyfaddef, anghyfaddefol.

**Denier,** *s.* (o *deny*) gwadwr, gwadydd, dywadwr, negydd, negyf, nagwr, nacäwr, naghawr, pallwr, gomeddwr, ymwadwr, gwrthodwr.

**Denier,** *s.* (Ff. o'r Ll. *denarius*) ceiniog Ffreinig, ceiniog Ffrengig=y 240fed ran o'r bunt Ffreinig: nid yw yn awr ar arfer.

**Denigrate,** *v. a.* (Ll. *denigro*) duo, ardduo, gordduo; gwneuthur yn ddu.

**Denigration,** *s.* (Ll. *denigratio*) duad, ardduad, gordduad.

**Denitration,** *s.* (o *de* a *nitre*) dadflorad, dadflorsurad.

**Denization,** *s.* (o *denizen*) dinesyddiad, dinasyddiad; gwneuthuriad yn ddinesydd; rhyddfreiniad, breiniolad.

**Denizen,** *s.* (o'r C.) dinesydd, dinasydd, dinaswr, dinasddyn; alltud breiniol edig, alltud breiniol, alltud rhyddfreiniol.

**Denizen,** *v. a.* dinesyddio, dinasyddio, breinioli, breinio, rhyddfreinio; gwneuthur yn ddinesydd; noddi.

**Denizenship,** *s.* (o *denizen*) dinesyddiaeth, dinasfraint; rhyddfraint.

**Denominable,** *a.* enwadwy, cyfenwadwy.

**Denominate,** *v. a.* (Ll. *denomino*) enwi; cyfenwi; rhoi enw i; galw, galw enw, rhoi enw; enwedigo.

**Denomination,** *s.* (Ll. *denominatio*) enw, cyfenw; enwad, cyfenwad, galwad; plaid.
  The denominations of the christian world—enwadau *neu* bleidiau y byd cristionogol; enwadau cred.

**Denominational,** *a.* enwadol, cyfenwadol; pleidiol.

**Denominative,** *a.* (Ll. *denominativus*) enwadol, enwol, galwadol; galwedigol, enwedigol, cyfenwedigol.

**Denominator,** *s.* (Ll.) enwedydd, cyfenwydd, enwydd; rhoddydd enw; rhoddydd yr enw.

**Denotable,** *a.* nodadwy, hynodadwy.

**Denotation,** *s.* (Ll. *denotatio*) nodiad, dynodiad, hynodiad, penodiad, arwyddiad, arwyddocâd.

**Denotative,** *a.* (o *denote*) dynodol, dynodiadol, nodol, hynodol, arwyddocaol.

**Denote,** *v. a.* (Ll. *denoto*; Ff. *dénoter*) dynodi, nodi, arwyddocäu, hynodi, darnodi; argoeli; bod yn argoel *neu* yn arwydd; arddangos, hysbysu, mynegu.

**Denotement,** *s.* (o *denote*) arwydd, nod, argoel; arwyddocâd, arwyddiad, dynodiad.

**Denouement,** *s.* (Ff.) dattraffaith, dadorchuddiad traffaith, dadhuddiad dyfais, dadorchuddiad cydamcan, dadhuddiad, dadorchuddiad.

**Denounce,** *v. a.* (Ll. *denuncio*; Ff. *dénoncer*) cyhoeddi, mynegu, dadgan, dywedyd ar g...

hoedd; traethu yn fygythiol *neu* yn ddifrifol; hysbysu, dangos, adrodd, traethu, rhybuddio, arddadgan; bwgwth, bygythio, bygylu, mynasu, taranu, argyhuddo; achwyn.
To denounce wrath—taranu digofaint.
**Denouncement**, *s.* cyhoeddiad, traethiad, mynegiad, arddadganiad, taraniad, bygythiad; bwgwth, mynas, bwgwl, cyhuddrwydd.
**Denouncer**, *s.* cyhoeddwr; taranwr; traethwr bygythion; bygylydd; argyhuddwr.
**Dens**, *s.* (Ll.) dant; *pl.* daint, dannedd.
**Dense**, *a.* (Ff.; Ll. *densus*) tew, dwys, dwysedig, cynnwys, darddwys, cydwasgedig, cydwasg, cydwasgol, durfing, durfin, clwn, dargynnwysol, cryno, ffer, diwag.
**Denseness**, *s.* (o *dense*)=*Density.*
**Density**, *s.* (Ll. *densitas*) dwysder, tewedd, tewder, tewdra, cynnwysder, cynnwysedd, cydwasgrwydd, dwysineb, tewychedd, durfingder, durfinder, durfindra, durfingdra, clynedd, clynder, fferder, darddwysedd, crynoder, dwysogaeth.
**Dent**, *s.* (Ff.; Ll. *dens*; C. *dant*) bwlch, gwlf, rhygn, rhigol, minfwlch, tolc, pannwl, pant; dant, rhint; danneddiad, bylchiad; ergyd.
**Dent**, *v. a.* bylchu, gylfu, rhigoli, rhygnu; tolcio, pannylu; deintio, danneddu, minfylchu.
**Dental**, *a.* (Ll. *dentalis*) deintol, deintiol, danneddol; perthynol i'r dannedd.
Dental letters — deintlythyrenau, dantlythyrenau, llythyrenau deintiol, llythyrenau daint, deintolion.
Dental formula—deintffurf, deintnodiant, ffurf ddeintiol, ffurfeg ddanneddol, ffurf daint, ffurf dannedd.
**Dental**, *s.* deintlythyren, dantlythyren, llythyren ddeintiol, llythyren ddant: *pl.* deintolion.
**Dental,** }
**Dentalium,** } *s. pl.* (Ll. *dens*) deintlibogion.
**Dentalite,** } *s.* (Ll. *dentalis*, a Gr. *lithos*)
**Dentalithe,** } deintfaen, dantfaen.
**Dentaria**, *s.* (Ll. *dens*) deintlys.
**Dentata**, *s.* (Ll.) deintlain; ail gymmal tro y gwddf.
**Dentate,** } *a.* (Ll. *dentatus*) deintiog, deintog,
**Dentated,** } danneddog.
Dentate-ciliate—deint-eiliog, deint-aelog.
Dentate-sinuate — deint-ystumiog, deintfachog.
**Dented**, *a.* (o *dent*) deintiedig, deintiog, danneddog, bylchog, rhiciog, rhintiog, manfylchog, rhigolog, pannylog, tolciedig.
**Dentelli**, *s. pl.* (It. *dentello*; o'r Ll. *dens*) deintwaith, danneddwaith, rhintwaith; deintellion.
**Denticle**, *s.* (Ll. *denticulus*) deintws, dentyn, deintig, dant bychan.
**Denticulate,** } *a.* (Ll. *denticulatus*,) manddeint-
**Denticulated** } iog, manddanneddog, deintigog; deintellog.
**Denticulation**, *s.* (o'r Ll. *denticulus*,) manddeintiad, manddanneddiad, deintiad, danneddiad.
**Dentiform**, *a.* (Ll. *dens* a *forma*) dantaidd; ar lun dant.
**Dentifrice**, *s.* (Ff.; Ll. *dentifricum*) deintlwch, llwch dannedd; deintolch.
**Dentile**, *s.* (Ll. *dens*) manddant, dentyn, dant bychan.
**Dentils**, *s. pl.* (Ll. *dentes*) deintellion, dantarnau= deintwaith ar golofn Ionig, Corinthaidd, neu Gyfansawdd.
**Dentirostrate,** } *a.* (Ll. *dens* a *rostrum*) bylch-
**Dentirostral,** } ylfinog, deintylfinog, deintylfog.
**Dentirosters,** } *s. pl.* (Ll. *dens* a *rostrum*) bylch-
**Dentirostres,** } ylfiniaid, deintylfiniaid=rhywogaeth o glwydadar.
**Dentist**, *s.* (Ll. *dens*) deintydd, meddyg dannedd, deintfeddyg.
**Dentition**, *s.* (Ll. *dentitio*) danneddiad, deintiad, magiad dannedd, caffaeliad dannedd, caffad daint, deintfagiad; amser deintiad.
**Dentize**, *v.* (Ll. *dens*) deintyddu, deintio, trwsio dannedd, adnewyddu y dannedd.
**Dentoid**, *a.* (Ll. *dens*, a Gr. *eidos*) dantaidd; ar lun dant.
**Denudate,** } *a.* (Ll. *denudo*) noethi, dynoethi,
**Denude,** } dihatru, amnoethi; gwneuthur yn noeth.
**Denudate,** } *a.* (Ll. *denudatus*) noeth, am-
**Denudated,** } noeth, diflew, aflewog.
**Denudation**, *s.* (Ll. *denudatio*) noethiad, noethiant, dynoethiad, amnoethiad, dihatriad, dattuddiad.
**Denunciate**, *v. a.* (Ll. *denuncio*)=*Denounce.*
**Denunciation**, *s.* (Ll. *denunciatio*) cyhoeddiad, traethiad, treithiad, mynegiad, dadganiad, arddadganiad, taraniad, bygythiad; bwgwth, mynas, bwgwl; cyhuddrwydd.
**Denunciator**, *s.* cyhoeddwr, traethwr, taranwr, traethwr bygythion, bygythiwr, bygylydd, argyhuddwr.
**Deny**, *v. a.* (Ff. *dénier*; Ll. *denego*) gwadu, dywadu; nacäu, naghau, nagu, naca, gomedd, gomeddu, pallu, gwrthod, llysu; rhagu, gwrthddywedyd; cadw rhag; rhoi nag, pall, gomedd, *neu* wad; ymwadu âg, ymwrthod â.
To deny one's self — ymwadu, dymwadu, ymddywadu; gwadu ei hun; hunanwadu, hunan-ymwadu.
To deny what one has said—gwadu ei eiriau; dad-ddywedyd.
To deny ungodliness—gwadu annuwioldeb; ymwadu âg annuwioldeb.
To deny to do a thing—gwrthod, nacäu, gomedd, gomeddu, pallu, *neu* lysu gwneuthur peth.
To deny with an oath—gwadu drwy lw; tyngu mawr lw na, nad, *neu* nas; dïofrydu.
To deny fully — llwyrwadu; gwadu yn llwyr.
He denied me entrance — rhwystrodd fi i mewn; gomeddodd i mi fyned i fewn.
Whom before they denied to know — yr hwn a wadasent hwy o'r blaen eu bod yn ei adnabod (*Doeth.* xii. 27).
They denied the faith—gwadasant y ffydd.
He will not be denied—ni chymmer ball.
**Deobstruct**, *v. a.* (Ll. *de* ac *obstruo*) dadrwystro, dirwystro; rhyddhau oddi wrth rwystrau; rhyddhau ffordd; symmud rhwystrau; egori yr hyn a gauodd.
**Deobstruent**, *a.* (Ll. *de* ac *obstruens*) dadrwystrol, dadluddol, rhwystr symmudol, rhwystrsymmud; agorol, egorol, agoriadol, egoriadol; rhyddhaol; â agoro yr hyn sy gauad; â ryddhao y ffordd; â symmudo rwystrau.
**Deobstruent**, *s.* agorai, egorai, agorgyffer, rhyddgyffer, agorbair, dadluddai: *pl.* agoreion, agorbeirion.

**Deodand**, *s.* (Ll. *Deo dandus*) dwyfrodd, dwyflwrw, duwinrodd, dïofrydbeth; camlwrw, dirwy=y peth à el yn ddirwy neu gamlwrw (megys march, men, &c.) am ladd dyn.
**Deodorize**, *v. a.* (Ll. *de* ac *odor*) disawru, dadsawru, disawyro, dadsawyro.
**Deonerate**, † *v. a.* (Ll. *deonero*) dadlwytho, dadfeichio.
**Deontology**, *s.* (Gr. *deon* a *logos*) dyledswyddeg, dyledswyddiaeth; gwyddor *neu* athrawiaeth dyledswyddau.
**Deoppilate**, *v. a.* (Ll. *de* ac *oppilo*) dadrwystro, dirwystro; symmud rhwystrau; digaregu; gwastadhau; glanhau ffordd.
**Deoppilation**, *s.* (o *deoppilate*) dadrwystrad, dirwystrad; symmudiad rhwystrau; digaregiad.
**Deoppilative**, *a.* dadrwystrol, dirwystrol, dadluddol, rhwystr-symmudol; agoriadol, agorol, egorol.
**Deordination**, †*s.* (Ll. *de* ac *ordinatio*) annhrefn.
**Deosculate**, † *v. a.* (Ll. *deosculor*) cusanu.
**Deosculation**, † *s.* (Ll. *deosculatio*) cusaniad.
**Deoxidate**, **Deoxydate**, **Deoxidize**, **Deoxydize**, *v. a.* (*de*, ac *oxidate* neu *oxydate*; o'r Gr. *oxus*) dadegrido, dïegrido; difuddiaw o egrid; difuddiaw o ufelai; tynu ufelai allan o beth.
**Deoxidation**, **Deoxydation**, **Deoxidization**, **Deoxydization**, *s.* (o *deoxidate*, &c.) dadegridiad, dadegridiant; tyniad ufelai allan o beth; difuddiad o egrid.
**Deoxygenate**, *v. a.* dadufelu, dadufeleio; difuddio *neu* ddifeddu o ufelai.
**Deoxygenation**, *s.* dadufeliad, dadufeleiad; difuddiad *neu* ddifeddiad o ufelai.
**Depaint**, *v. a.* (Ff. *dépeindre, dépeint*) paentio, darlunio, arlunio; dysgrifio, darnodi, gosod allan, tynu llun.
**Depainter**, *s.* (o *dépaint*) paentiwr, darluniwr, arluniwr, lluniedydd, arliwiwr.
**Depart**, *v. n.* (Ff. *départir, départ*) ymadael, ymadaw, ymado, ymadu; myned, myned ymaith; myned i *neu* ar gerdded; cilio, encilio; cerdded; cychwyn, debed, gadael, gadu, gadaw, gwahanu, edfyn; myned i ffwrdd; marw.
To depart from—ymadael o; ymadael âg, ymadaw â; myned, cerdded, dyfod, *neu* giliaw o, ymaith o, *neu* allan o; symmud, mudo; dïanc rhag; ymadaw, myned, myned ymaith; cilio, ymneilltuo, troi, *neu* ddychwelyd oddi wrth; gadaw, gadu; cefnu ar.
Treacherously to depart—cwympo, syrthio, *neu* lithro ymaith *neu* oddi wrth; anffyddloni.
To depart from the truth—cyfeiliorni, cilio, ymadaw, ymadael, *neu* droi oddi wrth y gwirionedd; ymadael, ymwadu, *neu* ymwrthod â'r gwirionedd; gadaw *neu* wadu y gwirionedd.
To give one leave to depart—cenadu ymadael; gollwng ymaith; gollwng.
To depart this life—ymadael *neu* ymadaw â'r byd; ymadaw *neu* ymadael â'r ysbryd; ymadael â'r fuchedd hon; ymadaw â'r bywyd hwn; marw, trengu.
Having a desire to depart—gàn fod genyf chwant i'm dattod (*Phil.* i. 23).
It is time to depart—madws yw ymadaw; mae yn bryd i ymadael; mae yn bryd ymadaw.
**Depart**, † *v. a.* gwahanu, rhanu, gadael.
**Depart**, † *s.* ymadawiad; tranc, marwolaeth; gwahaniad, gadawiad.
**Departer**, *s.* rhanwr; coethwr, coethydd, purwr.
**Departing**, *s.* (o *depart*) ymadawiad, mynediad, mynediad ymaith, cychwyniad; gwahaniad.
At the point of departing — ar ymadael; ar ymadaw â'r byd; ar drengu; ar dranc, ar drancedigaeth; ar ei dranc; ar fin trancedigaeth.
**Department**, *s.* (Ff. *departement*) lle, swydd, dyledswydd, swyddogaeth; dosbarth, dybarth; swydd neillduol; swydd, lle, *neu* sefyllfa un ei hun; talaeth, rhandir, gwahandir, cyfrandir, trân; parthiant, rhan, cyfran, dosbarthran, dogn.
France is divided into 86 departments—rhenir Ffrainc yn 86 talaeth; Ffrainc a renir yn 86 o daleithiau.
Home department—dosbarth cartrefol.
**Departmental**, *a.* dosbarthol, rhandirol, cyfrandirol, ardalawl; perthynol i ddosbarth, i ran, *neu* i gyfran.
**Departure**, *s.* (o *depart*) ymadawiad, mynediad, mynediad ymaith, edfynt, edfyn; trancedigaeth, tranc, marwolaeth; gadawiad; ymadawiad â'r byd.
**Depascent**, *a.* (Ll. *depascens*) yn pori; poriadol, poriannol; maethol.
**Depasture**, *v. a.* (Ll. *depascor*) pori, porfelu, porfäu, poriadu; difa, ysu, bwyta; ysu *neu* ddifa drwy bori.
**Depauperate**, *v. a.* (Ll. *depaupero*) tlodi, llwmhau, tloduso; gwneuthur yn dlawd; peri yn dlawd; anffrwythloni, diffrwytho.
**Depectible**, *a.* (Ll. *depecto*) gwydn, glynol, tew.
**Depeinct**, † *v. a.* (Ll. *depingo*; Ff. *dépeindre*) paentio, darlunio.
**Depend**, *v. n.* (Ll. *dependeo*) ymddibynu, dibynu; bod yn nibyn; hyderu, goglud, gorphwys, pwyo, ymddiried, ymddiriedu, argredu; rhoi hyder, rhoi pwys, rhoi goglud; glynu, darlynu; hongian, crogi; bod yn nghrog.
To depend on *or* upon—ymddibynu ar, dibynu ar, hyderu ar, &c.; rhoi goglud, hyder, coel, *neu* bwys ar; gorphwys ar, ymorphwys ar, gobwyso ar, gorbwyso ar, ymddiried yn, gobeithio yn; bod â'i bwys, â'i hyder, *neu* â'i oglud ar; gorwedd ar; sefyll ar; bod *neu* orwedd ar law; bod yn sicr o; dibynu wrth; bod yn nibyn *neu* yn nghrog wrth; glynu wrth, darlynu wrth.
To be depending, To depend, bod mewn dadl; bod heb ddet byn barn; bod heb ei benu; bod ger bron yr ynad; bod o flaen y llys.
The cause is depending—y mae yr hawl yn awr mewn dadl.
It depends upon others to give us a good name—ar law *neu* ar ddwylaw ereill y mae rhoddi i ni air da.
Depend on it—gallwch fod yn sicr; gallwch ymddibynu arni; coeliwch fi; credwch fi; mi a warantaf i chwi.
**Dependable**, † *a.* (o *depend*) dibynadwy; à aller ymddibynu arno.
**Dependence**, **Dependance**, **Dependency**, **Dependancy**, *s.* (Ff. *dependance*) ymddibyniad, dibyniad, dibynrwydd, dibynoldeb; ymorphwysiad, goglud, hyder, pwys, ymddiried, g-

fynag, coel, gobaith, dysgwyliad, gorbwys; hyderiad, gorphwysiad, cynnaliad, cynnaliaeth; atteg, annel; cynghadwynad, cyssylltiad; peth dibynol; tiriogaeth ddibynol, dibyn-wlad, dibyndir, talaeth, rhagwlad.

With all its dependencies—yn nghyd â'i holl berthynas-leoedd; gyda'i holl ddibyniaid; â'i holl daleithiau.

The earth and its dependencies—y ddaiar a'i dibynolion; y ddaiar a'i hymddibyniaid; y ddaiar a'r sawl a ymddibynant arni.

My dependence is on God's providence—yn rhagluniaeth Duw y mae fy ymddiried, fy ngoglud, *neu* fy hyder.

False dependence—cambyder, camddibyniad, hyder gau.

Dependent, Dependant, *a.* (Ff. *dependant*) ymddibynol, dibynol, dibynog, ymddibyn; yn ymddibynu, yn dibynu; yn hongian, yn crogi, yn pwyso, yn gorphwys; â'i bwys ar; gobwysol, arlyniog, arlynol.

Dependent, Dependant, Depender, *s.* dibynwr, dibynydd, ymddibynwr, ymddibynydd, dyn gosgordd, dyn dibyn, dyn ymddibyn.

Depending, *a.* (o *depend*) yn ymddibynu, &c.; dibynol; anmhenderfynol; heb ei benderfynu.

Deperdit, *a.* (Ll. *deperditus*) colledig, cyfrgolledig; ar ddifancoll, ar goll.

Deperdition, *s.* (*de* a *perdition*) colledigaeth, coll, difancoll, cyfrgoll, llwyr golledigaeth, dinystr.

Dephlegmate, *v. a.* (*de* a Gr. *phlegma*) annyfreiddio; dystyllio, ad-ddystyllio; tynu dwr o wirod *neu* surion.

Dephlegmation, *s.* (o *dephlegmate*) annyfreiddiad; dystylliad, ad-ddystylliad; tyniad dwr o wirod *neu* surion; cyngwasgu.

Dephlegmedness, † *s.* annyfredd, annyfreiddrwydd; yr ansawdd o fod heb ddwr ynddo.

Dephlogisticate, *v. a.* (*de*, a Gr. *phlogistos*) dadhylosgi, dadfflamegu; difuddiaw o'r dansawdd hylosg.

Dephlogisticated air—ufelai, nwy ufelai, awyr bywydol, bywyr.

Dephlogistication, *s.* dadhylosgiad, dadfflamegiad.

Depict, *v. a.* (Ll. *depingo*, *depictum*) darlunio, arlunio, arliwio, darliwio, paentio, delweddu, delwadu, arfelu, ardebu, dysgrifio, dylunio, gosod allan.

Depiction, *s.* (o *depict*) darluniad, arluniad, paentiad, arliwiad, delweddiad, dysgrifiad.

Depicture, *v. a.* (*de* a *picture*) darlunio, arliwio, paentio, delweddu, lliwio, arfelu, ardebu.

Depilate, *v. a.* (Ll. *depilo*) diwalltu, tynu gwallt; ginio, hifio; moeli.

Depilation, *s.* (Ll. *depilatio*) diwalltiad, diflewiad; tyniad ymaith wallt *neu* flew; giniad, hifiad; moeliad.

Depilatory, *a.* diwalltol; o rinwedd i dynu ymaith wallt *neu* flew; âg ynddo rinwedd i dynu ymaith wallt *neu* flew; moelnawsol.

Depilatory, *s.* hifgyffyr, blewgodai; plastr, eli, *neu* ryw gymhwysiad i godi blew.

Depilous, *a.* (Ll. *depilis*) diwallt, diflew; moel.

Deplantation, *s.* (Ll. *deplanto*) dadblaniad, dadblanigiad, diblanigiad; tyniad planigion o'u gwelyau.

Depletion, *s.* (Ll. *depleo*) dadlenwad, gwaghad, dysbyddiad, dyhysbyddiad, gwallawiad; gollyngiad gwaed, gwaediad.

Depletory, *a.* (Ll. *depleo*) dadlenwadol, dadlenwol, gwaghaol, dyhysbyddol.

Deplication, *s.* (Ll. *de* a *plico*) dadblygiad, diblygiad, dadblethiad.

Deplorable, *a.* (o *deplore*) gresynol, gresyn, gresynus, galarus, gofidus, gwiwgwyn, tosturus, tosturiol, tostur, adfydig, annedwydd, trist, athrist, truan, truenus, alaethus, wylofus, trwm, aele, graen, prudd, dybryd; i'w gwyno; i alaru am dano *neu* drosto; anobeithiol; isel, gwael, dirmygus.

Deplorableness, *s.* gresyndod, gresynrwydd, gresynoldeb, gresyni, gresynder, gresynolrwydd, trueni, truenusrwydd, aethusrwydd, annedwyddwch, gofid, trychineb, trychni, gwiwgwynedd, tristedd, prudd-der, gresyn, gresi, cyflwr truenus.

Deploration, *s.* (Ll. *deploratio*) cwynfan, cwyniad, cwynfaniad, cwynofaint, galariad, gresyniad.

Deplore, *v. a.* (Ll. *deploro*) cwyno, cwynfan, cwynofain, galaru, alaethu, tosturio, gofidio; ymofidio am *neu* dros; gresynu wrth, tosturio wrth.

Deploring, *s.* (o *deplore*) cwynfaniad, galariad, alaethiad, gresyniad.

Deploy, *v.* (Ff. *déployer*) arddangos, dadblygu, diblygu, egori, agor, dangos; gosod allan; estyn, lledu, taenu; lledu allan; ymagor, ymegori, ymestyn.

Deplumation, *s.* (o *deplume*) dibluad, diblufiad; pluad, plufiad.

Deplume, *v. a.* (Ll. *deplumo*) dibluo, diblufio; pluo, plufio; dibluori.

Depolarize, *v. a.* (*de* a *polarize*) dadbegynu; amddifadu o begyndyniad.

Depone, *v.* (Ll. *depono*) gwystlo, gwaesu, adneu, cyngwystlo; tystio ar lw; tystio.

Deponent, *a.* (Ll. *deponens*) gwaesafol; yn gosod i lawr; yn dodi i lawr.

Deponent verb—perwyddiad gwaesafol. berf waesafol=berf oddefol o ran ei ffurf, ond gweithredol o ran ei hystyr.

Deponent, *s.* gwaesafwr, gwaesafydd, gwaeswr; tystiwr, tyst, ardyst, tyst ar lw, tandyngydd; berf waesafol, gwaesafair.

Depopulate, *v.* (Ll. *depopulor*) dibobli, diboblogi; difrodi, diffeithio, anghyfanneddu, dadgyfanneddu, anrheithio, dinystro, dystrywio, ysbeilio, dattrefu, didrefu, llanastru; gwneuthur yn anghyfannedd *neu* anial; gwneuthur yn llanastr; myned yn ddibobl *neu* yn anghyfannedd.

Depopulation, *s.* (Ll. *depopulatio*) dibobliad, diboblogiad; anghyfanneddiad, dattrefiad, didrefiad, difrodiad, diffeithiad, anrheithiad; difrod, difrodaeth, hafog, anrhaith, dinystr, dystryw, difäedd, anghyfannedd-dra, anrheithiant.

Depopulator, *s.* (Ll.) difrodwr, difrodydd, anrheithiwr, anrheithydd, diboblwr, diffeithiwr, dattrefwr, anghyfanneddwr; cribddeiliwr.

Deport, *v. a.* (Ll. *deporto*; Ff. *déporter*) arweddu, arwedd, agweddu; cario, dwyn, trosglwyddo, dyborthi; ymddwyn, ymarweddu, ymarwedd, bucheddu, ymddygyd.

To deport one's self — ymddwyn, ymarweddu, ymarwedd, dwyn ei hun, ymagweddu.

**Deport**, *s.* ymddygiad, ymarweddiad, ymarwedd, arweddiad, arwedd, buchedd, buchwedd, bucheddiad, moes.

**Deportation**, *s.* (Ll. *deportatio*) trosglwyddiad, trosglwydd, dyddygiad, trosiad, amgludiad, dyborthiad; alltudiaeth, alltrodiaeth, alltudedd, alltudiad, deoliad, allwladiad, afwladiad.

**Deportment**, *s.* (Ff. *déportement*) ymarweddiad, ymddygiad, arweddiad, ymarwedd, arwedd, buchedd, buchwedd, bucheddiad, bucheddogaeth, moes, arymddwyn, arymddygiad, agweddiad.

Chaste deportment — ymddygiad diwair, diweirfoes.

**Deposable**, *a.* (o *depose*) diswyddadwy, difuddiadwy.

**Deposal**, *s.* (o *depose*) diswyddiad, difreiniad, difuddiad.

**Depose**, *v.* (Ll. *depono, depositum;* Ff. *déposer*) gosod, rhoi, *neu* ddodi i lawr; diswyddo, dïorseddu, dadorseddu; difreinio, difuddio, dïawdurdodi, diraddio, dïurddo, dadurddo; bwrw, troi, *neu* daflu allan o swydd; tystio, tystiolaethu, ardystio, tysttyngu, tyngu; tystio *neu* dystiolaethu ar lw; hòni, haeru, gwirio, *neu* sicrhau drwy lw; tystiolaethu, tystio, ardystio, *neu* ddywedyd ar ei lawgair; gwaesafu, gwaesu; gosod heibio;† cymmeryd ymaith; †dihatru; †holi ar lw.

He was deposed from his kingly throne—efe a ddisgynwyd o orseddfa ei freniniaeth (*Dan.* v. 20).

**Deposer**, *s.* diswyddwr, diraddiwr.

**Deposing**, *s.* dïorseddiad, diswyddiad.

**Deposit**, *v. a.* (Ll. *depositum*, o *depono*) dodi, rhoi, *neu* osod i lawr; dodi, rhoi, rhoddi, gosod; adneu, gwystlo, gwaesu, gwaesafu, cyngwystlo, arwystlo; gadael, gadaw; rhoddi *neu* ddodi i gadw; dodi *neu* roddi i'w gadw; rhoddi yn nghadw; gosod yn llaw un; rhoi i fyny; rhoddi, dodi, rhoi, *neu* fwrw ymaith; ymddiried i; rhoi yn ngofal; gwaelodi, gwaddodi.

To deposit with one at interest—rhoddi ar log i un; rhoddi yn llog i un; gosod i *neu* gydag un ar log; gosod i *neu* gydag un yn llog.

To deposit a thing with one as a pledge *or* security — rhoddi *neu* roi peth yn ngwystl i un; rhoi peth yn wystl i un; gadaw peth yn *neu* ar wystl gydag un.

To deposit with one—rhoi yn adneu i un; rhoi i gadw at un.

**Deposit**, *s.* adneu, gwystl, cyngwystl, ernes, ern, gwaes, gwaesaf, adne, cnes, adnes, twnc, adneuaeth; y peth à ddoder i gadw; gwaddod, gwaelodiad; cadwfa, cysdodfa, cronfa: *pl.* gadawion, llorion.

In deposit — yn nghadw; yn wystl, yn adneu.

**Depositary**, *s.* (Ff. *dépositaire;* Ll. drosgl, *depositarius*) adneuwr, gwaesddaliwr, gwaesgeidwad; ymddiriedai, ymddiriedur, ceidwad, gwarcheidwad; yr hwn y rhoddir peth i'w ofal.

**Deposition**, *s.* (Ll. *depositio*) dodiad, gosodiad, rhoddiad, *neu* dafliad i lawr; adneuaeth, adneuad, adneuedd, addod, gwaesiant, gwaesafiant; diswyddiad, difreiniad, difuddiad, dïorseddiad, dadorseddiad, diraddiad, dadurddiad; bwriad *neu* dafliad allan o deyrngadair; gwthiad oddi ar orsedd *neu* freninfainc; symmudiad o'r freniniaeth; gwaddodiad; gwaelodiad; cynnulliad; tystlw; tystiolaeth ar *neu* drwy lw; tystiad ar *neu* drwy lw.

To make a deposition upon oath—tystio ar lw; tystio drwy lw; tyngu.

**Depositor**, *s.* (o *deposit*) dodwr, gosodwr, addodwr, adneu-roddwr, rhoddwr adneu, &c.

**Depository**, *s.* (o *deposit*) ystorfa, ystorgell, ystordy, cronfa, cysdodfa, gwaesfa, gwaesfan, cysdawd, cysdotty, addod.

**Depositum**,† *s.* (Ll.) = *Deposit*.

**Depôt**, *s.* (Ff.) ystorfa, cronfa, ystorgell, ystordy; cadystorfa, ystorfa llu; ystordref, cysdottref.

**Depravation**, *s.* (Ll. *depravatio*) llygriad, gwaethygiad, gwaethâd; llygredd, llwgr, llygredigaeth, drygedd, drygioni, direidi, dirywiad, dirywiaeth, afrywiaeth, dadrywiad, dadrywiaeth; sen,† gogan.

**Deprave**, *v. a.* (Ll. *depravo*) llygru, gwaethygu, gwaethu, halogi, difwyno, diwyno, aflanhau, meflu, gwydio, anurddo, anaddfwyno; trawswyro, tragwyro; gwyraw oddi wrth ddaioni; †difrïo, goganu, difenwi.

**Depraved**, *a.* llygredig, halogedig, difwynedig; drwg, mall, beius, gwydus, gwydiog; gwyrog, gwyrdraws.

**Depravedness**, } *s.* (o *deprave*) llygredd, llygr-
**Depravement**, } edigaeth, llygredigrwydd, halogrwydd, halogedigrwydd, drygedd, drygioni, direidi, malledd, gwydusrwydd; gwyredd, trawswyredd.

**Depraver**, *s.* llygrydd, llygrwr, gwaethygwr, halogwr, difwynwr, anurddwr.

**Depraving**,† *s.* difenwad, difrïad, anmharchiad.

**Depravity**, *s.* (o *deprave*) llygredd, llwgr, llygredigaeth, llygredigrwydd, halogrwydd, halogedigaeth, drygduedd, drygedd, drygioni, direidi, gwydusrwydd; gwyredd, trawswyredd.

**Deprecable**, *a.* (o'r Ll. *depreco*) atolygadwy.

**Deprecate**, *v. a.* (Ll. *depreco*) adolwyn, atolygu, gweddïo, *neu* ymbil rhag; gwrthymbil, gwrtherfyn; adolwyn, atolwg, atolygu, adolwg, erdolwg, ymeiriol, eiriol, ymioli, ymhẅedd, ymbil, ymerfyn, erfynio, erfynied, ymbil, *neu* ymbilio nas bo *neu* nas gwneler; gweddïo, erfyn, crefu, deisyf, *neu* ddeisyfu yn erbyn; gweddïo nas del arnom ryw ddrwg; gweddïo yn erbyn drwg; ymioli â Duw rhag drwg; crefu, erfyn, dadolychu, eiriach, eiriachu, taergeisio; gofidio am; gofidio yn ddwys am; bod yn ddrwg genym am, *neu* o herwydd; bod yn wir ddrwg genym am.

**Deprecation**, *s.* (Ll. *deprecatio*) gwrthymbiliad, gwrtherfyniad; ymbiliad *neu* erfyniad nas bo *neu* nas delo y drygau à ofnom; ymbiliad, erfyniad, ymbil, dadolwch, eiriechaeth, gweddïad, ymhẅedd, atolygiad, esgusodiad, ymesgusawd, ymesgusodiad, deisyfiad, eiriolwch, eirioledd; gweddïad rhag; erfyniad maddeuant am.

**Deprecator**, *s.* (Ll.) gwrthymbiliwr, gwrtherfyniwr, ymbiliwr, erfyniwr, deisyfwr, eiriachwr, eiriachydd, atolygwr.

**Deprecatory**, } *a.* (o *deprecate*) gwrthymbiliol.
**Deprecative**, } gwrtherfyniol, dadolychol, ymbiliol, eiriachol, eiriachus; ymesgusodol, esgusodol, dihcurol, esgusol; gweddïol; à duedd o i symmud *neu* i gadw drwy weddi.

**Depreciate**, *v.* (Ll. drosgl, *depretio;* Ff. *déprécier*) bychanu, dibrisio, difrïo, dirmygu,

diystyru, tânbrisio; adwerthu, tânwerthu, rhedeg peth i lawr; lladd ar; rhedeg ar; lleihau gwerth; myned yn llai o werth; syrthio yn ei bris; difalio.

Depreciation, *s.* (o *depreciate*) bychaniad, dibrisiad, difrïad, dibrisiant, tânwerthiad; lleihad mewn gwerth; lladdiad ar beth; rhediad ar beth.

Depreciative, *a.* (o *depreciate*) bychaniadol, dibrisiol, difrïol, dirmygol, diystyrol, dïystyrllyd, bychanllyd; yn bychanu, &c.

Depredate, *v.* (Ll. *deprædor*) anrheithio, difrodi, ysbeilio, ysglyfaethu; ysglyfio, ysglyfu, ysglyfied, ysgyflu, ysgylfu, preiddio, dybreiddio; ysu, difa, dyfetha, dinystro, dinystrio, gwastraffu, arysglyfu, andwyo, ffleisio.

Depredation, *s.* (Ll. *deprædatio*) anrheithiad, anrheithiant, difrodiad, ysbeiliad, preiddiad, dybreiddiad, ysglyfiad, ysglyfiant, ysgyfliad; ysglyfaeth, ysbail, anrhaith, lladrad, rhaib, gwastraff, difrod, difrodaeth, difäedd, ysglyf, ffleisiad.

Depredator, *s.* (Ll. *deprædator*) anrheithiwr, anrheithydd, difrodwr, difrodydd, preiddiwr, dybreiddiwr, ysbeilydd, ysbeiliwr, ysglyfiedydd, ysglyfiwr, ysgyflwr, difäwr, asgafaethwr, brigant, brigantiad, ffleisor.

Depredatory, *a.* (o *depredate*) anrheithiol, ysbeiliol, difrodol, preiddiol, dybreiddiol, ysbeilgar, ysglyfaethol, ysglyfiol, ysglyfiannol, ysglyfiadol, difaol, anrheithiog.

Deprehend, *v. a.* (Ll. *deprehendo*) dàl, dala; cael allan; dàl heb wybod; dàl ar y weithred; dadenhuddo, dadanhuddo, dadhuddo, dadguddio, dïachuddo, dïachluddo; cael trywydd ar; olrhain, olrheinio; cael allan wrth holi ac ymofyn.

Deprehensible, *a.* (Ll. *deprehendo, deprehensum*) daladwy, dadhuddadwy, dadguddiadwy.

Deprehensibleness, *s.* hyddaledd; y cyflwr o fod yn ddaladwy.

Deprehension, *s.* (Ll. *deprehensio*) daliad; daliad heb wybod; daliad ar y weithred; dadenhuddiad, dadanhudded, dadenhudded, dadguddiad, amlygiad, dïachuddiad, dïachluddiad; caffaeliad allan; olrheiniad allan; darganfyddiad.

Depress, *v. a.* (Ll. *depressus*, o *deprimo*) gwasgu, dàl, cadw, pwyso, dwyso, *neu* wthio i lawr; dàl tanodd; gostwng, iselu, iselhau, ystwng, pantu, gestwng, arlethu, goriselu, darostwng; bwrw, taflu, *neu* ddwyn i lawr; gwasgu; tlodi; digaloni, llyfrhau, trymhau, dybyrio.

Depressed, *p. p.* gwasgedig, darostyngedig, &c.; isel, llwfr, llwrf, prudd, dybyr, dybryd, dwys, trwm, trymllyd, trymdde, difrif, difrifol; gwedi ei wasgu i lawr, &c.

Depression, *s.* (Ll. *depressio*) iseliad, iseliant, gostyngiad, darostyngiad, goriseliad, iselhad, pwysiant, pwysiad; iselder, iseledd, iselni, ystwng; gwasgiad; daliad, gwasgiad, *neu* bwysiad i lawr; trymder, dybyrdod, dybryder, pruddineb, prudd-der, difrifwch, gwasgfa; dybyriad, pruddhad; pant, pantiad, pantedd.

Depressive, *a.* (o *depress*) iselhaol, iseliadol, gwasgol, gostyngol, goriselhaol, pwysiannol; dybyriol, pruddhaol, dybryderol, trymhaol, gorthrymol, rhy-ddwys; à dueddo i wasgu i lawr.

Depressor, *s.* (o *depress*) gwasgwr, iselhäwr, darostyngwr, gorthrymydd; gwasgwr *neu* dynwr i lawr; llethwr; llethgyhyr.

Deprimens, *s.* (Ll.) llethgyhyr; cyhyr â dyno lawr.

Depriment, *s.* (Ll. *deprimens*) gostyngiad, iseliad.

Deprivable, *a.* (o *deprive*) difuddiadwy, difeddiadadwy; dadurddadwy.

Deprivation, *s.* (o *deprive*) difuddiad, difuddiant, amddifadiad, difeddiad; diraddiad, dadurddiad; dygiad ymaith; dygiad oddi ar; amddifedi, ymddifedi, amddifadrwydd, difadrwydd, coll, colled, diffyg; ysbeiliad; anrheithiad; lluddiad.

Deprive, *v. a.* (Ll. *de* a *privo*; Ff. *priver*) difuddio, amddifadu, difeddu, difeddiannu; dwyn oddi ar; tynu *neu* gymmeryd oddi wrth; ymddifadu, difadu, gweddwi; digyfoethi; dïarfu; ysbeilio, anrheithio; lluddio, rhwystro; rhyddhau; dïetifeddu, didreftadu; toli.

To deprive an heir—dïetifeddu, didreftadu; difuddio un o'i dreftad *neu* etifeddiaeth.

To deprive of life—dïeneidio, lladd, dwyn bywyd; difuddiaw o fywyd.

To be utterly deprived of—amrygolli; colli yn hollol; difuddiaw yn dryglwyr.

God hath deprived her of wisdom—ni roddes Duw iddi ddoethineb (*Iob* xxxix. 17).

Deprived, *a.* difuddiedig, &c.; amddifad, ymddifad, gweddw; diswydd.

Deprivement, *s.* (o *deprive*) difuddiad, difuddiant; amddifedi, amddifadrwydd, difuddiedigrwydd.

Depriver, *s.* difuddiwr, difeddwr, difeddiannydd, amddifadydd.

Depth, *s.* (o *deep*) dyfnder, dyfnedd, dyfndra, dyfnawd, dwfn, gorddyfnder, gorddwfn; isder, iselder; eigion, yr eigion, y cefnfor, y weilgi; llynclyn, anoddyn, noddyn, affwys, sawdd; trwch; canol, cefnaint; astrusi, aneglurder; callder, cyfrwysder.

The depth of winter—dyfnder gauaf, canol gauaf.

The depth of night—dyfnder nos, cefnaint nos, canol nos, trymder nos.

The depth of a battalion—trwch cadfagad; dyfnder cadfyddin.

Swallowing depth—llynclyn ceufawr, llyn a noddyn, llynclyn, cadduglyn, ceufa, morgerwyn, llyn tro, llyn tröedig, pwll tro.

Depthen,† *v. a.* (o *depth*) dyfnhau.

Depthless, *a.* (o *depth* a *less*) diddyfnder, heb ddyfnder; bas.

Depulse, *v. a.* (Ll. *depulso*) cilgwthio, ymlid, gyru ymaith, gwthio ymaith.

Depulsion, *s.* (Ll. *depulsio*) cilgwthiad, gyriad ymaith, gwthiad ymaith, ymlidiad, hengiad; gwthiad i ffwrdd.

Depulsory, *a.* (o *depulse*) yn gyru *neu* wthio ymaith; cilgwthiol, ymlidiol, hengol, ymeithiol; yn rhoddi heibio; ysgoawl.

Depuration, *s.* (Ll. *depuratio*) purad, puriant, purawd, dyburad, coethiad, glanhad, pureiddiad.

Depurate, *v. a.* (Ff. *dépurer*; Ll. *depurgo*) puro, dyburo, coethi, teru, glanhau, dïanmhuro, pureiddio.

**Depurate**, *a.* pur, puredig, coeth, coethedig.
**Depuratory**, *a.* (o *depurate*) purol, puriannol, puriannus, dyburol, glanhaol, pureiddiol, puredigol, pureiddiedigol, coethol, dïanmhurol.
Depuratory fever—twymyn ddyburol.
**Depure**,† *v. a.*=*Depurate*.
**Deputation**, *s.* (Ff. ac Al.; o *depute*) cenadwri, cenadwriaeth, cenadiaeth, cenadaeth, negesyddiaeth, dirprwyaeth, cynnrychiolaeth; anfoniad, danfoniad, dirprwyad; anfoniad dros arall; anfoniad cenad *neu* genadon; anfoniad dirprwywr, dirprwywyr, cynnrychiolwr, *neu* gynnrychiolwyr; dirprwywr, cenad, cenadwr, cynnrychiolwr; dirprwywyr, dirprwyaid, dirprwyon, anfonedigion, cynnrychiolwyr; cenadon; dirprwy; awdurdod, *neu* warant dirprwywr *neu* raglaw; etholiad, cyfetholiad.
**Depute**, *v. a.* (Ll. *deputo*; Ff. *députer*) dirprwyo, cenadu; anfon yn genad *neu* yn ddirprwywr; anfon yn lle *neu* dros arall; rhoddi, gosod, *neu* wneuthur yn ddirprwywr; anfon yn genad drosto; gorchymyn gorchwyl i; gosod *neu* roi triniaeth gorchwyl *neu* fater ar; gosod ar ryw wasanaeth; gosod ar un i wneuthur; gosod i un wneuthur; gosod dàn *neu* dros; rhoi swydd, llywodraeth, *neu* oruchwyliaeth i; rhoi *neu* osod un tano *neu* yn ei le; anfon, penodi, gosod, enwi, ethol, cyfethol.
There is no man deputed by the king to hear thee—nid oes neb dàn y brenin à wrandawo arnat.
**Deputize**, *v. a.* (o *deputy*) gosod *neu* benodi dirprwywr *neu* genad; penodi *neu* osod rhaglaw; dirprwyo; rhoi gallu i weithredu dros.
**Deputy**, *s.* (Ff. *député*; Ll. *deputatus*) rhaglaw, dirprwywr, prwyadur, rhagswyddog, rhaglofydd, rhaglyw, rhaglywiad, cenad, cenadwr, negeswr, negeseuwr, tannorth; rhag-.
Deputy governor—rhaglyw, rhaglofydd, rhaglywiad, rhaglywiadur, rhaglywiawdwr, rhaglywiadwr, rhaglaw brenin, rhaglaw talaeth.
Lord deputy—arglwydd raglaw, rhaglofydd, arglwydd raglyw, rhaglywiawdwr.
Deputy sheriff—rhagsirydd, rhaglaw sirydd, tannorth sirydd.
**Dequantitate**, *v. a.* (Ll. *de* a *quantitas*) lleihau swmp; lleihau.
**Deracinate**, *v. a.* (Ff. *déraciner*) diwreiddio, dadwreiddio; tynu o'r gwraidd; dinystrio.
**Deraign**, } † *v. a.* (Norm. *derener*, *dereigner*,
**Derain**, } *deraigner*, *derainer*) profi, sicrhau, cadarnhau; cyfiawnhau; amddiffyn; ymddiheuro.
**Deraignment**, } *s.* (o *deraign*) profiad, cadarn-
**Derainment**, } had; cyfiawniad; prawf; annhrefn.
**Derange**, *v. a.* (Ff. *déranger*) annhrefnu, afreoli, dyrysu, methlu, ffeigio; bwrw allan o drefn; anmhwyllo, pendroni, gwallgofi, penwanu; diswyddo, symmud.
**Derangement**, *s.* (o *derange*) annhrefn, afreoledd, annhrefniad, annhrefniant, afreolaeth, dyrysiad, methliad, methledd; dyryswch, gwallgofrwydd, anmhwyll, ymleferydd, penwendid, marwerydd, penysgafnder, pendrondod, lledfrydedd, annhrefn pwyll.

**Deray**,† *s.* (Ff. *dérayer*) annhrefn, terfysg, cythrwfl, cyffro; sarllach.
**Dere**,† *v. a.* (S. *derian*) niweidio.
**Derelict**, *a.* (Ll. *derelictus*) gadawedig; gwedi ei adael.
**Derelict**, *s.* peth gadawedig *neu* wrthodedig; gadydbeth, peth gadaw; tir gadaw; gadyttir, tir gadael.
**Dereliction**, *s.* (Ll. *derelictio*) gadawiad, gwrthodiad, llwyr adawiad, ymadawiad, ymadawiad âg, ymwrthodiad â; ciliad oddiwrth.
**Deric**, } *s.* (?) chwerfanddal (ar fwrdd
**Derick**, } llong).
**Deride**, *v. a.* (Ll. *derideo*) gwatwar, gwatwor, gwatwaru, gwawdio, mocio, mocian, chwerthin am ben, chwerthin gwatwar; chwerthin gwatwar ar *neu* wrth; mingamu ar; gwepian, dirmygu, tremygu, ffoli, ffylio, dyfalu; gwneuthur gwawd o.
**Derider**, *s.* gwatwarydd, gwatwarwr, gwatworwr, gwatworydd, gwawdiwr, gwawdydd, mingamwr, dirmygwr, chwarddwr am ben; ysgentyn, gwas digrif, croesan.
**Derision**, *s.* (Ll. *derisio*) gwatwariad, gwatworiad, gwatworad, gwawdiad, mociad, mingamiad, chwerthiniad, dirmygiad; gwatwar, gwatwor, gwawd, dirmyg, tremyg, gwep, moc; cyff gwawd, cyff cler, gwatwargyff, gwatwarnod, gwawdgyff; gwatwargerdd.
I was a derision to all my people—gwatwargerdd oeddwn i'm holl bobl (*Galar.* iii. 14).
**Derisive**, } *a.* (Ll. *derideo*, *derisum*) gwatwar-
**Derisory**, } us, gwatworus, gwatwarol, gwatwargar, gwawdus, dirmygus, mociol, duchanus.
**Derisiveness**, *s.* gwatwarusrwydd, gwatworusrwydd, gwatwaroldeb, gwatwargarwch, gwawdusrwydd.
**Derivable**, *a.* (o *derive*) deilliadwy, hanadwy, tarddadwy; à ellir ei olrhain o'i ddechreu; à ellir cael ei ddechreuad; a ellir ei dynu, ei hanu, *neu* ddeillio.
**Derivate**, *s.* (Ll. *derivatus*) gair hanedig, tarddedig, *neu* ddeilliedig; tarddair, deillair, gair tardd; *pl.* hanedigion, tarddedigion, deilliedigion, adlawiaid, hanolion.
**Derivate**, *v. a.* (Ll. *derivo*) tarddu, deillio, hanu.
**Derivation**, *s.* (Ll. *derivatio*) tarddiad, haniad, deilliad, tarddiant, hanedigaeth, hanawd; haniaeth, tarddedigaeth, han; tadogaeth; disgyniad; dygiad i waered o'r dechreuad; dygiad i lawr o lygad y ffynnon; troad; troad o'r neilltu; goferiad; olrheiniad o'r *neu* i'r fan lle tardd.
Derivation of words—tarddiad, haniad, hanedigaeth, *neu* ddeilliad geiriau; geirdarddiad, geirhaniad, geirhaniaeth, geirdarddiant, geirdardd; tadogaeth geiriau.
**Derivative**, *a.* (Ll. *derivativus*) hanedig, tarddedig, deilliedig, tarddiadol, deilliadol, deilliol, haniadol, hanol, tarddiannol, tarddol; disgynedig; adlawiadol; à dyner, à gymmerer, à darddo, à hano, *neu* a ddeillio o beth arall.
Derivative word—gair hanedig, &c.
**Derivative**, *s.* gair hanedig, tarddedig, deilliedig, tarddiadol, deilliadol, *neu* haniadol; tarddair, deillair, hanedair, gair tardd;

haniadair; haned, peth hanedig: *pl.* hanedigion, tarddedigion, deilliedigion, tarddolion, sallawiaid, hanolion.

**Derivatively,** *ad.* yn hanedig, &c.; trwy ddisgyniad *neu* darddiad.

All is originally from God, and derivatively by means—y mae y cyfan yn deilliaw o Dduw, megys y ffynnon, a thrwy foddion, megys y goferau, y rhed dyfroedd y ffynnon hyd atom ni; mae y cyfan yn ddechreuol o Dduw, ac yn darddiadol drwy foddion.

**Derivativeness,** *s.* hanedigrwydd, tarddedigrwydd, deilliedigrwydd, tarddoldeb, deilliadoldeb, hanolrwydd, hanoldeb, tarddiannoldeb.

**Derive,** *v.* (Ll. *derivo*) tarddu, deillio, deilliaw, hanu; tynu o; dwyn o; tynu oddi wrth; hanu, tarddu, deilliaw, *neu* hanfod o; dyfod o *neu* allan o; dwyn i lawr; olrhain o'r *neu* i'r gwreiddyn *neu* ddechreuad; tyfu o; troi, gwyro; troi *neu* dywys o; troi, tywys, arwain, *neu* dynu i; goferu, tarddiannu; dyfod; amdaenu; cael.

To derive words — tarddu, deillio, *neu* hanu geiriau; chwilio *neu* olrhain tadogaeth geiriau; geirdarddu, geirhanu; olrhain geiriau i'w gwraidd; tynu geiriau oddi wrth y naill i'r llall; cael *neu* olrhain tadogaeth geiriau.

To derive one's original—cael *neu* gymmeryd ei ddechreuad; hanu, tarddu, deillio, disgyn; cael ei dadogaeth.

To derive profit — cael budd, lles, *neu* ennill; derbyn lles.

**Derived,** *p.p.* hanedig, tarddedig, deilliedig; gwedi tarddu, &c.

**Deriver,** *s.* tarddwr, deilliedydd, hanydd.

**Derm,** / **Derma,** / **Dermis,** *s.* (Gr. *derma*) gwirgroen, y gwir groen, isgroen; croen, y croen.

**Dermal,** / **Dermatic,** / **Dermatine,** *a.* (Gr. *derma, dermatos*) croenol, croenaidd; o groen; perthynol i'r croen.

**Dermaptera,** / **Dermapterans,** *s.* (Gr. *derma* a *pteron*) croenadenogion, croenadeinion, croenadeiniaid.

**Dermatine,** *s.* (Gr. *derma*) croenfaen.

**Dermatography,** *s.* (Gr. *derma* a *graphô*) croenddysgrifiaeth; darluniad difyniadol o'r croen.

**Dermatoid,** *a.* (Gr. *derma* ac *eidos*) croendebyg, croendebygol; tebyg i groen ac heb fod yn groen.

**Dermatology,** *s.* (Gr. *derma* a *logos*) croenyddiaeth; treithawd ar y croen a'i anhwylderau.

**Dermoid,** *a.* (Gr. *derma* ac *eidos*) croenaidd.

**Dermoskeleton,** *s.* (Gr. *derma* a *sceleton*) croenysgerbwd, croen-ysgrud.

**Dern,†** *a.* (S. *dearn*) unig, unigol; tern, tryn, creulawn; prudd, trist.

**Dernful,†** *a.* prudd, trist, athrist, tristlawn, galarus.

**Dernier,** *a.* (Ff.) olaf, diweddaf; terfynol.

Dernier resort—noddfa ddiweddaf.

**Derogate,** *v.* (Ll. *derogo*) bychanu, lleihau, difrïo, iselu; tynu *neu* gymmeryd oddi wrth; lleihau gwerth, gwerthfawredd, gwerthfawrogrwydd, parch, bri, clod, *neu* gymmeriad; toli anrhydedd, cymmyredd, cymmeriad, *neu* glod; anmherchi, anurddo; gwaradwyddo, hortio, gwarthruddo; tynu gwaradwydd *neu* ddïanrhydedd; dirymio, dirymu, eiddilo; rhedeg ar; lladd ar; cymmeryd ymaith; tolio, toli; dirywio *neu* giliaw oddi wrth.



**Derogation,** *s.* (Ll. *derogatio*) bychaniad, iseliad, iselhad, lleihad, difrïad, anfrïad, gwarthruddiad, hortiad, enllibiad; anmharch, gwaradwydd, dïanrhydedd, mefl, gwarth, athrod, anghlod, drygair, anurddas; lleihad gwerth, gwerthfawredd, gwerthfawrogrwydd, *neu* gymmeriad; toliad, toliant, *neu* dawl anrhydedd; dirymiad; toliad; dirywiad.

**Derogatoriness,** *s.* bychanusrwydd, anmharchusrwydd, bychanoldeb; gwarth, anfri, anmharch.

**Derogative,** / **Derogatory,** *a.* (Ll. *derogatorius*) bychanol, bychanus, bychaniadol, anmharchus, difrïol, anfrïol, gwaradwyddus, dïanrhydeddus, gwarthus, anurddasol; er anfri, er anmharch; â leihao werth, bri, *neu* glod; yn tynu oddi wrth; â ddwg *neu* â bair fefl *neu* anghlod.

This is no ways derogatory to his honour—nid yw hyn er un math o anghlod iddo; ni thawl hyn mo'i anrhydedd yn y mesur lleiaf; ni thawl hyn mo'i glod yn y radd leiaf.

**Derrich,** / **Deric,** *s.* (?) chwerfanddal (ar fwrdd llong).

**Dervis,** / **Dervise,** / **Derwish,** *s.* (o'r Per.; Ff. *dervis, derviche*) derwys, *pl.* derwysiaid=monach neu offeiriad Tyrcaidd.

**Descant,** *s.* (Ysp. *discant, discantar;* Al. *discant; dis,* a Ll. *canto*) treithawd, traethawd, treithiad, traith; hirchwedl i egluro berchwedl dywell; dadl, dadleuad, sylw, sylwad, sylwadau, ymadrodd, ymresymiad; pynciad, cynghaniad, cynghan, cynghanedd, cyweirgan, cyweirdon; celfyddyd cyfansoddi cerdd yn rhanau; treithalaw; amgylchiaith.

A descant on the creation—traethawd ar y greadigaeth.

To sing descant—pyncio.

**Descant,** *v. n.* treithu, traethu, treithodi, ymadroddi; sylwi, beirniadu, barnu, sylwadu; gwneuthur sylwadau amryw; pyncio, cynghanu, arbyncio, cyweirleisio.

**Descanter,** *s.* treithydd, traethwr, sylwedydd, ymadroddwr.

**Descanting,** *s.* sylwad, nodiad, treithiad; amcaniaeth, amcan, dychymyg.

**Descend,** *v.* (Ll. *descendo*) disgyn, disgynu, disgynial; gostwng, gostyngu, darddisgyn; myned *neu* ddyfod i lawr; myned *neu* ddyfod i waered; ymostwng; hanu, tarddu, deilliaw, dyfod; disgyn o; myned, syrthio.

To descend from, / To be descended from, disgyn o, dyfod o, deilliaw o, tarddu o, hanu o, tyfu o, hanfod o; arwain ei ach o.

Thou art descended from kings—o frenhinoedd y'th hanwyd; henaist o frenhinoedd.

To descend to particulars—dyfod at neilltuolion; dyfod at bethau neilltuol *neu* benodol; enwi pob peth ar ei ben ei hun; disgyn at bethau neilltuol; enwi bob yn un ac un.

To descend on a town—rhuthro ar *neu* i dref; gwneuthur rhuthr *neu* gyrch ar

dref; disgyn ar dref; dyfod am ben tref.
To descend into one's self—disgyn iddo ei hun; myned i mewn iddo ei hun.
To be descending—disgynial.
Descending clock—orlais disgynol, cloc disgynol.
Descendant, *s.* (Ff.; Ll. *descendens*) disgynydd, adian; un o hil, &c.: hil, hiliogaeth, epil, epiledd, essill, essillydd, essillt, essilltydd, essillyd, addon, addonwy, bragad, had, disgyniaid.
A descendant of his, One of his descendants, } un o'i hil; un o'i hiliogaeth; un o'i ddisgyniaid, &c.
We are all the descendants of Adam—hiliogaeth Adda ydym ni oll; o Adda y disgynasom, yr hanasom, *neu* y deilliasom ni oll.
Descended, *p. p.* disgynedig; hanedig, tarddedig; deilliedig; à ddisgynodd; gwedi disgyn.
Well-descended—o waed da; o waedogaeth dda; o waedoliaeth dda; o rieni addwyn *neu* gymmeradwy; glanryw, gwiwryw, gwaedol; da ei ach; da ei waed; boneddig; yn dyfod o dylwyth *neu* deulu da; diledach, diledryw.
Nobly-descended, Of noble descent, } uchelryw, dyledogryw, pendefigryw, diledryw, diledach; boneddig cynnwynol; boneddig o waed; pendefigol o waed; pendefigaidd, pendefigol; gwedi hanu o bendefigion; o uchel achau; uchel ei achau; uchel ei waed.
Descendent, *a.* (Ll. *descendens*) disgynol; hanol, tarddol, deilliol; yn disgyn.
Descendibility, *s.* (o *descendible*) disgynedd, hyddisgynedd, disgynoldeb.
Descendible, *a.* (o *descend*) disgynadwy; à ddichon ddisgyn; hanadwy, deilliadwy, tarddadwy.
Descension, *s.* (Ll. *descensio*) disgyniad, disgynedigaeth, darddisgyniad; disgynfa; myned-iad *neu* ddyfodiad i lawr; cwympad.
Descensional, *a.* disgyniadol, disgynedigol.
Descensive, *a.* (o'r Ll. *descendo, descensum*) disgynol, disgynfaol; yn disgyn; disgynadwy.
Descensorium, *s.* (Ll. *descensus*) ffyrnes fferyllol.
Descent, *s.* (Ff. *descente;* Norm. *discent;* Ll. *descensus*) disgyniad, disgynedigaeth; disgynfa, gorwaered, llechwedd, gwaered, llethr, gogwyddfa, gorwaered; rhuthr, cyrch; cwympad; ach, bonedd, ystlynedd, gwaed, achwaed, gwaedogaeth, gwaedoliaeth, llinach, gwelygordd; rhyw a rhieni; gradd cenedl, cenedlaeth; tarddiad, haniad, hanedigaeth, deilliad; hil, hiliogaeth, epil, epiledd, disgyniaid; gradd, achres, achlin; achau.
Good descent—bonedd.
Mean descent—lledach, lledryw, anfonedd.
To make a descent on a country—rhuthro ar *neu* i wlad; gwneuthur rhuthr *neu* gyrch ar wlad; disgyn ar wlad; gwneuthur disgynfa ar wlad; dyfod am ben gwlad; disgyn am ben gwlad; goresgyn gwlad.
Describable, *a.* (o *describe*) darluniadwy; à ellir ei ddarlunio.
Describe, *v. a.* (Ll. *describo*) darlunio, dysgrifio, dynodi, gosod allan, dylunio, darddullio, dadgan, arddangos, mynegu, amlygu, egluro, adrodd; tynu llun, llunio, llunweddu; dyfalu; ysgrifenu; dosbarthu, rhanu; argraffu; gwneuthur, gwneyd; arwyddnodi.
To describe a circle—gwneuthur cylch, tynu cylch, llunio cylch, dysgrifio cylch.
To describe an angle — ongli, elino; gwneuthur ongl, llunio elin.
To describe a line—tynu llinell, gwneuthur llinell, darlunio llinell, llinellu.
Describent, *s.* (o *describe*) dysgrifai, dysgriflin.
Describer, *s.* darluniwr, dysgrifiwr, darluniedydd, darluniawdr, dysgrifiedydd, arddulliwr, darddulliwr, darluniawdwr, dyfalydd; gosodwr *neu* osodydd allan; mynegwr, dadganwr, adroddwr, craffwr.
Describer of the earth—daiarydd, daiargraffydd; darluniwr *neu* ddysgrifiwr y ddaiar.
Descrier, *s.* (o *descry*) canfyddwr, darganfyddwr, canfodwr, dadenhuddwr, caffaeliwr.
Description, *s.* (Ll. *descriptio*) darluniad, dysgrifiad, dysgrifiaeth, darnodiad, dynodiad, dyfaliad, arddulliad, llunweddiad, tyniad llun; gosodiad allan, arddangosiad, dadganiad, mynegiad, adroddiad; dosbeniad; agweddiad, dosbarthiad, dosbarth, argraff, ysgrifeniad, ysgrifiad; dull, bath, math, nodwedd, nodweddiad.
Description of the earth—daiaryddiaeth, daiargraffiaeth; darluniad *neu* ddysgrifiad y ddaiar.
Description of a country — broddosbarth, partharluniaeth, partharluniad, broddarluniad, broddysgrifiad, brograffiad, brograffyddiaeth; darluniad gwlad.
Descriptive, *a.* (Ll. *describo, descriptum*) darluniol, darluniadol, dysgrifiol, dysgrifiadol, arluniog.
Descriptive poetry—prydyddiaeth ddarluniol, barddoniaeth ddarluniadol; dyfalgerdd.
Descriptive poem—dyfalgan, dyfalgerdd, cân ddarluniadol, cerdd ddarluniol.
Descriptiveness, *s.* darlunioldeb, darluniolrwydd, dysgrifioldeb, dysgrifiolder.
Descry, *v. a.* (Norm. *descrier, discriver*) canfod, darganfod, gweled, selu; chwilio, fforio, ysbeio, peithori; cael allan, caffael, cael; cael allan wrth edrych *neu* chwilio; amlygu, dadguddio, annirgelu, dadhuddo; dirnad.
Descry, *s.* canfyddiad, canfodiad, gwelediad, darganfyddiad, seliad, sel, caffaeliad allan; peth canfodedig.
Desecrate, *v. a.* (Ll. *desecro*) digyssegru, anghyssegru; halogi; dïurddo, dadurddo; troi o ddybenion cyssegredig.
Desecration, *s.* (o *desecrate*) digyssegriad, anghyssegriad; halogiad; dïurddiad, dadurddiad.
Desert, *a.* (Ll. *desertus*) diffaeth, anial, anghyfannedd, anghyfanneddol, gwyllt, annhrefedig, anialog, didrefol, diboblog, gwag, gores, goresog, didref, didryfedig, didryf, didryfol, attrefol, attrefedig, didrain, amddifad, heb drigolion.
Desert place—diffaethle, anialfan, anghyfanneddle, didryfle, diffaethfa, anialwch, anial, &c.
To make desert — diffaethio, diffeithio,

anghyfanneddu; gwneuthur yn ddiffaeth, &c.

**Desert**, *s.* (Ll. *desertum*) diffaethwch, diffeithwch, diffaeth, anialwch, anial, diffaethle, diffaethfa, anialfan, anialdir, dyserth, diffaethdir, gwyllt, (*pl. t.* oedd), tir anial, tir diffaeth, lle anial, lle diffaeth, anghyfanneddle, lle anghyfannedd, attref, gwylltir, tir gwyllt, didryf, didryfle.

**Desert**, *v.* (Ll. *desertus*, o *desero* ; Ff. *déserter*) gadael, gadaw, gadu, gado ; ymadaw â ; gwrthod ; cilio, encilio ; ymadaw *neu* giliaw oddi wrth ; bradgilio ; ymadaw, ymadael ; ffoi ymaith ; rhedeg ymaith ; troi ei gefn ar ; myned ar gil ; myned ar ffo.

Deserted village—pentref anghyfannedd ; treflan anghyfannedd ; llan anghyfannedd.

**Desert**, *s.* (o *deserve*) haeddiant, haedd, haeddedigaeth, teilyngdod, rhyglyddiant, rhyglydddiad, rhyglydd, (*pl. t.* on, au), gobryn, efrllid, rhyglyddawd ; gwobryn, arobrid, arobryn ; gwobr, gobr.

Without desert—heb ei haeddu ; heb ei ryglyddu ; yn anhaeddiannol, yn ddihaeddiant, yn ddïachos ; ar gam ; heb haeddiant, &c.

**Desert**, *s.* (Ff. *dessert*)=*Dessert.*

**Deserter**, *s.* ffoadur, ciliwr, enciliwr, ciliad, (*pl.* ciliaid), cilydd, ciliadur, ymadäwr, ymadawydd, bradgiliwr, bradgilydd, ffoawdr, ymwrthodydd ; bradog, bradwr, gwrthryfelwr ; à ymadawo â'i blaid ac à gilio at arall.

**Desertful**, *a.* (*desert* a *full*) haeddiannol, rhyglyddol, haeddol, haeddiannus, rhyglyddus, rhyglyddiannus, rhyglyddiannol, haeddedigol.

**Desertion**, *s.* (Ll. *desertio*) ymadawiad, enciliad, ciliad, gadawiad, bradgiliad, cil, encil, ffoad, ffoawd ; ymwrthodiad ; ymlithr oddi wrth ei blaid ; ciliad at y gelyn.

**Desertless**, *a.* dihaeddiant, anhaeddiannol, anhaeddol, anhaeddiannus, anhaeddedigol, afryglyddol.

**Desertrice**, } *s.* (o *deserter*) ffoadures, ciliadures,
**Desertrix**, } cilyddes, enciles, ymadawes ; dynes à gilio.

**Deserve**, *v.* (Ll. *deservio*) haeddu, rhyglyddu, teilyngu, dirper, dirperu, gobrynu, gwobrynu, dyrllyddu ; ennill, ynnill ; bod yn deilwng ; bod yn deilwng, yn wiw, *neu* yn haeddiannol o.

This deserves our utmost diligence—mae hyn yn gofyn ein diwydrwydd eithaf.

Thou deservest this honour—teilwng wyt o'r anrhydedd hwn.

**Deserved**, *p. p.* haeddedig, &c.; haeddiannol, haeddedigol, rhyglyddus, teilwng, dyledus, iawn, cyfiawn, gwiw, cywiw, hywiw, addas, cymhwys, cymmesur.

**Deservedly**, *ad.* yn haeddiannol, yn haeddedig ; trwy haeddu, trwy ryglyddu.

**Deserver**, *s.* (o *deserve*) haeddwr, haeddiannydd, teilyngwr.

**Deserving**, *a.* (o *deserve*) rhyglyddus, haeddiannol, haeddol, rhyglyddol, rhyglyddfawr, haeddiannus, rhyglyddiannus, teilwng, teilyngol, dyrllyddol, dyrllydd ; mawr ei haeddiant ; à haeddo ; yn haeddu.

Deserving honour — haeddbarch, gwiwbarch.

**Deserving**, *s.* haeddiant, haeddad, haedd, haeddedigaeth, rhyglyddawd, teilyngad, rhyglyddiad, rhyglyddiant, teilyngdod.

**Deshabille**, *s.* (Ff.) anwisg, llaeswisg, dadwisg, dattrws, boreuwisg, boreuwisg laes, llaesbais.

**Desiccant**, *a.* (Ll. *desiccans*) dysychol, sychol, sychiannol, sychiadol, yn sychu.

**Desiccant**, *s.* dysychydd, sychydd, sychor, sychgyffyr ; meddyginiaeth yn sychu clwyf.

**Desiccate**, *v.* (Ll. *desicco*) dysychu, sychu, sychiadu ; myned yn sychu.

**Dessication**, *s.* (Ll. *desiccatio*) dysychiad, dysychiant, sychiad, sychiant.

**Desiccative**, *a.* (Ll. *desiccativus*) dysychol, sychol, sychiannol ; à sycho ; à ddichon sychu ; o rinwedd *neu* allu i sychu.

**Desiderate**, *v. a.* dymuno, eidduno, chwennych, chwennychu ; hiraethu *neu* awyddu am ; bod âg eisieu ; colli ; hiraethu am beth absennol, dirgel, *neu* annadguddiedig.

**Desideratum**, *pl.* Desiderata, *s.* (Ll.) dymunolbeth, dewisbeth ; chwennychbeth ; peth i'w ddymuno ; peth i'w chwennych ; chwennychiad.

**Desidiose**, *a.* (Ll. *desidiosus*) segur ; dïog, swrth, musgrell.

**Design**, *v. a.* (Ll. *designo* ; It. *designare* ; Ff. *désigner*) bwriadu, amcanu, arfaethu, meddylio, meddylied, meddwl, gofrydu, arfeddu, arfedd ; dyfeisio, dychymygu, dychymyg, arfelu, cynllunio, braslunio, amlinellu, darlunio, tynu cynllun ; llunio, llinellu ; goddeu ; bod yn ei fryd ; bod yn ei feddwl ; bod ar oddeu, ar gyngyd, *neu* ar feddwl ; 'gosod, penodi ; anturio.

**Design**, *s.* bwriad, amcan, arfaeth, arfeddyd, arfedd, meddwl, bryd, cyngyd, goddeu, gofryd, addug, dyben ; dyfais, dychymyg, arfel, darlun ; cynllun, cynddelw, dull, ffurf, llun, rhagfwriad ; perwyl ; anturiaeth.

Schools of design—ysgolion arfel.

Evil design—bwriad drwg, drygfryd.

He has a design on the estate—y mae ei olwg, ei fryd, *neu* ei fwriad ar yr etifeddiaeth.

I had a design to go thither—yr oedd yn fy mryd fyned yno ; arfaethwn fyned yno.

**Designable**, *a.* amcanadwy, arfaethadwy ; dynodadwy.

**Designate**, *v. a.* (Ll. *designo, designatum*) dynodi, gosod allan, nodi allan, arwyddo, arwyddocäu, nodi ; penodi, gosod, gosodi, appwyntio ; dosbarthu ; arddangos, dangos.

**Designate**, *a.* penodedig, gosodedig, arfaethedig ; gwedi ei benodi.

Bishop designate—esgob penodedig, esgob arfaethol.

**Designation**, *s.* (Ll. *designatio*) dynodiad, dynodiant, amlygiad, arddangosiad, dangosiad, penodiad, gosodiad, ordeiniad, arfaethiad ; arfaeth, bwriad, amcan ; amcaniad, arfwriad ; trefniad, hyfforddiad, cyfarwyddiad ; darluniad ; arwyddocâd, arwyddiad, arwyddhad.

**Designative**, *a.* dynodol, dynodiadol, arwyddocaol, arwyddol, arwyddhaol, arwyddocäus, arwyddedigol, darluniadol ; dangosol, mynegol ; à fo yn dangos, hysbysu, *neu* arwyddocäu ; à osodo ; à benodo ; arfaethol.

**Designator**, *s.* (Ll.) cyfrestrydd, cyfeistyddiwr, meistr y chwareuon.

**Designedly**, *ad.* yn fwriadol ; o wir waith goddeu ; o'r gwaith goddeu ; o wir waith

oddeu; o wir fwriad; o wir berwyl; o lawnfryd; o ragfwriad; o fwriad; trwy fwriad; o'i fodd; yn wirfoddol.
Designer, *s.* bwriadwr, amcanwr, arfaethwr; dyfeisiwr, cynlluniwr, lluniedydd, arfelydd, arfelwr, dychymygwr, cynddelwr.
Designfulness, *s.* (o *design* a *full*) llawnder bwriad, arfaeth, *neu* gynllun; arfaethlonder.
Designing, *a.* cyfrwys, cyfrwysgall, dichellgar, twyllodrus, twyllgar, hocedus, bradus; dyfeisgar.
Designing, *s.* bwriad, amcan, arfaeth; cynllun, arfel, dyfais, cynddelw; cynlluniad, arfeliad, dyfeisiad, cynddelwad; brasgynllun, darluniad.
Designless, *a.* dïamcan, difwriad, dïarfaeth, anarfaethol, disylw, anofalus.
Designment, *s.* (o *design*) bwriad, amcan, arfaeth, cyngyd, meddwl, goddeu; cynllun, braslun, arfel, cynddelw; darluniad, lluneddiad, dysgrifiad, llinelliad.
Desinence, *s.* (Ll. *desinens*) diwedd, terfyn, gorphen, diweddiad, terfyniad, paid.
Desinent, *a.* terfynol, diweddol; eithaf, eithafus; isaf, iselaf.
Desipient, *a.* (Ll. *desipiens*) oferol, gogusol, chwareol, chwarëus; ffol, ynfyd; gwagsaw.
Desirable, *a.* (o *desire*) dymunadwy; dymunol, gwiwgais, c[illegible]wiw, eiddunol, hoff, hyfryd, hawddgar, boddus, boddwych, dewisig, dewisol, chwennychol, gwych; i'w ddymuno.
Most desirable things—gorhoffion; pethau mwyaf dymunol.
Desirableness, *s.* dymunolrwydd, dymunoldeb, dymunolder, dymundeb, hyfrydwch, hyfryddedd, dewisoldeb.
Desire, *s.* (Ff. *désir*) dymuniad, dymuniant, damuniad, damuned, dymuned, dymuneb, eidduned, chwant, awydd, ewyllys, gwyllys, gwyllyschwant, ainc, dyhewyd; serch; puch, puchiant, rhybuch, afar, hiraeth; gofyniad, gofyn, cais, erfyn, erfyniad, arch, gweddi, deisyfiad, myn; gwynfyd.
Inordinate desire — trachwant, blys, chwant, dirchwant; chwant *neu* ddymuniad afreolus.
Ardent desire, Earnest desire, } awydd, ainc, chwant, blys, awyddfryd, dirchwant, argyllaeth, adgyllaeth, taer ddymuniad, taer awydd, puchiant, rhybuchiant, mawr awydd, hiraeth.
Hearty desire — meddylfryd calon; dymuniad calon; dymuniad calonog.
Humble desire—ymbil, iawl, eiriawl, eirioled, dymuniad gostyngedig.
Mutual desire—cydchwant; dymuniad o bobtu.
Carnal desire—chwant y cnawd, chwant cnawdol, cnawdolflys, cnodchwant, cnawdwylltrwydd.
Wanton desire—serch anllad, dymuniad trythyll, anlladserch, chwant anllad, anlladchwant, dyre, tesach.
Evil desire — dymuniad drwg; chwant drwg, drygchwant.
Excess of desire—gorchwant, gorfyn, gorawydd, gorflys.
According to one's desire — wrth fodd calon un; yn ol dymuniad un; yn ol meddwl *neu* ewyllys un; wrth wŷn un.
Having an inordinate desire—blysig, trachwantus, chwantachus.
The desire of all nations—dymuniant yr holl genedloedd.
Desire, *v. a.* dymuno, dymuned, chwennych, chwennychu, ewyllysio, gwyllysio, eidduno, damuno, damuned; blysio, chwantu, mynu, hiraethu am, awyddu am, awyddu, darchwantu, pucho, caru; gofyn, ceisio, deisyf, deisyfu, erfyn, erfynio, erchi; dymuno ar; dywedyd am dân.
I desire no more—digon yw genyf; mae yn ddigon genyf; nid wyf yn dymuno rhagor.
He desires to see you—y mae arno chwant i'ch gweled; mae arno chwant eich gweled; y mae efe yn dymuno eich gweled.
To desire earnestly, To desire ardently, } trachwennychu, trachwennych, rhybucho, blysio, awyddu; dyhëu am; bod yn fawr ei awydd am.
More to be desired—gwell; mwy dymunol, mwy dewisol, dymunolach.
Let him desire what he likes—dymuned â ddymuno.
Desired, *p. p.* dymunedig, chwennychedig, &c., hawddgar, hygar, dymunol.
Desired to come—gwahoddedig.
Desireless, *a.* (*desire* a *less*) diddymuniad, dïawydd, dichwant; heb ddymuniad.
Desirer, *s.* dymunwr, damunwr, eiddunwr, eiddunur, ewyllysiwr, gofynwr, gofynydd, deisyfwr, deisyfydd, dymuniedydd, erfyniwr.
Desiring, *p.* yn dymuno, gàn chwennychu, &c.; chwannog, awyddus.
Desirous, *a.* (o *desire*) chwannog, awyddus, blysig, hiraethus, hiraethog; yn dymuno.
Desirous of — chwannog i, awyddus i, blysig i; hiraethus am, hiraethog am, awyddus am; yn dymuno am.
Desirous of learning—chwannog i ddysg; yn chwennych dysg.
Desirous to learn—awyddus i ddysgu.
Desirous of vain-glory—gwag-ogoneddgar.
Being affectionately desirous of you—gàn eich hoffi chwi (1 *Thess.* ii. 8).
To be desirous—bod yn chwannog *neu* awyddus; chwennych, chwennychu, dymuno, ewyllysio, deisyfu, ceisio; bod yn chwennych, yn dymuno, *neu* yn ewyllysio.
Be not desirous of his dainties—na ddeisyf *neu* na chwennych ei ddanteithion ef; na fydd chwannog *neu* awyddus i'w ddanteithion.
He was desirous to see him—yr oedd yn chwennych, yn ewyllysio, *neu* yn dymuno ei weled ef; awyddai am ei weled; dymunai ei weled.
Desirousness, *s.* chwannogrwydd, awyddusrwydd, blysigrwydd; chwant, awydd.
Desist, *v. n.* (Ll. *desisto*) peidio, ymattal, gadaw, gorphwys, gorphwyso, dysbeidio, rhoi heibio, ymbeidio, seibio; sefyll yn llonydd; aros, sefyll.
Let us desist—peidiwn.
To desist from—peidio â; gadael i; ymattal oddi wrth.
Desistance, *s.* (o *desist*) peidiad, paid, peidiant, dysbaid, dysbeidiad, tawl, toliant, gad, ymattaliad, ymattal, seibiad, seibiant.

**Desitive,†** *a.* (Ll. *desitus*) terfynol, diweddol, cloawl.

**Desk,** *s.* (Is. *disch;* S., D., a Sw. *disc;* Al. *tisch;* Ll. *discus;* Gr. *discos*) osgfwrdd, cistfwrdd, ysgrifenfa, ysgrifenfwrdd; darllenfa; areithfa.

Reading desk—darllenfa, darllenfwrdd.

Writing desk—ysgrifenfa, ysgrifgist, ysgrifenfwrdd, cistfwrdd ysgrifenu, ysgrifengist.

**Desk,** *v. a.* argau mewn cist; cistio; trysori.

**Desmine,** *s.* (Gr. *desmê*) math o ddelidfaen à geir yn llosgwy llosgfaloedd, yn benaf ar lanau yr afon Rhein.

**Desmology,** *s.* (Gr. *desmos* a *logos*) gewyniaeth, clymeiaeth; treithawd ar glymeion a gewynau.

**Desolate,** *a.* (Ll. *desolatus*) anghyfannedd, anghyfanneddol, annhrigiannol, annhrefedig, didrefol, didrigolion, heb drigolion, attrefol, attrefedig, didref, didryfedig, anrheithiedig, anial, diffaeth, anneddwag, disathr, dïymsathr, difrodedig; gwedi ei adaw; unig, amddifad, gweddw, dïamgeledd, digarad, digynnorthwy; noeth, llwydwedd, cystuddiog.

Desolate place—anghyfanneddle, diffaethwch, lle anghyfannedd, lle anial, lle unig, anialwch, anialfan, diffaethle, diffaethfa, didryfle.

To make desolate=*Desolate, v. a.*

To make thy land desolate—i wneuthur dy dir yn orwag (*Ier.* iv. 7).

**Desolate,** *v. a.* (Ll. *desolo, desolatus*) anghyfanneddu, diffaethio, diffeithio, anialu; gwneuthur yn anghyfannedd, &c.; difrodi, anrheithio, difwyno, llanastru, didrefu, dibobli, diboblogi, didryfu, dïanneddu, difa, dinystrio, dyfetha, dystrywio; gwneuthur yn ddifrod *neu* anrhaith; amddifadu o drigolion.

**Desolately,** *ad.* yn anghyfannedd, &c.

**Desolateness,** *s.* anghyfannedd-dra, anghyfanneddrwydd, anghyfanneddwch, annhrigiannoldeb, anialder, difrod, anrhaith, dinystr, amddifadrwydd, unigrwydd.

**Desolater,** *s.* anghyfanneddwr, difrodydd, anrheithiwr, dinystrydd, rhebydd.

**Desolation,** *s.* (Ll. *desolatio*) anghyfanneddiad, diffeithiad, anrheithiad, anrheithiant, dyfethiad, difrodiad, difrodiant, difrodaeth; difrod, anrhaith, dystryw, dinystr, hafog; anghyfannedd-dra, anghyfanneddrwydd, anghyfanneddwch; diffaethwch; amddifadrwydd, unigrwydd, pruddineb, tristwch.

The abomination of desolation—y ffieidd-dra anghyfanneddol (*Mat.* xxiv. 15).

To bring to desolation—anghyfanneddu, anrheithio, &c.; gwneuthur yn anghyfannedd.

Babylon is become a desolation — aeth Babilon yn ddiffaethwch (*Ier.* l. 23).

**Desolatory,** *a.* (Ll. *desolatorius*) anghyfanneddol, anrheithiol, difrodol, difrodiadol; à baro anghyfannedd-dra.

**Despair,** *s.* (Ff. *désespoir;* Ll. *despero*) anobaith, dïobaith, gwanobaith, anhyder, gwangred, gwanffydd, digalondid, anymddiried.

**Despair,** *v. n.* anobeithio, dïobeithio, gwanobeithio, gwangredu, gwanffyddio, anhyderu, digaloni, gwangaloni, anghredu, diddarbodi; llaesu yn ei feddwl; bod yn ddïobaith.

Despaired of—anobeithiol, dïobaith, heb obaith o hono *neu* am dano; dïobaith o hano; à roddwyd i fyny; gwedi ei roddi i fyny.

I despair of his recovery—yr wyf yn anobeithiaw o'i wellhant; yr wyf yn anobeithio am *neu* yn nghylch ei wellad; nid oes genyf mo'r gobaith o'i wellhad.

Despairing of his health—gàn anobeithio ei iechyd (2 *Mac.* ix. 18).

Insomuch that we despaired even of life—hyd onid oeddym yn ammheu cael byw hefyd (2 *Cor.* i. 8).

**Despairable,** *a.* anobeithiadwy.

**Despairer,** *s.* anobeithiwr, anobeithydd, gwanobeithiwr.

**Despairful,** *a.* (*despair* a *full*) anobeithlawn, anobeithiol, dïobaith.

**Despairingly,** *ad.* yn anobeithiol, yn ddïobaith, heb obaith; yn llwfr, yn brudd, yn isel, yn ddwys.

**Despairingness,** *s.* anobeithioldeb, anobeithiolrwydd, anobeithiogrwydd; anobaith.

**Despatch,** } *v. a.* (Ff. *dépêcher;* Ysp. a Port.
**Dispatch,** } *despachar*) brysio, prysuro, dyfrysio, ffrystio, llwybro, llwybreiddio; anfon *neu* yru ymaith; anfon, danfon, gyru; cyflawnu, dybenu, gorphen, gorphenu, cwblhau; dwyn i ben; tynu pen ar; marwolaethu, lladd, dïeneidio, dïenyddu, tori; lladd yn ddïattreg, yn ddïoed, *neu* yn ddïohir; gwneuthur ar ffrwst; gwneuthur; tynu llaw oddi wrth.

**Despatch,†** *v. n.* ymdrafod; trin a gorphen.

**Despatch,** } *s.* brys, dyfrys, prysurdeb, cyf-
**Dispatch,** } lymdra, brysiad; rhwyddineb, rhwydd-deb; parodrwydd, esgudrwydd; brysllythyr, brysiar; brysneges; cenad, brysgenad; cenadwri; gorpheniad; †triniad.

Make quick despatch—brysiwch, dyfrysiwch; talmwch.

He makes no despatch—nid yw efe yn gwneuthur dim llwybr; nid oes dim llwybr ganddo ar ei waith.

**Despatcher,** } *s.* brysiwr; lladdwr, dïenyddwr;
**Dispatcher,** } anfonydd ar negesau neilltuol.

**Despatchful,** } *a.* bryslawn, brysiog, brysgar,
**Dispatchful,** } dyfrysgar, dyfrysiog; cyflym, esgud, gweisgi.

**Despection,** *s.* (Ll. *despectio*) edrychiad i lawr; dirmygiad, tremygiad.

**Desperado,** *s.* (o *desperate*) dyn ynfyd-ddewr, dyhiryn dïobaith, adyn dïobaith, ynfydddewryn, gorphwyllwr, direidwas, diriedwas, ffrochydd, dyn gorphwyllog, ffyrnigddyn; dyn dibris; cidymwr; dyn na waeth ganddo beth à ddaw o hano *neu* beth à wnelo; dyn na waeth ganddo gael na cholli; dyn colledig *neu* gyfrgolledig.

**Desperate,** *a.* (Ll. *desperatus*) anobeithiol, dïobaith, anobeithlawn, heb obaith; byrbwyll, ehud, ffrochwyllt, ffroch, ynfyd, ynfydddewr, gwylltnaws, cynddeiriog, ffyrnig, gwythlawn, gorwyllt; ynfyd gàn anobaith; drwg cynnwynol, drwg dïobaith, diriaid, ysgeler; angerddol, enbyd, peryglus, creulawn, achys, dibris; drwg dros ben; colledig.

A desperate fellow=*Desperado.*

I am in a desperate case—yr ydwyf mewn cyflwr peryglus.

Desperate sorrow — dolur gofidus (*Esa.* xvii. 11).

To grow desperate—myned yn ddiddarbod, yn ddïobaith, yn ddibris, *neu* yn ysgeler, &c.; myned yn ddigywilydd ac yn ddïarbed mewn drygioni; ymröi i ddiraswrwydd cyhoeddus; myned na waeth ganddo pa beth â wnelo na pha beth â ddelo o hano.

Desperately, *ad.* yn anobeithiol, yn ddïobaith, yn fyrbwyll, &c.

Desperately wicked—drwg dïobaith.

He is desperately in love—y mae efe yn ddirfawr *neu* yn anfeidrol mewn cariad; y mae efe dros ei ben a'i glustiau mewn cariad; y mae efe ar farw o gariad.

He is desperately sick—y mae efe yn glaf enbyd; y mae efe yn glaf ddïobaith.

They are desperately in debt—y maent dros y pen a'r clustiau mewn dyled; y maent yn ddwfn iawn mewn dyled; y maent mewn dyled hyd eu llygaid; y maent yn ddyled hyd eu llygaid.

Desperateness, *s.* gorwylltedd, gwallgof, gorphwyll, gwallgofrwydd, ynfyd anobaith, ynfydrwydd anobaith, gwallbwyll, cynddeiriogrwydd, ffyrnigrwydd, dibrisdod, cynddaredd, angerdd, tanbeidrwydd, creulonedd, hyder, gwylltnaws; byrbwylledd, ehudrwydd, chwidredd; enbydrwydd, peryglusrwydd, eofnder; ffroch, bâr.

Desperation, *s.* (Ll. *desperatio*) anobeithiad; anobaith; anobeithioldeb; gorwylltiad; gwallgof, gorphwyll, ffyrnigrwydd, cynddeiriogrwydd, ffroch.

Despicable, *a.* (Ll. *despicabilis*) dirmygadwy, tremygadwy; dirmygus, tremygus, dirmygol; i'w ddirmygu, i'w dremygu, i'w ddïystyru; gwael, distadl, bawaidd, dirmygedig, dïystyrus, disenw, dïelwig, salw, gorwael, gresynus, adfydig, bawlyd, brwnt, diwerth; yn haeddu ei ddirmygu, &c.

Despicableness, *s.* dirmygusrwydd, tremygusrwydd, dirmygusedd, dïystyredd, distadledd, gwaelder, dïelwigrwydd, salwedd, gorwaelder, dïelwedd, baweiddrwydd.

Despiciency, *s.* (Ll. *despiciens*) dirmygiad, tremygiad, dïystyrad, bychaniad; edrychiad i lawr.

Despisable, *a.* (o *despise*)=*Despicable.*

Despisal,† *s.* (o *despice*) dirmyg.

Despise, *v. a.* (Ll. *despicio*) dirmygu, tremygu, dïystyru, bychanu, anfrïo, dibrisio, ysgornio, anmherchi, iselu, dïelwi, difenwi; gadaw heibio yn ddirmygus; cyfrif yn ddiddym.

Despisedness, *s.* dïystyrwch, dirmygedigrwydd, tremygedigrwydd; dirmygusrwydd.

Despiser, *s.* dirmygydd, tremygydd, dirmygwr, tremygwr, dïystyrwr, dïystyrydd, bychanwr, anfrïwr, gwatwarwr.

Despising, *s.* dirmyg, tremyg, dïystyrwch.

Despite, *s.* (Ff. *dépit;* Norm. *despite*) mig, mic, malais, gwir falais, drwg ewyllys, drygwyllys, cynddrygedd, dryganiaeth, dryganian, cenfigen, cynghorfen, cynghorfyn, cynghorfynt, dygen, llid, gwg, cas, casineb, cyswrw, gwyth, gwir wenwyn; dirmyg, tremyg, dïystyrwch, anmharch, anfri, sarhad; her, hyr, hew, baidd, heriad, herawd.

In despite—o fic, o fig; o dra mic; o dra fic; o ddirmyg, o her, o hyr, er gwaethaf, o waethaf, o anfodd, yn erbyn ewyllys, yn erbyn, er baidd; yn groes i; yn wrthwyneb i.

To do despite to—bwrw dirmyg, tremyg, *neu* sarhad ar; dangos dirmyg, dïystyrwch, anfri, *neu* sarhad i; dirmygu, tremygu, anmharchu, anmherchi, sarhau, difenwi; gwneuthur sarhad, anfri, *neu* anmharch i.

Who hath done despite unto the Spirit of grace—yr hwn a ddifenwodd Ysbryd y gras.

Despite, *v. a.* micio, blino, cythruddo, cythryblu, coddi, sarhau, tramgwyddo, trabluddio, aflonyddu, poeni, gofidio; gwneuthur o dra fic i.

Despiteful, *a.* maleisus, migus, cenfigenus, cynghorfynnus, cynghorfynus, drygwyllysiol, dïystyrllyd, dirmyglawn, sarhäus, anmharchus, dirmygus, enllibus, trahäus, dygasog.

Despitefully, *ad.* yn faleisus, &c.; gyda mig; o fic, o falais.

To use despitefully — gwneuthur niwed, sarhad, dirmyg, *neu* anmharch; trin yn sarhäus; drygu, niweidio.

Despitefulness, *s.* malais, dryganian, dryganiaeth, drygwyllys, drwg ewyllys, dygen, dygasedd, rhygasedd, trachas, dirgas, casineb, cas, dirgasineb; dirmyg, anmharch, anfri, sarhad, maleisrwydd.

Despiteous,† *a.* (o *despite*) maleisus.

Despoil, *v. a.* (Ll. *despolio;* Ff. *dépouiller*) ysbeilio, anrheithio, difrodi; dihatru, diosg; difuddio, difeddu, difeddiannu; dwyn oddi ar; cymmeryd drwy drais; lladrata, dwyn; ysglyfio.

Despoiler, *s.* ysbeiliwr, ysbeilydd, anrheithiwr, anrheithydd, difrodydd, difrodwr; difuddiwr.

Despoliation, } *s.* (o *despoil*) ysbeiliad, anrheith-
Despoilment, } iad, anrheithiant, difrodiad, ysglyfiad; dihatriad, difuddiad, amddifadiad.

Despond, *v. n.* (Ll. *despondeo*) gwanobeithio, gwangaloni, digaloni, anobeithio, dïobeithio, gwangredu, gwanffyddio; llaesu yn ei feddwl *neu* ei ysbryd; llyfrhau, pruddhau.

Despond, *s.* gwanobaith; anobaith.

Slough of despond, } cors gwanobaith,
Slough of despondency, } cors anobaith.

Despondency, } *s.* gwanobaith, digalondid,
Despondence, } gwangalondid, anghalondid, anobaith; gwanobeithiad.

Despondent, *a.* (Ll. *despondens*) gwanobeithiol, anobeithiol, anobeithlawn, dïobaith, digalon, gwangalon; yn ymollwng; prudd, llwfr, isel, llibin.

Desponder, *s.* gwanobeithiwr, anobeithiwr, un dïobaith.

Desponsate,† *v. a.* (Ll. *desponso*) dyweddïo, cyfneithio.

Desponsation, *s.* (o *desponsate*) dyweddïad, cyfneithiad, ymgrediad.

Despot, *s.* (Gr. *despotês;* Ff. *despote*) gormesdeyrn, ymben, archdeyrn; amherawdwr, ymherawdwr, brenin, teyrn, unben, *neu* dywysog annibynol; gorlyw, arglwydd, arlwydd; gorthrymwr, gormeswr, gormeilydd, rhwysgwr.

Despotic, } *a.* (Gr. *despoticos*) gormesdeyrn-
Despotical, } ol, ymbenol, archdeyrnol; unbenigol; arglwyddaidd, arlwyddaidd, trawsarglwyddol, trawsarglwyddaidd, arglwyddiaethol, gormesol, gormeilus, gorddwyog, gorthrymus, tra-awdurdodol, trahäus; an-

nibynol, gorfodol; unbenaidd, amherodraidd; perthynol i ormesdeyrn; wrth ewyllys; creulawn, dywal.

Despotic government — treislywodraeth, ymbenlywodraeth, gormeslywiaeth, trawslywodraeth, trawsbenaeth, unbenaeth annibynol; llywodraeth ymbenol, arglwyddaidd, amherodraidd, *neu* drawsarglwyddol, &c.

**Despotically,** *a.* yn arglwyddaidd, &c.; fel gormesdeyrn, &c.

**Despoticalness,** *s.* ymbenoldeb; arglwyddeiddrwydd, gormesoldeb, gormeilusrwydd; awdurdod annibynol.

**Despotism,** *s.* (o *despot;* Ff. *despotisme*) awdurdod *neu* allu annibynol; trawsawdurdod, tra-awdurdod, trawsallu; unbenaeth annibynol, ymbenaeth annibynol; gormesdeyrnedd, gormeslywodraeth, gormeslywiaeth, treislywodraeth, trawslywodraeth, trawsbenaeth; ymbenaeth, ymherodraeth; llywodraeth *neu* reolaeth gormesdeyrn; gormes, camrwysg, gormail, gormeiliad, creulonder = llywodraeth à seilir ar ewyllys y penadur yn unig, heb na chyfraith na ffurflywodraeth yn derfyn iddi.

**Despumate,** *v. n.* (Ll. *despumo*) ewynu, dystrychu, molwyno; malu *neu* fwrw ewyn; magu ewyn *neu* ddystrych; myned yn orferw.

**Despumation,** *s.* (Ll. *despumatio*) ewyniad, dystrychiad, molwynad; magiad ewyn *neu* ddystrych; bwriad ewyn; teriad.

**Desquamate,** *v. a.* (Ll. *desquamo*) crisbilio, pilio, digenu, dadgaenu, crisbilio esgyrn.

**Desquamation,** *s.* (Ll. *desquamatio*) crisbiliad, piliad, esgyrn-biliad, digeniad esgyrn.

**Dessert,** *s.* (Ff.) ancwyn, prif-ancwyn; hail o aeron a chwegion.

**Destemper,** *s.* (Ff. *détremper*) golur, teneuliw, paent afloew.

**Destinate,** *v. a.* (*destino, destinatus*)=*Destine.*

**Destinate,** *a.* penodedig, arfaethedig, amcanedig, gosodedig, appwyntiedig, ordeiniedig, penderfynedig.

**Destination,** *s.* (Ll. *destinatio*) bwriad, arfaeth, arfeddyd, amcan, dyben, perwyl; arfaethiad, penodiad, ordeiniad, appwyntiad; yr hyn sy'n mryd un; y ffordd y mae un ar fedr *neu* yn bwriadu myned; y lle amcanedig *neu* arfaethedig.

**Destine,** *v. a.* (Ll. *destino*) arfaethu, bwriadu, amcanu, arfedd, arfeddu, lluniaethu, meddylied; gosod, penodi, penu, ordeinio, appwyntio, eidduno, darparu; dyfarnu, dedfrydu, tyngedfenu, dïofrydu, penderfynu.

**Destinist,** *s.* (o *destiny*) tynged-goeliwr, tyngedgredydd, coelgredydd, coelgrediniwr; credwr mewn tyngedfen.

**Destiny,** *s.* (Ff. *destin, destinée*) tynged, tyngedfen, tesni, coelcwydd; ffawd, cyraith, dyrraith, rhaid, gordden.

The destinies—y Tyngedion, y Tyngedesau =y tair chwaer, Clotho, Lachesis, ac Atropos, merched Nos ac Ebred, à reolent dyngedfen dyn, fel y tybiai yr hen Genedloedd ofergoelus gynt.

Destiny-readers—darllenwyr tesni, daroganwyr, brudwyr, dewiniaid, chwiliogion; y rhai à ddewinant dyngedfen.

I can easily read your destiny—gallaf yn hawdd ddarllen eich tesni; gallaf yn hawdd ddarllen eich planed *neu* eich tynged.

Belonging to destiny—tyngedfenol, tyngedol; perthynol i dynged *neu* dyngedfen.

Of the same destiny—undynged, undyngedfen; o'r un dynged.

**Destitute,** *a.* (Ll. *destitutus*) angenog, angenus, rheidus, amddifad, ymddifad, dïamgeledd, dïymgeledd, diborth; mewn eisieu; âg eisieu *neu* angen arno; tlawd, amdlawd, eisiwedig, diffygiol, llwm, bychodog, dïymadferth, anymadferth, digynnorthwy, difadol, diddym; gwedi ei adaw; unig, digarad, digysur; à adwyd yn unig; anial; gwael; heb.

Left destitute—amddifad, ymddifad, digariad; gwedi ei adaw; à adawyd yn unig *neu* amddifad, &c.

Left destitute of mercy—gwedi ei adaw heb drugaredd.

Destitute of friends—digeraint, digyfeillion; amddifad o gyfeillion; heb gyfeillion.

Destitute of food—mewn eisieu ymborth; amddifad o ymborth.

Destitute of wisdom — ynfyd, annoeth; heb ddoethineb; amddifad o ddoethineb.

**Destitute,** *s.* amddifad; un amddifad, un angenus, un angenog, &c.

**Destitute,** *v. a.* gadael, gadaw; amddifadu, difuddio, difeddu.

**Destitution,** *s.* (Ll. *destitutio*) angen, angenoctyd, eisieu, diffyg, gwall, tlodi, eisiwed; amddifadrwydd, amddifedi, ymddifadrwydd, amddifadiad.

**Destroy,** *v. a.* (Ll. *destruo;* Ff. *détruire*) dystrywio, dinystro, dinystrio, dyfetha; difrodi, difa, ysu, andwyo, gormesu; anrheithio, difwyno, dïelwi, diddymu, dirymio, dirymu; dwyn ar ddim; dymchwelyd, tynu i lawr, bwrw i lawr; dileu, tori, lladd, dryllio, llwyr ddyfetha; malurio, dattod, colli, cystuddio; gwastraffu, afradloni, afradu, dywalltrain; dybenu, diweddu; rhoi terfyn ar.

Till they be utterly destroyed — nes eu llwyr ddifa; nes eu llwyr ddyfetha.

Given to destroying—dystrywgar.

**Destroyer,** *s.* dystrywiwr, dystrywydd, dinystrydd, dinystrwr, dyfethwr, difrodwr, difrodydd, rhebydd, trengidydd.

**Destroyable,** *a.* dystrywiadwy, dinystradwy.

**Destroying,** *s.* dystryw, dinystr; dinystrad, dystrywiad.

**Destruct,**† *v. a.* (Ll. *destruo, destructum*)=*Destroy.*

**Destructibility,** } *s.* dinystredd, hyddinystredd; dystrywgarwch.
**Destructibleness,** }

**Destructible,** *a.* (Ll. *destruo*) dinystradwy, dystrywiadwy, dyfethadwy; à ellir ei ddinystro, ei ddystrywio, *neu* ei ddyfetha.

**Destruction,** *s.* (Ll. *destructio*) dystryw, dinystr, difrod, difrodaeth, dyfeth, dyfethiad, difäedd; dïen, dïenydd, colledigaeth, difancoll, adfail, aball; cwymp, tramgwydd, tranc, trychineb, drylliad, anrheithiad, hafog, anrhaith, lladdfa, aerfa, lladdiad, niwed, amrygoll.

Utter destruction—llwyr ddinystr, cyfrgoll, cyfrgolledigaeth, llwyr golledigaeth, cwbl golledigaeth.

To go to destruction — myned i ddystryw

ffieiddio; peri anghariad, disgariad, *neu* ddiserchrwydd yn un tuag at arall; troi, tynu, *neu* ddwyn ymaith serchiadau un; diystyru, dirmygu, gwrthod, llysu; gwneuthur yn anfoddlawn *neu* anghyfeillgar; gwneuthur yn llai ffyddlawn i; annhrefnu, dyrysu.

**Disaffected**, *a.* drygwyllysiol, dryg-ewyllysiol, anfoddog, anfoddlawn, anfoddlon, angharedig, diserch; yn dwyn drwg ewyllys; yn dwyn drwg wyllys i; drwg ei ewyllys; yn gwyllysio yn ddrwg; yn dàl gwg *neu* gilwg ar; heb ewyllys da i; cenfigenus, cynghorfynus, digus, maleisus; anghyfeillgar.
  To render disaffected to—dwyn i ddiflasu ar.
  A disaffected person—drygwyllysiwr, dryg-ewyllysiwr, drwg ewyllysiwr, gwyllysiwr drwg; dyn anfoddlawn *neu* anfoddog.

**Disaffectedness**, *s.* anghariad, disgariad, angharedigrwydd, diserchrwydd, anserch; drygwyllysioldeb, drygwyllysiolrwydd; anfoddogrwydd, anfoddlonrwydd, anfoddlondeb, anghywiredd, anghariadoldeb.

**Disaffection**, *s.* anghariad, disgariad, anserch, angharedigrwydd, anfoddlonedd, anfoddlonrwydd, diflasdod, anhoffder, casineb, drygwyllys, dryg-ewyllys, cilwg, malais, cynddrygedd; anffyddlondeb, diffyg ffyddlondeb, annheyrngarwch; diffyg *neu* eisieu serch; diffyg ewyllys da; annhrefn; drygnaws, anniwyg.

**Disaffectionate**, *a.* angharedig, diserch, anserchog, drygwyllysiol, anfoddlawn, anfoddog, anghyfeillgar; drwg ei ewyllys; yn gwyllysio yn ddrwg.

**Disaffirm**, *v. a.* gwadu, nagu, nacäu, gwrthddywedyd; dirymu, dirymio, diddymu, anghadarnhau.

**Disaffirmance**, *s.* gwad, gwadiad, ymwad, nag, nacâd, pall, negyfiaeth, gomedd; gwrthbrawf, disbrawf, dadbrawf, disbrofiad; dirymiad, diddymiad, anghadarnhad.

**Disafforest**, *v. a.* dadbrysori, digoedwigo, dadgoedwigo, dadfforestu, difforestu; troi o fod yn goedwig; difuddiaw o freintiau coedwig.

**Disaggregate**, *v. a.* dattyru, dadgyttyru, dadgynnull, dadgrynöi, diwraddu; gwahanu cruglwyth i'w ranau cyfansoddol.

**Disaggregation**, *s.* dattyriad, dadgyngread, dadgyngreawd, dadgyttyriad, dadgynnulliad, dadgrynoad, diwraddiad; gwahaniad *neu* ddydoliad cruglwyth.

**Disagree**, *v. n.* anghytuno, anghyduno, anghydsynio, anghymmodi, anghymmod, anymgydfod, amrafaelio, ymrafaelio, anghordio, anghydgordio, anghydweddu, anghyssoni, croesi; bod â rhagor rhyngddo; bod heb gyttaraw; tybio y gwrthwyneb; tybied i'r gwrthwyneb; bod o dyb arall *neu* amgen; bod yn anghyffelyb, yn anghysson, *neu* yn wrthwyneb.

**Disagreeable**, *a.* anhyfryd; anghytunol, anghytun, anghytûn, anghydfyddus, anghydgordiol, anghydweddus, anghyngweddus, anghydweddol; anymgymmod; diflas, anflasus, cas, annymunol; anghymmeradwy; amrafaelus, anghyfun, anghysson; anaddas, anghymmesur, anghymhwys; anghyfatebol; anmheraidd, anfelus; anhawddgar.
  Extremely disagreeable—anhyfryd iawn, trachas, gorgas, cas iawn, &c.
  Disagreeable hue—caslur, casliw, lliw cas.

**Disagreeableness**, *s.* anhyfrydwch, anhyfrydedd; annymunoldeb; anghytunolrwydd, &c.; diflasrwydd, diflasdod; aflonder, annigrifwch; casineb.
  Disagreeableness of temper—gwrthnaws, tymmer gas.

**Disagreement**, *s.* anghytundeb, anundeb, anghyfundeb, anunoldeb, anghordiad, anghydfod, anghyssondeb, anghydfyddiaeth, anysgymmod, anghymmodlonedd, amrafael, ymryson; gwahaniaeth, amrywiaeth; amryfarn, amrydyb; anghydsyniad; annhebygrwydd, annhebygolrwydd; anaddasrwydd, anghyfaddasdeb.

**Disalliege**,† *v. a.* (o *liege*) anffyddloni.

**Disallow**, *v. a.* pallu caniatäu; llysu, gwrthod, gwrthneu, anghymmeradwyo, anoddef, anaddef; cwlio; anfoddloni mewn peth; collfarnu, beio ar, condemnio, dyfarnu, ceryddu; gomedd ei gydsyniad; gwrthod cydsynio; gwarafun.
  I disallow this—nid yw foddlawn genyf hyn.

**Disallowable**, *a.* anghaniataol, anoddefol, anoddefadwy, llysadwy.

**Disallowance**, *s.* anghaniatâd, anghymmeradwyaeth, llysiant, gwrthodiad, anaddefiad, gwaharddiad, gwahardd, gwardd, gwarafun, gwarafuniaeth.

**Disally**, *v. a.* anghynghreirio, anghydbleidio; cynghreirio *neu* gyfathrachu yn anmhriodol.

**Disanchor**, *v. a.* dadangori, diangori; tynu yn rhydd oddi wrth angor.

**Disangelical**, *a.* anangelaidd, anangylaidd.

**Disanimate**, *v. a.* digaloni, gwangaloni, llyfrhau, anghalonogi; dïeneidio, lladd, dïenyddu.

**Disanimation**, *s.* digaloniad, gwangaloniad, llyfrhad, llyrfhad, anghalonogiad; dïeneidiad, lladdiad, dïenyddiad; marwolaeth.

**Disannex**, *v. a.* dydoli, gwahanu, anghyssylltu, daduno, anghyfuno.

**Disannul**,† *v. a.*=*Annul.*

**Disanoint**, *v. a.* dadeneinio, dïeneinio.

**Disapparel**, *v. a.* dadwisgo, dihatru, diwisgo, diddilladu.

**Disappear**, *v. n.* diflanu, diflannu, difanu, dysmythu, dadymddangos, dismanu; edwi, difancolli; diflanu *neu* ymgiliaw o'r golwg; peidio; peidio âg ymddangos.

**Disappearance**, **Disappearing**, *s.* diflaniad, diflanniad, diflant, difaniad, dysmythiad, dadymddangosiad.

**Disappoint**, *v. a.* somi, siomi, twyllo, seithugio; tori addewid, twyllo dysgwyliad; peri seithug i; dïebrydu; diddymu amcanion.
  To disappoint slightly—lledsomi, gosomi.
  I have been disappointed of provisions—somwyd fi am osymmaith.
  He disappointeth the devices of the crafty—efe sydd yn diddymu amcanion y cyfrwys.
  Without counsel purposes are disappointed—ofer fydd bwriadau lle ni byddo cynghor.

**Disappointed**, *p. p.* somedig, &c.; seithug.

**Disappointment**, *s.* som, somedigaeth, somiant, somiad, somedd, siom, siomedigaeth, siomiant, siomiad, seithugiaeth, seithugrwydd, seithugiant, twyll, twyllofaint, dïebryd, malc, methdaith; diddymiad amcan; anhap; pall cynllun.

Slight disappointment — lledsom, gosom, somedigaeth fechan, ychydig somiant.
Guilty of a disappointment — dïebrydig, dïebredig.
**Disappreciate**, *v. a.* dibrisio, tanbrisio, bychanu, anmhrisio, anwerthfawrogi.
**Disapprobation**, *s.* anghymmeradwyaeth, anghymmeradwyad, anfoddlongarwch, anfoddlonrwydd, anfoddlondeb, anfoddlonedd; anghymmodlonedd, pall; anfoddloniad, annerbyniad, llysiant; bai, cerydd; anhoffder.
**Disapprobatory**, *a.* anghymmeradwyol, anghymmerol.
**Disappropriate**, *a.* anmhriodoledig, annaeroddedig, dydoledig; heb ei briodoli; heb ei ddaerodi.
**Disappropriate**, *v. a.* anmhriodoli, annaerodi, dydoli, gwahanu; difuddiaw o feddiant priodoledig.
**Disapproval**, *s.*=*Disapprobation*.
**Disapprove**, *v. a.* anghymmeradwyo; bod yn anfoddlawn i; bod heb ymfoddloni mewn; anghanmawl, llysu, gwrthod; bwrw ymaith megys anghymmeradwy.
**Disard**,† *s.* (S. *dysig*) baldorddwr, bocsachwr, ofer siaradwr.
**Disarm**, *v. a.* (*dis* ac *arm*; Ff. *désarmer*) dïarfogi, dadarfogi, dïarfu, dadarfu; dïosg o'i arfau; dihatru, dïosg; rhoddi *neu* ddodi ei arfau i lawr; darostwng, gorthrechu.
**Disarmament**, *s.* dïarfogiad, dïarfiad, anarfogiad, dadarfiad, dadarfogiad.
**Disarmed**, *p. p.* dïarfedig, &c.; anarfog, dïarfog, dïarf, dïarfau, dadarfog.
**Disarrange**, *v. a.* annhrefnu, ansefydlu, aflonyddu, dadsefydlu, dadrestru, didwyo.
**Disarrangement**, *s.* annhrefn, terfysg, afreol, afreoledd, afreolaeth, didrefnedd; annhrefniad, aflonyddiad.
**Disarray**, *v. a.* dadwisgo, dihatru, diwisgo, anhatru, diddilladu, dïosg, dihwylo; anaddurno, annhrefnu, dattrefnu, didwyo, anghyfrestru, anghyfrencio, dymchwelyd, terfysgu, tarfu, rhawtio; taflu i annhrefn.
To disarray an army—annhrefnu, anghyfrestru, anghyfrencio, rhawtio, *neu* darfu byddin.
**Disarray**, *s.* adwisg, dadwisg, anwisg, lledwisg, dattrws; anaddurn; annhrefn, terfysg, dyfysgi, cymmysgedd, annybendod, trabludd; anaddurniad, annhrefniad.
**Disassiduity**,† *s.* annyfalwch, anniwydrwydd, diffyg gofal.
**Disassociate**, *v. a.* anghyssylltu, daduno, dadgyssylltu, anuno, gwahanu.
**Disaster**, *s.* (Ff. *désastre*; It. *desastro*) trychineb, anffawd, aflwydd, anhap, annawn, trychni, dryglam, trychlam, drwg ddamwaen, drwg ddygwydd, drwg ddychwaen, drwg dynged, adwyth, echrys;† malldod planed drom.
**Disaster**, *v. a.* taraw â mellni planed annedwydd; mallu, planed-fallu; drygu, aflwyddo, cystuddio, blino.
**Disastrous**, *a.* trychinebus, anffodus, anffodiog, trwch, (*f.* troch), trwstan, annedwydd, anhapus, aflwyddiannus, adwythig; adfydig, anfydus, trallodus, gofidus, helbulus; ansiriol, cethin, gwrm, gwyll, tywyll.
**Disastrousness**, *s.* anffodusrwydd, anffodiogrwydd, trychni, adwythigrwydd, adfydigrwydd, ansirioldeb, &c.
**Disauthorize**, *v. a.* anawdurdodi, dïawdurdodi; difuddiaw o goel *neu* awdurdod; cymmeryd ymaith *neu* ddystrywio awdurdod.
**Disavouch**, *v. a.* gwadu, dïarddelwi, dïarddel; tynu *neu* alw yn ol; gomedd, llysu, nacäu, pallu.
**Disavow**, *v. a.* gwadu, ymwadu â; dïarddelwi, dïarddel, dïarddelw, pallu; gomedd, *neu* wrthod ymarddelw o beth; ymddywadu â; anaddef, anghyfaddef, gwrthod, llysu, pallu, gomedd, nacäu; dywedyd *neu* haeru nas edwyn efe rywun; dywedyd *neu* haeru nas gŵyr efe oddi wrth rywbeth; bwrw ymaith oddi wrth *neu* oddi arno; bod heb ymfoddloni mewn peth.
**Disavowal**, } **Disavowment**, } *s.* gwad, gwadiad, ymwad, ymwadiad, ymwrthodiad; anaddefiad, anghyfaddefiad; haeriad nas edwyn efe rywun, &c.
**Disband**, *v.* difyddino, dadfyddino, dattod byddin, diswyddo milwyr; diswyddo; dadrwymo, gwahanu, dydoli, tori cyssylltiad, tori i fyny; gwasgaru, gwasgar; gollwng, gellwng, *neu* anfon ymaith; ymwasgaru, ymranu, ymddydoli, ymwahanu, ymddifyddino; ymadael â'u gilydd; myned bob un i'w fàn *neu* i'w fangre.
**Disbark**, *v. a.* tirio, glanio, dadlongi; dirisgo, dirisglo; pilio y rhisg ymaith.
**Disbelief**, *s.* anghrediniaeth, anghred, anghoel, anghrededd, gwangred; anhyder, anymddiried, anffyddiad.
**Disbelieve**, *v. a.* anghredu, anghoelio, anffyddio; pallu credu *neu* goelio; anymddiried, anhyderu, gwanffyddio, gwangredu.
**Disbeliever**, *s.* anghredwr, anghredydd, anghredadyn, anghrediniwr, anffyddiwr, anghoeliwr, anghoelydd.
**Disbelieving**, *p.* anghrediniol, digred, anghredol, anghredadin.
**Disbench**, *v. a.* diseddu, dadseddu, difeincio.
**Disblame**,† *v. a.* difeio, dïeuogi.
**Disbodied**, *a.* anghorffedig; dïosgedig o'r corff.
**Disbowel**, *v. a.* diberfeddu, dadberfeddu; tynu allan yr ymysgaroedd.
**Disbranch**, *v. a.* dadgangenu, dadgangu, digangu, dïosgli, dadosgli.
**Disbud**, *v. a.* diflaguro, dadfywullu, difywullu, dadflaguro.
**Disbudding**, *s.* difywulliad, dadfywulliad, dadflaguriad.
**Disburden**, } **Disburthen**, } *v.* difeichio, dadfeichio, dilwytho, dadlwytho, dadbynio; ysgafnhau, esmwytho, esmwythäu, hawshau, digaethiwo, rhyddhau.
**Disburse**, *v. a.* (Ff. *débourser*; o *de* neu *dis* a *bourse*) talu arian; talu *neu* osod arian allan; treulio, gwario, costio, costi; talu allan, talu i maes; dibyrsu, dadbyrsu.
**Disbursement**, *s.* (Ff. *déboursement*) taliad, taliad arian; gosodiad *neu* daliad arian allan; taliad allan; traul, cost; talawd, dibyrsiad, dadbyrsiad, talment.
**Disburser**, *s.* talwr arian, talwr, talawdr, talmentwr, treuliwr, gwariwr, dibyrswr, dibyrsydd.
**Disc**, } **Disk**, } *s.* (Gr. *discos*; Ll. *discus*) gwyneb (yr haul *neu* y lloer); wyneb, clawrwyneb, clawr, ffriw, gweb; lled.
**Discalceate**, *v. a.* (Ll. *discalceatus*) dïarchenu, dïesgidio, dadarchenu; tynu ymaith yr esgidiau *neu* y sandalau.

**Discalceated,** *p. p.* dïarchen, dïarchenog, dïesgidiau, troednoeth.
**Discalceation,** *s.* dïarcheniad, dïesgidiad, dadarcheniad.
**Discandy,** *v. a.* toddi, dadmer, dadleithio.
**Discard,** *v. a.* (*dis* a *card;* Ysp. a Port. *descartar*) diswyddo; troi *neu* fwrw allan o swydd; troi ymaith *neu* ffwrdd; llysu, gwrthod, bwrw heibio; talu ymaith; dïarddelwi, dïarddelw; digeru; digardio; bwrw ymaith *neu* allan y cardiau anfuddiolaf.
**Discarnate,** *a.* (Ll. *dis* a *caro*) anghnawdiedig, dignawdiog, dignawd.
**Disease,** *v. a.* dïorchuddio, dadorchuddio, dilenu, dïamlenu, dïosg, digaesu, dadwisgo, diwisgo, dihatru, noethi, dynoethi, dyasg.
**Disceptation,** *s.* (Ll. *disceptatio*) dadl, ymddadl, dadleu, ymddadleu, dadleuaeth, dadlwriaeth, ymresymiad.
**Disceptator,**† *s.* cylafareddwr, dyddiwr, penderfynwr.
**Discern,** *v.* (Ll. *discerno*) canfod, dirnad, dirnadu, deall, gweled, iawn ganfod; gwybod; barnu, iawn farnu; gwahanu, dosbarthu, gwahaniaethu; gwahanu, barnu, dosbarthu, *neu* wahaniaethu rhwng; ymwybod drwyddo; adnabod; dal sylw; adnabod yn mysg *neu* oddi wrth ereill; gwybod, gweled, *neu* ddeall rhagor, rhagoriaeth, *neu* wahaniaeth rhwng pethau; dadguddio, darganfod, cael allan.
  Easy to be discerned—hawdd ei ganfod, ei ddeall, *neu* ei ddirnad; hywel, amlwg; hyddeall.
**Discerner,** *s.* canfodydd, canfodwr, canfyddwr, dirnadydd, barnwr, barnydd, &c.; à genfydd, à wel, &c.
**Discernible,** *a.* dirnadwy, dirnadadwy, canfyddadwy, dealladwy, canfodadwy, gweladwy, gwahaniaethadwy; hywel, amlwg; à ellir ei ganfod, ei ddeall, *neu* ei ddirnad, &c.
**Discernibleness,** *s.* hyweledd, amlygrwydd, amlygder, amlygedd, canfodoldeb.
**Discerning,** *a.* craffus, craff, deallus, gwybodus, deallgar, synwyrol, treiddiol, treiddgraff, deallgraff, synwyrgraff; craff ei olwg; llygadgraff; yn canfod y cwbl; à genfydd y cwbl; synwyrlym, synwyrgall, edlym, parodbwyll, doeth, call; yn canfod *neu* à genfydd y gwahaniaeth; craff ei ddeall, &c.
**Discernment,** } *s.* dirnadaeth, dirnad, deall,
**Discerning,** } craffder, craffineb; craffder *neu* gyflymder deall; amgyffred, dealltwriaeth, barn; dirnadiad, dealliad, treiddiad; y gallu i farnu pethau; y gallu i wahaniaethu rhwng pethau; gwybodaeth gwahaniaeth rhwng pethau; pwyll gwahan; gwahanedigaeth; treiddgarwch.
**Discerp,**† *v. a.* (Ll. *discerpo*) llarpio, rhwygo, tori; gwahanu, dydoli.
**Discerpibility,** } *s.* hyrwygedd, hylarpedd, dy-
**Discerptibility,** } doledd; bod yn agored i gael ei larpio, &c.
**Discerpible,** } *a.* hylarp, hyrwyg, llarpiadwy,
**Discerptible,** } rhwygadwy; gwahanadwy, dydoladwy; hydor, hyfriw.
**Discerption,** *s.* llarpiad, rhwygiad; gwahaniad, dydoliad; toriad; dadgyfansoddiad; tyniad yn ddarnau.
**Discession,**† *s.* (Ll. *discessio*) ymadawiad.
**Discharge,** *v.* (Ff. *décharger;* Ysp. *descargar;* *dis* a *charge*) dilwytho, dadlwytho; gollwng, rhyddhau, gellwng; gollwng, anfon, *neu* ddanfon ymaith; cenadu ymadael; caniatau myned ymaith; rhoi cenad i ymadael; rhoddi cenad i fyned ymaith; gollwng yn rhydd; gollwng allan; difeichio, dadfeichio; diswyddo; talu, diddyledu; cyflawnu, gwneuthur, gwneyd; ymdywallt, ymarllwys, arllwys, tywallt; tywallt *neu* fwrw allan; ergydio, saethu, gollwng ergyd; digaethiw; anfon allan; symmud; dystrywio; arlanio; gwaghau; peri *neu* wneuthur yn wag; ymollwng, ymryddhau.
  To discharge itself—ymarllwys, ymdywallt, rhedeg, llifo, *neu* ddylifo allan.
  To discharge a debt—talu, talu dyled.
  To discharge a reckoning—talu cyfrif, gildio, talu gild.
  To discharge a duty—cyflawnu, gwneuthur, gwneyd, *neu* dalu dyledswydd; gwasanaethu swydd yn ffyddlawn.
  To discharge from office—diswyddo; diawdurdodi; troi o *neu* allan o swydd.
  To discharge one's conscience—dilwytho, dadlwytho, dadfeichio, difeichio, *neu* ryddhau ei gydwybod; talu ei adduned.
  To discharge of a crime—maddeu bai; rhyddhau, gollwng, gollwng yn rhydd; dieuogi, glanhau, diheuro, cyfiawnhau; rhyddhau oddi wrth fai *neu* drosedd.
  To discharge a gun—gollwng ergyd o ddryll; saethu; bwrw arfau.
  To discharge a pledge—dadwystlo; gollwng *neu* ryddhau gwystl.
  To discharge a vow—talu, cwblhau, *neu* gyflawnu addunedd.
  To discharge one's stomach—cyfogi, chwydu; arllwys ei gylla.
  To discharge a ship—dilwytho *neu* ddadlwytho llong.
  To discharge an obligation—ymryddhau o rwymedigaeth; talu y pwyth.
  I will cause them to be discharged there—yno y dattodaf hwynt (1 *Bren.* v. 9).
**Discharge,** *s.* dilwythiad, dadlwythiad; rhyddhad, gollyngdod, gollyngiad, gollyngiad yn rhydd; rhyddid, rhydd-did, rhydid, rhyddineb; diswyddiad; cenad i ymadael à swydd, à gorchwyl, *neu* à sefyllfa; cenad *neu* ryddid i ymadael; cenad i fyned ymaith; gollyngiad *neu* anfoniad ymaith; trwydded, braint; taliad, tâl; talnod, gollyngeb, derbyneb; cyflawniad, gwneuthuriad; pridwerth; ergyd, ffrwydrad; rhediad, llifad, dylifad, arllwysiad, tywalltiad, ymarllwysiad; dyferlif, rhedlif; crawn, gôr, chwydredd; gollyngfa, agorfa, twll; twll, lle, *neu* ffordd y rhed peth allan drwyddo; gollyngiad allan; dïangfa.
  Discharge (for money paid)—gollyngdod; gollyngeb, derbyniad, talnod.
  Discharge of debt—taliad dyled.
  Discharge of duty—cyflawniad, gwneuthuriad, *neu* daliad dyledswydd; gwasanaethiad swydd yn ffyddlawn.
  Discharge of a gun—ergyd o ddryll; gollyngiad ergyd o ddryll; ergyd dryll, trwst dryll, ffrwydrad dryll.
  Discharge of weapons—bwriad, tafliad, ergydiad, *neu* chwyrnelliad arfau.
  There is no discharge in that war—nid oes bwrw arfau yn y rhyfel hwnw (*Preg.* viii. 8).

Discharge of blood—gwaedlif, gwaedlin, gwaedling.
**Discharger**, *s.* rhyddhäwr, gollyngydd; gollyngwr *neu* anfonwr ymaith; taniwr; saethwr; cyweinyr.
Discharger (in electricity)—gollyngydd, cyweinyr.
Discharger of debt—talwr, talawdr, talmentwr, talwr dyled.
**Dischurch**, *v. a.* dadeglwyso, dïeglwyso; difuddiaw o fod yn eglwys.
**Discide**,† *v. a.* (Ll. *discindo, discidi*) rhanu, gwahanu, tori, briwio.
**Disciform**, *a.* (Ll. *disciformis*) coetanaidd, coetenaidd; tebyg ei lun i goetan.
**Discinct**, *a.* (Ll. *discinctus*) anwregysog, diwregys; gwedi ei ddadwregysu; rhydd, llaes, llac, yslac, dirwym; gwedi ei ollwng yn rhydd; esgeulus, dïogswrth.
**Discind**,† *v. a.* (Ll. *discindo*) tori yn ddau; gwahanu, rhanu, tori.
**Disciple**, *s.* (Ll. *discipulus*) dysgybl; ysgoläig, ysgolor, dylynwr, dylynydd, canlynwr; athrylithgan: *f.* dysgybles.
There was at Joppa a certain disciple—yn Ioppa yr oedd rhyw ddysgybles (*Act.* ix. 36).
**Disciple**, *v. a.* addysgu, dysgu, dysgyblu; gwneuthur dysgybl o; †ceryddu.
Disciple all nations — dysgyblwch *neu* addysgwch yr holl genedloedd; gwnewch ddysgyblion o'r holl genedloedd.
**Disciple-like**, *a.* dysgyblaidd, fel dysgybl.
**Discipleship**, *s.* dysgybldod, dysgyblaeth, athrylithdod, ysgoleigiaeth; cyflwr *neu* ansawdd dysgybl.
**Disciplinable**, *a.* (Ll. *disciplinabilis*) dysgybladwy, dysgadwy, addysgadwy, athrylithgar, hyddysg, hydrin, llywodraethus; à ellir ei ddysgyblu;† hawdd ei ddysgu *neu* ei reoli; hawdd ei gadw dàn ddysgyblaeth; †ceryddadwy, hygosb.
**Disciplinableness**, *s.* hyddysgedd, hyddysgybledd, athrylithgarwch, athrylithgaredd, y cyflwr o fod yn ddarostyngedig i ddysgyblaeth.
**Disciplinants**, *s. pl.* Dysgybliaid=plaid o benboethiaid.
**Disciplinarian**, *a.* (o *discipline*) dysgyblawl, dysgyblaethol; dysgyblaidd; perthynol i ddysgyblaeth; ceryddol.
**Disciplinarian**, *s.* dysgyblwr, dysgyblydd; dysgyblwr llym; à garo ddysgyblaeth, trefn, *neu* reolaeth; un hydrefn; coethyn.
**Disciplinary**, *a.* dysgyblawl, dysgyblaethol, dysgyblaidd, dysgiolin; perthynol i ddysgyblaeth; à berthyna i ddysgyblaeth.
**Discipline**, *s.* (Ll. *disciplina*) dysgyblaeth; rheolaeth; addysg, dysg, dysgeidiaeth, athawiaeth, ysgoleigdod, addysgiad; trefn, iawn drefn, tyn drefn, caeth drefn; cerydd, cystwy, cystwyaeth, cospaduriaeth, cyweiriad.
**Discipline**, *v. a.* dysgyblu, dysgyblaethu; dysgu, addysgu, athrawu, athrawiaethu, hyfforddi, hyfforddio, addysgu, rheoli, trefnu, iawn drefnu; dwyn *neu* gadw dàn drefn; ceryddu, cospi, cystwyo, cyweirio.
**Discipliner**, *s.* dysgyblwr, dysgyblydd; à ddysgyblo, à ddysgo.
**Disclaim**, *v. a.* dïarddelwi, dïarddelw, dïarddel, anarddelwi; ymwrthod, ymwadu, *neu* ymddywad â; gwadu, gwrthod, llysu; pallu, gomedd, *neu* wrthod arddelwi; gwadu hawl, meddiant, *neu* berthynas; dihawlio.
**Disclaimation**,† *s.* dïarddelwad; gwadiad.
**Disclaimer**, *s.* dïarddelydd, dïarddelwr, dïarddelwydd, anarddelwr, gwadwr, gwrthodydd, dihawlwr; gwad, gwadiad, dïarddelwad, dïarddeleb.
**Disclose**, *v. a.* (*dis* a *close*; Ff. *déclorre, déclos*; Ll. *discludo*) dadguddio, egluro, amlygu, annirgelu, dadenhuddo, dadanhuddo, dynoethi, didöi, diguddio, dadhuddo, dïachluddo, dadorchuddio, dïorchuddio, digelu, dihuddo; hysbysu, cyhoeddi, mynegu, dadganu, dangos; dywedyd, yngan, traethu; dwyn i'r goleu, i'r goleuni, i'r golwg, *neu* i'r amlwg; gwneuthur yn hysbys; †agor, egori, deor.
**Disclose**, *s.* dadgudd, dadguddiad, dadorchuddiad, &c.
**Disclosed**, *p. p.* dadguddiedig, &c.; à ddadguddiwyd, &c.; annirgel, amlwg, eglur, hysbys, noeth, dïorchudd; agored, ar daen.
**Discloser**, *s.* dadguddiwr, dynoethwr, eglurydd, amlygwr, &c.
**Disclosure**, *s.* dynoethiad, dadguddiad, dadenhuddiad, dadhuddiad, dadanhuddiad, dadenhudded, egluriad, amlygiad.
**Disclusion**, *s.* (Ll. *disclusus, discludo*) tafliad allan, bwriad allan, cythiad, wffiad, ergydiad.
**Discoast**,† *v. n.* ymadael, gadaw yr oror.
**Discoherent**, *a.* anghysson, anghytun, anghydweddol.
**Discoid**, *s.* (Gr. *discos* ac *eidos*) rhywbeth ar lun coetan; gogoetan.
**Discoid**, } *a.* coetanaidd, coetenaidd; ar
**Discoidal**, } ddull coetan.
**Discoloration**, *s.* dadliwiad, diliwiad, diliwiant, disliwiad, drygliwiad, afliwiad, llychwinad, amliwiad; drygliw, ystaen, gne, anlliw, amliw; newid lliw, gwedd, *neu* hoen; anllewychiad.
**Discolour**, *v. a.* (Ll. *discoloro*) dadliwio, diliwio, disliwio, drygliwio, llychwino, ystaenio, amliwio, newid lliw, troi lliw; troi lliw er gwaeth; peri colli ei liw; newid gwedd, newid gwawr, newid lliw, newid lliwiau, symmud lliwiau.
**Discoloured**, *a.* amliwiog, amliw, amryliw; drygliw, drygliwiog, llychwin, ystaen; à gollodd ei liw.
**Discomfit**, *v. a.* (Ff. *déconfit*) gorchfygu, gorfod, gorfod ar, baeddu, maeddu, rhawtio, ffwyro, dymchwelyd, dadymchwelyd, dadymchwel, goresgyn; ennill y maes ar; cael yr oruchafiaeth, y maes, *neu* y gorfod ar; trechu, athrechu; gyru ar ffo; gyru i ffoi; ymlid ymaith; gwasgaru, tarfu, cilgwthio, curo, cwympo; dryllio, dyfetha, dinystro, dinystrio.
**Discomfit**, } *s.* gorchfygiad, gorfod, gorfod-
**Discomfiture**, } iad, ffwyr, ffwyrad, rhawtiad, trechiad, athrechiad, dymchweliad, dadymchweliad, baeddiad; gwasgariad; gyriad ar ffo, gyriad ymaith; ennilliad y maes, &c.; aerfa, lladdfa, cwymp, dystryw, dinystr; somiant.
**Discomfort**, *s.* anghysur, annyddanwch; tristwch, tristyd, pruddineb, prudd-der, trymder, brwyn, anesmwythder, anesmwythyd, aflonyddwch; gofid, cysteg, cystudd, blinder, poen.
**Discomfort**, *v. a.* anghysuro, annyddanu; peri anghysur, annyddanwch, gofid, tristwch,

trymfryd, *neu* anesmwythder i; gofidio, cystuddio, tristäu, pruddhau, trymhau, trallodi, digaloni, anesmwytho, aflonyddu, poeni.

Discomfortable, *a.* anghysurus, annyddan; gofidus, trallodus, trist, athrist, prudd, anesmwyth.

Discommend, *v. a.* anghanmawl, dadganmawl; beio, beio ar, anghymmeradwyo; lladd ar, rhedeg ar; ceryddu.

Discommendable, *a.* anghanmoladwy, beius, i'w feio, beiadwy, anghymmeradwy, i'w anghymmeradwyo, ceryddadwy, ceryddol.

Discommendableness, *s.* anghanmoliaeth, dadganmoliaeth; beiusrwydd, beiusder, beioldeb, hygyledd, cylusrwydd, hygwyledd, anghymmeradwyaeth.

Discommendation, *s.* anghanmoliaeth, dadganmoliaeth, anghymmeradwyaeth, anghlod, dadganmoliad, anair, drygair, hort, gogan, sarhad, gwarth, gwarthrudd; bai; sen, cerydd, sard, cwyn.

Discommender, *s.* anghanmolwr, dadganmolydd, &c.

Discommodate,† *v. a.* taflu i drafferth; peri anghyfleusder.

Discommode, *v. a.* peri anghyfleusder, anghyfleusdra, afles, anfantais, colled, *neu* niwed i; aflesu, aflesoli, colledu, niweidio; gwneuthur anghymmwynas *neu* sarhad; taflu i anghyfleusdra; gormesu, blino, trafferthu, aflonyddu, cyffröi, annhrefnu, ffeigio.

Discommodious, *a.* anghyflëus; anghymhwys, anaddas, anghyfaddas; anfanteisiol, anghymmwynasol; blinderus, blin, trafferthus.

Discommodity, *s.* anghyfleusder, anghyfleusdra, anghyfleusrwydd; anghymhwysder, anaddasrwydd; anfantais, afles, anghymmwynas, colled, niwed; trafferth, trabludd, aflonyddwch, helbul.

I have cast with myself all my discommodities—fy holl anghyfleusderau a fwriais rhyngof a mi fy hun.

Discommon, *v. a.* anghyttiro; perchenogi cyttir; gwahanu ac amgylchu tir cyffredin; difuddiaw o freintiau lle.

Discomplexion,† *v. a.* newid lliw, newid lliwiau, newid gwedd, symmud lliwiau.

Discompose, *v. a.* aflonyddu, ansefydlu; annhrefnu, dattrefnu, anghymmoni, anghyweirio; cythryblu, cythryblio, cythruddo, terfysgu, cyffröi, cynhyrfu, trallodi, coddi, anesmwytho, anfoddogi; bwrw allan o drefn; †diswyddo.

Discomposition,† *s.* anghyssondeb, anghytundeb.

Discomposure, *s.* annhrefn; annhrefnusrwydd, didrefnedd, annhrefniad, dattrefn, aflonyddwch; terfysg, cynhwrf, cythrwfl, cythrudd, trallod, cymhelri, trabludd, boloch, cyffroad; annhawelwch, anesmwythder; terfysg *neu* gynhwrf meddwl.

Disconcert, *v. a.* somi, seithugio, dïebru, diddymu, dirymu; annhrefnu, aflonyddu, terfysgu, cythruddo, cyffröi, cythryblu; tori *neu* ddiddymu bwriad *neu* amcan; tori ar gynllun; annhrefnu y meddwl; tori.

Disconcertion, *s.* somiad, seithugiad, seithugiant, seithugiaeth, dirymiad, annhrefniad.

Disconformity, *s.* anghydffurfiaeth, anghydffurfiad, anghydymffurfiad, anghyfluniad, anghyssondeb, anghytundeb, anghordiad, anghydgordiad, annhebygoldeb, anghydargwedd, anghyngweddiad, anghydweddiad, dïamweddiad, anghydsafedd.

Discongruity, *s.* anghyssondeb, anghyssonder, anghyssonrwydd, anghytundeb, anaddasrwydd, anghyfaddasrwydd, anghymhwysder, anghydgordiad, anghydsyniad, anghyngweddiad, anghydweddiad, anghyfladdrwydd.

Disconnect, *v. a.* dadgyssylltu, daduno, anghyssylltu, gwahanu, dydoli, digyssylltu, dadgydio, anuno, ysgaru, dadgyfuno, diuno, dibriodoli, anghyfrwymo, digyfieuo.

Disconnection, *s.* dadgyssylltiad, dadunad, anghyssylltiad, dydoliad, gwahaniad, ysgariad, &c.; anundeb, diberthynasedd, anmherthynasedd, anghyfieuad.

Disconsent, *v. a.* anghytuno, anghyduno, anghydsynio, anghydsynied, anghyssynio, anghydgordio; gwahaniaethu, amrywio; peidio â chydsynied.

Disconsolance, Disconsolancy, Disconsolateness, *s.* anghysuroldeb, anghysurwch, anghysur, anghysurusrwydd, digysurdeb; tristlonedd, tristwch, athristedd, prudd-der, pruddineb, pruddni, annyddanwch.

Disconsolate, *a.* (Ll. *dis* a *consolatus*) anghysurus, anghysurol, digysur, anhylon, annyddan; prudd, trist, athrist, tristlawn, anhalar, pruddglwyfus, pendrist; galarus, annyddanol, dilon, dybryd.

Disconsolation, *s.* anghysur, annyddanwch.

Discontent, *s.* anfoddlonrwydd, anfoddlondeb, anfoddineb, anfoddoldeb, anfoddolder, anfodlondeb, anfoddlonedd, anfodd; anesmwythder, aflonyddwch, anghymmodlonedd.

Discontent, Discontented, *a.* anfoddlawn, anfoddlon, anfodlon, anfoddgar, anfoddus, anfoddog, anfoddol, anfoddlongar, anfoddlonus, anhyfodd; anesmwyth, aflonydd; anesmwyth ei feddwl.

Discontent, *v. a.* anfoddhau, anfoddloni, anfoddio, anfoddogi, anfoddloni; peri anfoddlonrwydd, coddi; anesmwytho, aflonyddu; dygnu, gofidio, blino, cythryblu, cythruddo.

Discontentedness, Discontentment, *s.* anfoddlonrwydd, anfoddlondeb, anfoddogrwydd, anfoddoldeb, anfoddlongarwch, anfoddlonder, anfoddineb, anfoddusrwydd, anfoddlondeb; anesmwythder, anesmwythder meddwl, anniddigrwydd, dilonrwydd; dygnedd, cythrudd.

Discontentful, *a.* anfoddlawn; llawn anfoddlondeb.

Discontenting, *a.* anfoddogol, anfoddhaol, anesmwythaol.

Discontinuable, *a.* anmharadwy, anmharhadwy; â ellir ei anmharhau.

Discontinuance, *s.* anmharhad, anmhara, anmharausder; dysbaid, dysbeidiant, dysbeidiad, paid, arddysbaid, tawl, toliant, toliad, seibiant, saib, hamdden, gorphwys, tor, godor, attal, attalfa; gadawiad, gollyngiad, *neu* roddiad heibio; encyd, ennyd, cyfrwng, cyfwng.

Discontinuance of a suit—godor cyfraith, twrf cyfraith.

Discontinuation, *s* anmharhad, anmhara, dibarhad, dysbeidiad, dibarhad; anghyfuneidd, anghyfander, toriad cyfunedd; anghydolrwydd, anolynoldeb, anolyniaeth; tor, toriad, gwahaniad; annefod, anghynnefinder, anarfer.

**Discontinue,** *v.* anmharhau, anmhara, dibarhau, peidio, dysbeidio, arddysbeidio; peidio â pharhau; gorphwyso *neu* ymattal oddi wrth; gadael heibio, rhoi heibio, tori ymaith; gadael peth yn anorphen *neu* heb ei orphen; peidio dros ennyd, encyd, ysbaid, *neu* orig; gadael, gadaw; peidio â chymmeryd; anghyfuno, anghyfanu, tori cyfunedd.

And thou even thyself shall discontinue from thine heritage—ti a adewir hefyd dy hunan, heb yr etifeddiaeth (*Ier.* xvii. 4).

**Discontinuer,** *s.* anmharäwr, dysbeidiwr, disbarhäwr.

**Discontinuity,** *s.* anghydolrwydd, anolyniaeth, anolynoldeb, anghyfander, anghyfunedd, anghydlyniad, anymlyniad, anundeb, toriad cyfunedd.

**Discontinuous,** *a.* anmharhaol, anmharhäus, talmedig; toredig ymaith; anghyfan, anghyfunol, anolynol; gwahanedig, dydoledig, ysgaredig; agored, rhwth, anghyssylltedig.

**Disconvenience,** *s.* anghyssondeb, anghyssonder, anghytundeb, anghydsyniad.

**Disconvenient,** *a.* anghysson, anghyfladd, anghyfladdol.

**Discord,** *s.* (Ll. *discordia;* Ff. *discorde*) anghydfod, anghytundeb, anghydundeb, anundeb, anghyfundeb, anghyfundod, anghydweddiad, anghordiad, anghydgord, anghord, anghyssondeb, anghyssonder, anghynghanedd, anghyssonedd, anghynghan, anghydsain; ymrafael, amrafael, ymryson, cynhen, cyfrysedd, crwysedd, cywrysedd.

Discord (in music)—anghyttonedd, anghyssondeb, anghydgerdd, anghynghanedd, anghyngan, anghydsain, anghydlais, anghord, anghydord, gwrthsain, anghyfunsain.

To be at discord—bod yn anghytun; bod mewn anghydfod; bod mewn amrafael; bod mewn anghytundeb; amrafaelio, anghytuno, anghyssoni, anghordio, anghydgordio, anghydseinio, anghydsynio.

**Discord,** † *v. n.* anghytuno, anghydseinio, anghordio, anghydgordio, anghydsynio; bod yn anghytun, &c.

**Discordance,** } **Discordancy,** } *s.* (Ll. *discordans*) anghytundeb, anundeb, anghydfod, anghyfundeb, anghyfundod, anghyssondeb, anghyssonder, anghyssoniaeth, anghyssonedd, angharedd, anghydweddiad, anghyngweddiad, anghynghanedd, anghynghan, anghydsain, anghydgerdd; gwrthwynebiad, ymrafael, amryson, cyfrysedd, anghar, angharant.

**Discordant,** *a.* (Ll. *discordans*) anghytûn, anghytun, anghytunol, anghyfunol, anghydgordiol, anghordiol, anghynghordiol, anghydsain, anghydseiniol, anghydgerdd, anghydgerddol, anghydlais, digynghan, digynghanedd; anghysson, anghywair, anghyweiriol, croes, gwrthwynebol, anghyttynol.

**Discordful,** *a.* amrafaelgar, ymrysongar, cynhenus, cynhengar, cynhenllyd, cecrus.

**Discounsel,** † *v. a.* anghynghori, gwrthgynghori.

**Discount,** *s.* (Ff. *décompte; dis* a *count*) toliant, toliad, tawl, anghyfrif; tyniad dogn *neu* ryw ran oddi wrth gyfrif *neu* ddyled; tawl *neu* doliant cyfrif; lleihad cyfrif am dâl ar law; colled mewn cyfrif am arian parod; dattyniad.

Discount (as a rule)—anghyfrifiaeth, toliadaeth, toliant.

Discount day—dydd toliant, dydd anghyfrif, dydd dattyniad.

Bank of discount and deposit—ariandy tawl ac addawd; banc toliant ac adneu.

**Discount,** *v.* (Ff. *décompter;* Ysp. *descontar*) toli, anghyfrif, anghyfrifo, dattynu; tynu dogn *neu* ran oddi wrth y cyfrif *neu* y ddyled; colli mewn cyfrif am dâl ar law; lleihau cyfrif am arian; tynu yn ol; tynu oddi wrth.

**Discountable,** *a.* toliadwy, anghyfrifadwy; dattynadwy.

**Discountenance,** *v. a.* anghefnogi, anghaloni, anghalonogi, digaloni, anghysuro; rhwystro, attal, ystwyo, nadael, goluddio, gwahardd i, gwarafun i; anffafrio, gwrthwynebu; dangos anfoddlonrwydd i; dangos yn anfoddog tuag at; anghymmeradwyo, anghanmawl; † gwaradwyddo, cywilyddio, cythruddo.

**Discountenance,** *s.* anghalondid, anghaloniad, anghefnogrwydd, digaloniad, digefnogiad; anghymmeradwyaeth, anghanmoliaeth, anghysur; anffafr, anffafriad, anfoddlonrwydd; gwg, cuwch, soriant; goludd, rhwystr, ystwy.

**Discountenancer,** *s.* anghefnogwr, anghefnogydd, anghalonogwr, &c.

**Discounter,** *s.* toliedydd, anghyfrifydd; â fenthycio arian ar dolion.

**Discounting,** *s.* (o *discount*) toliad, anghyfrifiad; benthyciad arian ar dolion.

**Discourage,** *v. a.* (*dis* a *courage;* Ff. *décourager*) anghefnogi, anghaloni, anghalonogi, digaloni, gwangaloni, anghysuro, digysuro, llyfrhau; anghynghori, gwrthgynghori; darbwyllaw oddi wrth; cadw rhag; goluddio, rhwystro, ystwyo.

To be discouraged—digaloni, gwangaloni; llyfrhau, llaesu, llacäu; myned yn ddigalon; bod yn ddigalon; gwanhau, dïwrygio; cael ei ddigaloni.

Not discouraged—calonog, difraw, cysurus.

And the soul of the people was much discouraged—a chyfyng ydoedd ar enaid y bobl (*Num.* xxi. 4).

**Discouragement,** *s.* anghefnogiad, anghefnogaeth, digaloniad, anghaloniad; anghalondid, digalondid, gwangalondid, anghefnogrwydd, anghysur, tor calon; afrwydd-deb; anhawsder; lludd, goludd, rhwystr, attaliad, ystwy.

**Discourager,** *s.* anghefnogwr, anghefnogydd, digalonwr, digalonydd, &c.

**Discouraging,** *a.* llyfrhaol, anghefnogol, anghalonogol, digalonol, digalonus, torgalonus, anghysurus, digysur.

**Discourse,** *s.* (Ll. *discursus;* Ff. *discours*) ymadrodd, ymddyddan, cydymddyddan; traethawd, treithawd, traith; araeth, araith, arawd; pregeth; ymgom, ymgomiad, siarad, cydsiarad, cyssiarad, chwedl, ymddywediad, cynnadledd, cynnadl, parabl, cyfariaith; ymresymiad, dadl, ymddadl, dadleu, ymddadleu; iaith.

Mutual discourse — ymgom, ymgomiad, cydymddyddan, cymddyddan, cydsiarad, cyssiarad, &c.

Moral discourses, Practical discourses, } ymadroddion bucheddol.

Introductory discourse, Prefatory discourse, } rhagarneth, cynaraeth, rhaglith, rhagdraethawd, rhagdraith, cynarawd, rhagarawd, treithawd rhagarweiniol, araeth ragarweiniol, araith ragweiniol.

Extemporaneous discourse — pregeth ddifyfyr, pregeth ddiragfyfyr; ymadrodd difyfyr, disymmwth, *neu* ddisyfyd.

The discourse of Cicero on old age—traethawd Cicero ar henaint; traith Cicero am henaint.

Discourse, *v. n.* ymadroddi, ymadrodd, ymddyddan, cydymddyddan, siarad, siared, chwedleua, ymchwedleua, ymgomio, parlio, cyd-siarad; traethu, treithu, areithio, parablu, llefaru, llafaru; pregethu; ymresymu, cymhwyllo; cynnadlu, cynnadleddu.

To discourse extempore, To discourse impromptu, } ymadroddi *neu* lefaru yn ddifyfyr; rhygomio.

Discourse,† *v. a.* ymddyddan *neu* ymadroddi am; siarad yn nghylch; trin.

Discourser, *s.* ymadroddwr, ymddyddanwr, ymgomiwr, siaradwr; areithiwr, areithydd, llefarwr, llefarydd, arodydd, parablydd; traethwr, treithydd, traethodwr; pregethwr.

Discoursive, *a.* rhesymiadol, ymresymol, ymresymiadol, cymhwylliadol, cymhwyllus; ymadroddol, ymddyddanol, ymgomiol, cydymddyddanol, cymddyddanol; siaradus, siaradgar; treithol.

Discourteous, *a.* anfoesgar, difoes, anfoesog, anfoesol, anfwyn, anfoddus, anfoddgar, ansyber, ansyberw, anfoneddigaidd, anhyfoes, anfoeswych, anghyflys, anhyfwyn, anghyweithas, anhynaws, anwar, annhirion, taiog, taiogaidd; drwg ei foes; heb foesau da.

Discourtesy, *s.* anfoesgarwch, anfoesogrwydd, anhyfoesedd, anfoneddigrwydd, anfoddgarwch, anysberwyd, anfoesder, anfoneddigeiddrwydd, &c.; drygfoes, anfoes; anmharch, sarhad, anfri; anghymmwynas.

Discourtship,† *s.* anmharch, sarhad.

Discous, *a.* (Ll. *discus*) dysglaidd, fal dysgl; llydan; gwastad; llydan-grwn, gwastadgrwn.

Discovenant, *v. a.* dadgyfammodi, dadammodi; diddymu cyfammod.

Discover, *v. a.* (*dis* a *cover*; Ff. *découvrir*) darganfod, dadguddio, dadenhuddo, dadhuddo, dadanhuddo, dadencuddio, egluro, annirgelu; cael, cael allan, chwilio allan, olrhain; mynu gwybodaeth o; mynu cael gwybodaeth o; mynu gwybod; gweled, canfod, amlygu, dïargelu, digelu, disguddio, selu, syllu, ysbeio, ysbïo, dangos; dwyn i'r goleu, i'r golwg, *neu* i'r amlwg; dyfod o hyd i; dadorchuddio; peithio, fforio.

Discoverable, *a.* canfyddadwy, canfodadwy, darganfodadwy, olrheinadwy, dadguddiadwy, &c.; â ellir ei gael allan, &c.; hywel, amlwg, gweladwy, dirnadwy.

Discoverer, *s.* darganfyddwr, dadguddiwr, dadenhuddwr, dadhuddwr, olrheiniedydd, olrheiniwr, amlygwr, amlygydd, amlygiedydd, olrhëwr; â gaffo *neu* â chwilio allan beth dirgel; chwiliwr allan, caffaelydd allan; fforiwr, fforiedydd, peithiwr, peithydd, ysbeiwr, ysbeiedydd.

Discoverture, *s.* (*dis* a *coverture*; Ff. *découvert*) dattudded, anghowyll; bod heb fod dan chudd, nawdd, *neu* awdurdod gwr.

Discovery, *s.* dadguddiad, darganfyddiad, darganfodiad, dadenhuddiad, dadanhudd, dadenhudd, dadanhudded, dadenhudded, dadhuddiad, dadencudd, dadencuddiad, amlygiad, annirgeliad, dynoethiad, olrheiniad, caffaeliad allan, chwiliad allan, canfod, canfyddiad, darganfod; gwybodaeth, canod.

Discredit, *s.* (*dis* a *credit*; Ff. *discrédit*) anghlod, anurddas, achlod, gwarth, gwarадwydd, gwarthrudd, mefl, anmharch, dirhydedd, anair, drygair, gogan, dirmyg, enllib, hort, meflwriaeth; disgred, disgoel, anghoel, anymddiried.

Discredit, *v. a.* gwarthruddo, gwaradwyddo, gwarthäu, anurddo, anharddu, diwyno, peri gwarth, gwarthrudd, cywilydd, gwaradwydd i; dwyn anair, drygair, anghlod ar; anfrio, difrio, goganu, hortio, enllibio, dïanrhydeddu, sarhau, difenwi, anmherchi; rhoi anair, drygair, *neu* anghlod i; dywedyd gair twn am; dibrisio, dirmygu, bychanu; anghoelio, anghredu, disgredu, disgoelio; ammheu gwirionedd; peri anghoelio; peri anghoel ar; diddymu *neu* ddirymu cred *neu* awdurdod.

Discreditable, *a* gwaradwyddol, gwarthruddol, gwarthlawn, gwarthus, gwarthruddus, anhyglod; â drygair *neu* anair iddo.

Discreet, *a.* (Ll. *discretus*; Ff. *discret*) call, synwyrol, synwyrgall, doeth, pwyllog, pwyllig, pwyllus, hybwyll, amgall, amwel, deallgar, deallus, ystyriol, ystyrgar, sad, cynghorus, synwyrddoeth, synwyrbell, synwyrlawn, synwyrus, dosbarthus, diledfryd, prudd, dysgall, callus, dwysbwyll, craff; syml, gwyliadwrus, dichlyn, gochelgar, gwagelog; cynnil, celfydd, cymhen, gwybodus, cyfarwydd.

Discreetly and warily—yn ddiesgeulus yn ddarbodus.

Very discreet—dwysgall; call iawn, &c.

Discreetness, *s.* callineb, callder, calledd, callusrwydd, pwyllogrwydd, pwylligrwydd, pwyllusrwydd, synwyroldeb, &c.

Discrepance, Discrepancy, } *s.* (Ll. *discrepantia*) gwahaniaeth, anghydfod, anghytundeb, anghyssondeb, anghyssonder, anghydffurfiaeth, amrafael, anghydgordiad; gwrthwynebedd, gwrthwynebrwydd, croesineb, gwrthrywiaeth, gwrthedd.

Discrepant, *a.* (Ll. *discrepans*) anghyson, anghytûn, anghytunol, anghydunol, anghydffyddus, anghydfodol, gwahanol, gwrthwynebol, gwrthwyneb, croes.

Discrete, *a.* (Ll. *discretus*) gwahanredol, gwahanedig, gwahanol, dydoledig, dosbarthedig, dydol, neilltuedig; ar wahan, ar ddydol; gwahaniadol.

Discrete,† *v. a.* gwahanu, gwahanredu, dydoli.

Discretion, *s.* (Ff.; Ll. *discretio*) callineb, callder, calledd, synwyr, synwyroldeb, callrwydd, doethineb, doethder, pwyll, dysbwyll, ymbwyll, pwyllineb, pwylledd, pwylligrwydd, pwyllogrwydd, hybwylledd, ystyriaeth, lledfrydedd; rhyddid diderfyn; rhyddid i wneuthur â fyno; gwahaniad, dydoliad; callineb a gwybodaeth.

At discretion—heb ammodau, yn ddiammod, yn ddïammodol; ar drugaredd

megys y bernir yn gymhwys, yn gymhwysaf, yn gymmesur, *neu* yn gymmesuraf; i'w ryddid.

**At one's own discretion**—fel y myno un ei hun; ar ddewisiad un ei hun; wrth ei ewyllys ei hun; yn ol ei ewyllys ei hun; fel y gwelo un yn gymhwysaf; fel y gwelo un yn gymmesur; fel y barno un yn oreu; yn ol ei ystyriaeth ei hun.

**To live at discretion**—byw wrth ei fympwy; byw wrth eu mympwy; byw wrth ei ewyllys ei hun; byw fel y myno; byw fel y myno un ei hun.

**By his discretion**—yn ol ei ystyriaeth ei hun; fel y gwelo efe fod yn iawn; fel y barno efe yn oreu; yn ol y synwyr à rodded iddo.

**As he thinketh most convenient in his discretion**—fel y gwelo efe fod yn gymmesur.

**As the minister in his discretion shall think fit**—megys yn neall y gweinidog y bernir yn gymhwys.

**Without discretion**—heb synwyr, disynwyr, ansynwyrol, dibwyll, anghall, annoeth, ffol, ynfyd, syml.

**He will guide his affairs with discretion**—wrth farn y llywodraetha efe ei achosion (*Salm* cxii. 5).

**Discretion shall preserve thee**—cynghor a'th gynnal (*Diar*. ii. 11).

**Discretionary,** } **Discretional,** } *a.* rhydd i wneuthur à fyno; dïammodol, anammodol, diderfyn, annherfynol, digyfyngol, digyfyng; yn ol fel y bernir yn gymhwys, yn gymmesur, yn gall, *neu* yn ddoeth; fel y tybir yn oreu *neu* gymhwysaf; yn ol ei synwyr, ei ddeall, *neu* ei ymbwyll; i'w lywodraethu gàn synwyr yn unig.

**Discretionary power**—gallu diderfyn *neu* annherfynol; gallu heb iddo derfyn amgen synwyr, doethineb, callineb, ewyllys, *neu* fympwy un ei hun; gallu i wneuthur fel y bernir yn gymmesur.

**Discretionarily,** } **Discretionally,** } *ad.* yn ddïammod, yn ddïammodol, heb ammodau; ar drugaredd; fel y bernir yn iawn, yn gymhwys, *neu* gymmesur; i'w ryddid; yn ol ei synwyr a'i ddeall.

**Discretive,** *a.* (Ll. *discretus*) gwahaniadol, dydolus, dosbarthol, dosbarthus, gwahanedigol, dosbarthedigol, neilltuedigol, dadgyssylltiol; gwahanol, gwahanedig, gwahan.

**Discriminable,** *a.* gwahanadwy, dydoladwy; dosbarthadwy; à ellir eu gwahanu, eu dydoli, *neu* eu dosbarthu; à ellir eu hadnabod y naill oddi wrth y llall.

**Discriminate,** *v.* (Ll. *discrimino*) gwahaniaethu, gwahanredu, gohanredu, gwahanredoli, dynodi, dosbarthu, parthiannu, gwahannodi, gwahanoli, darnodi; gwahanu, neilltuo, dydoli, gohanu; rhoi nod gwahan; gwneuthur gwahaniaeth; gwneuthur nod gwahaniaeth; nodi gwahaniaeth; parthiannu, parthiannuso, parthredu, parthrediannu, parthreduso, parthrediannuso.

**Discriminate,** *a.* (Ll. *discriminatus*) gwahanredol, gwahanol, gohanredol, gwahan, gwahaniaethol, gohanol, gwahannodedig; gwahanedig, dydoledig, parthrediannus.

**Discriminateness,** *s.* gwahanredolrwydd, gwahanredoldeb, gwahanedigrwydd, gwahander, gohanred, gwahanred, gwahanoldeb, gwahanolrwydd, gwahaniaeth, neilltuolrwydd, dynodoldeb; eglurder; parthiannusedd, parthredusedd, parthrededd, parthrediannusedd.

**Discriminating,** } **Discriminative,** } *a.* gwahaniaethol, gwahanredol, gohanredol, gwahannodol, rhagornodol, dosbarthol, gwahanol, dynodol, nodiannol, nodweddol, neilltuol, gwahan, priod; parthiannus, parthiannol, parthrediannol, parthrediannus, parthedigol, parthredus; à wnelo wahaniaeth.

**Discrimination,** *s.* (Ll. *discriminatio*) gwahaniaeth, gwahanred, gohanred, gwahan, gwahanedigaeth, gwahanredoliaeth; gwahannodiad, dynodiad, gwahaniaethad, dosbarthiad, gwahanredoliad, gwahaniad, dydoliad, neilltuad; dosbarth, amrywiaeth; rhoddiad nod gwahan; nodeb, arwyddnod; parthrediant, parthedigaeth, parthrediad, parthred.

**Discriminator,** *s.* gwahaniaethwr, gwahaniaethydd, gwahanredydd, &c.

**Discriminous,†** *a.* anturus, peryglus, enbydus.

**Discrown,** *v. a.* dadgoroni, digoroni.

**Discs,** *s. pl.* (Ll. *discus*) coedrwyon, hydrwyon.

**Discubitory,** *a.* (Ll. *discubitorius*) gogwyddol, lledorweddol; yn ei ledorwedd.

**Disculpate,** *v. a.* (Ff. *disculper*; Ll. *dis* a *culpo*) difeio, dadfeio, diheuro, glanhau, cyfiawnhau, dïeuogi, digylu; rhyddhau oddi wrth fai.

**Disculpation,** *s.* difeiad, dadfeiad, cyfiawnhad; rhyddhad oddi wrth fai.

**Disculpatory,** *a.* difeiol, dadfeiol, rhyddhaol, diheurol.

**Discumbency,** *s.* (Ll. *discumbens*) lledorweddiad, lledorwedd=gorweddiad ar dàl elin i fwyta, yn ol arfer yr hynafiaid.

**Discumber,** *v. a.* (*dis* a *cumber*) difeichio, dadfeichio, dadrwystro, dirwystro, diluddio, dilwytho; rhyddhau oddi wrth rwystr, rhwystrau, baich, *neu* lwyth.

**Discure,†** *v. a.* dadguddio, darganfod, canfod.

**Discurrent,†** *a.* anghylchredol; anghymmeradwy.

**Discursion,** *s.* (Ll. *discursio*) amrediad, damrediad, darymrediad, amwibiad, amdrampiad, amdramwy, amdramwyad, tramp, tramwy.

**Discursist,†** *s.* (Ll. *discursus*) dadleuwr, rhesymydd, ymresymwr.

**Discursive,** *a.* (Ysp. *discursivo*, o'r Ll. *discurro*) amredol, damredol, darymredol, gwibiog, gwibiol, amwibiog, crwydrol, anwadal, ansefydlog; cymhwyllus, cymhwylliadol, rhesymiadol, ymresymol, cymhwyllol; à elo yn mlaen oddi wrth bethau adnabyddus at bethau anadnabyddus.

**Discursiveness,** *s.* gwibiogrwydd, ansefydlogrwydd; cymhwylledd, cymhwylloldeb, ymresymoldeb, cymhwyllusrwydd, arbwyllineb.

**Discursory,** *a.* cymhwylliadol, cymhwyllol, cymhwyllus, rhesymiadol, ymresymol, rhesymol.

**Discus,** *s.* (Ll.; Gr. *discos*) coetan, coeten, taflrwy, llechen dafl; gwyneb (yr haul *neu* y lloer); wyneb, clawr, clawrwyneb, gweb, ffriw; gwyneb blodeuyn; dysgl.

**Discuss,** *v. a.* (Ll. *discutio*, *discussum*) holi, chwilio, trin, arholi; holi yn fanwl; chwilio yn ddyfal; ymresymu, dadleu, dadlu, ymgomio, *neu* ymholi yn nghylch; rhesymu; ymdrin â; chwalu, gwasgaru; chwalu a chwilio; amlygu, egluro, eglurhau; gogrynu,

trychwilio, trychwalu; chwilfriwo, tori; cylafareddu; †ysgwyd ymaith.
To discuss a tumour — chwalu chwydd, gwasgaru chwydd.
Discusser, *s.* chwiliwr, chwiliedydd, holwr, ymresymwr, dadlydd, &c.
Discussion, } *s.* (Ll. *discussio*) holiad, chwiliad,
Discussing, } arholiad, ymresymiad, ymholiad, dadl, dadleuad, ymofyniad, triniad; dattodiad cwlwm *neu* anhawsdra; amlygiad, eglurhad; chwaliad, gwasgariad; trychwiliad, trychwaliad; cylafaredd.
Discussive, } *a.* chwaliadol, gwasgarol, try-
Discutient, } chwaliadol; yn chwalu, yn gwasgaru; âg yddo rinwedd i chwalu crawn *neu* chwydd.
Discussive, } *s.* chwalgyffer, chwalgyffyr;
Discutient, } meddyginiaeth i chwalu chwydd, crawn, *neu* gornwyd.
Disdain, *v. a.* (Ff. *dédaigner;* Ll. *dedignor*) dirmygu, tremygu, dïystyru, dibrisio, annheilyngu; gwrthod gyda dïystyrwch; gwrthod yn ddïystyrllyd; ffieiddio, bychanu, dïelwi; bod yn anwiw, yn annheilwng, yn ddïystyrllyd, yn anghymmeradwy, *neu* yn fach ganddo; cyfrif yn annheilwng; ysgornio, iorni.
Disdain, *s.* dirmyg, tremyg, dïystyrwch; dibrisdod, dïystyredd, annheilyngrwydd; ffieiddiad, ffieidd-dod; traha, tra, balchder, rhyfyg, uchder meddwl, uchder ffroen, trahausder, ysgorn, orn.
Disdainful, *a.* dïystyrllyd, dirmygol, tremygol, ysgornllyd, dïystyrol, dirmygus; llawn dirmyg a dïystyrwch; ffroenuchel, trahäus, sarhäus, gwatwarllyd, gwatwarus, balch, uchelfalch, coegfalch, ffrom, effrom, digllawn.
Disdainful scoff—ffroenwawd.
Disdainfulness, } *s.* dirmyg, tremyg, dïystyr-
Disdaining, } wch, tremygiad, dïystyredd, dirmygoldeb, tremygolrwydd; trahausder, ucheldrem, coegfalchder, coegfalchedd, ffroenuchder.
Disdiapason, } *s.* (o *diapason*) dygyngherdd,
Bisdiapason, } dygydgerdd, dygynghan.
Disease, *s.* (*dis* ac *ease*) clefyd, afiechyd, dolur, haint, clwyf, anhwyl, anhwyldeb, anhwylder, gwst, selni, salder, saldra, salwch, anmhwynt, anhawnt, anardymmer, annhymmer, echur, hwyl ddrwg, drwg ansawdd, anniwyg, clefni; †anesmwythder, aflonyddwch.
An incurable disease—clefyd anaele, clwyf anaele, clefyd anwelladwy.
The foul disease, } y frech fawr, y
The venereal disease, } frech ffreinig, y frech Ffrengig, anlladwst, chwantachglwyf, llosfrech, poethwst, poethglwyf, haint y trythyllwch.
Radical disease—sylglefyd, sylwaew, sylglwyf, clefyd gwreiddiol.
Malignant disease — echryshaint, mallhaint, echrysglwyf, clefyd echryslawn.
Contagious disease — haint llŷn, haint glynol, haint llynol, haint cael, clefyd cael, clefyd llusg, haint ymlynol, cyghlwyf, cynghaint.
Loathsome disease — ffieiddglwyf (*Salm* xxxviii. 7).
An evil disease—aflwydd (*Salm* xli. 8).
Who healeth all thy diseases—yr hwn sydd yn iachäu dy holl lesgedd (*Salm* ciii. 3).
Disease, *v. a.* gwneuthur yn glaf; peri yn glaf; gwneuthur yn anhwylus; peri anhwyldeb: anhwylio, heintio, dolurio, clwyfo, poeni; anesmwytho, aflonyddu; gwneuthur yn anesmwyth; annhrefnu.
Diseased, *a.* claf, afiach, afiachus, clwyfus, dolurus, anhwylus, anhwyliog, clefyca, aniach, sal, heinnus, heintus, heintlyd, gystog, clafus; drwg ei hwyl; mewn anhwyl; mewn anhwyldeb.
Diseasedness, *s.* clefni, afiechyd, clefyd, clwyfiant, anhwyldeb, anhwylder, anhwyl, selni, saldra, dolur, clwyf, haint, clefwch; heintusrwydd, clafusrwydd, llesgedd, anardymmer, clefryd.
Diseaseful, *a.* heintlawn, heinniog, heintiog, heintddwyn, heintddygol, clefydlawn, llawn afiechyd; anesmwythol, aflonyddol.
Diseasement, *s.* anesmwythder, anesmwythyd, aflonyddwch; blinder, anghyfleusdra, anghyfleusder.
Disedged, *a.* anfiniog, difin, difiniog, pwl, dïawch, anawchus.
Disembark, *v.* (*dis* ac *embark;* Ff. *désembarquer*) tirio, glanio, arlanio, dadlongi, dadforio; myned i dir; dyfod i dir; myned i'r lân; dyfod i'r lân; disgyn o long; rhoddi ar y lân; bwrw i dir; dilwytho, dadlwytho; ymadaw *neu* giliaw oddi wrth amcan *neu* blaid; gadaw gorchwyl *neu* antur.
Disembarkment, *s.* tiriad, glaniad, arlaniad, dadlongiad, dadforiad; dilwythad, dadlwythad; disgyniad o long; dyfodiad *neu* fynediad i dir.
Disembarrass, *v. a.* dirwystro, dadrwystro, diddyrysu, dad-ddyrysu, dadrysu, dinidro, diluddio, dadluddio, rhyddhau, tynu yn rhydd, dirwydo, annhrallodi.
Disembarrassment, *s.* dirwystrad, dadrwystrad, diddyrysiad, dad-ddyrysiad, dadrysiad, dinidrad, dinidredd, annidredd, rhyddhad: annhrallod.
Disembay, *v. a.* dadfachwyo, difachwyo; ymryddhau o ebach, machwy, *neu* forgilfach.
Disembellished, *a.* anaddurnedig, diaddurn, anaddurnog.
Disembitter, *v. a.* dadchwerwi, dichwerwi; melusu.
Disembochure, *s.* (Ff. *embochure*) aber, ceg afon, geneu afon, ymarllwysfa.
Disembodied, *a.* anghorffedig, digorffedig, digorffol; dïosgedig o'r corff; gwedi ymddïosg o'r corff; gwedi ei ddïosg o'r corff; gwedi ei ryddhau oddi wrth y corff; gwahanedig, dydoledig.
Disembody, *v. a.* anghorffori, dadgorffori, digorffi, disgorffori; difuddiaw o gorff; rhyddhau o'r cnawd; gollwng yn rhydd.
Disembogue, *v.* (Ff. *déboucher; dis,* a Ff. *bouche*) ymarllwys, aberu, ymallwys, ymarlloes, ymarllocsi; ymdywallt, ymforio, rhedeg; arllwys, allwys, arllwyso, tywallt, tywallt allan, llifeirio.
To disembogue into the sea—ymarllwys i'r môr; rhedeg i'r môr; ymforio, aberu.
Disemboguement, *s.* ymarllwysiad, ymarllwys; aber, arllwysfa.
Disembosom, *v. a.* dadfonwesu, dadfynwesu, difonwesu, difynwesu.
Disembowel, *v. a.* diberfeddu, dadberfeddu; tynu allan o'r perfedd *neu* ymysgaroedd; tynu y perfedd allan.
Disembowered, *a.* anghelyddog, anwasgodedig.

To dispose of in marriage—rhoi yn briod; rhoi mewn priodas; rhoi i briodas; rhoddi i'w phriodi; rhoi yn mhriodas; priodi â.

To dispose of by will—rhoddi drwy lythyr cymmyn; rhoddi mewn ewyllys; cymmynu, ewyllysio, gwyllysgedu.

To dispose of to another—trosglwyddo, trosi, *neu* roddi i arall; ymadaw â pheth i arall; arallu peth.

To dispose one to do a thing—dwyn, tynu, gogwyddo, *neu* blygu un i wneuthur peth; cael gàn un wneuthur peth.

To dispose one to *or* for sleep—peri *neu* ddwyn cwsg ar un; hwylio un i gysgu.

To dispose one's self to do a thing—ymbarotöi, ymddarparu, *neu* ymwregysu i wneuthur peth; ymröi i wneyd peth.

How will you dispose of this? — pa ddefnydd a wnewch chwi o hyn? at ba ddefnydd y rhoddwch *neu* y gosodwch hyn o beth?

How will you dispose of yourself the while?—beth a wnewch chwi â'ch hunan yn y cyfamser? pa fodd y treuliwch yr amser?

How will you dispose of your son?—beth a wnewch chwi o'ch mab? yn mha sefyllfa *neu* alwedigaeth y gosodwch eich mab? pa fodd yr ydych yn myned i ddwyn eich mab i fyny? beth a wnewch chwi â'ch mab?

Man purposes and God disposes—meddwl dyn, Duw a'i terfyn.

Dispose,† *v. n.* bargena; ammodi.

Dispose,† *s.*=*Disposal, Disposition.*

Disposed, *p. p.* trefnedig, â drefnwyd, wedi ei drefnu, &c.; trefnus; creddol; â'i fryd ar; â'i duedd at; -frydig, -fryd.

Piously-disposed — duwiolfrydig, duwiolfryd; o duedd crefyddol; duwiolgar.

Ill-disposed — annhueddol, anwyllysgar, anewyllysgar, drygwyllysiol, dryg-ewyllysiol, drygfrydig, drygdueddol; anhwylus; heb duedd *neu* dueddiad ynddo; drwg ei ewyllys; yn gwyllysio yn ddrwg.

To be disposed to—tueddu at; gogwyddo at; bod ar oddeu; bod â'i fryd ar; bod â'i fwriad ar; chwennychu, ewyllysio, gwyllysio, mynu.

To be disposed of—ar werth; i'w werthu; i gael ei werthu; i'w roi ymaith, &c.

How is he disposed?—pa fodd y mae efe yn tueddu? pa ffordd y mae ei duedd ef? at bwy y mae efe yn gogwyddo *neu* yn tueddu? gyda phwy y mae efe yn pleidio? at ba du y mae efe yn ystlysu? pa naws sydd ynddo? at bwy mae ei duedd *neu* ogwydd?

To feel disposed—clywed ar ei galon; tueddu, gogwyddo; bod yn barod *neu* dueddol i; teimlo awydd; clywed awydd.

To be disposed—clywed ar; gogwyddo, tueddu; bod â'i ogwydd *neu* duedd.

I am more disposed to believe—yr wyf yn barotach i gredu; y mae yn haws genyf gredu.

He is disposed to pardon—y mae efe yn barod i faddeu; y mae efe â'i duedd i faddeu; mae efe yn tueddu i faddeu.

Disposer, *s.* trefnwr, trefnydd, trefnidydd, llywiwr, llywydd, llywodraethwr, cyfarwyddwr, rheolydd, rhoddwr, &c.

Disposing, *s.* trefniad, gosodiad, llywodraethiad, triniad, triniaeth, cyfarwyddiad, rheoleiddiad.

It is not in my disposing—nid yw yn fy rhodd i; nid yw ei roddi ar fy llaw i.

Disposition, *s.* (Ll. *dispositio*) trefniad, trefnad, trefnid; dosbarthiad, gosodiad; llywiad, llywodraethiad; trefn, dosbarth; tuedd, tueddiad, gogwyddiad, gogwyddad, tueddfryd, gogwydd; tueddoldeb, tueddolder, tueddolrwydd; tymmer, ardymmer, tymmyr, ardymmyr, naws, greddf, nawsedd, anian, cynneddf, athrylith, affaith, achreth, cret, crethyll, arnyfed, hwyl, nwyd, anwyd, ansawdd, cyflwr, anianawd, teimlad, ias, chwant, awydd, rhael, rhâl, gorddigor, dychwant, addug, parodrwydd, chwannogrwydd, ewyllys, bryd, brydedd; cymhwysder, cymhwysedd, cymhwysiad; aralliad, cyfraniad, rhaniad.

Wild disposition — naws wyllt, tymmer wyllt, &c.

Of a wild disposition, / Of wild disposition, } nawswyllt, nwydwyllt; gwyllt ei dymmer.

Bad disposition, / Evil disposition, } drygnaws, dryganian, dryganiaeth, dryganedd; tymmer ddrwg, &c.

Pious disposition—duwiolfrydedd, duwiolfryd, duwgarwch, duwiolder.

Merciful disposition—tymmer drugarog, &c.; trugarddawn, trugarnaws; trugarogrwydd.

Natural disposition — tymmer naturiol, tuedd anianol; anian, naws, cynneddf, crethyll.

Slow disposition — hwyrfryd, hwyrnaws, hwyrfrydedd, hwyrnawsedd; tymmer hwyrfrydig.

Of slow disposition—hwyrfrydig, hwyrnaws, hwyrnawsaidd; hwyr ei naws.

Passionate disposition — tymmer nwydwyllt, nawswyllt, hyddig, *neu* boethlyd; dryganwyd.

Of a brave disposition—gwychnaws, glewnaws; dewr ei naws; glew ei anian.

Lukewarm disposition—tymmer glauar *neu* lugoer; llugfryd, llugnaws.

A disposition to do a thing—hwyl, tymmer.

A good disposition of body—iechyd, hoen, hwyl dda, diwyg dda, dyli da; ardymmyr da; hwyl, hwyl-bwynt.

An ill disposition of body—anhwyl, anhwyldeb, anhwylder, anniwyg, anmhwynt, clefni.

Genius and disposition — anian ac athrylith.

Disposition of the air—ansawdd, anian, naws, tymmer, tymmyr, *neu* gyflwr yr awyr.

Disposition to rain—mwyth gwlaw, tuedd gwlawio.

A man of odd disposition—dyn hynod ei dymmer *neu* anian; dyn nwythig, cynnwythig, nwythol, *neu* nwythog; dyn o râl *neu* rael rhyfedd.

A man of fickle disposition—dyn oriog *neu* anwadal; dyn anwadal ei dymmer, dyn ysgafn ei anwyd; gwr anwadal ei feddwl.

The hope of salvation is a good disposition toward salvation—y mae gobaith iachawdwriaeth yn gychwynfa dda tuag at iachawdwriaeth.
The disposition of thine heart is good—da yw amcan dy galon di (*Judeth* viii. 29).
Their lewd disposition—eu dull dryg-ionus (*Esth. Ap.* xvi. 6).
The disposition of a liar—arfer dyn celwyddog (*Eccles.* xx. 26).

**Dispositional**, *a.* trefuol, trefniadol, trefnidol, dosbarthol, &c.
**Dispositive**, *a.* trefnedigol, trefniadol, triniol, llywodraethol, awdurdodol; à allo roddi, &c.
**Dispositor**, *s.* (Ll.) trefnior, arwyddior, seren lywodraethol; † trefnwr.
**Dispossess**, *v. a.* difeddiannu, dadfeddiannu, difeddu, difuddio, diberchenogi, diberchenu; gwthio *neu* yru allan o feddiant; didyo.
Ye shall dispossess the inhabitants of the land—goresgynwch y tir (*Num.* xxxiii. 53).
**Dispossession**, *s.* dadfeddiant, difeddiannad, dadfeddiannad, disfeddiant, diberchениad.
**Disposure**, *s.* (o *dispose*)=*Disposal.*
**Dispraisable**,† *a.* anwiwglod, anghanmoladwy.
**Dispraise**, *s.* anghlod, anair, anghanmoliaeth, anfoliant, anfawl, gogan, achlod, drygair, hort, cabl; bai, cerydd; gwarth, gwarthrudd, gwaradwydd, dïanrhydedd.
**Dispraise**, *v. a.* anghanmawl, anghanmoli, dadganmawl, anfoli, goganu, beio, beio ar, bychanu, dibrisio, testyno; rhoi anghlod, anair, *neu* ddrygair i.
**Dispraiser**, *s.* anghanmolwr, anghanmolydd, goganwr, goganydd.
**Dispread**, *v.* (*dis* a *spread*) dattaenu, llettaenu; lledaenu, taenu, lledu; taenu ffordd yma a ffordd acw.
**Dispreader**, *s.* dattaenydd, taenwr, lledaenwr, lledwr, cyhoeddwr, taenydd ar led.
**Disprize**, *v. a.* anmhrisio, dibrisio; tanbrisio, anwerthfawrogi; prisio dàn à dalo.
**Disprofess**, *v. n.* dadbroffesu, dibroffesu, dadgyfaddef.
**Disprofit**, *s.* afles, anfudd, colled; niwed, argywedd.
**Disprofit**, *v. a.* aflesu, afleshau, anfuddio, anfuddhau, colledu, niweidio.
**Disproof**, *s.* disbrawf, dadbrawf, gwrthbrawf, disbrofiad, dadbrofiad, gwrthbrofiad.
**Disproperty**,† *v. a.* difeddiannu, dadfeddiannu.
**Disproportion**, *s.* anghyfartaledd, anghyfartalwch, anghyfartalrwydd, anghymmesurwydd, anghymmesuredd, anghymmesuraeth, anghydran, anghymhariaeth, anghymmedroledd, anghymmedredd, anghyfaddasrwydd, anghyfatebolrwydd, anghystadledd; rhagoriaeth.
**Disproportion**, *v. a.* anghyfartalu, anghymmesuro, anghydranu, anghymharu, anghymmedru, anghydbarthu; trefnu, dosbarthu, *neu* gymmysgu yn anghyfartal; anghydweddoli; cyssylltu pethau anghydweddol.
**Disproportionable**, **Disproportional**, *a.* anghyfartal, anghymmesur, anghydranol, anghydran, anghymmesurol, anghychwïawr. anghymmedrus, anghyfatebol, anghyfaddas, digyfartal; gwedi ei ddosbarthu yn anghyfartal.
**Disproportionableness**, **Disproportionality**, *s.* anghyfartaledd, anghyfartalwch, anghyfartalrwydd, anghymmesurdeb, anghymmesuroldeb, anghymmesurwydd, anghymmesuredd, anghymmedredd, anghyfateboldeb, anghyfaddasrwydd.
**Disproportionate**, *a.* anghyfartal, anghydbarth, digyfartal, anghymmesur, anghymmesurol, anghymmesurog, anghydranedig, anghymmedredig, anghydradd; anghyfaddas, anaddas, annigon.
**Disproportionateness**, *s.* anghyfartaledd, anghymmesuredd, anghydbarthedd, anghymmesurwydd, anghymmesurdeb, anghyfaddasrwydd.
**Dispropriate**, *v. a.*=*Disappropriate.*
**Disprove**, *v. a.* gwrthbrofi, disbrofi, dadbrofi, dibrofi, gwrthddangos; †anghymmeradwyo.
**Disprover**, *s.* gwrthbrofydd, dadbrofydd, disbrofydd, disbrofwr.
**Dispunge**, *v. a.* dilëu, dïoli, diddymu; crafu ymaith *neu* allan.
**Dispunishable**, *a* anghospadwy.
**Dispurse**,† *v. a.*=*Disburse.*
**Dispurvey**,† *v. a.* annarmerthu, anmharotöi.
**Dispurveyance**,† *s.* annarmerth.
**Disputable**, *a.* dadleuadwy, hyddadl, dadladwy, ammhëus; à fo mewn dadl.
**Disputant**, **Disputer**, *s.* (Ll. *disputans*) dadleuwr, dadlwr, dadlydd, ymddadlwr, ymddadlydd, ymddadleuwr, ymresymwr, ymbynciwr, ymgomiwr, arddadlwr, argymhenwr, gwrthddadleuwr, ymholydd.
**Disputant**, *a.* dadleuol, ymddadleuol, dadlawl, ymddadlawl, dadleuadol.
**Disputation**, *s.* (Ll. *disputatio*) dadleuad, dadl, dadleu, dadlwriaeth, dadlawd, ymddadl, ymddadleu, ymddadleuad, ymddadliad; ymresymiad, ymgomiad, ymgynnadl, cynnadl, cynnadledd; cystadleuaeth, cystadlaeth, cystadliad, ymgystadliad.
Doubtful disputations—ymrafaelion rhesymau (*Rhuf.* xiv. 1).
A place of disputation—dadleufa.
**Disputatious**, **Disputative**, *a.* dadleugar; ymrysongar, cipgar, cecrus, cecraidd, gwrthddadleugar.
**Dispute**, *v.* (Ll. *disputo*) dadleu, dadlu, ymddadleu, ymddadlu, dadleuo, ymbyncio, arddadlu, arddadleu, pyncio, ymresymu, ymbarlio, ymgomio, ymgynnadlu; cystadlu, ymgystadlu, ymgystadlu am, cydymgeisio, ymgeisio, ymdrechu am; ymryson, ymdrechu, ymdrech, ymrafaelio, ymrafael, ymdafodi, ymeirio; ammheu, petruso; gwrthwynebu, gwrthladd, gwrthsefyll, gwrthrynu; ymdrechu cadw *neu* amddiffyn.
To dispute one's passage—gwrthwynebu, gwrthladd, *neu* wrthsefyll mynediad un; gwrthsefyll mynediad un yn mlaen; gwrthwynebu, gwrthladd, *neu* wrthsefyll un yn ei fynediad ymlaen; ymosod yn erbyn un i rwystro ei fynediad drosodd *neu* drwodd.
To dispute one's right at law—amddiffyn ei iawn *neu* ei hawl drwy gyfraith; myned i gyfraith *neu* i ymgyfreithio âg un yn mhlaid ei eiddo; hòni hawl.
Dispute not too busily—na chais mo'r ymholi yn rhy fanwl, yn rhy ddichlyn, *neu* yn rhy ysmala.
**Dispute**, *s.* dadl, dadleu, dadleuad, dadlwriaeth,

ymddadl, ymddadleu, ymddadliad, dadlawd, ymddadleuad, ymbynciad, ymbarliad, ymresymiad, ymgomiad, cynnadl, cynnadledd; ymryson, ymrafael, ymdrech, ymdrin, trafod, ymdrafod, gwrthryn, ymorwst, cecraeth, ymlelldf; ammheuaeth.

They had a dispute on the lawfulness of slavery — bu cyfreithlondeb caethiwed mewn dadl *neu* dàn farn ganddynt; bu dadl rhyngddynt *neu* ganddynt am gyfreithlondeb caethwasanaeth.

To determine disputes—dosbarthu cynhenau; penderfynu dadleuon; tori ymrysonau.

Beyond dispute — yn ddiddadl; heb ammheuaeth; heb un ddadl; yn ddïammheu; yn ddïwrthddadl.

Beyond all dispute—tu hwnt i bob dadl; heb na dadl nac ammheuaeth; heb un ammheuaeth.

It admits of no dispute—nid oes dadl am dani *neu* dano; nid oes dadl i fod yn ei gylch.

Disputed, *p. p.* dadleuedig, dadledig, &c.; ammhëus, petrus; annhenodol; mewn dadl; tàn farn.

Disputeless, *a.* diddadl; dïammheu; heb ammheu.

Disputer, } *s.*={ *Disputant.*
Disputant, } *s.*={ *Disputer.*

Disputing, *s.* ymddadleu, dadleuad, dadliad, ymddadleuad, ymddadliad; dadl, ymddadl; ymrafael, ymryson, amryson, ymeiriad.

Murmurings and disputings—grwgnach ac ymddadleu (*Phil.* ii. 14).

Disqualification, *s.* anghymhwysiad, anaddasiad; anghymhwysder, anaddasrwydd; analluogrwydd, anallu; dadgymhwysiad, angreddfiad.

Disqualify, *v. a.* anghymhwyso, anaddasu; gwneuthur yn anghymhwys, yn anaddas, *neu* yn analluog.

Disqualified, *p. p.* anaddasedig, &c; anghymhwys, anaddas; à wnaed yn anghymhwys; gwedi ei wneuthur yn anaddas.

Disquantity,† *v. a.* lleihau.

Disquiet, *a.* aflonydd, anesmwyth, dïorphwys; cythryblus, helbulus; yn dwyn cur a gofal.

Disquiet, } *s.* aflonyddwch, anesmwythder,
Disquietness, } anesmwythdra, anesmwythyd,
Disquietude, } anorphwys, anorphwysdra, anosteg, anostegrwydd, annhangnef, annhangnefedd; cythrwfl, cynhwrf, cyffro, moloch; cur, blinder, gofal; anhun, anhunedd; helbul, heldrin, helgur, gofid, cyfeiaeth.

Disquiet, *v. a.* aflonyddu, anesmwytho, anesmwythäu, blino, cyffroi, cythryblu, cythryblio, cynhyrfu, anostegu, molochi, dygn flino, terfysgu, cythruddo, trallodi, gofidio.

Why hast thou disquieted me?—pa ham yr aflonyddaist arnaf?

Disquieted, *p. p.* aflonyddedig, &c.; cythryblus, helbulus, trallodus; trafferthus, cynhyrfus, cyffröus, terfysgus.

Disquieter, *s.* aflonyddwr, anesmwythwr, terfysgydd.

Disquietful, *a.* aflonyddol, anesmwythol, cynhyrfiol, terfysgol; à bair aflonyddwch.

Disquieting, } *a.* aflonyddol, anesmwythol, af-
Disquietive, } lonyddus, terfysgus, terfysgol, cyffroawl; à bair aflonyddwch *neu* anesmwythder.

Disquietment, *s.* aflonyddiad, anesmwyth... anostegiad, cyffroad, terfysgiad, blinad.

Disquietous,† *a.* aflonyddol, anesmwythol.

Disquietude, *s.*=*Disquiet*, &c.

Disquisition, *s.* (Ll. *disquisitio*) trychwil... ymchwiliad, ymofyniad, arholiad, chwil... holiad, chwiliad; manylgais; chwiliad ...wl, ymofyniad dyfal.

Disquisitionary, *a.* trychwiliadol, ymchwil... manylgeisiol.

Disrank,† *v. a.* diraddio, direncio; bwrw a... o'i renc *neu* restr.

Disregard, *s.* esgeulusdod, esgeulusdra, esg... usder, esgeulusrwydd, esgeulusiant, any... iaeth; dïystyrwch, anfri, dirmyg, tre... anmharch, dibrisdod, anfrïad, diofalwch.

Disregard, *v. a.* esgeuluso; peidio â sylwi ... bod heb ofalu *neu* brisio am; dïystyru, d... mygu, tremygu, bychanu, difalio, dïyst... dïystyrio, anmharchu; ystyried is law s...

Disregarder, *s.* esgeuluswr; dïystyrwr.

Disregardful, *a.* esgeulus, diofal, anofal... dibris; dirmygus, dïystyrllyd, tremyg... ysmala.

Disrelish, *s.* gwrthflas, diflasdod, diflas... diflasrwydd, drygchwaeth, drwg archwa... drygflas, adflas, anflas, anmlas, dicra... anchwennychiad, ffieiddiad; gwrthwy... rwydd, gwrthwyneblydrwydd, adgasrwy...

Disrelish, *v. a.* diflasu ar, alaru ar, blino a... anfoddloni yn mlas peth; bod yn anfodd... i flas peth; anflasu, anmlasu, diflasu, d... chwaethu, anhoffi; cashau, ffieiddio; bod... anfoddlawn i; bod heb flasu; bod heb ... ganddo ar *neu* at; anghymmeradwy... gwrthwynebu ar.

Disrepair, *s.* anmharwch, anmharedd, anghy... air, anghyweiriad.

Disreputable, *a.* anhyglod, anghlodfawr, ... barch; à drygair *neu* anair iddo; à ... drwg iddo; gwarthus, gwaradwyddus, di... rhydeddus, cywilyddus.

Disreputation, } *s.* anfri, anghlod, dry...
Disrepute, } anair, drwg enw, dïanrh... edd, gwarth, gwarthrudd, gwaradwy... drygfri, anmharch; anghymmeriad, angh... rif, anghymmyraeth.

Disrepute, *v. a.* dwyn i anfri, &c.; anfrïo, a... mharchu; rhoi anair, drygair, *neu* anfri i.

Disrespect, *s.* anmharch, dirmyg, trem... dïystyrwch, bychandod, dibrisdod, an... tra, traha, dïanrhydedd, dibarchrwydd, a... mharchedigaeth; anfoesgarwch, anfoes... rwydd, anfoes.

Disrespect, *v. a.* bychanu, dirmygu, tremyg... dïystyru, dibrisio, anmharchu, anfrïo, ... frïo, difenwi, dïanrhydeddu; ymddwyn ... anfoesog *neu* anfoesgar tuag at.

Disrespectful, *a.* anmharchus, anmharchla... dibarch, dirmygus, tremygus, dïystyrll... difoes, anfoesog, anfoesgar; llawn dirmyg... dïystyrwch; difrïol.

Disrobe, *v. a.* dadwisgo, dihatru, diddilla... diwisgo, dihwylo, dattrwsiadu, dattrws... dïosg o'i wisg, o'i ddillad, *neu* o'i addur... dïorchuddio, dynoethi, dadenguddio.

To disrobe one's self—ymddïosg, ymd... hatru, &c.

Disrober, *s.* dadwisgydd, dadwisgwr, dihat... wr, dihatrydd.

Disroot, *v. a.* diwreiddio, dadwreiddio; ty... o'r gwraidd; cloddio tanodd *neu* oddi tanod...

**Disrupt,** } *a.* (Ll. *disruptus*) rhwygedig, ym-
**Disrupted,** } doredig, llarpiedig; gwedi ei rwygaw oddi wrth ei gilydd.
**Disruption,** *s.* (Ll. *disruptio*) ymdoriad, rhwygiad, drylliad, ymddrylliad; rhwyg, erthrwch, breg, fflais; llarpiad, erthrychiad, ymagoriad, holltiad.
**Dissatisfaction,** *s.* anfoddlonrwydd, anfoddlondeb, anfoddlonedd, anfodd; cawdd, coddiant.
**Dissatisfactoriness,** *s.* anfoddoldeb, anfoddlonedd, anfoddhaolrwydd, anfoddlonoldeb, anfoddlongarwch, anfoddgarwch.
**Dissatisfactory,** *a.* anfoddhaol, anfoddlonawl, anfoddol; nad yw yn boddloni; nad yw yn rhoddi boddlonrwydd; anghymmeradwy; anfoddlongar.
**Dissatisfied,** *a.* anfoddog, anfoddlawn, anfoddlongar, anfoddedig; heb ei foddloni; heb ei ddigoni; heb gael ei ddigon *neu* ei wala; dreng, ffrom.
To be dissatisfied—anfoddloni, anfoddogi, ymddigio; bod yn anfoddlawn.
They are dissatisfied with their condition—y maent yn anfoddlawn i'w cyflwr.
**Dissatisfy,** *v. a.* anfoddloni, anfoddio, anfoddhau; rhoi anfoddlonrwydd; rhoi anfoddlondeb; bod heb roi boddlonrwydd.
**Disseat,** *v. a.* diseddu, dadseddu; symmud o eisteddle.
**Dissect,** *v. a.* (Ll. *disseco, dissectus*) difynio, difyniadu; dryllio, darnio; rhanu, dosbarthu; tori yn ddrylliau, yn rhanau, *neu* yn ddifynion; tori; chwarthorio; cigyddio; trychwilio, manwl chwilio; chwalu a chwilio.
**Dissection,** *s.* (Ll. *dissectio*) difyniad, difyniaeth, difyniant; drylliad, darniad; rhaniad, dosbarthiad.
**Dissector,** *s.* (o *dissect;* Ll. *dissecator*) difyniwr, difyniedydd, attorydd.
**Disseize,** *v. a.* (*dis* a *seize;* Ff. *dessaisir*) difeddiannu, difeddu, dadfeddiannu, dadfeddu, camoresgyn, camoresgynu, treisfeddiannu, camfeddiannu.
**Disseizee,** *s.* difeddiannai, dadfeddiannai, y difeddiannedig, camoresgynai=yr un à fwrier allan o feddiant yn anghyfreithlawn.
**Disseizin,** } *s.* camoresgyn, camoresgyniad,
**Disseisin,** } camoresgynaeth, camoresgyniaeth, camfeddiant, treisfeddiant, dadfeddiant, difeddiad, difeddiannad, treisddifeddiant; tafliad *neu* fwriad allan anghyfreithlawn.
**Disseizor,** *s.* camoresgynydd, camoresgynwr, camfeddiannwr, treisfeddiannydd, difeddiannwr, dadfeddiannwr; à gymmero feddiant *neu* oresgyn drwy drais.
**Dissemblance,** *s.* annhebygolrwydd, annhebygoldeb, annhebygrwydd, annhebygoliaeth.
**Dissemble,** *v.* (Ll. *dissimulo;* Ff. *dissimuler*) ffugio, ffuantu, lledrithio, cymmeryd arno, dyeithro, ymddyeithro, truthio, gwenieitho, rhagrithio, gwneuthur malpai, ymragrithio, ffalsu, rhithio; celu, argelu, cuddio, ymargelu, ymgelu; gwadu; cymmeryd arno na bo yr hyn sydd; bod yn rhagrithiol.
**Dissembled,** *p. p.* ffugiedig, &c.; rhagrithiol, lledrithiol, lledrithiog, ffugiol, ffug-, dyeithrol, ymddyeithrol; dychymygol.
**Dissembler,** *s.* lledrithiwr, ffugiwr, rhagrithiwr, ffuantwr, ymrithiwr, truthiwr, gwenieithwr, dyn trofäus, un lledrithiog.
**Dissembling,** *p.* twyllodrus, ffuantus, rhagrithiol, ffuannol, ffugiol, lledrithgar, deuwynebog; gwenieithgar, gwenieithus, truthgar; yn ffugio, &c.
**Dissemblingly,** *ad.* trwy hud a lledrith; yn rhagrithiol, yn ffuantus, yn wenieithus, yn wenieithgar, yn lledrithgar.
**Disseminate,** *v. a.* (Ll. *dissemino*) hau, heu, gwasgaru, gwasgar, lledu, taenu, lledaenu, taenu ar led; cyhoeddi; arlydanu.
**Dissemination,** *s.* (Ll. *disseminatio*) heuad, head, taeniad, lledaeniad, gwasgariad, taeniad ar led; cyhoeddiad.
**Disseminator,** *s.* (Ll.) heuwr, hauwr, taenwr, lledaenwr, taenydd ar led.
**Dissension,** *s.* (Ff.; Ll. *dissensio*) anghydfod, anghytundeb, anundeb, anghyfundeb, anghydsyniad, anghymmod, ymrafael, amrafael, anysgymmod, ymraniad, ymwahaniad, ymryson, cynhen, cweryl, cyfarwas, anghymmodlonedd, disgymmod, cyfrysedd, cyfarwyd; gwrthdybiad.
**Dissensious,** } *a.* anghytûn, anghytun, anghyt-
**Dissentious,** } unol, anghydfyddus, anghydfodol, amrafaelus, ymrafaelus, ymrysonol, ymrysongar, ymrysonus, ymrafaelgar, amrafaelgar, cynhenllyd, cynhenus; anghydsyniol, anghysson; pleidgar.
**Dissent,** *v. n.* (Ll. *dissensio*) anghytuno, anghydsynio, anghydsynied, gwahaniaethu, amrywio; ymneilltuo, ymwahanu, ymranu; bod o dyb amgen *neu* arall; bod o farn wahanol, amrywiol, *neu* amryfal; amrywio *neu* wahaniaethu mewn barn; tybio y gwrthwyneb.
**Dissent,** *s.* anghytundeb, anghydsyniad; ymneilltuaeth, ymneilltuad, neilltuaeth, anghyfuniaeth; amryfarn, amrywiaeth barn, gwrthdyb, amrydyb.
**Dissentaneous,** *a.* (Ll. *dissentaneus*) anghytunol, anghytûn, anghydsyniol, anghydfyddus, anghysson; amryfaelus, croes.
**Dissentany,**† *a.*=*Dissentaneous.*
**Dissentation,** *s.* anghydsyniad, anghytuniad, amrywiad; ymneilltuad, ymwahaniad, ymraniad.
**Dissenter,** *s.* (o *dissent*) ymneilltüwr, neilltüwr, ymneilltüydd, anghyfunwr; ymwahanwr; un o amgen farn *neu* dyb: *pl.* ymneilltuwyr, ymneilltuaid.
**Dissentient,** *a.* (Ll. *dissentiens*) anghytunol, anghydsyniol, anghyfunol, ymneilltuol, ymneilltuaidd, ymwahanol; yn anghytuno.
**Dissentient,** *s.* anghytunwr, anghytunydd, anghydsyniwr; ymneilltüwr.
**Dissenting,** *a.* ymneilltuol, ymneilltuaidd, ymneilltuedig; perthynol i'r ymneilltuwyr.
Dissenting minister—gweinidog ymneilltuol, gweinidog ymneilltuaidd; gweinidog ymneilltuwyr, gweinidog yr ymneilltuwyr; gweinidog perthynol i'r ymneilltuwyr.
**Dissentious,** *a.* (Ll. *dissentio*) ymrafaelgar, ymrafaelus, ymrysongar, ymrysonus, anghydfyddus, anghytunus; à gâr anghydfod.
**Dissepiment,** *s.* (Ll. *dissepimentum*) esbarthiad, sythraniad.
**Dissert,** *v. n.* (Ll. *dissero, diserto*) ymadroddi, ymresymu, ymddyddan, dadleu.
**Dissertation,** *s.* (Ll. *dissertatio*) traethawd, treithawd, traith, traethiad, treithiad; ymresymiad.
**Dissertator,** *s.* traethodwr, traethodydd, treith-

odydd; ysgrifenydd traethodau; ymresymwr, ymresymydd.
Disserve, *v. a.* niweidio, drygu, argyweddu, aflesu, aflesoli; gwneuthur anghymmwynas i; gwneuthur drwg i; gwneuthur twrn drwg i; anwasanaethu.
Disservice, *s.* anwasanaeth, anghymmwynas, afles, niwed, colled, argywedd, drwg, twrn drwg, tro drwg, cam, anfuddiant, adwyth.
Disserviceable, *a.* anwasanaethgar, anghymmwynasol, aflesol, anhyles, anfuddiol, anwasanaethol; niweidiol, argyweddus, argyweddol, colledus.
Disserviceableness, *s.* aflesoldeb, aflesolrwydd, anfuddioldeb, anhylesrwydd, anwasanaethgarwch; niwed, argywedd.
Dissettle, *v. a.* ansefydlu, aflonyddu, ansicrhau; annhrefnu.
Dissever, *v. a.* gwahanu, dadgyssylltu, parthu, rhanu, dybarthu, dysbarthu, dosbarthu, ysgar, ysgaru, esgar, esgaru, esgario, dydoli, neilltuo, dyranu; tori ymaith; rhwygo, hollti; dirwanu, daduno.
Disseverance, Disseveration, Dissevering, *s.* (o *dissever*) gwahaniad, partiad, rhaniad, ysgariad, dydoliad, dybarthiad, neilltuad, gwahanedigaeth, ysgaredigaeth, esgaredigaeth.
Dissheath,† *v.* dadweinio, diweinio; syrthiaw o wain.
Disship,† *v. a.* dadlongi; symmud o long.
Dissidence, *s.* (Ll. *dissidentia*) anghydfod, anghytundeb, anundeb, anghyfundeb, anghyfundod, anghyfunedd, anghydweddiad, anghydgordiad, anghyssondeb, anghyssonder; amrafael, ymrafael, ymryson, annysgymmod, anysgymmod; ymneilltuolrwydd, ymneilltuoldeb.
Dissident, *a.* (Ll. *dissidens*) anghytunol, anghytunus, anghytûn, anghydfyddus, anghyfunol, anghydsyniol; ymneilltuol.
Dissident, *s.* ymneilltüwr, ymneilltüydd, anghyfunwr, neilltüwr; ymwahanwr.
Dissilience, *s.* (Ll. *dissilio*) neidiad o'r neilltu; tasgiad ymaith; esdarfiad, crychneidiad, llamiad, ymwahaniad, esneidiad.
Dissilient, *a.* yn neidio *neu* yn tasgu ymaith; esdarfol, esneidiol, neidiol, tasgol; yn ymdori ac ymagor gyda grym gwrthneidiol *neu* hydwyth.
Dissilition, *s.* esdarfiad, esneidiad, gwrthneidiad, gwrthdasgiad; ymdoriad yn agored; tasgiad *neu* neidiad yma ac acw.
Dissimilar, *a.* annhebyg, anghyffelyb, annhebygol; amryfal, anghyfath, anghymmath, amryfeilryw, dihafal, anhafal, anghyflun.
Dissimilar parts of the body — amryfal ranau y corff.
Dissimilarity, Dissimilitude, *s.* annhebygrwydd, anghyffelybrwydd, annhebygolrwydd, annhebygoldeb, annhebygoliaeth; amryfaledd, anghyfathrwydd, anghymmathrwydd, anhafaldeb; anghyfathiad, annhebygiad.
Dissimile, *s.* gwrthgymhariaeth, croesgymhariaeth, anhefeleb, anghydrith.
Dissimulation, *s.* (Ll. *dissimulatio*) ffuant, rhagrith, lledrith, ffug; lledrithiant, lledrithiad, ffugiad, rhagrithiad, ymddyeithrad, dirgeliad, argeliad; twyll, hoced, dichell, chwired, ffalstedd, anghleuder; gweniaith; gwatwar; cymmeriad arno.
To use dissimulation — rhagrithio, lledrithio, ffugio, ymddyeithro; ymddwyn yn rhagrithiol *neu* yn dwyllodrus.
Without dissimulation — yn ddiragrith, yn ddiledrith, yn ddidwyll; heb ragrith, heb dwyll, &c.; heb na hud na lledrith; heb na ffug na gorchudd.
With great dissimulation — trwy fawr watwar (2 *Mac.* xiii. 3).
Dissimule,† *v. a.* (Ll. *dissimulo*) ffugio, rhagrithio.
Dissipable, *a.* (Ll. *dissipo*) gwasgaradwy, chwaladwy, hychwal; à ellir ei wasgaru, &c.
Dissipate, *v.* (Ll. *dissipatus*, o *dissipo*) gwasgaru, gwasgar, chwalu; gwastraffu, afradu, afradloni, gwario, treulio; ymwasgar, ymwasgaru, ymchwalu; difianu, difanu.
Dissipated, *a.* gwasgaredig, gwasgar, chwaledig, gwasgarog; afreolaidd, afreolus, penrydd, gwastraffus, afradus, afradlawn, afradwy; gwydus; ymroddedig i wŷd a difyrwch.
Dissipation, *s.* (Ll. *dissipatio*) gwasgariad, gwasgar, chwaliad, gwasgarfa, chwalfa, gwasgarawd, chwaledigaeth, gwasgaredigaeth; treuliad, gwastraffiad, afradloniad, gwastraff, afrad, afradlonrwydd, afradlondeb, afradlonedd, oferedd; diotalwch, diymdawrwydd; ymroddiad i ddifyrwch.
Circle of dissipation — cylch gwasgar, cylch gwasgariad, gwasgargylch, chwalgylch.
Dissociable, *a.* anhygyd, anghyfeillgar, anghyfeilliol; anghysson, anghymmodadwy.
Dissocial, *a.* anhygyd, anghyfeillgar, digyfeillach, anghymdeithgar, anghymdeithasol, hunanol; anhynaws.
Dissociate, *v. a.* (Ll. *dissociatus*, o *dissocio*) gwahanu, gohanu, dadgyssylltu, ysgar, esgar, esgaru, esgario, neilltuo, daduno, dybarthu, parthu; tori cyfeillach *neu* gymdeithas; digyfeillio.
Dissociation, *s.* (Ll. *dissociatio*) gwahaniad, dadgyssylltiad, ysgariad, esgariad, daduniad, neilltuad, neilltuaeth, gwahaniaeth, gwahan, dosbarthiad, dosbarth; toriad undeb, cyfeillach, *neu* gymdeithas.
Dissolubility, *s.* hydoddedd, toddoldeb, hydoddolrwydd, dattodoldeb.
Dissoluble, *a.* (Ll. *dissolubilis*) hydawdd, toddadwy, dadmeradwy; dattodadwy; dadunadwy; à ei doddi, ei ddattod, *neu* ei ddadgyssylltu.
Dissolute, *a.* (Ll. *dissolutus*, o *dissolvo*) penrydd, afreolus, afreolaidd, anllywodraethus, aflywodraethus; afradlawn, afradus, difrodus, ofer, rhydraul, treulfawr; diffaeth, anllad, trythyll; anniwair, nwyfus; anfoesol, anghrefyddol; wttresgar, gwingar, brwysg, gwydus; esgeulus, diofal, dibryder, anmhryderus; gwasgsaw, maswy, masw; rhydd oddi wrth rwymau cydwybod; rhydd o ran cydwybod i wneuthur y drwg à fyno; yn wedi ymroddi yn gwbl i wneuthur ei wynias a'i chwantau.
Dissoluteness, *s.* penrhyddid, penrhydd-der, penrhydd-did, afreolaeth, afreolusrwydd, anllywodraeth, aflywodraeth; afradlonedd, afradlonrwydd, afradlondeb, afradusrwydd, oferedd; diffaethder.
Dissolution, *s.* (Ll. *dissolutio*) dattodiad, ymddattodiad, toddiad, toddiant, dadmeriad,

dadleithiad, meiriolad, ymdoddiad; gollyngiad, ymollyngiad; dadgorfforiad, digorfforiad, dadgyssoddiad, anghorfforiad; ymadawiad, tranc, trancedigaeth, marwolaeth, golaith; diddymiad, dadymchweliad, dinystr, dinystrad; ymwahaniad; trwyth.
At the approach of his dissolution—â'i ymddattodiad, â'i farwolaeth, *neu* â'i drancedigaeth yn neshau.
Dissolution of parliament—dattodiad, dadgyssoddiad, *neu* ddadgyfansoddiad y senedd; gollyngiad y senedd ymaith.
The dissolution of abbeys — diddymiad, dymchweliad, dadymchweliad, dattodiad, *neu* anghorfforiad y mynachlogydd (yn nheyrnasiad Harri VIII).
Liable to dissolution—agored i doddi, &c.; goleithig.
Dissolvable, *a.* (o *dissolve*) toddadwy, hydawdd, dadmeradwy; dattodadwy; â ellir ei doddi, &c.
Dissolvableness, *s.* hydoddedd, toddoldeb, hydoddoldeb, dattodoldeb.
Dissolve, *v.* (Ll. *dissolvo*) toddi, dadmer, dadmeru, dadlaith, dadleithio, meiriol, meirioli, dadferu; dattod, dattodi, dadglymu, dadgylymu, dadgyssylltu, daduno, dadgorffori, anghorffori, gwahanu, ysgar, ysgaru, esgar, gwasgaru, chwalu; ymollwng, ymdoddi, ymddattod, ymwahanu; diflanu, darfod; rhyddhau, llaesu, llacäu; tori, briwio; difa, ysu; diddymu, dirymio, dinystro; myned yn ddim.
To dissolve the parliament—dattod, dadgorffori, dadgyssoddi, *neu* anghorffori y senedd; gollwng y senedd ymaith; tori y senedd.
To dissolve society—tori *neu* ddattod cymdeithas; dattod rhwymau cymdeithas.
To dissolve doubts—dattod cylymau (*Dan.* v. 16).
The earth is clean dissolved—gàn rwygo yr ymrwygodd y ddaiar (*Esa.* xxiv. 19).
Not to be dissolved—anattodadwy, anattod, annattodol, diwahan; anhydawdd.
Dissolvent, *a.* toddol, toddiadol, hydoddol, dadmerol, dadleithiol; â doddo; â ddattodo.
Dissolvent, *s.* edrwyth, dadleithydd, dadmerydd, toddydd, toddai, dadmerai, dadleithor, dadunai, dattodydd, dadglymydd, trwyth.
Dissolver, *s.* dattodydd, dattodai, dadleithydd, dadmerydd, meiriolydd, toddydd, dadferydd.
Dissonance, *s.* (Ff.; Ll. *dissonans*) anghydseiniad, anghydgordiad, anghordiad, anghord, anghyttonedd, anghydseinedd, anghynghanedd, anghynghan, anghydsain, anghydlais, gwrthsain, anghyfunsain; anghyssondeb, anghyssoniaeth, anghyssonedd, anundeb, anghytundeb, anghyfundod, anfwynder, annysgymmod, anghydsyniad.
Dissonant, *a.* (Ll. *dissonans*) anghydseiniol, anghytunol, anghytûn, anghysson, anghydgordiol, anghordiol, anghyssain, anghydsain, anghysson, anghynghordiol, anghydgerdd, anghydgerddol, anghydlais, digynghan, digynghanedd, anghyfundon, anhyfryd, unymunol; croes, anghyfarwar; garw, cryg.
Dissuade, *v. a.* (Ll. *dissuadeo*) anghynghori, annarbwyllo, gwrthannog, disgynghori, aneiriol; annogi y gwrthwyneb; cynghori, darbwyllo, *neu* annog yn y gwrthwyneb; dïannogi, trewynu, gwrthgymhell, troi; dwyn un oddi wrth ei amcan *neu* fwriad; dwyn *neu* dynu un ymaith oddi wrth ei fwriad *neu* amcan; cynghori peidio.
Dissuader, *s.* anghynghorwr, anghynghorydd, annarbwyllydd, disgynghorydd, gwrthannogwr.
Dissuasion, *s.* (Ll. *dissuasio*) anghynghor, gwrthgynghor, gwrthannog; anghynghoriad, gwrthgynghoriad, gwrthgymhelliad; cynghor yn y gwrthwyneb; gwrthannogaeth.
Dissuasive, *a.* (Ll. *dissuadeo*, *dissuasi*) anghynghorol, gwrthgynghorol, gwrthannogol, trewynol; â wrthgynghoro.
Dissuasive, *s.* gwrthgynghor, anghynghor, gwrthreswm, gwrthannog; rheswm rhag peth; rheswm, annogaeth, *neu* gynghor i beidio; darbwyll yn erbyn; trewyn, trewyniad.
Dissunder, *v. a.* gwahanu, ysgar, parthu, rhwygo.
Dissweeten,† *v. a.* dadfelusu, difelusu, dichwegu, anfelusu.
Dissyllabic, *a.* (Gr. *disullabos*) dwysill, dwysillog, dwysillol, dwysillafog, dwysillafol, deusill, deusillog.
Dissyllabic foot—corfan dwysill.
Dissyllable, *s.* dwysill, deusill, gair dwysill, gair deusill, dwysillair, deusillair, deusillaf: *pl.* deusilliaid, dwysilliaid, geiriau deusill.
Distaff, *s.* (S. *distæf*, yn ol *Junius*; Is. *towstaff*, yn ol *Skinner*) cogel, cogail: *dim.* cogeilyn.
Distaff-ful—cogeilaid.
Distaff thistle — ysgallen gogel, ysgallen felen.
Distain, *v. a.* (*dis* a *stain*) ystaenio, llychwino, goliwio; diwyno, difwyno, anurddo, halogi, anafu, bryntäu, dufanu, mànu, gwarthruddo.
Distance, *s.* (Ff.; Ll. *distantia*) pellder, pelledd, pelldra, pellineb, pellrwydd, meithder, meithdra, pellenigrwydd, pellenigedd, hiriant, hyd; encyd, ennyd, talm; yr ennyd *neu* encyd rhwng un peth a'r llall; talm o amser; cyfrwng, cyfwng, gofod; maint; anghytundeb, gwrthwynebiad; parch; rhagoriaeth.
At a distance, / At distance, } draw; o bell, o hirbell; yn mhell, yn bell; pell; anghysbell; yn anghysbell; hwnt; oddi yma draw.
At a great distance off—yn hirbell oddi wrth un *neu* le; yn mhell iawn o ffordd; yn mhell iawn; yn mhellder byd.
At no great distance—nid yn neppell; nid neppell.
A long distance—hirbellder, hirbelledd, hirbelldra.
He was a good distance off—yr oedd efe yn mhell oddi yno; yr oedd efe encyd o ffordd oddi yno.
To be at distance—amrafaelio, ymryson, anghytuno, anghyduno; bod yn mhell.
At the distance of two miles—ar ben dwy filltir; â dwy filldir o ffordd rhyngddynt; â dwy filltir rhyngddynt; ddwy filltir oddi wrth un *neu* le; yn y pellder o ddwy filltir; yn ddwy filltir o bellder.
To keep one at a distance—peri i un sefyll yn ol *neu* o hirbell; gwneuthur i un sefyll yn ol *neu* o hirbell; cadw un draw; cadw pellder cyfaddas rhwng un a dyn.
To keep one's distance—sefyll yn ol o barch ar un; sefyll o hirbell o barch i un; ymgadw oddi wrth ryfyg; cadw

pellder gweddus; ymgadw mewn pellder gweddus; ymgadw draw.
To place at a distance—neilltuo, gwahanu, ysgaru, ysgar.
By distance of time—wrth ysbaid amser (2 *Esd.* v. 47).

Distance, *v. a.* pellu, pellhau; gadaw yn mhell yn ol; gadu yn mhell ar ol; blaenu yn mhell; rhagori yn mhell ar; bwrw o'r golwg; blaenu ar.
He distanced his contemporaries—gadawodd ei gyfoedion yn mhell ar ol.

Distant, *a.* (Ll. *distans*) pell, pellenig, anghyfagos; hirbell; nid yn agos; anghysbell, abell; gwahanedig, neilltuedig, ar wahan, neilltuol; â chyfrwng rhyngddynt; oddi wrth eu gilydd; gochelgar, gochelus, gwagelog, tawedog; yn cadw draw; yn sefyll yn mhell; pellynig, pellynus; o bell; gwanaidd; oeraidd.
To be distant—bod yn mhell; bod oddi wrth eu gilydd; bod â phellder *neu* gyfrwng rhyngddynt; bod encyd oddi wrth; bod yn anghysbell; bod â rhagor rhyngddo.
Very distant—pell iawn, pellbell, tra phell, pur bell, pell byd.
Far distant—yn mhell oddi wrth eu gilydd; yn mhell iawn; anghysbell, hirbell, pellbell.
He is not far distant, He is at no great distance, } nid yw efe neppell; nid nid yw efe yn mhell iawn.
Somewhat distant—lled bell, lledbell, go bell, trân bell; yn lled bell; yn lledbell; yn o bell; yn gryn bell.
Equally distant—cydbell, gogysbell, cyfbell, cysbell; o'r un pellder; cyn belled a'u gilydd; cybelled a'u gilydd; yr un càn belled; yr un cyn belled; yr un mòr bell; o'r unfaint bellder; o'r un cyfrwng; o'r unfaint gyfrwng; â'r un cyfrwng *neu* bellder rhyngddynt.

Distaste, *s.* gwrthflas, diflasdod, diflasder, diflasrwydd, anarchwaeth, dadchwaeth, drygchwaeth; casineb, cas, anhoffedd, anhoffder, alar, gwrthwynebrwydd; anfodlonedd, anfoddlonrwydd; anhyfrydwch.

Distaste, *v. a.* diflasu ar, alaru ar, blino ar, diflasu wrth; myned yn ddiflas, yn anfoddlawn, *neu* yn anfoddog wrth; anfoddloni yn mlas peth; diflasu, anhoffi, cashau, ffieiddio; gwrthwynebu ar; blino, anfoddio; coddi, sarhau, anfoddhau.

Distasteful, *a.* diflas, gwrthwyneblyd, alarllyd; ffiaidd, cas, adgas; anhyfryd i'r archwaeth; annymunol; drwg, anfoddog.

Distastefulness, *s.* diflasdod, diflasder, diflasrwydd; casineb, ffieidd-dod, cas; gwrthwyneblydrwydd; anhyfrydwch, anhoffedd.

Distastive, *s.* casbeth; diflasydd, gwrthflasydd; â bair ddiflasdod.

Distemper, *s.* (*dis* a *temper*) clefyd, afiechyd, annhymmer, anhwyl, anhwyldeb, anhwylder, haint, dolur, clwyf, gwst, clefni, saldra, saledd, annhwynt, anhawnt, anardymmer, echur, anniwyg, hwyl ddrwg, natur ddrwg; anesmwythder, anesmwythdra; annhrefn, cyffro, terfysg; golur, teneuliw, paent afloew.
Contagious distemper—haint llŷn, haint glynol, haint llynol, haint cael, clefyd cael, clefyd llusg, haint ymlynol, cynghlwyf, cynghaint.
Lingering distemper—nychdod, nych, hirnych, clefyd nychlyd.

Distemper, *v. a.* gwneuthur yn glaf; peri yn glaf; gwneuthur yn anhwylus *neu* anhwyliog; anhwylio, heintio, dolurio, clwyfo; annhymmeru, anardymmeru; annhrefnu, aflonyddu, dyrysu, cythruddo, terfysgu; llygru.

Distemperance, Distemperature, } *s.* annhymmer, annhymmeredd, anardymmer, anardymmyr, annhymmerusrwydd, anardymmeredd, anardymmerusrwydd; anghymmedroldeb; drwg dymmer; anhwyldeb, clefni, anhwylusder; annhrefn, aflonyddwch, terfysg, cyffro, dyryswch.

Distemperate, *a.* annhymmerus, annhymmyrus, anardymmerus, anghymmesur, anghymmedrol.

Distempered, *a.* claf, afiach, afiachus, clwyfus, dolurus, anhwylus, anhwyliog, aniach, sal, heinnus, heintus, heintlyd, gystog, clafus, clefyca; drwg ei hwyl; mewn anhwyl; mewn anhwyldeb; annhymmerus, anardymmerus, annghymmedrol, anghymmesur; annhrefnus, cythruddog, terfysgog; lledfrydig, gorphwyllog, gorphwyllus; rhagfarnllyd; drygwyllysiog, drygnwydus, dygasog.
Distempered stomach—cylla afiach, cylla egwan.

Distend, *v. a.* (Ll. *distendo*) helaethu, lledu, rhythu, eangu, arledu, amledu, damledu, darledu, llydanu, arlydanu, estyn, chwyddo, tynchwyddo, chwyddo allan, taenu, amdaenu; llenwi yn dyn; agor; mwyhau.

Distended, *p. p.* helaethedig, &c.; wedi ei sengu a'i sechu; cyflawn, tyn; tyn gàn lonaid.

Distensibility, *s.* hylededd, hyrythedd, damledoldeb, darledolrwydd.

Distensible, Distensive, } *a.* helaethadwy, lledadwy, &c.; hyled, hyrwth, hydaen; â ellir ei ledu *neu* helaethu.

Distension, Distention, } *s.* (Ll. *distensio*, *distentio*) helaethiad, llediad, amlediad, damlediad, darlediad, rhythiad, eangiad, arlediad, arlydaniad, taeniad, amdaeniad, chwyddiad, chwyddiad allan, tynchwyddiad, estyniad allan, dirdyniad; lled, arled, llydander, llydedd, tawd; egoriad, ymagoriad; eangedd, helaethder.

Distent, *a.* taenedig, ar daen, ar led.

Distent,† *s.* lled.

Dister,† *v. a.* (Ll. *dis* a *terra*) deol, alltudio; gyru o'r wlad.

Disterminate, *a.* (Ll. *disterminatus*) terfynedig; gwahanedig gàn derfynau.

Distermination, *s.* (Ll. *distermino*) gwahaniad, terfyniad.

Disthene, *s.* (Gr. *dis* a *sthenos*) glasith=math o ddelidfaen.

Disthrone, Disthronize, } † *v. a.* (*dis* a *throne*) dïorseddu, dadorseddu.

Distich, *s.* (Gr. *distichos;* Ll. *distichon*) pennill dwyfraich, cywydd deuair; deufan, dwyodl, dwyawdl, dwywers, dwyfraich, dwyadnod, deuodl, ban, dwylin, dwy linell, pennill, cwpl.
Distich of a poem—ban cywydd, deufan cowydd.

Distichous, Distich, } *a.* dwyres, yn ddwyres, dwyrestrog, dwyrestr.

Distil, *v.* (Ll. *distillo*) dystyllio, dystyllu, dyferu, dyhidlo, defnynu, dafnu, deigrynu, dy-

ferynu, meru, meryd, merino, hidlo; dyferu i lawr; disgyn *neu* gwympo yn ddyferion; toddi.

To double-distil — arddystyllio, arddystyllu.

**Distillable,** *a.* dystylladwy; addas i'w ddystyllu.

**Distillation,** *s.* (Ll. *distillatio*) dystylliad, defnyniad, dyferiad, deigryniad, dafniad, dyhidlad, hidlad, meriad, meriant, meriniad, dystyll; merin.

Double distillation—arddystylliad, dystylliad dyblyg.

**Distillatory,** *a.* dystyllol; perthynol i ddystyllio *neu* ddystylliad.

Distillatory vessels—llestri dystyllio.

**Distiller,** *s.* dystyllydd, dystylliwr, dystyllwr, merinwr, dystyllur.

**Distillery,** *s.* dystyllfa, dystylldy; dystyllyddiaeth.

**Distilment,** *s.* merin, dystylliad; yr hyn a ddystyllir.

**Distinct,** *a.* (Ll. *distinctus*) gwahanol, gwahanedig, gwahanredol, dynodol, gwahan, ar wahan, neilltuedig, dosbarthedig, neilltuol, dydolaidd, penodol; eglur, amlwg, croew; llawn-llythyr; brith, manog, amrywiedig.

**Distinct,**† *v. a.* gwahaniaethu.

**Distinction,** *s.* (Ll. *distinctio*) gwahaniaeth, gwahan, gwahanred, gwahanredoliaeth, gohanred, gohaniad, gwahaniad; rhagoriaeth, rhagor; dosbarthiad, parthiad, dosbarth, parthyd, neilltuaeth, neilltuad; amrywiaeth; darnod, dynodiad; gradd, bonedd, urddas, rhagorbarch, godidogrwydd, hynodrwydd; barn, dirnadaeth; rhagornod, gwahannod.

A mark of distinction—gwahannod, nod gwahan; rhagornod; nod gwahaniaeth.

Distinction by point—gwahannodiad, gwahannodiaeth.

A man of distinction—gwr o fonedd; dyn enwog, gwr rhagornod, dyn rhagorbarch.

**Distinctive,** *a.* gwahaniaethol, gwahanredol, gohanredol, darnodol, dynodol, dosbarthiadol, dosbarthol; dirnadol; yn gallu gwahanu *neu* wahaniaethu rhwng pethau.

**Distinctly,** *ad.* yn wahanol, &c.; ar wahan; o'r neilltu; ar ei ben ei hun; o bwnc i bwnc; o gymmal i gymmal; yn llawn-llythyr.

Then shall be read distinctly—yna y darllenir yn llawn-llythyr; yna y darllenir yn eglur.

**Distinctness,** *s.* gwahanolrwydd, gwahanredolrwydd, gwahanredoldeb, gwahanedigrwydd, gwahanoldeb, gwahander, neilltuolrwydd, dynodoldeb, eglurder, eglurdeb, croewder, croewedd.

**Distinguish,** *v.* (Ll. *distinguo*) gwahaniaethu, dynodi, hynodi, gwahanredu, gohanredu, gwahanredoli, gwahanu, gwahanoli, darnodi, dosbarthu; dydoli; neilltuo, gohanu; gwneuthur gwahaniaeth *neu* ragor rhwng; gwneyd gwahaniaeth; rhoi nod gwahan ar; tynu heibio; canfod, adnabod, gwybod, *neu* ddeall gwahan *neu* ragor rhwng; canfod, adnabod, deall, dirnad, gwybod; barnu; enwogi; gwneuthur yn enwog *neu* adnabyddus; dangos rhagorbarch; rhagorberchi; anrhydeddu uwch law *neu* ragor ereill.

He cannot distinguish between good and evil—nid edwyn ragor rhwng da a drwg; ni fedr wahaniaethu rhwng da a drwg; nid edwyn y da rhagor y drwg; nid edwyn y da oddi wrth y drwg.

He will distinguish the one from the other at first sight—efe a adnebydd y naill oddi wrth y llall ar yr olwg gyntaf.

To distinguish one's self—gwneuthur *neu* ennill iddo ei hun enw; gwneuthur ei hun yn honaid, yn enwog, yn hynod, yn hyglod, *neu* yn glodfawr; hynodi ei hun; dangos ei hun yn wr; ymhynodi, ymenwogi, rhagori; rhagori ar; dysgleirio goruwch ereill.

He distinguished himself on that occasion by his excellent genius—efe a ddysgleiriodd ar *neu* yn yr achos hwnw drwy ragoriaeth ei synwyr *neu* ei ddoniau.

**Distinguishable,** *a.* gwahanadwy, dosbarthadwy, hybarth; à ellir ei wahaniaethu; nodadwy, hynod, rhagorol, nodol; haeddbarch, hyglod; teilwng o barch ac anrhydedd; teilwng o sylw.

**Distinguished,** *a.* nodedig, godidog, rhagorol, ardderchog, enwog, clodfawr, hyglod, dathl, rhagorgamp, hynod, hynodedig; gwahanedig, dosbarthedig.

**Distinguisher,** *s.* gwahaniaethwr, gwahaniaethydd, gwahanwr, gwahanydd, gwahaniedydd; dirnadydd, sylwydd manwl; nodwr *neu* nodydd gwahaniaeth.

**Distinguishing,** *a.* gwahaniaethol, neilltuol, penodol; godidog, rhagorol, nodedig, ardderchog, hynod, hynodol; rhagorgamp; nodweddol, dydol, dydolaidd, dydolus.

Distinguishing mark *or* token—rhagornod, nod gwahaniaethol, nod dosbarthol.

**Distinguishment,** *s.* gwahaniaeth, gwahanred, gohanred, gohaniad, gwahaniaethad.

**Distitle,** *v. a.* dihawlio, dihawlu; difuddiaw o hawl, iawnder, *neu* arddelwad.

**Distort,** *v. a.* (Ll. *distortus*, o *distorqueo*) gwyro, gwyrdröi, gwyrgamu, camu, camystumio, dirgamu, camdröi, croeswyro, croesdröi, ystlysgamu, trawsdynu, croesdynu, dattröi, dirdroi; hyllu, hacru.

To distort the mouth—mingamu; tynu *neu* droi ei fin ar gam; gwyro min, gwyrdroi min, troi min, gwneuthur gwefl.

**Distort,** } *a.* gwyredig, gwyrdröedig, camdröedig, &c.; gwyrgam, gŵyr, cam; à thro ynddo.
**Distorted,** }

Extremely distorted — gŵyr iawn, tra gwyrgam, gorgam.

Having a distorted mouth—mingam; â'i fin ar gam; â'i fin ar dro; â'i fin â thro ynddo; geneu-gam, gen-gam, mantgam.

**Distortion,** *s.* (Ll. *distortio*) gwyrdroad, gwyrad, camdroad, gwyrgamiad, croesdroad, trawsdyniad, camystum, camystumiad, mingamiad.

**Distract,** *v. a.* (Ll. *distractus*, o *distraho*) tynu oddi wrth; tynu o'r neilldu; tynu ymaith oddi wrth; tynu tua'r neilltu; tynu yn groes i'w gilydd; croesdynu, trawsdynu; gwahanu, neilltuo, rhanu, parthu, dosbarthu; cythruddo, aflonyddu, annhrefnu, terfysgu, dyrysu, blino, poeni, trallodi, dygnu, cythryblu; gwallgofi, hurtio, llymhurtio, gorphwyllo, syfrdanu; gyru yn ynfyd *neu* gynddeiriog; peri gorphwyllo, gwallgofi, *neu* ynfydu; penddifadu, disbwyllo.

**Distract,**† *a.*=*Distracted.*

**Distracted,** *a.* gorphwyllog, gorphwyllus, gwall-

gofus, gwallgof, ynfyd, anmhwyllog, lledfrydig, cynddeiriog, llymhurt, disbwyllog, gwyllt, indeg, llerth; maes o'i gof; allan o'i gof *neu* bwyll; cythruddedig, cythruddus, terfysgedig, terfysglyd, dyryslyd, helbulus; mewn cythrudd, trallod, *neu* ofid; gwahanedig, &c.

To be distracted, } gorphwyllo, gwall-
To grow distracted, } gofi, anmhwyllo, ynfydu, ymgynddeiriogi, ansynwyro, gwallbwyllo; myned yn orphwyllog; bod yn wallgof.

To run distracted—myned allan o'i gof; myned i maes o'i gof; myned yn ynfyd; ynfydu, gwallgofi, gorphwyllo; myned yn waened.

Distracted times — amseroedd terfysglyd, amseroedd terfysgus.

I am distracted — yr ydwyf yn petruso (*Salm* lxxxviii. 15).

I am almost distracted — yr wyf bron gwallgofi.

**Distractedness**, *s.* gwallgofrwydd, gorphwyllogrwydd, lledfrydedd, gorphwyllusrwydd; &c.; gwallgof, gorphwyll, anmhwyll, lledfryd.

**Distracter**, *s.* aflonyddwr, cythruddwr, &c.

**Distractile**, *s.* (o *distract*) cydbarthor.

**Distraction**, *s.* (Ll. *distractio*) terfysg, annhrefn, cythrwfl, cymhelri, cythrudd, dyryswch, dyrysedd; gwallgof, gwallgofrwydd, anmhwyll, gorphwyll, disbwyll, gorphwylledd, lledfrydedd, ynfydrwydd, cynddeiriogrwydd, cynddaredd, lledfryd, marwerydd, gwallbwyll, gwall synwyr; gorphwylliad, disbwylliad, llymhurtiad; cyfyng-gynghor; gwahaniad, rhaniad, dosbarthiad; croesdyniad, trawsdyniad, tyniad oddi wrth, tyniad ymaith; terfysg meddwl, syfrdandod, brwynfryd, penbleth.

Without distraction—yn ddiwahan (1 *Cor.* vii. 35).

**Distractive**, *a.* (o *distract*) terfysgus, terfysgol, cythruddol, cythryblus, dyrysol; à bair ddyryswch.

**Distrain**, *v.* (Ll. *distringo*) gafaelu, attafaela, attafaelu, adafaela, codi gafael, cymmeryd attafael; codi da; †rhwygo.

**Distrainable**, *a.* gafaeladwy, attafaeladwy.

**Distrainer**, } *s.* attafaelydd, attafaelwr, gafael-
**Distrainor**, } ydd, gafaelwr.

**Distraint**, *s.* (o *distrain*) gafaeliad, attafaeliad; attafael, gafael, adafael.

**Distraught**,† *a.*=*Distracted.*

**Distream**, *v. n.* (*dis* a *stream*) gorlifo, ffrydio drosodd, llifo drosodd, taenu drosodd.

**Distress**, *s.* (Ff. *détresse;* C. *trais*) cyfyngder, cyfyngdra, ing, ingder, cyni, gwasgfa, caledi, caledfyd, adfyd, trallod, cystudd, cystuddiant, helbul, didri, caethiwed, cythrudd, cyfyng-gynghor, trueni, trychineb, tysmwy, angen, angenoctyd, angenrhaid, cyfeiedd, cyfeiaeth, gormail, poen, gofid, gloes; attafael, gafael, attafaeliad, gafaeliad, rheithafaeliad, dystrais.

**Distress**, *v. a.* blino, poeni, cystuddio, cyfyngu ar, gwasgu ar, pwyso ar, gwasgu, trallodi, caethiwo, gorthrymu, dygn flino, arwasgu, gofidio, cythryblu, cythruddo, cymhwyo, dyrysu, gormeilio, gormesu, gormesu ar; dwyn i drueni, i ofid, i dlodi, i gyfyngder, *neu* i gaethiwed; gwarchau ar; dwyn i'w gyfyng-gynghor; rhoddi mewn syndod.

Yet not distressed — ond nid mewn ing (2 *Cor.* iv. 8).

In distress — mewn cyfyngder, &c.; yn gyfyng arno; helbulus, trallodus, gofidus, &c.

**Distressed**, *a.* helbulus, trallodus, cystuddiol, cystuddiedig, gofidus, adfydig, adfydus, trallodedig, cythruddedig, truenus, ing, ingus, poenus; yn gyfyng arno; mewn ing, ingder, cyfyngder, trallod, angen, *neu* angenoctyd; mewn cyfyng-gynghor.

**Distressedness**, helbulusrwydd, trallodusrwydd, adfydigrwydd, cystuddioldeb, adfydusrwydd, &c.; helbul, ing, cyfyngder, ingder, gwasgfa, cyni.

**Distressful**, *a.* gofidus, helbulus, trallodus, gofidiog, gofidlawn, ingol, gresynol, trwch, adfydus, adfydig, blinderog, gorthrymderus, poenus, ing; tlawd.

Distressful bread — bara cystudd, bara tlodi.

**Distressing**, *a.* ingol, ing, cystuddiol, blin, poenfawr, poenus, trallodol, adfydol, adfydiog, trychinebus, trychinebawl, ingfawr.

**Distributable**, *a.* cyfranadwy, rhanadwy, dosbarthadwy, dognadwy.

**Distribute**, *v. a.* (Ll. *distributus*, o *distribuo*) cyfranu, rhanu, dosbarthu, parthu, dogni, dyranu; rhoi yn rhanau; rhoddi, rhoi, gweinyddu; trefnu, lluniaethu; rhencio; cyflëu; gosod mewn trefn; rhoi *neu* osod yn eu lleoedd; gwahanu, dadgyssodi.

To distribute justice—cyfranu *neu* weinyddu cyfiawnder.

**Distributer**, *s.* cyfranwr, cyfranydd, dosbarthwr, dosbarthydd.

**Distribution**, *s.* (Ll. *distributio*) cyfraniad, dosbarthiad, rhaniad, parthiad; dosbarth; rhanedigaeth; cyflead, trefniad, gweinyddiad, iawn drefniad; gwahaniad, dadgyssodiad.

**Distributive**, *a.* (Ll. *distributivus*) cyfranol, cyfraniadol, dosbarthol, dosbarthiadol, cyfranedigol, cyfranogol, rhanedigol, rhanedigaethol, gwahanredol; gwahaniadol, rhanol.

Distributive justice—cyfiawnder cyfranol, cyfraniadol, *neu* ranedigol; iawn cyfranedig.

**Distributive**, *s.* dosbarthair; gair dosbarthol, dosbarthiadol, *neu* gyfraniadol; dosbarthydd, dosbarthor.

**Distributively**, *ad.* yn gyfranol, &c.; yn rhanedig, yn gyfranedig, yn rhanau, bob yn rhan, bob yn un; bob yn un ac un; trwy gyfraniad.

**Distributiveness**, *s.* cyfrangarwch, dosbarthgarwch.

**District**, *s.* (Ll. *districtus*) cylchdaith; tiriogaeth, rhandir, ardal, goror, bro, parthed, parth, gwlad, tud, trân, amgylchedd; rhaglawiaeth.

**Distriction**, *s.* (Ll. *districtio*) arddangosiad disymmwth, dadblygiad sydyn.

**Distrust**, *s.* anymddiried, anhyder, anghoel, gwangoel, gwangred, anghred, disgoel, disgred, drygdyb, llettyb, ammheuaeth, ammheu, ammheuad, petrusder, ofn; anffi, anghlod.

**Distrust**, *v. a.* anymddiried, anhyderu, anghoelio, digoelio, anghredu, disgredu, disgoelio, gwangredu, ammheu, ammheuo; ammheu yn nghylch; anghredu i; petruso am; llet-

tybio, drygdybio; bod â llettyb *neu* ddrygdyb am; bod heb gred yn; gwanffyddio, gwanobeithio.

**Distrustful**, *a.* llettybus, drygdybus; anhyderus, anymddiriedus, anghoelgar, ofnus, ofnog, ammhëus, gwanffyddiog, gwanffyddiol, dihyder, pryderus, petrusgar, ammheugar; gŵyl, gwylaidd, digalon.

**Distrustfulness**, *s.* anhyderusrwydd, anghoelgarwch, llettybusrwydd, &c.; anhyder, anymddiried, anghoel, gwangred, llettyb, ammheuaeth; petrusgarwch, ammheugarwch.

**Distrustless**, *a.* dilettyb, dibetrus, diddrygdyb; hyderus, coelgar.

**Distune**,† *v. a.* anghyweirio; rhoi mewn anghywair.

**Disturb**, *v. a.* (Ll. *disturbo*) aflonyddu, cythruddo, cythryblu, cyffröi, cynhyrfu, terfysgu, annhrefnu, anostegu, blino, anesmwytho, ystuno, annybenu, anghymmoni, trallodi, ansefydlu; rhwystro, attal, dyor, dyoryd, nadael, llestair, lluddias; bwrw allan o drefn; troi oddi wrth.

**Disturb**,† *s.* aflonyddwch, annhrefn.

**Disturbance**, *s.* terfysg, aflonyddwch, cythrwfl, cynhwrf, cyffro, anosteg, cythrudd, trabludd, cymhelri, dyfysgi, symmysgedd, annhrefn, trallod, trafferth, godwrf, godwrdd, twrf, twrdd, mydwrdd, godorin, brwth, brythwch, llanastr, tymhestl; rhwystr, godor, llestair, lludd, lluddias, goludd.

Disturbance and injury—twrf ac eniwed; twrdd a niwed.

**Disturbed**, *p. p.* aflonyddedig, cythruddedig, &c.; terfysgus, dihedd, aflonydd.

Not disturbed—digynhwrf, digyffro, digythrwfl, diderfysg; anghythruddedig, anghynhyrfedig, &c.

**Disturber**, *s.* aflonyddwr, terfysgwr, terfysgydd, cythruddwr, cyffröydd, cyffröwr, anostegwr; rhwystrwr.

**Disturn**,† *v. a.* troi o'r neilltu.

**Distyle**, *s.* (Gr. *distulos*) pendist dwy golofn; deubillres.

**Disuniform**,† *a.* anunffurf.

**Disunion**, *s.* anundeb, dadundeb, dadgydiad, dadgyssylltiad, ysgariad, esgariad, ysgariaeth, gwahaniad, ysgar; anghytundeb, anghydfod.

**Disunionist**, *s.* anundebwr, pleidiwr anundeb.

**Disunite**, *v.* anuno, daduno, gwahanu, ysgaru, esgaru, dadgyssylltu, dadgydio, dadgyfuno, anghyssylltu, dydoli, neilltuo; rhanu, parthu, dosbarthu, dysbarthu; tori undeb *neu* gyfeillach; peri anundeb, ysgariad, *neu* anghydfod; ymwahanu, ymranu, ymneilltuo, ymadael.

**Disunited**, *p. p.* anunedig, gwahanedig, &c.; digyswllt, anghyfan, anghyfwlch.

**Disuniter**, *s.* gwahanwr, gwahanydd, anunwr, dadunwr, ysgarwr, dadgyfunwr.

**Disunity**, *s.* anundod, anundeb, dadundod, dadundeb, anghyfundeb, anghyfundod, anghytundeb, anunoliaeth, anunoldeb, anunder, ymraniad, ysgariaeth.

**Disusage**, } *s.* anarfer, anarferiad, annefod,
**Disuse**, } anghynnefod, dïarferiad, dïarferedd, anghynnefinder, anghynnefindra; gadawiad *neu* newidiad arfer; ymbaid âg arfer; gwall arfer, diffyg arfer.

**Disuse**, *v. a.* anarferu, dïarferu, annefodi, anghynnefino, gadaw arferu, peidio âg arferu.

**Disused**, *p. p.* anarferedig, dïarfer, anarferol, annefodol, anghynnefin, anghynnefodig, dïarferedig; wedi myned allan o arfer; gwedi tyfu allan o arferiad; hen, henaidd.

**Disvaluation**, } *s.* anmhrisiad, dibrisiad, an-
**Disvalue**, } mharch, anfri, anghlod, bychander, dibrisdod, anghymmeradwyaeth; diffyg parch *neu* fri.

**Disvalue**, *v. a.* dibrisio, anmhrisio, anhoffi, dibarchu, anfrïo, anmharchu, dïystyru.

**Disvelop**,† *v.*=*Develope*, *Develop*.

**Disvelloped**, *p. p.* dadblygedig, taenedig, ar daen, ar led.

**Disvouch**, *v. a.* anghredu, anghoelio, disgredu, disgoelio; gwrthddywedyd, gwrthwynebu, gwrthbrofi, anwirio.

**Diswarn**,† *v. a.* rhagrybuddio.

**Diswitted**, *a.* dadsynwyrog, dadbwyllog; gwedi ei amddifadu o bwyll, synwyr, *neu* ddeall.

**Diswont**, *v. a.* diddyfnu; tynu oddi wrth; dadarferu.

**Disworship**, *s.* anaddoliant, achos gwarthrudd.

**Dit**,† *s.*=*Ditty*.

**Dit**,† *v. a.* (S. *dyttan*) cau i fyny, cau.

**Ditation**,† *s.* (Ll. *ditatus*) cyfoethogiad.

**Ditch**, *s.* (S. *dic;* Is. *dyk;* Al. *deich;* Ff. *digue*) ffos, clawdd, ffosle, ffos clawdd, dyfrglawdd, ffos ddwfr, camlas; clais, rhych, clawdd.

A little ditch — ffosig, goglawdd, clais, rhych, rhigol, rhewyn, cladd.

To surround with a ditch—amgloddio; amgylchu â chlawdd *neu* ffos; bwrw clawdd o amgylch.

Surrounded with a ditch — amgloddedig, amgloddiog.

To make a ditch — cloddio; gwneuthur clawdd *neu* ffos; tori clawdd *neu* gladd.

Full of ditches — ffosog; llawn ffosydd, cloddiau, *neu* gladdau.

**Ditch**, *v.* cloddio, ffosi, gwneuthur ffos, gwneuthur clawdd, tori clawdd, tori cladd; gwneuthur ffosydd *neu* gloddiau.

To ditch in *or* about—amgylchu â chlawdd; bwrw clawdd o amgylch; amgloddio; gwneuthur cylchglawdd *neu* amglawdd.

**Ditch-delivered**, *a.* ffos-anedig; â aned mewn ffos *neu* glais.

**Ditcher**, *s.* cloddiwr, ffoswr; torwr ffosydd, gwneuthurwr cloddiau.

**Ditetrahedral**, *a.* (*dis* a *tetrahedral*) dybedrochrog.

**Dithyramb**, } *s.* (Gr. *dithurambos*) ofergan,
**Dithyrambus**, } llerthgan, llertheg, lloniasgan, lloniasgerdd, gwingerdd=emyn nwyfwyllt er clod i Bacchus, yn mhlith y Groegiaid hynafol.

**Dithyrambic**, *s.* ofergan, llerthgan, llertheg, lloniasgan, lloniasgerdd; cân benboeth, cerdd orwyllt, cân i Bacchus.

**Dithyrambic**, *a.* gwyllt, gorwyllt, nwyfwyllt, penboeth, gorawenol, llerth, chwyddedig, gorwirebus, gormodiceithol.

**Dition**, *s.* (Ll. *ditio*) rheolaeth, llywodraeth, arlwyddiaeth, gallu, awdurdod, cyfoeth.

**Ditone**, *s.* (Gr. *dis* a *tonos*) deudon, dwydon, cyfrwng dwy dôn.

**Ditrichotomous**, *a.* (Gr. *dis*, *treis*, *dicha*, a

*temnô*) rhanedig bob yn ddau a thri; deudrithrwch, deudrithrychog.
**Ditriglyph**, *s.* (Gr. *dis, treis*, a *gluphê*) deudrisylch, deudrisylchen; rhyngbilliad yn cynnwys dau drisylch.
**Ditrihedria**, *s.* (Gr. *dis, treis* a *hedra*) deudrïochron.
**Dittander**, *s.* (?) pupyrlys, pybyrllys, berwr gwyllt, berwy gwyllt.
**Dittany**, *s.* (Gr. *dictamnos;* Ll. *dictamnus*) dittain, dittawnt.
  Dittany of Crete—dittain Creta, dittawnt Creta.
  White dittany—dittain gwŷn, dittawnt gwŷn.
  Red dittany—dittain coch, dittawnt coch.
**Dittied**, *a.* (o *ditty*) canedig, â ganwyd, alawedig.
**Ditto**, *s.* (It. *detto;* Ll. *dictum*) yr un, yr un peth, y dywededig, y crybwylledig, y rhagddywededig, yr unrhyw; eto, eton.
**Ditty**, *s.* (Is. *dicht;* S. *diht, dihtan*) cân, canu, canuan, canig, cenig, cathl, emyn, caniad, cywydd, pryddestgan; pennill o ganu; cetyn o ganu.
**Ditty**, *v. n.* canu, cathlu, emynu, cywyddu; telori.
**Diuresis**, *s.* (Gr. *diourêsis*) troethlif, troethred, pisglwyf, pislif, y tryneclif.
**Diuretic**, *a.* (Gr. *diourêticos*) troethbair, trynerwydd, troethrwydd, troethbarol, trynebair, pisbair; à bair wneuthur dwr.
**Diuretic**, *s.* troethbair, troethgyffer, troethrwyddai, trynerwyddai, pisbair, trynebair; meddyginiaeth à bair droethlif: *pl.* troethbeirion, troethgyfferi.
**Diurnal**, *a.* (Ll. *diurnus*, o *dies*) dyddiol; beunyddiol, peunyddiol, beunydd, peunydd, diwarnodol, dïwrnodol; perthynol i'r dydd; à wneler liw dydd; à wneler yn oed un dydd.
  Diurnal flowers—dyddflodau, blodau dyddiol; blodau yn agor yn y dydd ac yn cau yn y nos.
**Diurnal**, *s.* dyddiadur, dyddlyfr, dyddnodlyfr.
**Diurnalist**,† *s.*=*Journalist*.
**Diurnally**, *ad.* yn ddyddiol, &c.; bob dydd; o ddydd i ddydd; beunydd.
**Diuturnal**, *a.* (Ll. *diuturnus*) parhäus, parhaol, hirbarhäus.
**Diuturnity**, *s.* parhausder, parhausrwydd, hirbara, parhad, hiriant.
**Divagation**,† *s.* (*divagor*) disberod, crwydrad.
**Divan**, } *s.* (Pers. *dïwân*) y senedd neu y prif
**Diwan**, } gynghor yn Nhwrci, ac ereill o wledydd y Dwyrain: cynghor, cynghorfa, uchel gynghor, cynghorlys, senedd; ystafell gynghor, cynghorgell; neuadd, llys; cabidwl: casgliad o gerddi.
**Divaricate**, *v.* (Ll. *divaricatus*, o *divarico*) fforchogi, fforchi, agor, agoryd, gwahanu, lledu; dosbarthu, ymranu, ymwahanu, ymagor; rhanu yn ddau; rhanu *neu* ymranu yn ddwy gangen; deuranu, deubarthu, deuhanneru; myned yn ddau.
**Divaricate**, *a.* fforchog, fforchedig, ymranedig, deuranog.
**Divarication**, *s.* fforchogiad, fforchiad, ymraniad, ymwahaniad; deubarthiad, deuraniad; rhaniad *neu* ymraniad yn ddau; dosbarthiad yn ddwy ran; croesiad.
**Dive**, *v.* (S. *dyfan;* Gr. *duptô*) ymsoddi, ymsuddo, ymdrochi; trochi, suddo, soddi, grawthu, cleigio; myned, ymfwrw, *neu* daro dàn y dwr; nofio dàn y dwr; treiddio, dwfn chwilio, dyfal chwilio, olrhain; myned i ddyfnder *neu* waelod peth; chwilio peth i'r gwaelod; mynu gweled eithaf peth; cael allan wrth chwilio.
  I cànnot dive into it—ni allaf *neu* ni fedraf fi mo'i olrhain.
**Divellent**, *a.* (Ll. *divello*) ysgarol, esgarol, gwahanedigol; dattynol, gwrthdynol; yn tynu oddi wrth eu gilydd; à wahana.
**Divellicate**, } *v. a.* (Ll. *divello*) llarpio, darnio;
**Divel**, } tynu oddi wrth eu gilydd; tynu bob yn getyn.
**Diver**, *s.* (o *dive*) ymsoddwr, ymsuddwr, ymdrochwr, trochydd, trochwr, trochiedydd, suddwr, soddwr; nofiedydd dàn ddwfr; un à nofio tàn ddwr; treiddiwr, olrheiniwr.
  Great northern diver—trochydd mawr.
  Grey speckled diver—trochydd bach.
  Red-necked diver, } trochydd gwddfgoch.
  Red-throated diver, }
  Lesser dun diver—trochydd danneddog.
  Pearl-divers—gem-suddwyr.
**Diverb**,† *s.* (Ll. *diverbium*) dïareb, direb.
**Diverberation**, *s.* (Ll. *diverbero*) tryseiniad, tryswniad.
**Diverge**, *v. n.* (Ll. *divergo*) ymwasgaru, ymwahanu, gwasgaru, ffoi, lledwyro, ymbellhau, gwyrdynu, cyfogwyddo allan, cydwyro allan, ymranu; cilio *neu* wyro bellach bellach oddi wrth eu gilydd; osgöi, lleddfu.
**Divergence**, } *s.* ymwasgariad, ymbellhad,
**Divergement**, } ymwahaniad, ffload, osgoad, ysgoad; ciliad *neu* wyrad bellach bellach.
**Divergent**, *a.* (Ll. *divergens*) ymwasgarol, ymwahanol, ymbellhaol, osgoawl, ysgoawl, gwyrdynol, lledwyrog; yn gwasgaru, yn ymwasgaru, yn ymbellhau; yn cilio *neu* yn gwyro bellach bellach.
**Divers**, *a.* (Ff.; Ll. *diversus*) amryw, amrywiol, amryfal, llawer, aml; amry-.
  Of divers colours, } amryliw, amliwiog,
  Divers-coloured, } amliw, amryliwiog; o amryw liwiau; brith, tryfrith; symmudliw, newidliw.
  Of divers forms—amryddull, amrylun, amrywedd, amlwedd, amryfodd, amryfeilwedd; o amryw ddull *neu* luniau.
  Divers manners—llawer modd.
  Of divers qualities—amrysawdd.
**Diverse**, *a.* (Ll. *diversus;* Ff. *divers*) amrywiol, amryfal, amryw, amryfath, amrywedd, amrywiog, amlryw; gwahanol, amgen, gwahan, annhebyg, anghyffelyb, gwahanredol, neilltuol; â gwahaniaeth *neu* ragoriaeth rhyngddynt.
**Diversification**, *s.* (o *diversify*) amrywiad, amrywiant, amrywiaeth, amrywiogaeth, amrywiolaeth, amrywioldeb, amryfeiliant, amryfeiliad, amryfaliad, neilliad, amgeniad; amryweddiad, amlweddiad; newidiad, cyfnewidiad.
**Diversified**, *a.* amrywiog, amrywiedig, amryfaledig, amryfeilus; gwahanedig, neilliedig, neilliog, amgenedig; brith, tryfrith, brithedig; amrywedd, amryfath, amryddull; à wnaed yn amryw.
**Diversiform**, *a.* (Ll. *diversus* a *forma*) amryddull, amrylun, amrywedd, amlwedd, amryfodd, amryfeilwedd, amgenwedd; o amryw ddull *neu* luniau.

**Diversify**, *v. a.* (Ff. *diversifier;* Ll. *diversus* a *facio*) amrywio, amrywioli, amryfalu, amryfelu, amryfeilio, amgenu, neillio, neilliogi, amrywiaethu; gwahanredoli, gwahaniaethu; gwneuthur yn amryw *neu* yn amgen; gwneuthur yn wahanol, yn annhebyg, *neu* yn amrywiol; gwahanu, gwneuthur gwahaniaeth; britho, amliwio, brithnodi, dyfritho, darfritho, tryfritho.

**Diversiloquent**, *a.* (Ll. *diversus* ac *eloquor*) amrylef, amrylais, amrylafar, amrydraeth.

**Diversion**, *s.* (Ff. o'r Ll. *diverto*) difyrwch, digrifwch; dyddanwch, achwervd; digrifhad, difyriad; chware, chwareu, chwaryddiaeth, chwareuaeth; cildroad, gwyrad; troad o'r neilltu; troad oddi ar y ffordd.

To give an enemy a diversion—dwyn, tynu, *neu* droi gelyn oddi wrth ei amcan; tynu gelyn oddi wrth ei amcan drwy hyfedredd ymddygiad; troi gelyn oddi wrth ei amcan drwy gyfrwysdra; dàl *neu* gadw gelyn mewn chwareu *neu* ar waith; dallu llygaid gelyn; tywyllu llygaid gelyn; rhoi i'r gelyn beth i'w wneuthur; cildröi gelyn.

**Diversity**, *s.* (Ll. *diversitas;* Ff. *diversité*) amrywiaeth, gwahaniaeth, amrywioldeb, amrywiant, amryfeiliaeth, amryfeiliant, amryfaliad, amryfeiliad, amryfaliaeth, amryfaledd, gwahan, rhagoriaeth, rhagor, amrywiedigaeth, amrywiolaeth, amrywiogaeth, amrywdeb, amgenaeth, annhebygrwydd, annhebygoliaeth, neilliogrwydd, neilliogaeth, neilliedigaeth.

Diversity (in painting)—amrywdeb.

There are diversities of gifts—y mae amryw ddoniau (1 *Cor.* xii. 4).

Great diversity—amrywiaeth mawr; amrafael mawr.

**Divert**, *v. a.* (Ll. *diverto*) difyru, boddio, boddhau, dyddanu, digrifo, digrifhau, lloni, lloddi, hyfrydhau, dadebru; gwyro; troi o'r neilltu; troi oddi ar y ffordd; troi oddi wrth ei amcan; troi ymaith; trosi, somi, siomi; troi *neu* dynu y naill oddi wrth y llall.

To divert one's self—ymddifyru, ymddigrifo, ymddigrifu, ymddigrifhau, ymloddi, ymddyddanu; difyru ei hun.

To divert one's spleen—troi ymaith ei ddig; dofi, dylofi, *neu* dawelu ei ddryganian; dofi ei ddrygnaws *neu* ddrygnwydau; sirioli, diddigio, dad-ddigio.

To divert one's misery—anghofio ei ofid; ymloni.

**Divertimento**, *s.* (It.) difyriant; amryfaledd.

**Diverter**, *s.* difyrydd, difyrwr, dyddanwr.

**Diverting**, } *a.* difyrus, difyrol, difyr, digrifol,
**Divertive**, } dyddanus, dyddanol, dyddan, digrif, llon, llawen; arab; cellweirus, cellwerus, afieithus, difyrgar, dyddangar, lloddus.

**Diverticle**,† *s.* (Ll. *diverticulum*) troad, cildroad; cilffordd.

**Divertise**,† *v. a.* (Ll. *diverto;* Ff. *divertir*) difyru, boddio, lloni, lloddi.

**Divertisement**, *s.* difyrwch, digrifwch, boddhad, difyredigaeth, achweryd.

**Divest**, *v. a.* (Ff. *dévêtir;* o'r Ll. *vestio*) dihatru, dïosg, diddilladu, dihwylo, dynoethi; difuddio, difeddu, difeddiannu, dadfeddiannu; dwyn oddi ar; cymmeryd oddi wrth; dysbeinio.

To divest one's self—ymddïosg, ymddihatru, ymddeodi.

He was divested of his office—difuddiwyd *neu* difeddiannwyd ef o'i swydd; dïosgwyd ef o'i swydd.

He divested him of all his honours—dïosgodd ef o'i holl urddas *neu* anrhydedd.

**Divestiture**, } *s.* dihatriad, dïosgiad, difuddiad;
**Divesture**, } dadestyn, dadystyn, dadestyniad.

**Dividable**, *a.* rhanadwy, cyfranadwy, dyranadwy, parthadwy, hyran, hybarth.

**Divide**, *v.* (Ll. *divido*) rhanu, cyfranu, dyranu, gwahanu, parthu, dybarthu, dosbarthu, rhifranu; ysgar, esgar, esgaru, ysgario, cywanu; hollti; ymranu, ymwahanu; ymagor, ymhollti; dogni; deoli.

To divide asunder—gwahanu, ysgar, dydoli, neilltuo; tori; tynu oddi wrth eu gilydd.

To divide into two equal parts—deubarthu; rhanu *neu* dori yn ddau; rhanu yn ddwy ran; rhanu yn ddwy ran gyfartal.

To divide into three parts—traianu, trianu; rhanu *neu* wneuthur yn deiran; rhanu yn dair rhan.

**Divided**, *p. p.* rhanedig, &c.; anghytûn, anghydgordiol.

Divided into two parts—deubarthedig; dwy-ran, deuhanner.

Divided into three—traianedig, trianedig, teir-ran.

Divided into many parts—lluosranog, lluosran, lluosbarth, lluosbarthog.

Easily divided, } hyran, hybarth;
Easy to be divided, } hawdd ei ranu *neu* barthu; hawdd i'w ranu *neu* barthu.

To be divided in opinion—bod o wahanol farn; ymranu *neu* amrywio mewn barn.

**Dividedly**, *ad.* yn rhanedig, &c.; ar wahan.

**Dividend**, *s.* (Ll. *dividendus*) rhan, cyfran, dogn, rhandwy, ysgâr, talgyfran, llogran, dylran; cyfransawdd, rhifransawdd, rhansawdd, nellai, esran, ysran; rhif, nifer, rhifedi, cyfrif, *neu* sum i'w ranu.

**Divider**, *s.* rhanwr, rhanydd, rhaniedydd, rhanedydd, parthwr, dosbarthwr, dosbarthydd, cyfranwr, dydolwr, dydolydd, gwahanwr, gwahanydd.

Divider, } rhanedydd, rhaniedyr, rhanyr
Dividers, } =math ar gwmpas.

**Dividing**, *a.* rhaniadol, parthiadol, dybarthol, dyranol, ysgarol, gwahaniadol.

**Dividing**, *s.* rhaniad, parthiad, gwahaniad, dyraniad, dosbarthiad.

**Dividual**, *a.* (Ll. *dividuus*) rhanedig, cyfranedig, dyranedig, dognedig, cydranedig.

**Divination**, *s.* (Ll. *divinatio*) dewiniaeth, dewiniad, dewindeb, dewindebiaeth, darogan, armes, dysgogan, arddysgogan, chwiliogaeth, dysgoganiad, dysgogant, cynnadgan, brud, coel, argoel, darmain; rhagddywediad, barn, amcan, amcaniaeth, *neu* amcanfarn am à ddel.

Divination by the entrails—ymysgargoel, dewiniaeth ymysgar.

Lying divination—gau ddewiniaeth (*Esec.* xiii. 6).

**Divinator**, *s.* (Ll.) dewin, dewinwr, dewiniwr, dewiniedydd, dewinydd, daroganwr, darogenydd, dysgoganwr.

**Divinatory**, *a.* dewiniaethol; yn proffesu dewiniaeth.

**Divine**, *a.* (Ll. *divinus*) dwyfol, duwiol, dwywol, dwyfolaidd, duwin, dwyfin; perthynol i Dduw; duwaidd; nefol, nefolaidd, santaidd, sanctaidd; dwyar; dwyf-; ardderchog, rhagorol.
  Divine service—gwasanaeth Duw, gwasanaeth dwyfol, addoliad Duw, diwyll Duw, addoliant dwyfol.
  Divine vengeance — dïal Duw; dïaledd dwyfol.
  A divine sentence—ymadrodd Duw (*Diar.* xvi. 10); ymadrodd dwyfol.
  Divine songs—canau duwiol.
  The divine nature—yr anian ddwyfol, y natur ddwyfol, y dduwiol anian, y ddwyfol anian, yr anian dduwiol; natur Duw.
  Divine perfections — perffeithion Duw, perffeithion dwyfol, perffeithiadau Duw, perffeithderau dwyfol.

**Divine**, *s.* duwinydd, dwyfydd, dwyfinydd; gweinidog yr efengyl, gwr llên.
  St. John the Divine—Sant Ioan y Duwinydd; Sant Ioan y Dwyfinydd.

**Divine**, *v.* (Ll. *divino*) dewinio, dewino, rhagddewino, darogan, daroganu, dewindebu, brudio, brutio, dysgogan, dysgoganu; dyfalu, dyfeisio, dychymygu, dychymyg, amcanu, bwrw amcan, bwrw hud; arfer dewiniaeth, coelgyrchu, rhamanta; rhagddywedyd, rhagwedyd, rhagfynegu; † dwyfoli.
  Divining rod—hudlath, hudialen, hudwialen, gwialen ddewinio.

**Divinely**, *ad.* yn ddwyfol, yn dduwiol, yn nefolaidd; mewn modd nefolaidd; oddi wrth Dduw; gàn Dduw; o'r nef.
  Divinely inspired—cynhyrfedig gàn Ysbryd Duw; cynhyrfedig gàn yr Ysbryd Glân; à gynhyrfwyd gàn Ysbryd Duw; à gynhyrfwyd gàn yr Ysbryd Glân; à roddwyd gàn ysbrydoliaeth Duw; gwedi ei roddi gàn ysbrydoliaeth Duw; gwedi ei ddwyfol ysbrydoli; trwy ysbrydoliaeth Duw.

**Divineness**, *s.* dwyfoldeb, dyfolder, dwyfolrwydd, dwywoldeb, dwywolder, duwioldeb.

**Diviner**, *s.* dewin, dewiniwr, dewinwr, dewinydd, dewiniedydd, daroganwr, darogenydd, daroganor, brudiwr, brutiwr, dysgoganwr, dysgogenydd, chwiliog, coelgyrchwr; rhagfynegwr; dyfalwr, amcanwr, dychymygwr: *pl.* dewiniaid: *f.* dewines.

**Divineress**, *s.* dewines, dewinyddes, daroganes, dysgoganes, dewinwraig, chwilioges.

**Diving**, *s.* (o *dive*) ymsoddiad, ymsuddiad, ymdrochiad, trochiad, soddiad; nawf dàn ddwr; nawf dàn y dwr.

**Diving-bell**, *s.* soddgloch, suddgloch, cloch ymsoddi, cloch soddi, dyfrgloch: *pl.* soddglych.

**Diving-stone**, *s.* soddfaen=math o faen iaspis.

**Divinity**, *s.* (Ll. *divinitas*; Ff. *divinité*) dwyfoldeb, dwyfolder; duwdod, duwdeb; duwinyddiaeth, dwyfyddiaeth, duwineb, dwyfinyddiaeth; dwywoldeb, dwywolder, duwindeb, duwiolaeth; Duw, duw; duwiaeth.
  The divinity of Christ — duwdod Crist, duwdeb Crist; dwyfoldeb Crist.
  Body of divinity—corff o dduwinyddiaeth, corff o ddwyfyddiaeth, corff dwyfyddiaeth.
  Doctor of Divinity, / Doctor in Divinity, } Doethor Duwinyddiaeth, Doethor Dwyfyddiaeth; Dysgawdwr Duwinyddiaeth, Athraw Dwyfyddiaeth, Doctor Duwinyddiaeth.
  Bachelor of Divinity—Baglor Duwinyddiaeth, Baglor Dwyfyddiaeth; Mebydd Dwyfyddiaeth; Gwyryf Dwyfyddiaeth, Gwyryf Duwinyddiaeth.

**Divisibility**, / **Divisibleness**, } *s.* (Ff. *divisibilité*, o'r Ll. *divisibilis*) hyranedd, hyranrwydd, hybarthedd, hybarthrwydd, gwahanrwydd.
  Divisibility of matter—hyranedd defnydd.

**Divisible**, *a.* (Ll. *divisibilis*) rhanadwy, parthadwy, hyran, hybarth, gwahanadwy; à ellir ei ranu, &c.

**Division**, *s.* (Ll. *divisio*) rhaniad, parthiad, cyfraniad, gwahaniad, dyraniad, dybarthiad, dosbarthiad, parthiant, ysgariad, dydoliad; rhan, cyfran, parth, parthed, parthedd, parthred, dosbarth, ysgâr; cydraniad; cyfraniaeth, rhifraniad, dyraniaeth, rhanedigaeth, gwahanedigaeth; ymraniad, ymrafael, ymryson, amryson, anghydfod, anghydfyddiaeth, anundeb, anghytundeb; gwahaniaeth, amrywiaeth, gwahan, ysgariaeth, esgariaeth, rhwyg, rhwygiad, ymbleidiad.
  Division (as a rule)—cyfraniaeth, rhifraniaeth, rhaniadaeth, dyraniaeth.
  Division of integers—cyfraniaeth symion, rhifraniaeth syml, cyfraniaeth gyfanrif.
  Compound division—cyfraniaeth amrywion, rhifraniaeth gyfansawdd.
  Equal division—cyfraniad; rhaniad cyfartal, &c.
  Front division—rhagwan, rhagran, blaenran, rhagbarth; rhan flaen, dosbarth blaen.
  Circular division—amran, cylchran; amraniad, cylchraniad; rhaniad crwn.
  To run division — cynghaneddu, peroriaethu, perori, cathlu, pyncio; canu yn gywair fesurol; canu yn fân ddrylliau *neu* ddarnau.
  That there be no divisions among you—na byddo ymbleidio yn eich plith (1 *Cor.* i. 10).
  Division of one's inheritance—rhandir ei etifeddiaeth.

**Divisional**, / **Divisionary**, } *a.* rhaniadol, parthiadol, dosbarthiadol, parthiannol, parthiannus, parthredus.

**Divisioner**, *s.* rhanwr, rhanydd, parthwr.

**Divisive**, *a.* rhaniadol, rhanedigol, parthedigol, cyfraniadol, cyfranedigol; anghydfodol, amrysonol, amrafaelus; à bair anghydfod *neu* anundeb.

**Divisor**, *s.* (Ll.) rhaniedydd, rhanedydd, rhifranai, rhifranydd, rhanydd, cyfranydd.

**Divorce**, / **Divorcement**, } *s.* (Ff.; Ll. *divortium*) ysgar, ysgariaeth, esgar, esgariaeth, ysgariad, esgariad, esgaredigaeth, ysgaredigaeth, ysgar priodas, diddymiad priodas, dadbriodas; dadundeb, gwahaniad, deolawd; llythyr ysgar, esgareb.
  Bill of divorce, / Bill of divorcement, } llythyr ysgar, llythyr esgar, esgareb.

**Divorce**, *v. a.* ysgar, ysgaru, esgar, esgaru, esgario, ysgario, gwahanu; ysgar, gwahanu, *neu* ddattod priodas; dadbriodi; deol; gwrthod, llysu, rhoi ymaith, bwrw ymaith, gyru ymaith, anfon ymaith, daduno, dadgyssylltu.

Divorceable, *a.* ysgaradwy, esgaradwy, gwahanadwy.
Divorceless, *a.* dïysgar, dïesgar, anysgoradwy, anysgarol; nas gellir ei ysgar.
Divorcer, *s.* ysgarydd, esgarydd, ysgarwr, ysgariedydd.
Divorcive, *a.* ysgarol, esgarol, ysgariadol.
Divulgate, *a.* (Ll. *divulgatus*) cyhoeddedig, angheledig, cyhoeddus, cyhoedd.
Divulge, *v. a.* (Ll. *divulgo*) cyhoeddi; gwneuthur yn gyhoedd *neu* yn gyffredin; dadguddio, amlygu, egluro, anghelu, cyffredino, anhuddo; hòni; gwneuthur yn honaid; gyru ar led.
To divulge a secret—dadguddio cyfrinach, gwystlo gwybodaeth, dywedyd rhin, angelu cyfrinach, cyfranu cyfrinach; dadrinio.
Divulger, *s.* cyhoeddwr, cyhoeddydd, dadgelwr, anghelwr, dadguddiwr.
Divulsion, *s.* (Ll. *divulsio*) dadgyssylltiad; rhwygiad; tyniad oddi wrth eu gilydd; tyniad yn ddrylliau; dattodiad; gwahandyniad.
Divulsive, *a.* gwahandynol; à dyno oddi wrth eu gilydd; rhwygol, dadgyssylltiol.
Dizen, *v. a.* (o *dight*, yn ol *Johnson*) trwsio, taclu, addurno, gwychu, trwsiadu; gwisgo yn orwych.
Dizz,† *v. a.* (S. *dysi*, *dysig*) synu, serfanu, serfu; dyrysu; syfrdanu.
Dizzard,† *s.* penbwl, cadafael, hurthgen, llelo, ffwlcyn, llob, penllorcan.
Dizziness, *s.* (o *dizzy*) syfrdandod, madrondod, syfrdanedd, pendrondod, pendro, y bendro, gysp, y gysp, penddar, penddaredd, meigryn, ehegr, dera, penfrag, gwibwrn, chwibwrn, pendronedd, pendrofa, pensyndod, penchwibandod, chwidredd, penfeddwdod, serfandod, pendreiglad; diofalwch.
Dizzy, *a.* (S. *dysi*, *dysig*; Al. *dusel*, *duselig*; Is. *deuzig*) syfrdan, pensyfrdan, pendröedig, penysgafn, penfeddw, penchwiban, serf, serfan, chwibwrn, gwibwrn, serfyll, madron, pendron; â'r bendro arno, &c.; penddarus, pendreigl, pendroiog; diofal, difeddwl, anfeddylgar.
Dizzy, *v. a.* chwildröi; syfrdanu, serfanu, serfu, penfeddwi, pendroni, penddaru, madroni, pendröi, serfyllio, pensynu; dyrysu, anuhrefnu; peri syfrdandod, &c.
Do, *v.* (S. *don*; Is. *doen*; Al. *thun*) gwneuthur, gwneyd, gwneuthyd, gwneddyd, gwnelyd, gorugo; gweithredu; ymwnëyd; bod.
How do you do? } pa fodd yr ydych? pa
How do you? } sut yr ydych? pa fyd? pa hynt? pa helynt? beth yw'ch hynt? pa beth yw eich hynt? pa fodd yr ydych yn ymdaro? pa sut yr ych chwi?
He did—gwnaeth, gorug, gwneddyw.
It will do—gwna y tro; efe a wna y tro; e wna 'r tro; gwnaiff y tro; efe a wasanaetha 'r tro; efe a etyb y tro; ef a etyb y dyben.
What doth he here?—beth sydd à fyn *neu* a wna efe yma? beth y mae efe yn ei wneuthur yma? pa neges sydd iddo *neu* ganddo yma? beth sydd à fyno efe yma?
To have to do—bod à wnelo; bod à fyno.
To have to do with—ymwneyd â, ymwneuthur â; bod à wnelo â; ymgyslynu â; gweithredu â.

What have you to do with me?—beth sydd à fynech chwi â myfi? beth sydd à wnelech chwi â mi? beth sydd à fynoch *neu* à wneloch chwi â myfi?
You will have enough to do—cewch eich llawn waith; cewch eich cyflawn waith; cewch eich gwala o waith; cewch ddigon i wneuthur; cewch ddigon i'w wneyd.
We shall do very well—gwnawn yn burion; nyni a ymdaräwn o'r goreu; ni a ymdaräwn yn ddifai ddigon; ni a ymdaräwn yn burion; gwnawn o'r goreu.
What hast thou to do with peace?—beth sydd i ti à ofynych am heddwch? beth sydd i ti à wnelych â heddwch? beth sydd à fynot ti â heddwch?
Hast thou anything to do with this?—a oes à wnelot ti â hwn? a oes à fynot ti â hwn? a oes à wnelo hwn â thi?
To do well—ffynnu, llwyddo, gwrygio; gwneuthur yn dda; gwella, gwellhau.
To go about to do—bod ar fedr gwneuthur; bod yn nghylch gwneuthur; myned yn nghylch gwneuthur; myned yn nghyd â gwneuthur.
Much to do—trafferth.
I had much to do—cefais lawer o drafferth; cefais lawer i'w wneuthur.
Do not be foolish—paid â gwirioni; paid â bod yn ffol.
Do so no more—na wna felly mwy; na wnewch felly mwy; peidiwch â gwneuthur hyny mwyach.
Do I?—a ydwyf? a wyf? a ydwyf fi? a wyf fi? ydwyf fi?
Dost thou?—a ydwyt? a ydwyt ti, &c.
Do you go to the theatre?—a ydych yn myned i'r chwareufa?
I do—ydwyf, wyf, yr ydwyf, yr wyf.
I did—gwnaethym; do.
That will do—gwna hyna y tro; dyna burion; etyb hyn y dyben; gwasanaetha hyna *neu* hwnw y tro; purion; o'r goreu.
To do business — masnachu, trafnidio; gwneuthur *neu* wneyd masnach; trin masnach.
To do away—symmud, symmudo; symmud ymaith; dyfetha, dinystrio, dystrywio, lladd; symmud oddi ar y ffordd; symmud i ffwrdd; dilëu, difodi.
To do with — gwneuthur â; gwneuthur gyda; defnyddio; gwneuthur defnydd o; ennill; bod à wnelo â; bod à fyno â; bod ganddo à wnelo â; effeithio; effeithio ar; bod o bwys i; trafod.
Have little to do with jealous men—bid ychydig à wnelot â dynion eiddigus.
Do, that is a good creature—gwna, da dithau.
Do but obey my voice—yn unig gwrandaw ar fy llais; yn unig gwrandawa fy llais.
He cannot do that—nis gall efe wneuthur hyny; ni ddichon efe mo hyny.
Self do, self have—fâl y gwnaethoch y cawl, cymmerwch; megys y gwnaethoch y cawl, yfwch ef.
Do well and have well—os da y gwnei, da y cei; fel y gwnai, felly y cai; megys y gwnei, felly y cei; fâl y gwnaethoch y cawl, cymmerwch.
What hast thou to do to declare my

statutes?—beth sydd i ti â fynegech ar fy neddfau?

You have nothing to do with us—nid yw i chwi ac i ninnau (*Esra* iv. 3).

With whom we have to do—am yr hwn yr ydym yn son (*Heb.* iv. 13).

Dost thou now govern the kingdom of Israel?—ydwyt ti yn awr yn teyrnasu ar Israel? a ydwyt ti yn awr yn teyrnasu ar Israel (1 *Bren.* xxi. 7)?

**Do**, *s.* sill arferedig mewn cerddoriaeth.

**Doat**, *v. n.*=*Dote.*

**Docibility**, } *s.* hyddysgedd, hyddofedd; par-
**Docibleness**, } odrwydd i ddysgu; parodrwydd
**Docility**, } *neu* gymhwysder i gymmeryd dysg; parodrwydd i dderbyn addysg; parodrwydd i gymmeryd ei ddysgu; athrylithgarwch; gwarwch, gwarder, hynawsedd.

**Docible**, } *a.* (Ll. *docilis*) hyddysg, hyddof, hy-
**Docile**, } drin, hydyn, hywedd, hywaith, dysgadwy, athrylithgar; hawdd ei ddysgu; hawdd i'w addysgu; hawdd ei drin; dofaidd, dof, gwâr, gwaraidd, hynaws.

**Docimacy**, *s.* (Gr. *docimasia*) delbrofiaeth, delidbrofiaeth, mettelbrofiaeth, delbrofiad, delbrawiad; metteliaeth, mettelwaith.

**Docimastic**, *a.* (Gr. *docimasticos*) delbrofol, delidbrofol, delbrawol, mettelbrofol; mettelweithiol.

**Dock**, *s.* (S. *docce;* Al. *docke;* Gr. *daucos;* Ll. *daucus*) tafol; tafolen.

Sharp dock, } trython, tafol Mair, chwys-
Ditch dock, } oglen, tafol blaenllym.

Bloody-veined dock—tafolen goch, tafolen waedlyd.

Curled dock — tafolen grech: *pl.* tafol crychion, tafol crych.

Broad-leaved dock — tafolen lydanddail, tafolen y cwn, tafolen gyffredin.

Great water dock—tafol y dwr, tafol y dwfr, tafol hirion, suran hir.

Sour dock—dringol, dringon, suran yr yd.

Golden dock—tafol y môr.

Dock leaves—dail tafol.

In dock out nettle—y naill wenwyn a ladd y llall.

**Dock**, *s.* llongarth, llongorsaf, llongborth, llongadeilfa; cloren march, cynffon march; cloren, rhonell, conell; pedrain; tocen; cynffon *neu* gloren gota; caes tocen, tocwisg, tocwain; cloer, llogawd, bâr.

**Dock**, *v. a.* (o'r C.) tocio, twcio, cwtogi; tori yn fyr; tori yn gwta; tori ymaith; byrhau, talfyru, dyfyru, byrdori, blaendocio, blaendori, llosttori; tori cloren; tynu o; attal, rhwystro; dystrywio, gorchfygu.

**Dock**, *v. a.* llongarthu, llongorsafu, gorsafu llong, dwyn i longorsaf.

**Docked**, *a.* tociedig; toc, cwta; cynffonfyr, llostfyr; amdrwch; à dorwyd yn fyr.

**Docket**, } *s.* (C. *tocio*) toced, toceb, tocyn, toc-
**Docquet**, } nod, cyfeirnod, hyfforddnod, cyfarwyddnod, nwyddnod; cwynres; crynodeb, talfyriad, cynnwys; torgedeb.

**Docket**, } *v. a.* tocnodi, tocedu, tocebu, cyfeir-
**Docquet**, } nodi, hyfforddnodi; nodi â thoced; talfyru; talfyru a llyfru.

**Docking**, *s.* llongarthiad; tyniad *neu* ddygiad i longorsaf; llongorsafiad, llongborthiad.

**Dock-master**, *s.* meistr llongarthau, llongarthydd, arolygwr llongorsafoedd, meistr gorsafoedd, penllongborthydd.

**Dock-yard**, *s.* llongarthfa, llong-gadlas; ysterfa llongorsaf, buarth llongorsaf.

**Doctor**, *s.* (Ll.) doethor, dysgawdwr, dysgawdur, athraw; meddyg, doctor: *pl.* doethoriaid, doethorion.

Doctor of Divinity, } Doethor Duwinydd-
Doctor in Divinity, } iaeth, Doethor Dwyfyddiaeth; Dysgawdwr Duwinyddiaeth; Athraw Dwyfyddiaeth, Doctor Dwyfyddiaeth.

Doctor of Laws—Doethor Cyfreithiau.

Doctor of Civil Law, } Doethor Cyfraith
Doctor in Civil Law, } Lëyg; Doethor Cyfraith Wladol; Doethor Cyfraith F... Doethor y *neu* yn y Gyfraith Lëyg.

Doctor of Medicine, } Doethor Meddyg-
Doctor of Physic, } iaeth, Doethor Meddyginiaeth.

Doctor of Philosophy—Doethor Athroniaeth.

Doctor of Music — Doethor Peroriaeth; Doethor Cerddoriaeth, Doethor Alaw, Bardd Alaw.

Doctor of civil and canon law—doethor yn rhaith gwlad ac eglwys; doethor cyfraith lëyg a llên; doethor y ddwy gyfraith; athraw yn y ddwy gyfraith; doethor llëyg a llên; doethor cyfraith fyd ac eglwys.

Doctors' Commons—Rheithglas, Rheithgoleg, Rheithgor.

Doctor's degree—gradd doethor, doethoriaeth, doethorurdd, doethorradd, athrawurdd.

To commence Doctor in Divinity—cymmeryd gradd Doethor Duwinyddiaeth; cymmeryd arno radd Doethor Dwyfyddiaeth; cael ei urddo *neu* raddio yn Ddoethor mewn Duwinyddiaeth; graddio yn Ddoethor Dwyfyddiaeth.

Gamaliel, a doctor of the law—Gamaliel, doctor o'r gyfraith (*Act.* v. 34).

In the midst of the doctors—yn nghanol y doctoriaid (*Luc* ii. 46).

**Doctor**, *v.* meddygu, meddyginiaethu, gwella.

**Doctoral**, *a.* doethorol, doethoraidd, doethorus, doctorol, doctoraidd, doctorus; perthynol i radd doethor.

**Doctorally**, *ad.* yn ddoethorol; fel doethor.

**Doctorate**, } *s.* doethoriaeth, doctoriaeth, gradd
**Doctorship**, } doethor, doethorradd, athrawurdd; swydd *neu* urddas doethor.

**Doctorate**, *v. a.* doethori, doethorraddio; gwneuthur, graddio, *neu* raddu yn ddoethor.

**Doctorly**, *a.* doethoraidd, doethorus, doethorol, athrawol, athrawus, athrawaidd, dysgedig; fel doethor.

**Doctress**, } *s.* doethores, meddyges, meddyg-
**Doctoress**, } wraig.

**Doctrinnaire**, } *s.* (Ff. *doctrinnaire*) hoffwr
**Doctrinary**, } athrawiaethau *neu* ddesetiau
**Doctrinist**, } newyddion; trawddysgydd: *pl.* trawddysgeidion.

**Doctrinal**, *a.* (Ll. *doctrina*) athrawiaethol, athrawiaethus, addysgiadol, addysgol, athrawus, athrawedigol.

**Doctrinal**, *s.* dysgeidran; à fo yn rhan o athrawiaeth; addysg, athrawiaeth.

**Doctrinally**, *ad.* yn athrawiaethol, yn athrawaidd; ar wedd addysg *neu* athrawiaeth; mewn modd athrawiaethol *neu* addysgiadol.

**Doctrine**, *s.* (Ll. *doctrina*) athrawiaeth, addysg; dysg, dysgeidiaeth.
False doctrine—gau athrawiaeth, geulith, ffals ddysgeidiaeth.
False doctrine, heresy, and schism — gau athrawiaeth, camgred, ac ymraniad.
Doctrine of faith—athrawiaeth ffydd, gofyddeb ffydd.
Contrary doctrine — gwrthddysg, gwrthaddysg; athrawiaeth groes *neu* wrthwynebol.
Whom shall he make to understand doctrine?—i bwy y par efe ddeall yr hyn a glywo (*Esa.* xxviii. 9)?
**Document**, *s.* (Ll. *documentum*) addysg, gorchymyn, cyfarwyddyd, hyfforddiad, gwers, llith; prawfysgrif, prawfysgrifen, gweithred, prawf, ysgrifdyst, ysgrifendyst, tysteb, ysgrif, cynysgrif, mynagysgrif; ysgrif ardystiol *neu* hysbysol.
**Document**, *v. a.* addysgu, athrawiaethu, cyfarwyddo; cynnysgaethu â phrawfysgrifau, &c.; tystebu.
**Documental**, *a.* addysgol, addysgiadol, cyfarwyddol; prawfysgrifol, mynagysgrifol, ardystiol, ysgrifdystiol.
Documental testimony—tystiolaeth prawfysgrif.
**Documentary**, *a.* perthynol i brawfysgrifau, &c.; cynnwysedig mewn prawfysgrifau; prawfysgrifol, ysgrifdystiol, ardystiol; cynnwysedig mewn gweithredoedd.
**Dodder**, *s.* (Al. *dotter*) llindro, llindag, llinglwm, cyfnydd.
Lesser dodder — cyfnydd lleiaf, llindro lleiaf.
**Doddered**, *a.* cyfnyddog, llindroawg; gorchuddiedig gân lindro; cyfnydd, cyfnyddol.
**Dodecagon**, *s.* (Gr. *dôdeca* a *gônia*) deuddegochr, deuddegochron, llun deuddegochrog, deuddegongl.
**Dodecagyn**, *s.* (Gr. *dôdeca* a *gunê*) deuddegbenyw, deuddengfenyw, planigyn deuddegbenyw.
**Dodecagynia**, *s.* deuddegbenyw, deuddengfenyw, y llwyth deuddegbenyw.
**Dodecagynian**, *a.* deuddegbenywaidd, deuddengfenywaidd.
**Dodecahedral**, *a.* (Gr. *dôdeca* a *hedra*) deuddegochrog, deuddegochrol, deuddegochr.
**Dodecahedron**, *s.* (Gr. *dôdeca* a *hedra*) deuddegochr, deuddegochron.
**Dodecander**, *s.* (Gr. *dôdeca* ac *anêr*) deuddegwryw, deuddengwryw, planigyn deuddegwryw.
**Dodecandria**, *s.* Deuddegwryw, Deuddengwryw; y genedl Deuddegwryw, yn nhrefniant Linnæus.
**Dodecandrian**, } **Dodecandrous**, } deuddegwrywaidd, deuddegwrywol, deuddegwrywaidd, deuddengwryw.
**Dodecastyle**, *s.* (Gr. *dôdeca* a *stulos*) deuddegbill, deuddegbillres, deuddeg colofn; pendist o ddeuddeg colofn yn yr wyneb.
**Dodecatemorion**, *s.* (Gr. *dôdecatos* a *morion*) deuddegfedran, deuddegfed ran, y ddeuddegfed ran.
**Dodecatemory**, *s.* (Gr. *dôdecatos* a *morion*) deuddegfedan=enw â roir weithiau i bob un o 12 arwydd y sidydd.
**Dodge**, *v.* (o *dog?*) ymdröi, ysgöi, ymogelyd, ymochelyd, castio, gochelyd, gwachelyd; somi, siomi, twyllo, seithugio; rhedeg o'r naill le i'r llall; rhedeg o'r naill beth i'r llall; tasgu yma a thraw; rhedeg o chwedl i'w gilydd; ciliaw oddi wrth ei air; gwadu, gwrthddywedyd; trawsddadleu, trawsddadlu, geirdröi; bod yn anwastad; anwadalu; gwyraw oddi wrth y gwir; gwiblo, mwysdröi, dweyd a gwrthddweyd; dylyn yn ddichellgar *neu* yn ddirgel; dylyn o hirbell; olrhain cerddediad; gwylied camrau; castio, chwareu castiau; cecru, cegruso.
**Dodger**, *s.* ymdröwr, ymogelwr, ysgöwr, gochelydd, castiwr; somwr; trawsddadleuwr; olrhëwr, olrheiniwr, gwyliwr camrau; cecryn, bawyn.
**Dodgery**, *s.* cast, ymdro, ysgoad.
**Dodkin**, *s.* (o *doit*, a *kin*) darn bath bychan; hatlingen.
**Dodman**, *s.* math ar bysg.
**Dodo**, } **Didus**, } *s.* math o aderyn mawr, weithian wedi myned ar ddifant.
**Dodrans**, *s.* (Ll.) dyrnfedd daen=mesur Rhufeinig o ddeutu 9 modfedd o hyd.
**Doe**, *s.* (S. *da*: D. *daa*) ewig, hyddes, gafr ddân, gafr ddanas, gafr ddanys, danas.
Doe rabbit—cwningen fenyw; benyw cwningen.
**Doe**,† *s.* (o *do*) gorchest, gweithred.
**Doer**, *s.* (o *do*) gwneuthurwr, gwneuthurydd, gweithredydd, gweithredwr, gweithiwr.
Evil doer — drygweithredwr, drygweithredydd, drygddyn, un drygionus, dyn drygionus, gwneuthurwr drwg.
**Doff**, *v. a.* (Is. *doffen*; *do-off?*) dihatru, dïosg, dadwisgo, ymddïosg o; rhoi heibio, rhoddi ymaith; cael gwared; cael gwared o; ysgöi, gochel, gohirio.
**Dog**, *s.* (Is.; Ff. *dogue*) ci: *pl.* cwn: *f.* gast, [cïes.
She-dog—cïes, gast.
Little dog—cïan, ci bach, colwyn, cenau ci, cenaw ci: *pl.* cynos, cwn bach.
Lap-dog—arffedgi, ffedelgi, ci arffed.
Setting dog, } Setter, } adargi, gosodgi, ci adar.
Wild dog—ci gwyllt, gwyddgi, gwylltgi.
Shepherd's dog—ci bugail, bugeilgi.
Dogs of chase—helgwn, cwn hela, cwn hely.
Cur dog—corgi, costog, costawcci.
Dunghill dog—costawcci, costog tom.
Domestic dog—ci dof, ci gwâr, ci tom.
Wolf dog—bleiddgi, bleigi: *f.* bleiddast.
Lion dog—llewgi.
Coach dog—cerbydgi, ci cerbyd, ci Dalmatia.
Worrying dog—ysglyfgi.
Ferocious dog—ci ffyrnig, ci difiog.
Greedy dog—ci gwancus, bargi.
Churlish dog—drelgi.
Skulking dog—llechgi, techgi, ystelci.
Prying dog—chwiwgi, chwilgi.
Mad dog—ci cynddeiriog, ci cynneiriog.
Mongrel dog—brithgi, ci cymmysgryw, ci cymmysg.
Dog-fox—llwynog gwryw, cadnaw gwryw.
Dog-ape—epa gwryw, ab gwryw.
A dog in a doublet—twyll i'w gyfaill; twyll i'w gydymaith.
Dog (in astronomy)—Cïan, Seren y Ci, Ciseren, Sirius.
Dog (in composition)—gwael, diryw, dirywiedig, afryw, diwerth.

Dog, *s.* brigwn, gobed, daliedydd, ci.

Dog, *v. a.* hel, hela, hely, dylyn, ffel ddylyn, cel ddylyn; dylyn yn dyn; olrhain *neu* wylied camrau; cerdded ar ol un i'w wylio; dylyn yn ddirgel o hirbell; blino, dygn flino, poeni.

Dogal, *a.* (o *doge*) dugol, dugiol; perthynol i ddduglyw.

Dogate, *s.* (o *doge*) dugiaeth, duglywiaeth; swydd *neu* urddas penllywydd Gwenethia.

Dogbane, *s.* cidag, dïen y ci.

Dogbelt, *s.* dalrwymyn, dalwregys.

Dogberry, *s.* grawn cwyros, grawn cwyrialen, aeron cwyros, grawn pren ci, grawn y cwn.

Dogberry-tree, *s.* cwyros, cwyrwialen, cwyrialen, pren ci.

Dogbrier, *s.* ciros, egroeswydd, ogfaenllwyn, marchfïeri, merddrain, ogfaenwydd.

Dogcabbage, *s.* bresych y cwn, cawl y cwn, blaen yr iwrch, cwlwm yr asgwrn, cifresych.

Dogcheap, *a.* â newid y ci arno; â mawr newid arno; dàn draed; tra iselbris; rhad y ci.

Dogdays, *s. pl.* dyddiau y cwn, dyddiau'r cwn =y dyddiau pryd y mae Seren y Ci yn codi a machlud gyda'r haul.

Dogdraw, *s.* cidyniad.

Doge, *s.* (It.; Ll. *dux*) dug, duc, duglyw, gwledig=penllywydd Gwenethia a Genoa.

Doge of Venice—duglyw Gwenethia.

Dogfight, *s.* ymladd cwn.

Dogfish, *s.* morgi, penci, ci coeg.

Dogfly, *s.* cigleren, cleren y cwn.

Dogged, *a.* costog, costogaidd, sarig, anfwyn, anhynaws, sur, sor, afrywiog, taiog, anfoddog, drygnawsus, drygnwydus, anynad, dreng, blwng, cuchiog, der, deraidd; cïaidd; olrheinedig, dylynedig.

Doggedness, *s.* costogrwydd, sarigrwydd, afrywiogrwydd, anhynawsedd, taiogrwydd, &c.

Dogger, *s.* (o *dog*, yn ol *Skinner*) ysgorfad; math o lestr pysgota perthynol i'r Iseldiroedd.

Doggerel, *a.* (o *dog*) gwael, gorwael, distadl, dirmygus, sal, salw, anghelfydd, anghywrain, dïelwig; afreolaidd, rhimpynaidd, rhimynaidd, rhospaidd, trwsgl.

Doggerel rhymes—rhimpynau anghelfydd, odlau rhimpynaidd, odlau rhosp, rhimynau afreolaidd, rhospau.

Doggerel rhymer—rhospwr, rhospydd, rhospur, rhimpynwr, rhosp-rimynwr.

Doggerel, *s.* rhimpyniaeth, rhimyniaeth, rhosp; prydyddiaeth rimynaidd, anghelfydd, *neu* rospaidd.

To speak doggerel—llefaru yn anghyfiaith; llefaru yn anghroew; dywedyd llediaith; adrodd rhimpynau anghelfydd, anghywair; *neu* anfarddonaidd.

Doggerman, *s.* ysgorfadwr, morwr (yn yr Iseldiroedd).

Doggers, *s. pl.* allogfain.

Doggish, *a.* (o *dog*) cïaidd, creulawn; costogaidd, costog, afrywiog, sarig, terig, anynad, cras, sur, sor, anhynaws, taiog, cipgar, brathlyd, drelaidd, dreng, der, blwng, croes.

Dog-grass, *s.* glaswellt y cwn, gwenithwellt ymdaenol, gwenithwellt rhedegog, llygad y ci, triagl y cwn.

Doghearted, *a.* cïaidd, creulawn, didostur, didosturi, annhosturiol, annhrugarog; calongïaidd; â chanddo galon ci; maleisus, drygnwydus.

Doghole, *s.* twll cwn, cut cwn.

Doghouse, Dogkennel, *s.* cyndy, ty cwn, ty y cwn, cynllwst, cynhordy, cynel, llwst.

Dog-Latin, *s.* Lladin farbaraidd, Lladin drosgl. Lladin wael, Lladin orwael, Lladin llediaith, Lladin ledieithog, Lladin y ci.

Dog-leech, *s.* meddyg cwn.

Doglouse, *s.* lleuen cwn, lleuen y ci.

Dogly,† *a.* fel ci, ciaidd.

Dogma, *s.* (Gr.) egwyddor sefydledig, egwyddor sefydlog, addysg sylfaenol, tyb sefydledig: egwyddor, gosodiad, gosodiant, gosodiad, gosod, gosodedigaeth, athrawdyb, trawddysg, trawdyb, daliad, haerdyb, dirdyb, hondyb, tyb, tybiant.

The dogmas of the church—trawdybiau, athrawdybiau, *neu* ddaliadau yr eglwys; trawddysg yr eglwys.

Dogmad, *a.* (*dog* a *mad*) cynddeiriog, cynneiriog.

Dogmatic, Dogmatical, *a.* (Gr. *dogmaticos*) trawdybiol, athrawdybiol, trawddysgol, haerdybiol, pendant, haeriadol, honawl, honiadol, dir, awdurdodaidd, awdurdodol, rhyawdurdodol, rhy-awduraidd, rhyhyderus, trahyderus, hynandybus, meistrolgar, amryfus; cyndyn, ystyfnig; tyn *neu* syth ei farn; â fyn fod ei air ef yn air ar bawb; â fo yn bendant o hano ei hun; â fyn i bawb ymostwng i'w farn ef; tybgar; doethoraidd.

Dogmaticalness, *s.* pendantrwydd; awdurdodoldeb; haeredd, haeriadoldeb; trawdybiolded, trawdybiolrwydd, &c.

Dogmatics, *s.* trawddysgiaeth, trawdybiaeth, dwyfyddiaeth athrawiaethol, trawddwyfyddiaeth.

Dogmatism, *s.* haeriad noeth, honiad noeth, haeriad, honiad, honawd; haerdybiaeth, meistrolddysg; pendantrwydd; amryfoldeb, amryfolder, gorhydri, trahausder; pendantrwydd tyb *neu* farn.

Dogmatist, Dogmatizer, *s.* haerdybiwr, haerwr, haerydd, honwr, dyhaerydd; awduriaethwr, trawddysgydd, trawdybiwr; dysgawdwr pendant a meistrolaidd; dysgawdwr hunan-hyderus, rhy hyderus, *neu* dra hyderus; dyn doethoraidd; cyhoeddwr *neu* draethwr tybiau newyddion.

Dogmatize, *v. n.* (Gr. *dogmatizô*) trawddysgu, trawdybio, awduriaethu; dysgu yn feistrolgar; dyhaeru, hòni; haeru *neu* hòni yn feistrolgar *neu* awdurdodaidd; haeru yn hunan-ddigonol; haeru ei farn *neu* ddaliad yn hunan-ddigonol; cyhoeddi rhyw dyb newydd; hau, taenu, *neu* bregethu ar led ei amcanion ei hun a'u cymhell ar bawb; gosod allan yn hunan-hyderus; hòni peth ammheus megys diddadl.

Dog-poison, *s.* coegberllys, geuberllys.

Dogrose, *s.* ciros, egroeswydd, ogfaenllwyn, marchfïeri, merddrain, ogfaenwydd, rhos y cwn, rhos gwyllt: *sing.* cirosyn.

White dogrose—ciros gwỳn.

Downy-leaved dogrose—rhosyn lledwlanog.

Roughish-leaved dogrose—rhosyn lledarw.

Fruit of the dogrose—egroes, ogfaen, aeron y ciros, aeron mïeri Mair.

Dog's-bane, *s.* cidag, dïen y ci.

Dog's-ear, *s.* clust ci; ymyl dalen plygedig; clust lipa

Dog's-ear, *v. a.* plygu yn llipa; troi i lawr fel clust ci; clustlipäu; plygu dalen.

**Dogsick**, *a.* mòr sal a'r ci; càn glafed a'r ci; cyn saled a'r ci.
**Dogskin**, *a.* o groen ci; à wnaed o groen ci.
**Dogsleep**, *s.* cwsg ci, rhithgwsg, gogwsg, dargwsg, esgus-gwsg, cigwsg.
**Dog's-meat**, *s.* bwyd cwn, cig cwn; syrthion, ysborion, gwaelion.
**Dog's-rue**, *s.* gorddawn y cwn, rhud y cwn, rhut y cwn.
**Dogstar**, *s.* Seren y Ci, Cïan, Ciseren, Sirius.
**Dog's-tail-Grass**, *s.* rhonwellt y ci.
Crested dog's-tail-Grass — rhonwellt y ci cribog.
**Dogstones**, *s. pl.* tegeirian, eirin y ci, ceilliau y ci.
**Dog's-violet**, *s.* pen y neidr.
**Dog's-tooth**, *s.* dant ci, ciddant.
**Dogtooth**, *s.* dant llygad, llygad-ddant, llygatddant, ciddant.
**Dogtrick**, *s.* cast ci, tro brwnt, cast brwnt, tro cas, ymddygiad cïaidd.
**Dogtrot**, *s.* tuth ci.
**Dogvane**, *s.* ciwyntyr.
**Dogwatch**, *s.* ciwylfa, byrwylfa.
**Dogweary**, *a.* mòr flin a'r ci; gorflin, gorflinedig, tra diffygiol.
**Dogwheat**, *s.* gwenith y ci, gwenith y cwn.
**Dogwood**, *s.* cwyros, cwyrwialen.
**Dogwood-tree**, *s.* cwyroswydd=pren perthynol i Iamaica.
**Doily**, *s.* (oddi wrth ddynsawd o'r enw) llawlïan; napcyn.
**Doing**, *p. p.* yn gwneuthur, gàn wneuthur, &c.
What are you doing?—beth yr ych chwi yn ei wneuthur? beth ych yn ei wneuthur? beth yr ych *neu* yr ydych yn ei gylch? beth ych chwi yn ei gylch?
By doing nothing we learn to do ill—trwy fod heb wneuthur dim y dysgwn wneuthur drwg; trwy fod yn segur y dysgwn wneuthur drwg.
It is now a doing—y mae yn awr mewn llaw.
I am still a doing—yr wyf fyth ar waith; yr wyf fyth yn ymdrafferthu; nid wyf fi byth yn gorphwys; nid wyf fi byth yn cymmeryd seibiant.
To keep one a doing—cadw un ar waith; rhoi i un waith i'w wneuthur; rhoi gwaith i un i'w wneuthur; tori *neu* lunio gwaith i un.
**Doing**, *s.* (o *do*) gweithred, gwaith, gweithrediad, gwneuthuriad, cyflawniad, digoniant; ymddygiad, ymarweddiad, ymarwedd, moes; cynhwrf, twrdd, cyffro; gorchest, camp, gorug.
Doings — gweithredoedd, cyflawniadau; gorchestion, campau, gorugiau; trafferth, trafod, tres, terfysg, cynhwrf; ymddygiad, ymarweddiad, ymarwedd, moes; helynt, dygwyddiad; arlwyannau, arlwy; gwledd; llawenydd.
Great doings—gorchestion, campau, &c.; arlwy mawr; llawenydd nid bychan.
Bad doings—gweithredoedd drwg, troion drwg, chwylion drwg.
This is the Lord's doing—o'r Arglwydd y daeth hyn.
**Doit**, *s.* (Is. *duit* neu *duyt;* Al. *deut*) hatling (yn yr Iseldiroedd): ffril, tegan, anober, bychydigyn.
I care not a doit—nid wyf yn malio brwynen; ni faliaf frwynen.

**Dolabriform**, *a.* (Ll. *dolabra* a *forma*) bwyellaidd; ar lun bwyell.
**Dolce**, *a.* (It.) mwyn.
**Dolcemente**, *ad.* (It.) yn fwyn.
**Dole**, *s.* (S. *dal;* R. *dolia*) rhan, cyfran, dogn, parth, ysgâr, rhandwy; cardod, rhodd, anrheg, elusen; haelrodd, llawrodd, arian rhan, estyn; ergyd; †cyffin, terfyn.
**Dole**, *v. a.* cyfranu, rhanu, dogni; cyfranu cardodau *neu* elusenau.
**Dole**,† *s.* (Ll. *dolor*) cwyn, cwynfan, alaeth, galar, tristwch.
**Doleful**, **Dolesome**, *a.* (*dole*, *full*, a *some*) tristlawn, trist, athrist, alaethus, galarus, cwynfanus, wylofus, trwm, (*f.* trom), prudd, trymllyd, irad, girad, tostur, truan, truenus, gresynus, gofidus, aethus, ansiriol, anhylon, brwyn, graen, syn; gwrm, caddugol, ffyll.
Doleful shades—cysgodion gwrm.
Doleful creatures—gormesiaid (*Esa.* xiii. 21).
**Dolefulness**, **Dolesomeness**, *s.* alaeth, gofid, tristwch, tristlonedd, alaethusrwydd, galarusrwydd, tristedd, athristedd, pruddineb, &c.; aeth, trymfryd.
**Dolent**,† *a.* (Ll. *dolens*) alaethus, tristlawn.
**Dolerite**, *s.* math o risgraig.
**Dolichos**, *s.* (Gr.) ymgraflys, coslys.
**Dolichurus**, *s.* (Gr. *dolichos* ac *ouros*) hirlostodyn, mydr hirlost; mydr â sill yn ormod ynddo.
**Doll**, *s.* (C. *delw;* Gr. *eidôlon*) delwan, pincen, llamddelwan geneth, maban plentyn.
**Dollar**, *s.* (Al. *thaler;* Is. *daalder;* D. a Sw. *daler*) doler; *pl.* doleri, dolerau=darn o arian o werth yn agos i 4*s.* 6*c.*
**Dolomite**, *s.* (oddi wrth *Dolomieu*, daiaregwr Ffrengig) dolomith.
**Dolomitic**, *a.* dolomithig, dolomithaidd.
**Dolor**, **Dolour**, *s.* (Ll. *dolor*) dolur, poen, gloes; gofid, tristwch, galar, alaeth; cysteg, cystudd, cythrudd.
**Doloriferous**, *a.* (Ll. *dolor* a *fero*) à ddwg ddolur; à roddo boen; dolurus, cystegol.
**Dolorific**, *a.* (Ll. *dolorificus*) dolurus, poenus, poenfawr, gofidus, cystegol, doluriol.
**Doloroso**, *a.* (It.) pergyffröus.
**Dolorous**, *a.* (o *dolor*) alaethus, galarus, tristlawn, trist, athrist, cwynfanus, gofidus, aethus; dolurus, poenus, cystuddiol, cystegol, irad, girad, cethin, erchyll, erch, echrys.
**Dolphin**, *s.* (Gr. *delphin;* Ll. *delphin*, *delphinus;* Ff. *dauphin;* Gw. *deilf*) dolffyn, morhwch: *pl.* dolffyniaid, dolffynod, morhychod.
**Dolphinet**, *s.* dolffynes.
**Dolt**, *s.* (Al. *tölpel;* S. *dol*) penbwl, pendew, hurthgen, cadafael, hurtyn, delff, cuall, lleban, hurth, brebwl, hult, hultan, hutyn, llelo, ffwl, llob, llobyn, penllorcan, penwan, ullda, un dwl, ffwlcyn.
**Dolt**, *v. n.* ymddwyn fel penbwl; ymddwyn fel ffwl; ymddwyn yn ffol, yn ddwl, *neu* yn ynfyd; treulio amser yn ffol; chwareu y ffwlcyn.
**Doltish**, *a.* penbylaidd, pendew, penfas, delffaidd, hurt, penffol, penblydd, penglogaidd, penwan, synwyrbwl, disynwyr, trymhyrddig, dwl, (*f.* dòl), cuall; swrth, marwaidd.
**Doltishness**, *s.* penbyledd, pendewedd, penfasder, hurtrwydd, penffoledd, &c.

**Domable**, *a.* (Ll. *domabilis*) dofadwy, gwaradwy, hyddof, hywar; â ellir ei ddofi.

**Domain**, *s.* (Ff. *domaine;* Ll. *dominium*) tiriogaeth; llywodraeth, arglwyddiaeth, arlwyddiaeth, ymherodraeth; treftadaeth, etifeddiaeth, tattref, tir, tiroedd, tiredd, meddiant; athref, tyddyn cartrefol, maenor; tiroedd o gylch trigfan.

**Domal**, *a.* (Ll. *domus*) tyol, tyaidd; serdyol; perthynol i dy (mewn serddewiniaeth).

**Dome**, *s.* (Ff. *dôme;* Ll. *domus;* Gr. *domos*) adeilad, adail, ty; cromen, croman, nendwr, cromgop, cromgopa, copolan; eglwys gadeiriol, cadeirlan; annedd.

**Domed**, *a.* cromenog, cromgopog, copolawg; âg iddo gopolan.

**Domesday**, *s.*=*Doomsday.*

**Dome-shaped**, *a.* cromenaidd; ar lun croman.

**Domesman**,† *s.* (*doom* a *man*) barnwr, barnydd, dyddiwr, canolwr.

**Domestic**, *a.* (Ll. *domesticus*) cartrefol, cartrefig, cartrefaidd, teuluaidd, teuluol, athrefol, athrefig, ethrefig, tyaidd, tyol; cyfannedd; dof, gwâr, dofedig; perthynol i'r ty, i'r teulu, *neu* i gartref.

Domestic man—gwr teuluaidd, cartrefol, cartrefig, *neu* drefig; cartrefwr, teulüwr, tylüwr.

Domestic wife—gwraig deuluaidd, gartrefol, *neu* gyfannedd; teuluwraig, cartrefwraig.

Domestic servant—teuluwas, tywas, gwas teulu, gweinidog teulu, tyweinydd.

Domestic slave—caeth gweinyddol.

Domestic bard—bardd teulu.

Domestic animal—anifel dof, gwâr, gwarddof, *neu* lawfaeth; gwestfil, lledfegyn.

Domestic economy—teuluaeth, teulüyddiaeth, teulüwriaeth, trefnidedd teuluaidd, cynnildeb teuluol, tylywodraeth, tydrefniant, tydrefnidedd; rheolaeth, llywodraeth, *neu* drefnidiaeth ty.

Domestic manufactures—gwaith cartref, gwaith cartrefol, gweithiau cartrefol.

Domestic medicine—meddyginiaeth deuluaidd, meddyginiaeth deulu.

**Domestic**, *s.* gweinidog, gweinydd, gwas, morwyn, tywas, teuluwas, teulüwr, teuluddyn, tylwythddyn; un o dylwyth *neu* deulu; un yn ngwasanaeth un.

**Domesticant**, *a.* teuluol, teuluaidd, tyluaidd; yn ffurfio rhan o'r un teulu.

**Domesticate**, *v. a.* cartrefu, cartrefigo, cartrefoli, athrefu, athrefoli, athrefigo; cynnefino *neu* arferu bod gartref; gwneuthur yn gartrefol; dofi, gwarhau, cynnefino, teulueiddio, gwareiddio; gwneuthur yn ddof *neu* wâr.

To domesticate wild animals—dofi gwyllfilod; dofi milod gwylltion.

**Domestication**, *s.* cartrefiad, athrefiad, arosiad gartref; dofiad, dofawd, gwarhad.

**Domesticity**, *s.* cartrefolrwydd, cartrefoldeb, cartrefigrwydd, athrefigrwydd, athrefoldeb, athrefolrwydd, teulueiddrwydd; dofaeth, dofedigrwydd, gwaredd.

**Domicile**, } *s.* (Ll. *domicilium*) trefred, car-
**Domicil**, } tref, trefad, haddef, anneddle, anneddfa, trigfa, trigle, trigias, haddfa, ystref, ymogor, tref, trefa, cartrefle, preswylfod, preswylfa, preswylfan, annedd.

**Domicile**, } *v.a.* cartrefu, haddefu, athrefu,
**Domicil**, } trefredu, dofri, trefu, tr[illegible]
**Domiciliate**, } iannu, preswylio, anneddu, trigo, ystrefu, trefadu.

**Domiciliary**, *a.* (o *domicile*) haddefol, trefred[illegible], anneddol, trigfaol, ystrefol, cartrefol; perthynol i drefred.

Domiciliary visit—gofwy haddefol, ymweliad chwil, chwil-ymweliad, chwilofwy.

**Domiciliation**, *s.* cartrefiad, cartrefiant, haddefiad, preswyliad, anneddiad, cyfannedd[illegible], trigfaniad, trefiant.

**Domify**,† *v. a.* (Ll. *domus* a *facio*) tyoli, tyo; tyeiddio, dofi, gwarhau.

**Dominant**, *a.* (Ll. *dominans*) llywodraeth[illegible], llywodraethus, llywodrol, llywiedigol, llywiannus; yn rheoli, yn llywodraethu, yn llywio, yn meistroli, yn blaenori; blaenaf, cryfaf, trech, trechaf, uchaf, penaf, pen[illegible], goruchafaidd; gorfodol, blaenorol; â fo yn rheoli, &c.; â fo â'r llywodraeth ganddo.

Dominant chord—llywdant.

**Dominant**, *s.* llywsain, llywnod.

**Dominate**, *v.* (Ll. *dominatus*) llywodraeth[illegible], rheoli, llywio, arglwyddiaethu, arlwyddiaethu, rhwyfan, rhwyfain; cael y goreu ar; cael y trechaf ar; trechu; dwyn tano; dwyn i lawr; gorchfygu, darostwng, gorfod; bod yn feistr *neu* yn ben ar; meddu yr oruchafiaeth; gormeilio; tycio.

**Domination**, *s.* (Ll. *dominatio*) arglwyddiaeth, arlwyddiaeth, llywodraeth, rheolaeth, goruchafiaeth, meistrolaeth, rhwyfolaeth, llywiedyddiaeth, rhwysg; llywodraethiad, rhwyfiad, rhwyfiant, rheoliad, rhwysgiad, gorthrechiant; gormes, gormail, trais, camrwysg, traws-awdurdod; gallu, galluedd.

**Dominative**, *a.* llywodraethus, llywodraethol; yn llywodraethu, yn rheoli; arglwyddaidd, traws-arglwyddol, traws-arglwyddaidd, eiffrom, gormeilus, trahäus.

**Dominator**, *s.* (Ll.) llywydd, rheolydd, llywodraethydd, llyw, llywiadur, llywadur, llywiedydd, rheolur, modur; dofydd; arlywiad, arddylanwad, cyffrawd; gallu llywyddol *neu* lywodraethol; gormeilydd, gormesydd, llywiadur annibynol, traws-arglwydd.

Jupiter and Mars are dominators for this part of the world—Iau a Mars yw dofyddion y parth hwn o'r byd; Iau a Mawrth yw rheolyddion y rhan hon o'r byd.

**Domineer**, *v. n.* (Ll. *dominor;* Ff. *dominer*) arglwyddiaethu, arlwyddiaethu, arglwyddo, llywodraethu, rheoli, rhwysgo, meistroli, dwyn rhwysg; traws-arglwyddiaethu, traarglwyddiaethu, traws-lywodraethu; bygylu, gwag fwgwth, bocsachu, dwndro; bod yn drahäus.

**Domineering**, *a.* arglwyddaidd, meistrolaidd, meistrolgar, traws-arglwyddaidd, arglwyddiaethol, arlwyddiaethus, arlwyddiaethol, rhwysgol; trahäus, rhodresus, rhydresus, bygylus; gormeilus, gormesol; yn rhwysgo; yn dwyn rhwysg, &c.

**Dominical**, *a.* (Ll. *dominicalis*) arglwyddol; perthynol i'r Sul; â berthyn i'r Sabbath; perthynol i ddydd yr Arglwydd; suliedol, Sulaidd.

Dominical letter—llythyren Sul, llythyren y Sul.

Dominical, *s.* y Sul, dydd Sul, dydd yr Arglwydd, yr arglwyddol ddydd.
Dominicide, *s.* (Ll. *dominus* a *cædo*) arglwyddleiddiad, meistrleiddiad, lladdwr ei feistr.
Dominion, *s.* (Ll. *dominium*) arglwyddiaeth, arlwyddiaeth, llywodraeth, rheolaeth, goruchafiaeth, llywedyddiaeth, llywaduriaeth, llywyddiaeth, arlywyddiaeth, penarglwyddiaeth, penaduriaeth, teyrnedd, ymherodraeth, unbenaeth, goruch; rhwysg, gallu, galluedd, awdurdod; tiriogaeth, talaeth, cyfoeth; cyrhaeddiad *neu* helaethrwydd teyrnas *neu* dalaeth.
  To have dominion over—arglwyddiaethu ar, llywodraethu ar; bod i un lywodraeth ar; llywodraethu, arglwyddiaethu, meistroli, &c.
  Under the dominion of—tàn lywodraeth, tàn law.
  All the kingdoms of the earth of his dominion—holl deyrnasoedd y ddaiar y rhai oeddent dàn lywodraeth ei law ef (*Ier.* xxxiv. 1).
  In all his dominion—yn ei holl gyfoeth (2 *Bren.* xx. 13).
Domino, *s.* (o *Dominicus?*) cwfl, cwfl mynach; cwcwll; hirwisg; ffedwisg, ffugwisg, mygydwisg; math o chwareu.
Don, Dom, *s.* (Ysp.; o'r Ll. *dominus*) senw neu enwad yn yr Yspaen, à roddid gynt i bendefigion a boneddigion yn unig, ond yn awr i ereill yn gyffredin; Don, meistr, arlwydd, arglwydd.
  To walk like a don—cerdded yn wynebuchel; cerdded yn uchel-falch; cerdded yn ben-uchel.
Don,† *v. a.* (o *do on*) gwisgo, gwisgo am.
Dona, Donna, Duenna, *s.* (Ysp. benywaidd, o *don*) senw boneddigesau yn yr Yspaen; Donna, boneddiges, bonedddes, rhian, meistres, madon, madan, arglwyddes.
Donable, *a.* (Ll. *dono*) rhoddadwy, hyrodd, rhoadwy.
Donary, *s.* (Ll. *donarium*) glwysrodd, rhodd gyssegredig.
Donation, *s.* (Ll. *donatio*) rhodd, anrheg, dawn, cyflwyn, goseb, gwoseb, rhybuched, cyfarwys, haelrodd, ced; rhoddiad, doniad, anrhegiad, rhoddiant, rhoad, rhoddedigaeth.
Donative, *s.* (Ll. *donativum*) rhodd, anrheg, goseb, gwoseb, dawn, rhybuched, cyflwyn, haelrodd, cyfarwys; rhodd ddigyfrwng, glwysfudd digyfrwng, bywoliaeth eglwysig ddigyfrwng, rhyddwoseb.
Donative, *a.* rhoddiannol, rhoddol, rhoddiadol, gosebawl, gwosebawl.
Done, *p. p.* (o *do*) gwneuthuredig; à wnaed, à wnaethpwyd; gwedi ei wneuthur; terfynedig, gorphenedig; wedi darfod; cyflawn perffaith; digon; wedi berwi, pobi, *neu* rostio digon; gwedi digoni; gwedi ei ddigoni.
  I have done—darfu *neu* deryw i mi; gorphenais, terfynais, gwnaethym, &c.; yr wyf wedi dybenu; darfum.
  Church is done — darfu y gwasanaeth; deryw yr eglwys; deryw, e dderyw, fe dderyw, e ddarfu, *neu* fe ddarfu y gwasanaeth; y mae'r gwasanaeth drosodd *neu* drwodd.
  When all is done—yn y diwedd; yn y pen draw.
  What is there done, my son?—beth a ddygwyddodd, fy mab (1 *Sam.* iv. 16)?
  For as much as this is done of thee—oherwydd bod hyn ynot ti (1 *Bren.* xi. 11).
  Hast thou not heard long ago, how I have done it?—oni chlywaist ti ddarparu o honof fi hyn er ys talm (2 *Bren.* xix. 25)?
  And it was done—ac felly y bu (*Salm* xxxiii. 9).
  And having done all—ac wedi gorphen pob peth (*Eph.* vi. 13).
  Then that which is in part shall be done away—yna yr hyn sydd o ran a ddilëir (1 *Cor.* xiii. 10).
Done, *in.* dyna ben! dyna ddiwedd! purion! o'r goreu! fe ddarfu! fe dderyw! boddlawn!
Donee, *s.* (o'r Ll. *dono*) y derbynydd, y derbyniwr, donai, rhodd-gymmeriawdr; yr hwn *neu* yr hon y rhoddir peth iddo *neu* iddi; à gaffo, à dderbynio, à gafodd, *neu* à dderbyniodd rodd *neu* ddawn.
Doniferous, *a.* (Ll. *donum* a *fero*) dawnddygol, dawnddwyn; à ddwg roddion *neu* ddoniau.
Donjon, Dungeon, *s.* (Ff.) gwarch castell, diogelfa castell, cedwidfa castell; castellwarch; cadarnfa *neu* gadarnfan castell; castelldwr; daiargell, daiardy.
Donkey, *s.* (?) asyn; *f.* asen. [dïogyn.
Donnat,† *s.* (o *do* a *nought*) seguryn, segurwas,
Donor, *s.* (o'r Ll. *dono*) rhoddwr, rhoddydd, y rhoddwr, y rhoddydd, rhoddiedydd, rhoddiad, doniwr.
Donship, *s.* (o *don*) gradd *neu* urddas Don; gradd bonedd; gradd marchog; urddas marchog *neu* foneddig.
Donzel, *s.* (It. *donzello*) gwesyn, gwastrodyn, ymlyniad.
Doodle, *s.* (o *do little*, efallai, medd *Johnson*; o *dote*, Port. *doudo*, efallai, medd *Webster*) seguryn, segurwas; oferwr, oferddyn; symlyn, gwageddwr, hurtyn, cadafael, hurthgen, ffwlcyn, pentfol, brebwl.
Doom, *v. a.* (S. *dom*; Is. *doemen*; Sw. *döma*; D. *dömmer*) dyfarnu, barnu, dedfrydu; collfarnu; tyngedfenu, cyhoeddi tynged; cospi; cyhoeddi barn *neu* ddedfryd.
Doom, *s.* (S., Sw., a D. *dom*; Is. *doem*) barn, dedfryd, brawd, barnedigaeth; tynged, tyngedfen, twng, ffawd; colledigaeth, collfarn, collfarnedigaeth, dyfarniad; dinystr, dystryw; cosp, cospedigaeth.
  The final doom—y farn ddiweddaf.
Doom, Doam, math o balmwydd perthynol i'r Aifft Uchaf.
Doomful, *a.* (*doom* a *full*) llawn dystryw *neu* ddinystr; dystrywiog, dinystriog.
Doomsday, *s.* (*doom* a *day*) dydd barn, dydd y farn, dydd brawd, dydd y frawd; y dydd diweddaf.
Doomsday-Book, Doomesday-Book, *s.* Brawdlyfr, Llyfr Dydd Brawd, Llyfr Dydd Barn = llyfr à gasglwyd ar orchymyn Gwilym Oresgynydd, yn cynnwys arolwg o holl diroedd Lloegr.
Doomster, Dempster, † *s.* barnwr, barnydd, brawdwr, dedfrydwr.
Door, *s.* (S. *dora*, *dur*, *dure*; Al. *thür*; Is. *deur*; Sw. *dör*; Gr. *thura*) drws, dor; porth; mynedfa.
  A little door—drysan, doran, gorddrws, gorddor; rhagddrws; drws bychan, dor fechan.

Front-door, } talddrws, talddor, wyneb-
Fore-door, } ddor, rhagddor, rhagddrws, drws wyneb, drws yr wyneb.

Back-door—drws cefn, y drws dyeithr, y drws dirgel, geuborth.

Half-door—rhagddor, rhagddrws, heulor.

Trap-door — cibglawr, brad-ddrws, brad-ddor, drws codi.

Folding door, } plygddor, drws deuhan-
Two-leaved door, } ner, dorau plyg.

Outer door, } cynddor, cynnor, cyntor, y
Street door, } drws maes, y drws i maes, y drws allan, y drws allanol.

Within doors—yn y ty; o fewn y drysau; tu mewn i'r drysau; i mewn, i fewn, oddi mewn.

Without doors, } allan; allan o dy; y tu
Out of doors, } allan i'r drysau; o'r tu allan i'r drysau; oddi allan, oddi maes, oddi faes, i maes; oddi gartref; o'r tu allan; heb dy uwch ei ben; tàn yr awyr; yn yr awyr agored.

In doors—oddi mewn; gartref, yn nghartref, yn y ty.

From door to door—o ddrws i ddrws; o ddrws bwygilydd; o'r drws i'r llall; o un drws i'r llall.

Door-button, *s.* cnap drws, cna, cna drws.

Doorcase, } *s.* hiniog, rhiniog, ystram drws,
Doorframe, } attegwydd drws, gwisg drws, attegwisg drws, annelwisg drws, attegddor, dorystram, dorgaes, ymylddor, bylddor.

Dooring,† *s.*=*Doorcase, Doorframe.*

Doorkeeper, *s.* drysor, porthor, dorgeidwad, ceidwad drws: *f.* drysores, porthores.

Doornail, *s.* hoel drws.

Doorpost, } *s.* gorsin, gorsing, post drws, em-
Doorcheep, } iniog, amhiniog.

Upper doorpost—gwarddrws, capan drws, gorhiniog, cap drws, hiniog uchaf, rhiniog uchaf, gwarddarn drws.

Side-posts of a door—ystlysbyst drws, cilbyst dor.

Upon the doorposts of thine house—ar byst dy dy (*Deut.* xi. 20).

Doorsill, *s.* trothwy, seilddor, hiniog.

Doorstead, *s.* drws, porth, mynedfa, lle drws, dorfa.

Doorstops, *s. pl.* dorgoed, dorddalion.

Doorway, *s.* sangiar, porth, drws, mynedfa, cyntedd.

Doorway-plane, *s.* asaf sangiar, porth-asaf.

Doquet, *s.* (C. *tocio*) gwarant, arwaesaf, arwaeseb; trwydded.

Dor, } *s.* (Gw. *dord?*) chwilen y baw, chwil y
Dorr, } bawai.

Dorado, *s.* (Ysp.) Cleddbysg, y Cleddbysg= cydser deheuol, yn cynnwys 6 seren, anweladwy yn ein lledred ni: yr eurbysg, yr eurgefn.

Doree, } *s.* (Ff. *jaune dorrée*, eurfelyn) yr
Dory, } eurgefn, yr eurbysg, y pysg eur-
John-Dory, } gefn.

Doring, *s.* drychrwydiad.

Dormancy, *s.* (o *dormant*) cysgadrwydd, cysglydrwydd, llonyddwch, anghyffro, anghyffroad, ymlonyddiad, cysgad.

Dormant, *a.* (Ff. o'r Ll. *dormio*) yn cysgu, yn nghwsg; ar wedd *neu* ystum un yn cysgu; cysgedig, cuddiedig, dirgel, celedig, cel, tàn gudd, tàn gel; o'r golwg; anghyffröedig, digyffro; esgeulusedig, à esgeuluswyd; marw; anweithgar; gogwyddol, osgoawl, ar ogwydd.

Dormant money—arian marw.

Lying dormant—yn gorwedd yn farw; yn gorwedd yn nghwsg.

Dormant, } *s.* swmer, trawst, prif drawst;
Dorman, } cysgydd, cysgadur.

Dormar, } *s.* torment, tormwnt, nen-
Dormar-window, } ffenestr; ffenestr syth
Dormer-window, } mewn nen osgoawl.

Dormitive, *s.* (Ll. *dormio*) cysgiadyr, cysor, cysgbair; cyffyr i beri cwsg.

Dormitory, *s.* (Ll. *dormitorium*) hundy, hunfa, cerner, hungell, cysgell, gwelyfan, ystafell gysgu, ystafell wely, gwelystafell, gwelygell, cysgle; hunfa y meirw, claddfa, claddgell.

Dormouse, *pl.* Dormice, *s.* (Ll. *dormio*, a *mus*) pathew, bathor, marwgwsg=math o lyg, a gwsg am rai misoedd.

Dorn, *s.* (Al.) morgath arw, cath arw, cath bigog.

Dornock, *s.* llian Dornoc (yn yr Alban).

Doron,† *s.* (Gr. *dôron*) rhodd, anrheg; mesur o dair modfedd.

Doronicum, *s.* (Ar. *doronygi*) llewpard-dag, llewparttag, llysiau y llewpard.

Dorp, *s.* (Is.; Al. *dorf*) cordref, pentref, pentref bychan, treflan.

Dorr, } *s.* (Gw. *dord?*) chwilen y baw, chwil
Dor, } y bawai.

Dor,† *v. a.* byddaru â swn.

Dorer,† *s.* bychygyr, begegyr, dïogyn.

Door-hawk, *s.* aderyn y droell, rhodwr.

Dorsal, *a.* (o'r Ll. *dorsum*) cefnol, cefnaidd; perthynol i'r cefn.

Dorsal fin of a fish—asgell cefn pysgodyn; adain cefn pysgodyn; asgell gefnol pysgodyn; cefn-asgell *neu* gefn-adain pysgodyn.

Dorso-cervical—cefn-yddfol; gwegilaidd.

Dorse, *s.* (Ll. *dorsum*) gortho.

Dorsel, } *s.* (Ll. *dorsum*; Ff. *dos*, *dossier*)
Dorser, } bancyr, cefn gawell, cawell cefn,
Dosser, } cefn-gest, crowyn, cawell, cest; pynoreg, sadell.

Dorsibranchiata, } *s. pl.* (Ll. *dorsum* a *bran-*
Dorsibranchiates, } *chiæ*) cefndagellogion, cefndagelliaid.

Dorsibranchiate, *a.* cefndagellaidd, cefndagellog.

Dorsiferous, } *a.* (Ll. *dorsum*, *fero*, *pario*)
Dorsiparous, } cefnddygol; yn dwyn *neu* yn cynnyrchu had ar gefn eu dail.

Dorsum, *s.* (Ll.) cefn; trum, cefnen; cefn bryn.

Dorture,† *s.* (byrhad o *dormiture*, o'r Ll. *dormio*) hundy, hunfa, hunle.

Dose, *s.* (Ff.; It. *dosa*; Gr. *dosis*) dogn, cyfferddogn; traflwnc, trancell, llymaid, llwnc, darlwnc, caslwnc; swmp, swm, dognedd.

Dose, *v. a.* (Ff. *doser*) dogni, cyfferddogni; rhoddi yn ddognau; rhoddi meddyginiaeth *neu* gyfferi; rhoddi peth cas i.

Dosser, *s.* (Ff. *dos*, cefn, *dossier*, sypyn) bancyr, cefn-gawell, cawell cefn, cefn-gest, crowyn, cawell, cest; pynoreg, sadell.

Dossil, *s.* (llygriad o *dosser* neu *dorsel*) naddob, naddobell, naddswp, naddsypyn, rholyn llieinrwd.

Dot, *s.* (Al. *dotter*, yn ol *Skinner*; llygriad o *jot*, yn ol *Johnson*; C. *dodi*?) màn, mannod, menyn, manigyn, nod, nodyn; pyncyn, pwyntyn: *pl.* manigion.

**Dot**, *v.* mânu, menynu, mânnodi, nodi; gwneuthur mân nodau; mânfritho, brithnodi, britho.
**Dotage**, *s.* (o *dote*) lledfrydedd, lledfryd, penwendid, gwall synwyr, gwallgof, ymleferydd, marwerydd, gorphwyll, ynfydrwydd, syfrdandod, penwendid, henaint; dotiad; maldod, maledd, maldodaeth, trachariad, traserch, trahoffedd, gorhoffder, ynfyd gariad; mall, malledd, malldod.
**Dotal**, *a.* (Ff. o'r Ll. *dotalis*) gwaddolog, egweddïol, agweddïol, cynnysgaethol.
Dotal town—tref waddol.
**Dotard**, **Doter**, *s.* (*dote*) dotiwr, un lledfrydig, un penwan; un syfrdan *neu* benwan gàn henaint; maldodwr, maleddwr, ffladryn, traserchwr, tracharwr, trahoffwr, gorhoffydd, ffolserchwr, ffolserchydd, ffwlcyn.
An old dotard—henddyn mall disynwyr; hen ddyn penwan.
**Dotardly**, *a.* lledfrydig, penwan, pensyfrdan, penysgafn, maldodus; fel dotiwr; ynfyd, ffol, trahoff, gorhoff, ffolserchus; gwrachaidd.
**Dotation**, *s.* (Ll. *dotatio*) gwaddoliad, cynnysgaethiad, egweddïad, berthogiad; gwaddol, cynnysgaeth.
**Dote**, *v. n.* (Is. *dutten*; C. *dotio*) bod *neu* fyned yn benwan; myned *neu* fod yn lledfrydig; bod *neu* fyned yn bensyfrdan; ymleferydd, pendroni, penwanu, hurtio, gwallbwyllo, anmhwyllo, gwallgofi, gorphwyllo, ynfydu, dotio, dotian, dotianu, ffladru; gorhoffi, traserchu, amgaru, ymserchu, ymhoffi; dadfeilio, adfeilio, edwi, celffeinio.
To dote on, To dote upon, gorhoffi, trahoffi, tracharu, traserchu, ymserchu yn, ymhoffi yn; rhoi mawrserch ar; ffolserchu yn *neu* ar; ynfyd garu; dotio am; bod yn benwan am.
You dote—yr ydych chwi allan o'ch pwyll; yr ydych allan o'ch cof; yr ydych chwi i maes o'ch cof; yr ych chwi maes o'ch pwyll; yr ydych yn ymleferydd; yr ydych yn anmhwyllo, &c.
A doting tree—hen bren gwywlyd; pren wedi celffeinio.
**Dots**, *s. pl.* plastglytion.
**Dottard**, *s.* tocwydden, cwtogbren, pren tociedig.
**Dotterel**, **Dottrel**, **Dottrell**, *s.* (o *dote*) hutan=enw tylwyth o adar.
Sea dotterel—hutan y môr, morhutan.
**Douanier**, **Douaneer**, *s.* (Ff. *douanier*) swyddog y cyllid yn Ffrainc.
**Double**, *a.* (Ff.; Ll. *duplus*, *duplex*; Gr. *diploos*; D. a Sw. *dubbel*) dyblyg, deublyg, deuddyblyg, dau ddyblyg, deufwy, dwbl; dau, dwy; dwyol, deuol; cymmaint arall, dau gymmaint, cymmaint ddwywaith, cynnifer arall; dwyffordd; deudro; deutu; deu-, dwy-; twyllodrus.
Double portion—deuparth.
Double meaning—deuystyr, ystyr dyblyg.
Double chin—tagell.
Double-chinned—tagellog.
Three double, Three times double, triphlyg, tridyblyg, tri dyblyg.
Four double, Four times double, pedwarplyg, pedryblyg, pedwar dyblyg.



Five double, Five times double, pumplyg, pumdyblyg, pumnyblyg.
Ten double, Ten times double, degplyg, degdyblyg, deng-nyblyg.
Double nuts—cnau conglog.
Double diligence — tra diwydrwydd; diwydrwydd dyblyg *neu* ddeufwy.
Worth a double hired servant—gwerth dau gyflog gweinidog (*Deut.* xv. 18).
They were not of double heart—a hyny yn ffyddlawn (1 *Cron.* xii. 33).
Take double money — cymmerwch ddau gymmaint o arian (*Gen.* xliii. 12).
**Double**, *ad.* yn ddyblyg, &c.; yn mhlyg; dwywaith.
**Double**, *s.* plyg, dyblyg, deublyg, deuddyblyg, plygiad, dyblygiad, deublygiad, plygfa, dill, dwbl; y dau ddyblyg; dau gymmaint, cymmaint arall, cynnifer arall, cymmaint ddwywaith, cynnifer ddwywaith; dyrysblyg; cast, hoced, cyfrwysder.
Let him pay double—taled yn ddwbl (*Ecs.* xxii. 7).
To carry double—dwyn yn ddwbl *neu* ddyblyg; dwyn dau ar unwaith; ysgilio.
**Double**, *v.* dyblygu, deublygu, plygu, deuddyblygu, dyblu, darblygu, deuddyblu, dillio; gwneuthur yn ddyblyg *neu* ddeuddyblyg; chwanegu yn gymmaint arall; gwneuthur yn ddeufwy; ymddyblygu; mynychu; castio; dyrysblygu.
To double the leaf of a book—plygu dalen llyfr.
To double (as a hare)—plygredeg, dyrysblygu, dyblygu, dyblu, rhedeg a gwrthredeg, gwrthdröi, dyrysu; rhedeg yn ol ac yn mlaen.
To double one's fist—cau ei ddwrn.
To double a cape—hwyliaw o amgylch i benryn; hwyliaw oddi amgylch i benryn; hwyliaw heibio i benryn; hwyliaw o amgylch penryn; dyblygu *neu* ddyblu pentir.
**Double-banked**, **Double-benched**, *a.* dwy-feinciog; âg iddo ddwy feincaid o rwyfwyr; âg iddo ddwy res o rwyfwyr.
**Double-barrelled**, *a.* dwyfarilog, dybl-farilog; âg iddo ddwy faril.
Double-barrelled gun — dryll dwy faril, gŵn dwy faril.
**Double-bass**, **Double-base**, *s.* gorsodgrwth, gorgrwth, deusawd.
**Double-biting**, *a.* amgnoawl, amfiniog, amlym; yn tori o bob tu.
**Double-buttoned**, *s.* deu-fotymog; â dwy res o fotymau iddo.
**Double-charge**, *v. a.* llwytho yn ddyblyg, deulwytho, dybl-ergydio; ymddiried deubarth i.
**Double-dealer**, *s.* twyll-fasnachwr, hocedydd, twyllwr, somwr, twyll i'w gyfaill, twyll i'w gydymaith, dyn anffyddlawn, dyn bradwrus, dyn twyllodrus, dyn deuwynebog; â chwareuo y ffon ddwybig; â fedro chwareu y ffon ddwybig.
**Double-dealing**, *s.* twyll-fasnach, deuwynebedd, anonestrwydd, hoced, twyll, twyll-ymddygiad, somchware, anffyddlondeb, brad, bradwriaeth, dichell, chwired, ffalsedd, chwiongl, somedigaeth; twyll trwy ymddiried; chware y ffon ddwybig; chware y llaw wèn; chware y ddau wyneb.
**Double-dye**, *v. a.* deuliwio, lliwio ddwywaith.

Double-edged, *a.* deufiniog, deufin, amlym.

Double-entendre, *s.* (Ff.) mwysedd, amwysedd,
mwyseb, ymadrodd deuystyr.

Double-eyed, *a.* ffals-lygeidiog, twyll-lygeidiog;
hocedus ei wedd; deuwynebog.

Double-face, *s.* dau wyneb, deuwynebedd, dyblygedd, dyblygrwydd, ffalsedd, twyll, hoced.

Double-faced, *a.* deuwynebog, deuwyneb; â
iddo *neu* â chanddo ddau wyneb; rhagrithiol, twyllodrus, hocedus, ffuantus.

A double-faced fellow—rhagrithiwr, un
deuwynebog.

Double-formed, *a.* deuffurfiog, dwyffurf.

Double-floor, *s.* llawr dyblyg, dyblyglawr.

Double-fortified, *a.* deu-amgaerog; wedi ei
amgaeru ddwywaith; wedi ei gadarnhau yn
ddyblyg.

Double-founted, *a.* deu-ffynnonog, deudardd.

Double-fronted, *a.* deu-dal, deu-dalcenog.

Double-gild, *v. a.* euro ddwywaith, dybl-euro;
caenu ddwywaith â g aur.

Double-handed, *a.* dwylawiog; dyblyg ei law;
twyllodrus, hocedus.

Double-headed, *a.* deupen, deubenog, deupenog; â g iddo ddau ben; dyblyg ei ben.

Double-hearted, *a.* dwy-galonog, deu-galonog;
dyblyg ei galon; dau ddyblyg ei galon;
bradwrus, twyllodrus, gau, ffals.

Double-lock, *v. a.* cloi ddwywaith.

Double-manned, *a.* diwalledig â digon arall o
wŷr; cyflenwedig yn ddyblyg â gwŷr.

Double-meaning, *a.* deuystyr, mwys, amwys,
deufeddwl; â dau ystyr *neu* ddau feddwl
iddo.

Double-mill, *v. a.* gwrthbanu.

Double-minded, *a.* deufrydig; dyblyg *neu*
ddeuddyblyg ei feddwl; ansefydlog, anwadal,
gwamal, anmhenderfynol; yn cloffi rhwng
dau feddwl.

Double-mouthed, *a.* deueneuog, deusafnog,
dybl-eneuog; dyblyg ei enau.

Double-natured, *a.* â dwy anian *neu* natur
ynddo; deu-anianog; dyblyg ei anian.

Doubleness, *s.* (o *double*) dyblygedd, dyblygrwydd, deublygrwydd, deublygedd, plygedigrwydd.

Double-octave, *s.* deu-wythawd, dybl-wythawd,
pumthegfed.

Double-plea, *s.* dadl ddyblyg.

Double-quarrel, *s.* cwyn dyblyg, cweryl dyblyg
=cwyn offeiriad wrth yr archesgob yn erbyn
urddasog is, am oedi cyfiawnder.

Doubler, *s.* dyblygydd, dyblygwr, plygwr, deublygydd; dyblygyr.

Double-shade, *v. a.* cysgodi ddwywaith; cysgodi yn ddyblyg.

Doublet, *s.* (Ff.; Gw. *duiblead*) dybled, dwbled, iswisg, gwasgod; dau, dwy, pâr, cwpl;
ffugfaen.

Double-shining, *a.* deu-ddysgleiriol; yn llewyrchu *neu* yn dysgleirio cymmaint ddwywaith; tryddysgleiriol.

Double-stars, *s. pl.* ser dyblyg, ser deulun.

Double-thread, *a.* deugord, deugor, deu-edefog.

Double-tongue, *s.* tafod twyllodrus, tafod dyblyg, dau dafod.

Double-tongued, *a.* deu-dafodiog, deueiriog; â
dau dafod iddo; ag y mae dau dafod iddo;
twyllodrus, gau, ffals.

Doublets, *s. pl.* dyblygion, dybligion; mwysedd, amwysedd, dau ystyr.

Doubling, *s.* (o *double*) dyblygiad, deublygiad,
dybliad, plygiad; plyg, plygfa, dill; dyrys-
blyg, ymdro, cyfrwysdra, cyfrwysder: *pl.*
dyblygiadau, plygion.

The doublings of a hare—dyrysblyg ysgyf-
arnog; rhediad dyrysblyg *neu* ddyrys-
bleth ysgyfarnog; ymdroion ceinach.

Doubloon, *s.* (Ff. *doublon*) darn aur yn yr
Yspaen, o werth tua £3. 5*s*.

Doubly, *ad.* yn ddyblyg, &c.

To deal doubly—chwareu y ddau wyneb;
ymddwyn yn ddeuwynebog, yn dwyll-
odrus, yn ddichellgar, *neu* yn hocedus;
chwareu â'r ddwy law; chwareu y llaw
wèn.

Doubt, *v.* (Ff. *douter;* Ll. *dubito*) ammheu,
petruso, ammheuo; bod yn ammheus, yn
betrus, yn betrusgar, yn annilys, mewn am-
mheuaeth, *neu* mewn petrusder; ofni, llet-
tybio, drygdybio, peuo, darammheu; anghoel-
io; cloffi rhwng dau feddwl; bod yn anhys-
bys.

To doubt somewhat—lledammheu, brith-
ammheu, lledbetruso, goammheu.

Doubt, *s.* ammheuaeth, ammheu, petrusder,
petrusdeb, petrusedd, petrusdra, petrus-
rwydd, ammheuad, petrusawd, petrusi, an-
nilysrwydd, ansicrwydd, amwysedd, mwys-
edd, mwysder, amwysdra, dadl, anhysbys-
rwydd; ofn, llettyb.

To be in doubt of, }
To make a doubt of, } =*Doubt, v.*

No doubt—yn ddïammheu; nid oes am-
mheu *neu* ammheuaeth, &c.; dïau, dïos,
dir; yn ddïau, yn ddïos, yn ddïammheu.

Without doubt—yn ddïammheu, yn ddi-
betrus, yn ddilys, yn ddïau, yn ddïos,
yn sicr, yn geugant, yn ddinam, yn
hysbys, yn ddïogel.

Without all doubt—yn gwbl ddïammheu.

I make no doubt of that matter—nid wyf
yn ammheu yn nghylch hyny o beth.

I am in doubt what to do—nis gŵn pa
beth a wnaf.

To hang in doubt—bod yn betrus *neu* an-
nilys ei feddwl; bod yn nghrog; crogi
mewn ammheuaeth; cloffi rhwng dau
feddwl.

To keep one in doubt—cadw un mewn
petrusder, mewn ammheuaeth, yn y
fantol, *neu* yn y tywyll; gadael un yn
annilys ac yn anhysbys; gadael un dan
ei ddwylaw.

To put one out of doubt—rhyddhau un
oddi wrth betrusder; cymmeryd ymaith
ammheuaeth; symmud ammheuaeth.

I stand in doubt of you—yr wyf yn eich
ammheu.

Dissolving of doubts — dattod cylymau
(*Dan.* v. 12).

Without wrath and doubting — heb na
digder na dadl (1 *Tim.* ii. 8).

Doubtable, *a.* ammheuadwy, petrusadwy.

Doubter, *s.* ammheuwr, petruswr, petrusydd,
anghoeliwr.

Doubtful, *a.* ammhëus, petrus, ammheuol, annilys, astrus, ansicr, arbetrus, petrusol, anniau, anhysbys, anniogel; anwadal, anwastad, ansafadwy, gwamal; ofnog, llettybiog, llettybus, petrusgar, ammheugar, anhyderus; mwys, amwys; heb wybod beth â
wnel; ar ddau feddwl; rhwng dau feddwl;
mewn cyfyng-gynghor.

Not to doubtful disputations—nid i ymrafaelion rhesymau (*Rhuf.* xiv. 1).
A word of doubtful meaning—gair mwys, gair amwys, mwysair; gair ammhëus ei ystyr.
Somewhat doubtful—gobetrus, lledbetrus, goammhëus, lledammhëus.
They were somewhat doubtful of the event of the battle—lled ofnasant ddiwedd yr ymladd; lled ofnasant pa fodd y diweddai yr ymladd *neu* y frwydr.
To make doubtful—annilysu; gwneuthur yn ammhëus.

**Doubtfulness**, *s.* ammheuaeth, petrusder, petrusedd, petrusdeb, petrusdra, petrusgarwch, petrusrwydd, ammheusrwydd, ammheurwydd, ammheuedd, petruswch, ammheugarwch; mwysder, amwysder, amwysedd, mwysedd; annilysrwydd, annilysder, anwadalwch.

**Doubtless**,† *a.* diogel, diberygl.

**Doubtless**, **Doubtlessly**, *ad.* yn ddïammheu, yn ddïammheuol, yn ddibetrus, yn ddiddadl, yn ddïau, yn ddilys, heb un ammheuaeth, yn sicr, yn ddïos.

**Douced**,† *s.* (Ff. *douce*) math ar offeryn cerdd.

**Doucet**,† *s.* (Ff.) cwstardd, brithog, ceulfwyd.

**Douceur**, *s.* (Ff.) anrheg, rhodd, goseb; gwobr, dobr, celwobr; melusder.

**Douche**, *s.* (Ff.) dws.

**Doucine**, *s.* (Ff.) genrigol.

**Douker**, *s.* (Al. *ducken, tauchen*) trochydd, y trochydd.

**Dough**, *s.* (S. *dah;* Is. *deeg;* Al. *teig*) toes.
To knead dough—tylino, maeddu, gweithio, gwneuthur, *neu* gyweirio toes; tylino, toesi.
To become dough—toesi; myned yn does.
A lump of dough, A mass of dough, toesyn, clamp toes, talp toes, toes-dwr.
Abounding with dough—toesog.
My cake is dough—mae fy nheisen heb ei throi; ni ddaeth fy arfaeth yn addfed.

**Dough-baked**, *a.* toesaidd, toeslyd; mallgras, mallbob; anorphenedig, anghyflawnedig; meddal, masw; heb ei grasu.

**Dough-kneaded**, *a.* toesaidd, toeslyd; mallgras, mallbob; fel toes; meddal, masw, tyner.

**Dough-nut**, *s.* toesgneuen.

**Doughtiness**, *s.* (o *doughty*) dewrder, dewredd, gwroldeb, dewrwychedd, gwychder, glewder, dewrfrydedd, glewineb, pybyrwch.

**Doughty**, *a.* (S. *dohtig;* D. *dygtig*) dewr, gwych, dewrwych, glew, pybyr, gwrol, calonog, gwychr, mawrfrydig, uchelwych, ardderchog.
Doughty fellow—dewryn, dewrwas.

**Doughy**, **Doughey**, *a.* (o *dough*) toeslyd, toesaidd, fel toes; mallbob, mallgras; meddal, masw, tyner; gwelw.

**Douse**, *v.* (Gr. *duô, dusis*) trochi, suddo, soddi; taflu *neu* fwrw un dros ei ben a'i glustiau i'r dwr; syrthio yn ddisymmwth i'r dwfr; brys-laesu; llaesu *neu* lacio yn ddisymmwth; llacäu ar frys.

**Dout**, *v. a.* (*do out*) taro allan, diffoddi, diffodd.

**Douter**, *s.* (o *dout*) diffoddyr, diffoddydd.

**Douzeave**, *s.* (Ff. *douzaine*) deuddegradd (mewn peroriaeth).

**Dove**, *s.* (S. *duua;* Goth. *dubo;* Is. *duif;* Al. *taube;* Sw. *dufva*) colomen.



Young dove — cyw colomen, colomenig, colomenan, colomen ieuanc.
Stock dove, Wood pigeon, ysguthan, cuddan, cuddon, cuthan, colomen goed.
Ring dove—ysguthan gadwynog, ysguthan gadwenog.
Turtle dove—colomen Fair, turtur.
Dove colour—lliw y golomen, colomenliw.
The cooing of doves — grŵn, grŵnan, grŵnad.

**Dovecot**, *s.* colomendy, cwb colomenod, ty colomenod.

**Dove-eyed**, *a.* llygadwar, llygadwyl; â chanddi lygad colomen; colomenaidd ei llygad.

**Dovehouse**, *s.* colomendy, ty colomenod, cwb colomenod.

**Dovelike**, *a.* colomenaidd, fel colomen; diniwed, gwirion.

**Dove's-foot**, *s.* troed y golomen, pig yr aran cyffredin.
Dove's-foot crane's bill—troed y golomen, pig yr aran cyffredin.

**Doveship**, *s.* colomendod.

**Dovetail**, *s.* (*dove* a *tail*) peusyth, rhon barcud, llosgwrn y golomen, cynffon y golomen.
Dovetail saw—llif beusyth.

**Dovetail**, *v. a.* peusythu; gwneuthur peusyth; gwneuthur rhon barcud, &c.; uno â pheusyth.

**Dovish**,† *a.* (o *dove*) colomenaidd; diniwed, gwirion.

**Dowable**, *a.* (o *dower*) gwaddoladwy, cynnysgaethadwy, egweddïadwy; yn haeddu gwaddol.

**Dowager**, *s.* (Ff. *douairière*) gwaddolog, gwaddoles, gweddw waddolog, gweddw, gwraig weddw, agweddïol, egweddïol, cynnysgaethog, egweddïog.
Queen dowager—breninés waddolog.
Duchess dowager—dugés waddolog, dugés weddw.

**Dowcets**, *s. pl.* (Ff. *doucet?*) ceilliau carw, ceilliau hydd, hyddgeilliau.

**Dowdy**, *s.* (Ff. *dondon*) yslebren, llaesen, annillynes, musgrellen; benyw wladaidd annhaclus *neu* annybenwisg; gwraig gartrefaidd *neu* fynyddig; sopen o fenyw; dynes annhaclus *neu* annillyn.

**Dowdy**, *a.* annhaclus, annyben, annillyn, lledchwith, anghryno, annestlus, anghymhen, llaes, aflerw; annyben ei gwisg.

**Dowdyish**, *a.* fel yslebren, &c.; yslebrenaidd, llaesenaidd; anghryno, annhaclus.

**Dowel**, **Dowel-pin**, *s.* (Ff. *douille*) deuolbin, pin deupen, deudyno, pin, pinhoel; pin i gydio ymylon dwy astell.

**Doweling**, *s.* deuolbiniad; cydiad â phinau deupen.

**Dower**, **Dowery**, **Dowry**, *s.* (Ff. *douaire, douer*) gwaddol, cynnysgaeth, cynnysgedd, egweddi, agweddi, angweddi, engweddi, argyfreu; cowyll; amobr; rhodd.

**Dowered**, *a.* gwaddolog, gwaddoledig, egweddïog, agweddïog, cynnysgaethol, agweddïol, cynnysgaethedig; â chynnysgaeth ganddi.

**Dowerless**, *a.* diwaddol, anwaddolog, digynnysgaeth; heb waddol *neu* gynnysgaeth.

**Dowlas**, *s.* math o lian lledfras; breisglïan, braslïan, llian bras, llian garw, dowlas.

**Dowle**,† *s.* plufen, pluen, plufyn.

**Down**, *s.* (S. *dun;* D. *duun;* Is. *dons*) manblu,

manbluf, goflew, plucan, blewiach, blewionos, draenblu, pân; hadblu, hadbluf; pluf y gwaenydd; manblu llysiau, blodau, *neu* blanigion; pluf ysgall, pluf yr ysgall, gwlan yr ysgall; hawni, gra.

Eider-down—mwythblu, mwythbluf.

Meadow down—plu y gwaenydd, pluf y gwaenydd.

**Down,** } *s.* (S. *dun;* Is. *duin;* Al. *düne;* Ff. **Dune,** } *dune*) gwastadedd, gwastattir, gwastadfaes; rhos, gwaen; noethdir, heldir; cefnen, cefn, bryn; cefnfaes, cefnwastadedd; glasfryn; tywodfryn.

**Down,** *prep.* (S. *dun, adun*) i lawr, i waered; i lawr hyd; i lawr ar hyd; i waered hyd; i waered ar hyd; gyda; hyd yn, hyd at, hyd; i lawr gyda; i waered gyda; i lawr i; i waered i.

Down the country—i lawr i'r wlad; i waered i'r wlad.

To go down the stairs—myned i waered *neu* i lawr o'r llofft; myned i waered hyd, ar hyd, *neu* i lawr y grisiau; disgyn ar hyd y grisiau.

Down the river—gyda'r afon; i lawr *neu* i waered gyda'r afon; i lawr hyd yr afon; i waered ar hyd yr afon; i lawr yr afon.

To fall down a precipice—syrthio *neu* gwympo dros glogwyn; syrthio i lawr oddi ar glogwyn; syrthio i lawr clogwyn.

Down the hill—gyda'r gwaered; i lawr, i waered.

Going down the hill—yn tori gàn henaint; yn methu gàn henaint; ar y gorwaered.

He is going down the hill, down the stream, *or* down the wind—y mae efe yn myned yn ol yn y byd.

**Down,** *ad.* i lawr, i waered; tuag i waered; tuag i lawr; ar i waered; tua'r llawr; tuag obry; obry, isod, iso, diso; ar lawr, ar y llawr; yn ei hyd; ar waered.

Up and down—i fyny ac i waered; i fyny ac i lawr; ar lân ac ar lawr; yma ac acw; draw ac yma.

Down, } i lawr â thi; i waered â thi; i Go down, } lawr â chwi; i waered â chwi; dos *neu* ewch i lawr; disgyn, disgyna, gorwedd, gostwng, plyg, plyga.

Down with him—i lawr âg ef; bwriwch *neu* teflwch ef i lawr; tafl ef i lawr.

Down to—hyd at, hyd yn, hyd; i lawr hyd; mòr bell i lawr a.

To be down—bod ar lawr; bod i lawr; bod wedi disgyn *neu* wedi syrthio.

Down in the mouth—tawedog, dystaw, dichwedl, *neu* ddisiarad gàn ofid; trist, athrist, tristlawn, prudd; anaml ei eiriau; dywedwst.

He is down in the mouth—nid oes gair o'i eneu; nid oes ganddo air i'w ddywedyd drosto ei hun.

The going down of the sun—machlud haul, gostwng haul, machludiad haul, ymachludd haul, ymachlud haul; mynediad haul yn ei haddef; mynediad haul dàn ei gaerau; mynediad haul i lawr.

Where Afric's sunny fountains roll down their golden sand—lle treigl ffynnonau Affrig hyd tywod aur i lawr.

Put that down—dyro, rho, dod, *neu* gosod hwna i lawr.

The swelling is coming down—mae y chwydd yn dyfod i lawr; mae y chwydd yn lleddfu; y mae y chwydd yn gostwng.

**Down,** *a.* uniawn i lawr; syml, clau, didwyll; pendant; prudd, trist.

A down look—wyneb *neu* olwg athrist; golwg drom a thrist.

**Down,** *v.* myned i lawr; cael ei ddisgyn: darostwng, gostwng, taro i lawr, gorthrechu.

**Downbear,** *v. a.* gwasgu i lawr; pwyso i lawr; darostwng, gwasgu.

**Downbed,** *s.* gwely manblu, gwely esmwyth.

**Downcast,** *a.* (*down* a *cast*) tafledig i lawr; yn edrych i lawr; yn edrych tua'r llawr; athrist, trist, prudd, penisel, trwm, gwynebdrist, pendrist, anhylon; gŵyl, gwylaidd, mulaidd; gwaeraidd.

Downcast look—gwyneb athrist, golwg athrist; golwg drom a thrist; tristwedd.

**Downcasting,** *a.* yn taflu i lawr; pruddhaol, tristaol.

**Downcast,**† *s.* tristwch, athristedd, pruddineb, prudd-der, dueg, llawrydedd.

**Downed,** *a.* (o *down, s.*) manbluog, manblufog; o fanblu *neu* blucan, &c.

**Downfall,** } *s.* (*down* a *fall*) cwymp, codwm, **Downfal,** } cwympawd; dinystr, dystryw, dymchweliad, dadymchweliad, cwympiad, cwympiad, syrthiad; dadfail, adfail, rhewin, difrod.

The downfall of the Roman empire—cwymp amherodraeth Rhufain; dinystr yr ymherodraeth Rufeinig.

**Downfallen,** *a.* cwympedig, syrthiedig; gwedi cwympo; dinystredig, dystrywiedig.

**Downgyved,** *a.* (*down* a *gyve*) hualedig i lawr; yn hongian fel rhydd rwymau hual.

**Downhaul,** *s.* llawr-lusgraff.

**Downhearted,** *a.* iselgalon; isel ei galon, ei ysbryd, *neu* ei ysbrydoedd; prudd, athrist, trymfron; prudd ei fron.

**Downhill,** *s.* gwaered, gorwaered, llethr, llechwedd, disgynfa, gorwaered.

He goes downhill in the world—y mae efe yn myned yn ol yn y byd.

**Downhill,** *a.* ar waered, llechweddog, llethrog. disgynol, disgynfaol.

**Downlooked,** *a.* yn edrych i lawr; gwynebdrist, prudd, trist, athrist, anhylon, dilon, dybryd, pendrist, penisel, ansiriol, trymllyd, agro, allwynin, allwynig; sarig, sur, sor.

**Downlying,** *s.* amser myned i orphwys; amser gorphwys, pryd gorphwys, pryd cysgu.

**Downlying,** *a.* ar wely esgor; ar fod mewn gwewyr esgor; ar esgor.

**Downright,** *ad.* yn union i lawr; i waered yn union; yn syth, yn unionsyth; ar ei ben; mewn geiriau eglur; yn ddidwyll, yn ddïymdro, &c.; yn ddiddefod; heb na rhwysg na rhodres; yn ddïymanerch; yn llwyr; ar unwaith; yn ddïymaros; yn ei gyfer; trwyddo, trwyddo draw.

**Downright,** *a.* yn uniawn i lawr; uniawn i lawr; syth, unionsyth; i'r pwynt yn union; didwyll, dihoced, dïymdro, clau, syml, diddichell, gonest, anghyfrwys, diweniaith, eglur, noeth, cywir, uniawn, diffuant, diragrith; trwyadl, llwyr, hollol, allwyr; pwl, aflednais.

Downright Welsh—Cymraeg lân loew.

Downright blow—ergyd llwyr, ergyd diarbed.

Downright lie—celwydd golen; celwydd â'i dyngu; celwydd noeth, celwydd noethlymyn, celwydd heb gel; celwydd parod, celwydd hollol, celwydd drwyddo.
Downrightly, *ad.* yn union i lawr; yn ddidwyll, &c.
Downsett, Dancette, *s.* (Ff. *danché*) cypladdurn, cebraddurn, mold-addurn igam-ogam.
Downshares, *s. pl.* gwtherydr, gwtheryd, broneryd, heiyrn gwthio.
Downsitting, *s.* eisteddiad, eisteddiad i lawr; gorphwysiad, seibiant.
Thou knowest my downsitting and uprising—adwaenost fy eisteddiad a'm cyfodiad (*Salm* cxxxix. 2).
Downtrod, Downtrodden, *a.* sathredig, mathredig, sangedig, damsangedig; â fathrwyd; â sathrwyd arno; sathredig dàn draed.
Downward, Downwards, *ad.* (*down* a *ward;* S. *duneweard*) i lawr, i waered, ar i waered, tuag i waered, ar waered, arwaered, tuag i lawr, tua'r llawr, obry.
With his face downward — â'i wyneb i waered; â'i wyneb i lawr; ar ei wyneb; â'i wyneb tua'r llawr; â'i wyneb tua'r ddaiar.
Downward, *a.* â fo tuag i lawr, &c.; yn tueddu i lawr *neu* i waered; gwaeredol, llawrydol; llechweddog, llethrog, disgynol, disgynfaol; gwyredig, plygedig, crwm; isel, gwasgedig, prudd, trist, anhylon, pendrwm.
Downward course—gyrfa i waered; hynt i lawr; rhedfa waeredol, &c.
Downward thoughts — meddyliau isel, gwasgedig, *neu* brudd.
Downweed, *s.* (*down*, manblu, a *weed*) moredafeddog, llwyd boneddig.
Downy, *a.* (o *down*) manbluaidd, manblufaidd, manbluog, pluaidd; hadbluaidd, hadblufol; graog, pânog; esmwyth, plydd, pludd, tyner, mwyth, lloddol.
Downy pillow—gobenydd manblu, gobenydd esmwyth.
Downy hairs—gwlanblu.
Downy wool—panwlan.
Dowry, Dowery, Dower, *s.* (Ff. *douaire, douer*) gwaddol, cynnysgaeth, cynnysgedd, egweddi, agweddi, angweddi, engweddi; cowyll; amobr; rhodd.
Dowse,† *v. a.* (Sw. *duska*) bonclustio, cernodio, cernhepio, rhoi bonclust i.
Dowst,† *s.* ergyd, bonclust, dyrnod, cernod.
Doxological, *a.* (o *doxology*) mawlwersol, molebus; perthynol i fawlwers.
Doxologize, *v. n.* mawlwersu, canu mawlwers, mawlganu.
Doxology, *s.* (Gr. *doxologia*) mawlwers, mawlgan, moleb, mawlair.
Doxy, *s.* (Sw. *docka?*) cyffoden, puten, mwyglen, huran, cymmones, anlladferch.
Doze, *v.* (D. *doser, dysser;* S. *dwœs;* Is. *dwaas*) hepian, gogysgu, dargysgu, lledgysgu, huno, darhuno, cyntuno; hurtio, syfrdanu; gwneuthur yn benfeddw, yn syfrdan, yn lledfeddod, *neu* yn benysgafn; gwneuthur yn gysglyd *neu* yn farwaidd.
Dozen, *s.* (Ff. *douzaine;* Is. *dozijn;* Sw. *dussin;* D. *dusin;* It. *dozzina;* Al. *dutzend*) deuddeg, dwsin, dwsen, hanner drefa.
Dozens (indefinitely) — degau, dwsinau, dwseni.

Dozen, *a.* deuddeg.
A dozen men—deuddeg o wŷr; dwsin o ddynion; deuddeg dyn.
Dozer, *s.* (o *doze*) hepianwr, gogysgwr, lledgysgydd.
Doziness, *s.* (o *dozy*) cysgadrwydd, cysglydrwydd, trymsyrthni, syrthni, trymluogrwydd, trymder, cysgrwydd, cysgni, marweidd-dra, hepioldeb.
Dozing, *s.* (o *doze*) hepian, cysgad, gogysgad, darhunad, cyntun.
Dozy, *a.* (o *doze*) cysglyd, swrth, trymswrth, trymluog, trymaidd, trwm, hepianllyd, marwaidd, musgrell, trymhyrddig, cysglyd, syrthlyd, trymllyd, pendrwm.
Drab, *s.* (S. ac Is. *drabbe*) puten, putain, dyhiren, dyhirog, putain i bawb, huran; budrog, budrogen, dwgan, llaesen, hafnen, hafnai, hafren, llodren, swgan; swga laesbais lodrog.
You filthy drab!—y fudrog front!
Drab, *s.* (Ff. *drap;* It. *drappo*) gellfrethyn, brethyn tewgryf.
Drab, *v. n.* puteinio, budrogi; cymdeithasu â budrogod.
Drab, *a.* lledlwyd, llwydwyn, dwn, gell, dulwyd, gwrm, arddyfrych.
Draba, *s.* (Gr. *drabê*) llysiau y bystwn, llysiau yr ewinor.
Drabbing, *s.* cydymaith puteiniaid, cyfeillachwr â dyhirogod, &c.; budrogwr, dyhirogwr.
Drabble, *v. a.* (o *drab*) budro, budrogi, budreddu, diblo, caglu, llodro; gwlychu a diwyno; llusgo drwy y dwr a'r baw; llusgo mewn llaca.
Drabble, *v. n.* pysgota barfogion â llinyn hir a genwair; genweirio barfogion.
Drabbling, *a.* budrol, budrogol, diwynol; yn pysgota barfogion.
Drabbling, *s.* pysgotiad barfogion, genweirio barfogion, pysgota barfogion.
Drabbler, *s.* (o *dabble*) llodrhwyl.
Drachm, Drachma, Dram, *s.* (Gr. *drachmê;* Ll. *drachma;* It. *dramma*) dram=wythfed ran unas.
Drachma, *s.* darn bath yn Groeg gynt, gwerth 7 ceiniog a 3 ffyrling.
Dracina, Dracine, Draconin, Draconine, *s.* (Ll.) *draco;* Gr. *dracôn*) dreignur, dreigwaednur = defnydd lliwiol y sylwedd â elwir dreigwaed.
Draco, *s.* (Ll.) Draig, y Ddraig=cydser gogleddol, yn cynnwys, yn ol Fflamsteed, 80 o ser: hudlewyrn.
Dracocephalum, *s.* (Gr. *dracôn* a *cephalê*) dreigben, pen y ddraig=math o blanigion tramor.
Dracontic, *a.* (Ll. *draco;* Gr. *dracôn*) dragonig; perthynol i'r amser â gymmer y lleuad i wneuthur un cylchdro cyflawn.
Dracontium, *s.* (Ll. *draco*) dreiglys yr India.
Dracunculus, *s.* (Ll.) dreigyn; llysiau y ddraig, dreiglys.
Drad,† *a.* (S. *dræd*) ofnadwy, erchyll.
Draff, *s.* (Is. *draf, droef*) gwaddod; soeg, soegion, gweisgion; golchion, golchionach; olion, ysborion, gwehilion, gohilion, ffwlbri, ffwlach, cibau, sorod.
Draffish, *a.* diwerth, diles, gwael.
Draffy, *a.* gwaddodlyd, gwaddodog; soeglyd, gweisgionllyd, soegaidd; diwerth, gwael, diles.

**Draft**, *s.* (o *draught*, a hwnw o *drag*, *draw*) tyniad, tyn, tynfa, tynedigaeth, llusg, hwys; tyndaleb, tynysgrif, talbar; cynllun, darlun, braslun, brasddarlun, brasgynllun, darluniad, cynddelw, amlinell; y dyfnder â ofyn llong i nofio ynddo; brasysgrif, brasysgrifeniad, brasdyniad.
**Draft**, *v. a.* tynu; darlunio, cynllunio, braslunio, brasddarlunio, amlinellu, llinellu, brasdynu, dylunio; tynu allan, dewis, dethol, dydoli.
**Drafthorse**, *s.* tynfarch, march tyn, march tynu, ceffyl tynu, menfarch, ceffyl gwaith.
**Draftox**, *s.* ych tyn, ych tynu, ych gwaith, eidion tynu.
**Drafts**, *s. pl.* gwyddbwyll.
 To play at drafts—chwareu gwyddbwyll, gware gwyddbwyll.
**Draftsman**, *s.* tyniedydd, tynwr, cynlluniwr, brasluniwr, lluniedydd, arfelydd, darluniwr, dyluniwr.
**Drag**, *v.* (S. *dragan*; Is. *draagen*; Al. *tragen*; Ll. *traho*) tynu; llusgo, dylusgo, dragio, ysdragio; ymlusgo; llusgrwydo, rhwydlusgo; pysgota â thynrwyd *neu* lusgrwyd; llusgo y llawr.
 To drag along—dylusgo.
**Drag**, *s.* llusg, càr llusg, ysled, ysledfen, tyngar; og lusg, oged lusg, og fras; llusgrwyd, tynrwyd, ballegrwyd; tynfach.
 They gather them in their drag—cynnullant hwynt yn eu ballegrwyd (*Hab.* i.15).
**Dragchain**, *s.* cadwyn lusg, tid lusg.
**Draggle**, *v.* (o *drag*) llusgo, llodro, diblo; llusgo *neu* ymlusgo yn y tom; ymddiblo; llusgo mewn llaca; gwlychu a diwyno; budro, budrogi; bod yn llusgo yn y tom.
**Draggletail**, *s.* llaesen, yslebren, yslebog, diblen, yslabi, dwgan, hafnai, caglen, diblydd, dibles, hafnen, budrog, swgan.
**Dragman**, *s.* llusgrwydwr, tynrwydwr; pysgotwr â thynrwyd *neu* lusgrwyd.
**Dragnet**, *s.* llusgrwyd, tynrwyd, rhwyd dyn, rhwyd dynu, ysgubrwyd.
**Dragoman**, **Drogoman**, **Drogman**, *s.* (It. *dragomanno*; Ff. *truchement*; Cal. *turgaman*) cyfieithydd, cyfieithwr, deonglwr, lladmerydd.
**Dragon**, *s.* (Gr. *dracôn*; Ll. *draco*; Gw. a C. *draig*; Al. *drache*) draig; dragon.
 Dragon (in astronomy)—Draig, y Ddraig.
 Rouge dragon—draig goch.
 Sea-dragon — morddraig, draig y môr, draig môr.
 Snap-dragon—trwyn y llo, trwyn llo.
**Dragon-beam**, **Dragon-piece**, *s.* dreigluth, dreigarn.
**Dragonet**, *s.* (o *dragon*) dreigan, draig fechan; dreigbysg.
**Dragon-fish**, *s.* dreigbysg.
**Dragon-fly**, *s.* gwas y neidr, gwaell y neidr, gwaell neidr, chwildarw.
**Dragonish**, *a.* dreigaidd, dreigiol; fàl draig; fàl y ddraig.
**Dragonlike**, *a.* dreigaidd, dreigiol; fàl y ddraig; tanllyd; ffyrnig, dywal, ffroch.
**Dragons**, *s.* llysiau y ddraig, dreiglys.
**Dragon's-blood**, *s.* (*dragon* a *blood*; S. *dracanblod*) dreigwaed, gwaed y ddraig=math o sudd â geir o wahanol blanigion.
 Dragon's-blood tree — pren dreigwaed, dreigwaedwydden.
**Dragon's-head**, *s.* dreigben, pen y ddraig.
 Dragon's head and tail—pen a llosgwrn draig; y ddau bwynt lle y croesa planed yr heulrawd.
**Dragon's-shell**, *s.* dreigblisg=math o frenig, neu lygaid myheryn.
**Dragon's-water**, *s.* dreigwy=math o blanigyn neu lysieuyn.
**Dragon-wort**, *s.* llysiau y ddraig, dreiglys.
**Dragoon**, *s.* (Ff. ac Ysp. *dragon*; Al. *dragoner*; Ll. *draconarius*) marchfilwr; garmwyn, dragoniad; pedfarchog: *pl.* pedfarchwys.
**Dragoon**, *v. a.* gormesu, gormeilio, *neu* gaethiwo drwy filwyr; gormesu, gormeilio, dygn flino, erlid, blino, aflonyddu, dirgymhell, gorfodi.
**Dragonade**, *s.* gadawiad lle i raib a chynddaredd milwyr; garmwynawd.
**Drag-sheet**, *s.* llusglen, nawf-angor.
**Drail**,† *v.* (Is. *treillen*)=*Draggle*.
**Drain**, *v.* (S. *drehnigean*) dyhysbyddu, dysbyddu, sychu, hysbyddu, dysychu, arloesi, arllwys, hyspu, gwythu, hidlo, dyhidlo, sochi, rhidio; gwaghau; troi *neu* dynu dwr ymaith; rhedeg ymaith yn raddol; dyferu; cleisio, tanrigoli, dyferffosi.
 They drained his purse—hwy a waghasant *neu* a arlloesasant ei god ef.
 To drain land—sychu tir; dyhysbyddu tir.
**Drain**, *s.* dyferffos, dyfrffos, gwehynffos, gwyffos, gwythreden, ystrym, ffrydle, soch, yslwch, gwyth, dyfrle, rhidys, gofer, merai; clais; rhigol, cwysig, tanrigol.
**Drainable**, *a.* hysbyddadwy, dyhysbyddadwy, hyhysp, hysych; â ellir ei ddyhysbyddu, &c.
**Drainage**, *s.* dyhysbyddiaeth, hysbyddiaeth, dysbyddiad, hysbyddiad, dyhysbyddiad.
**Drained**, *p. p.* hysbyddedig, &c.; dyhysbydd, hysp, sych, gwag; gwedi ei ddyhysbyddu, &c.
**Drainer**, *s.* hidlyr, hysbyddyr, dyhysbyddai, dysbyddydd, sychydd, sychiedydd, dysychydd.
**Draining**, *s.* dyhysbyddiad, hysbyddiad, dysbyddiad, tanrigoliad, hyspiad, dyferffosiad, dyfrffosiad, dysychiad; dyhysbyddiaeth, dysbyddiaeth.
 Thorough draining—dysbyddiad trwyadl, &c.; tryddysbyddiad, tryddysbyddiaeth.
 Draining plough—arad hysbyddu, aradr dyhysbydd, gwyth-aradr.
**Drake**, *s.* (Al. *enterich*; D. *andrick*; Sw. *andrak*) adiad, ceiliog hwyad, barlad.
 He makes ducks and drakes of his money —mae efe yn gwastraffu *neu* yn afradu ei arian; y mae efe yn taflu ymaith ei arian.
**Drake**, *s.* (Ll. *draco*) dreigon, corfagnel, magnel bychan.
**Dram**, *s.* (talfyriad o *drachma*) dram=yr wythfed ran o unas, neu 60 gronyn: rhywfaint, syrnyn, tipyn, ychydigyn, llonaid gwniadyr; traflwnc, darlwnc, llymaid, llymeidyn, cegaid, llwnc, trancell, toslwnc; gwirod, gwirod poeth: bath o werth 7¾c., dracmon.
 I wish he had a dram of judgment—dymunwn pe bai ganddo lonaid gwniadyr o ddeall *neu* ddirnadaeth; dymunwn pe bai ganddo gymmaint a chnewullyn o ddeall *neu* ddirnadaeth.
 Dram-houses—gwirottai, llymeittai.
 Dram-palaces—llynclysoedd, llync-balasau, llymeidlysoedd.

Dram-drinker—gwirotyn, gwirotai, llymeitiwr gwirod.
Ten thousand drams—deng mil o sylltau (1 *Cron.* xxix. 7).
Threescore and one thousand drams of gold—un fil a thri ugain o ddracmonau aur (*Esra* ii. 69).
**Drama**, *s.* (Gr.) chwaryddiaeth, chwaroniaeth, chweroniaeth, chwareueg, drychfarddas, drychaweniaeth, drychfarddaeth, chwareugerdd, chwareugan, chwargerdd, chwareuwawd, chwarewaith, drychwareu, ffedfarddas; cymwawd; tristwawd.
**Dramatic,** / **Dramatical,** *a.* (Gr. *dramaticos*) chwaryddol, chwaronol, chweronol, drychwareuol, drychwareol, chwareugerddol, chwargerddol, drychfarddol, drychfarddonol; chwareufaol, chwarwyfaol; chwarëyddol, chwerigol, dynwaredol.
**Dramatist**, *s.* chwareufardd, chwaronydd, chweronwr, chwarawdur, chwarawdwr, chwarawenydd, awdwr chwareon, ysgrifenydd chwareuon, chwareuonydd.
**Dramatize**, *v. a.* chwaryddoli, chwaronoli, chwareuganu, chwareufarddoni, drychfarddoni, drychbrydu; cyfansoddi ar ddull chwareu *neu* chwareugerdd.
**Dramurgy**, *s.* (Gr. *drama* ac *ergon*) chwarofyddiaeth, drychwareueg, gwyddor chwaryddiaeth.
**Drape**, *v. a.* (Ff. *draper*) golofi; trefnu defnyddiau at wisgoedd; †gwneuthur brethyn *neu* lian; †cellwair.
Drape-sheep — defaid cwliedig, defaid gwrthod, y cwliedigion.
**Draper**, *s.* (Ff. *drapier*) golofydd, golofwr, golofwerthwr, golofwerthydd; brethynwr, brethynydd; llieinwr.
Woollen draper—brethynwr, brethynydd, gwerthwr brethynau, masnachwr brethynau, brethyn-werthwr.
Linen draper—llieinwr, llieinydd; gwerthwr llieiniau, masnachwr llieiniau, llianwerthwr, llieinwerthwr.
**Drapery**, *s.* (Ff. *draperie;* It. *draperia*) golofyddiaeth, golofyddiant, golofiaeth; dilladwaith; brethyniaeth; brethyn, brethynau; defnydd dillad, golofnwyddau; dillad, gwisg, gwisgad, trwsiad; dilladiad.
Drapery (in painting and sculpture)—golofyddiaeth, golofyddiant, golofiaeth, gwisg, dillad, dilladiad; llun a dulliau gwisg *neu* ddillad; golofwaith.
**Drapet**,† *s.* (o *drape*) brethyn; huling, teisban.
**Drastic**, *a.* (Gr. *drasticos*) grymus, cryf, effeithiol, nerthol, gweithiol, gweithgar, cryfweithiol.
**Draugh**, *s.*=*Draff.*
**Draught**, *s.* (o *draw, drag*) tyniad, tyn, tynfa, llusg, tynedigaeth, hwys, ymegnïad; traflwnc, traflwng, trancell, darlwnc, darlwng, tarlwnc, tarlwng, llwnc, llymaid; tyn o ddïod, tyniad o ddïod; cynllun, darlun, braslun, brasddarlun, brasgynllun, darluniad cyntaf, cynddelw, amlinell; darluniad, dysgrifiad; cynllun ysgrifen, brasysgrifen, brasysgrif, brasgrifiad, brasysgrifiad, brasdyniad; rhagysgrif, rhagysgrifen; dyl cyfnewid, talbar, tyndaleb, tynysgrif, ysgrifen dynu; helfa, traill; soch, gwehynffos, geudy, carthle; tynnifer; tynalluoedd; dyfnder, dyfnder o ddwfr, gwehyn; tynblastr, tynsugaethan.
Draught (in commerce)—tyniad y dafol; tyniad y clorianau; colled mewn pwysau; tyniad, pwysdyniad.
Draught of a ship—tyn, tyniad, *neu* dynfa llong o ddwr wrth nofio; y dyfnder dwr â ofyn llong i nofio ynddo; y dyfnder â dyno llong o ddwfr wrth nofio; y dyfnder y sudda llong mewn dwr; tyn llong; gwehyn llong.
A ship of twelve feet draught—llong yn gofyn 12 troedfedd o ddwfr i nofio; llong yn tynu 12 troedfedd o ddwr; llong 12 troedfedd ei thyn, ei thyniad, *neu* ei thynfa; llong ddeuddeg troedfedd ei gwehyn.
Draught (in fishing)—helfa, traill, tyn, tynfa; tyn, tyniad, *neu* dynfa yn y môr â thynrwyd.
Draught of fishes—helfa, traill, *neu* dyn o bysgod.
The miraculous draught of fishes—yr helfa wyrthiol *neu* ryfeddol o bysgod.
Draught of soldiers—tyniad o filwyr; nifer o filwyr wedi eu tynu allan o gorff y llu; gwahanlu, gwahan-filwyr, tynfilwyr, tynluoedd.
Angle of draught—tynongl, tynelin, ongl dyn.
Draught cattle—anifeiliaid gwedd, anifeiliaid gwaith, tynfilod.
Draught tree — tynlath, tynbren, trawstmen, llath cerbyd, fforchwain.
A quick draught of goods—tyniad cyflym ar nwyddau; hywerthedd nwyddau; cyflym werthiad nwyddau.
**Draught**, *v. a.* tynu, tynu allan, llusgo; galw allan, galw.
**Draught-hooks**, *s. pl.* tynfachau.
**Draught-horse**, *s.* tynfarch, march tyn, march tynu, ceffyl tynu, menfarch, ceffyl gwaith.
**Draught-house**, *s.* carthdy, tomdy, ysgothdy, geudy, arloesdy.
**Draughts**, *s. pl.* gwyddbwyll, chware gwyddbwyll.
To play at draughts — chwareu gwyddbwyll, gwareu gwyddbwyll.
**Draughtsman**, *s.* tyniedydd, tynwr, lluniedydd, cynlluniwr, arfelydd, brasluniwr, darluniwr, dyluniwr, darluniedydd; rhagysgrifydd, cynysgrifenwr; gwirotyn, gwirotai, llymeitiwr, yfwr, dïotwr, potiwr.
**Draw**, *v.* (S. *dragan;* Ll. *traho*) tynu; llusgo, dylusgo; arwain; denu, llithio, hudo, darbwyllo; llunio, llinellu, darlunio, dylunio, dysgrifio, llunweddu; tynu cynllun, ysgrifenu cynllun, cynllunio ysgrifen; erthynu; sugno; gwallofi, gwahenu; gwehynu; dwyn, cynnyrchu; cyfansoddi; derbyn.
To draw asunder — tynu oddi wrth eu gilydd; tynu y naill oddi wrth y llall; dryllio; tynu yn ddarnau; ysgaru; esgaru, gwahanu, neilltuo, dydoli; athrywyn, athrywynu.
To draw back—tynu, llusgo, galw, *neu* gilio yn ol; dattynu, gwrthdynu, gwrthlusgo; cilio, encilio, gwrthgilio, cildynu; tynu ato; tyn ei eiriau ato; tynu ei air yn ol; tynu ymaith; gwrthod cyflawnu addewid; rhuso; gomedd, nacäu, naghau, bwrw ymesgus; llaesu, llacäu; tynu yn wysg ei gefn; cilio yn ei gwyn; bwyta ei eiriau; llyncu ei eiriau; tynu ei gyrn ato.

To draw blood—tynu gwaed; sugno gwaed; gollwng gwaed; peri gwaed ar un.
To draw a bow—tynu bwa; annelu bwa; dolystumio bwa.
To draw breath—tynu anadl; gwehynu anadl; anadlu, chwythu, gwyntio; cymmeryd, cyrchu, cyrhaedd, *neu* hercyd anadl.
To draw a breast—sugno bron, tynu bron, dyfnu bron.
To draw a cheque—tynu twyeb, ysgrifo talbar, tynu talbar.
To draw air—tynu awyr, sugno awyr; tynu awyr i mewn; yfed awyr.
To draw down—tynu i lawr; dwyn i lawr; arwain i lawr; olrhain, olrheinio; hanu.
To draw liquor—gollwng dïod, gellwng dïod; heilio, trullio, gwallofi, gwallaw, dywallaw; tynu dïod.
To draw dry — dyhysbyddu, hysbyddu, dysbyddu; hyspu, gwaghau, arloesi, arllwys; tynu *neu* ollwng allan yn llwyr.
To draw forward, } tynu yn mlaen; myned
To draw on, } yn mlaen; myned rhagddo; denu, llithio, hudo; neshau, nesu, dynesu, dyneshau; tynu *neu* ddyfod yn agos.
To draw poultry—diberfeddu dofednod; tynu perfedd adar dofion; tynu dofadar.
To draw in—tynu i mewn, tynu i fewn; tynu yn nghyd; cyfyngu; tynu ato; casglu, cynnull; denu, hudo, llithio, darbwyllo.
To draw lines—llinellu; tynu llinellau; llinynio; gwneuthur llinellau.
To draw near, } tynu yn agos; agoshau,
To draw nigh, } agosi, neshau, nesu, dynesu, dyneshau; dyfod hyd; bod yn agos; dyfod yn agos; dyfod ger llaw; dawodi; tynu at; gofyn.
To draw near to the birth—dywyddu; bod yn agos i esgor; tynu at yr enedigaeth; agoshau at eni.
To draw out—tynu allan; dwyn *neu* ddygyd allan; llusgo allan; gwahenu, gwehynu, dyhysbyddu, hysbyddu, dysbyddu; tynu; estyn *neu* ystyn allan; estyn, ystyn, estynu, hwyhau; lledu; tynu o hyd; gohirio, oedi; dwyn allan; cael allan; tynu o; trefnu.
Draw off—tynu ymaith, tynu ffwrdd, tynu i ffwrdd; tynu o.
To draw on — tynu yn mlaen; myned yn mlaen; myned rhagddo; dwyn yn mlaen; agoshau, &c.; denu, llithio, hudo; achosi, peri, achlysuro; dwyn ar; tynu ar.
To draw to—tynu at; attynu; llithio, hudo.
To draw together — cyttynu; tynu yn nghyd; casglu yn nghyd; tynu at eu gilydd.
To draw towards, } tynu tuag at; tueddu
To draw toward, } tuag at; tynu at.
To draw toward evening — hwyrhau; myned yn hwyr; tynu yn hwyr; ucheru.
It draws toward evening—mae hi yn hwyrhau; mae hi yn myned yn hwyr; mae hi yn tynu at yr hwyr; hi a aeth yn hwyr; hwyrhaodd; mae yn tynu at y nos; ucherodd y dydd.
To draw up—tynu i fyny; llusgo i fyny; codi, dyrchafu; cyfansoddi, trefnu; cattrefnu, byddino.
To draw up an army to the city—arwain *neu* dywys byddin i fyny at y ddinas.
To draw water—codi dwfr, tynu dwfr, gwehynu dwfr, gwahenu dwr, gwehyn dwr.
To draw a pond—dysbyddu llŷn, sychu llŷn.
To draw lots—tynu coelbreni; tynu cytysau; bwrw coelbren.
To draw money—tynu arian; codi arian.
To draw a sword—tynu cleddyf; diweinio cleddyf; noethi cleddyf; dysbeilio cledd; tynu cledd o'r wain.
To draw by scent—olrhain, adryweddu, adrywyddu, edryweddu, tryweddu, trywyddu; tynu yr adrywedd; dylyn wrth yr adrywedd; arwyntio; cael arwynt, edrywedd, *neu* adrywedd y pryf; cael cyfod ar y pryf; dylyn ol traed.
To draw near to a close—tynu at derfyn; tynu at ddiwedd; talmu.
Draw, *s.* tyn, tyniad, llusg; cwtws, coelbren, chwaen, rhan.
Drawable, *a.* tynadwy, llusgadwy.
Drawback, *s.* dattyniad, adtaliad, adtal, tyniad yn ol, taliad yn ol; colled, coll; anfantais, dattal, dattaliad.
Drawbridge, *s.* ysgrogell, pont godi.
Drawee, *s.* (o *draw*) tynai, y tynai; yr un y tyner arno; talwr dyl cyfnewid.
Drawer, *s.* tynwr, tyniedydd, tynydd, llusgwr, llusgydd, gwehynwr, gwehynydd, gwahenydd; lluniedydd, lluniwr, darluniwr, darluniedydd, darlunior, darluniawdr; deillydd; traill, cloer, llogawd, cilior, llogell, treillyn, tyngell; craff.
Drawer of liquors—gwallofydd, gwallofwr, gwallofiad, heilyn, trulliad, dïodwas, tafarnwas: *f.* heilynes, gwallofes, trulliades, gwallofyddes, gwallofiades.
Drawer of water—gwehynydd, gwahenydd, tynwr, *neu* dynydd dwfr.
Chest of drawers—treillgist, cist logellog, llogellgist.
Tooth-drawer—deintgraff, danttynydd.
Drawers, *s. pl.* isglos, islodrau, islawdr.
Drawing, *s.* tyniad, llusgiad, tyn, tynfa, tynedigaeth, llusg, hwys; darlun, llun, arlun, arluniad, darluniad, darlinelliad, dyluniad, darluniawd, llinelliad, paentiad; darluniaeth, darluniodraeth, arluniaeth.
Drawing school—darlunfa, ysgol arlunio, ysgol ddarlunio, ysgol dynu.
Drawing-knife, } *s.* rhasgl.
Draw-knife, }
Drawing-master, *s.* athraw arlunio, athraw darlunio, athraw darluniaeth, arlunfeistr.
Drawing-room, *s.* cyfarchfa, cyfarchgell, ystafell ymgynnull, ystafell gyfarch; cilgell, encilfa; cyfarchgelliaid, ymgynnulliaid.
Drawing-slate, *s.* tynlech, darlunlech, marm du.
Drawl, *v.* (Is. *draalen*) geirlusgo; llusgo ei eiriau *neu* ymadrodd; safndrymu; bod yn safndrwm; dywedyd yn hwyrdrwm *neu* yn annyben; oeriain ei eiriau; siarad fel un meddw *neu* hanner meddw.
Drawl, *s.* geirlusg, geirllaesrwydd, safndrymedd, musgrellni ymadrodd.
Drawling, *a.* safndrwm, (*f.* safndrom), geirllaes, tafottrwm, geneudrwm, geirlusg, geir-

lusgol, amadlaes, musgrell; llaes ei chwedl; trwm ei dafod; hwyrdrwm ei eiriau.
**Drawn**, *p. p.* (o *draw*) tynedig; â dynwyd; gwedi ei dynu; llusgedig, &c.; tyn, (*f.* ten), cyfartal, cydbwys, cyfiol.
Drawn bow — bwa annelog, baw ar annel.
Drawn sword—cleddyf noeth, cledd diweiniedig.
Drawn game—chware cydbwys *neu* annherfynedig; ymdrech cydbwys, cyfartal, anmhenderfynol, *neu* annherfynedig.
Drawn fox—llwynog diberfeddedig; cadnaw wedi tynu ei berfedd; llwynog tyn, llwynog tynedig.
Drawn out—dysbyddedig, dysbydd, hysbyddedig, gwag, arlloes, arllwysedig.
Easily drawn—hydyn; hawdd ei dynu; hawdd i'w dynu.
**Drawn-battle**, *s.* ymladd cydbwys, ymladd tyn, ymladd anmhenderfynol, brwydr den, brwydr gydbwys, cad ammhëus; brwydr heb droi o un tu.
**Drawn-butter**, *s.* ymenyn tawdd, ymenyn toddedig.
**Drawnet**, *s.* (*draw* a *net*) brasrwyd, tynrwyd adara.
**Draw-well**, *s.* tynffynnon, cordffynnon, cortffynnon, ffynnon hirgord=ffynnon ddofn y codir dwfr o honi â chordyn neu reffyn hir.
**Dray, Draycart**, *s.* (S. *dræge*; Ll. *trahea*) càr llusg, càr hir, tyn-gar, ysledfen, ysled, càr darllawydd.
**Dray-horse**, *s.* ceffyl càr llusg, ceffyl tyn-gar, march ysled, ysledfarch.
**Drayman**, *s.* gyrwr càr llusg, car-yrwr, gyriedydd càr llusg.
**Dray-plough**, *s.* arad llusg, aradr llusg, llusgarad.
**Drazel**, *s.* (Ff. *droslesse, drôle?*) budrog, budrogen, hafnai, hafnen, dwgan, yslebog, yslebren.
**Dread**, *s.* (S. *dræd*) ofn, arswyd, ofn mawr, dychryn, braw, dychryndod, echryn, echryd, swyd, arynaig, orn, argysswrw, argysswr; parchedig ofn; rhŷn, achreth, ysgryd.
Dread and terror—ofn a dychryn, rhŷn a gosgryn.
Heavy dread—trymfraw, oerfraw.
**Dread**, *a.* ofnadwy, arswydlawn, arswydfawr; i'w ofni drwy barch; i'w barchus ofni; parchadwy, parchedig, gorhybarch, uchelbarch; i'w arswydo; erchyll, echrydus, dychrynllyd, arswydus, arswydol.
Dread sovereign — frenin goruchaf *neu* uchelbarch; oruchaf *neu* ardderchocaf frenin; arswydlawn frenin; benadur ofnadwy; benadur arswydfawr.
**Dread**, *v.* ofni, arswydo, aryneigio, argyssyru; ofni yn fawr; mawr ofni; crynu, dychrynu, *neu* ofni rhag.
**Dreadable**,† *a.* ofnadwy; i'w fawr ofni.
**Dreader**, *s.* ofnwr, arswydwr, crynwr rhag.
**Dreadful**, *a.* ofnadwy, erchyll, echryslawn, dychrynllyd, arswydus, arswydlawn, arswydol, dychrynadwy, irad, girad, erch, cethin, anaele, echrynol; hybarch.
**Dreadfulness**, *s.* arswydolrwydd, arswydlonedd, arswydusrwydd, dychrynllydrwydd, arswydfawredd, erchylldod, erchyllder, iradedd, echrysder, echryslonedd.
**Dreadless**, *a.* diofn, diarswyd, difraw, diddychryn, diarynaig; hy, hyf, eofn, eon, ewn, anofnus.
**Dreadlessness**, *s.* anofn, diofnedd, anofnedd, diofnogrwydd, difrawder; anarswyd; hyfder, eondra, eonder, calondid, dewredd.
**Dream**, *s.* (Is. *droom*; D. a Sw. *dröm*; Al. *traum*) breuddwyd; gweledigaeth drwy hun; ffoldyb, gwag dyb, gofregedd, coeg ddychymyg, coegbeth, tyb anhygoel.
A vain dream—gwag freuddwyd, breuddwyd gwag.
In a dream—mewn breuddwyd; trwy hun; trwy gwsg.
Troubled with dreams—breuddwydiog.
To interpret dreams—deongli breuddwydion.
I had a dream, which was not all a dream —breuddwydiais freuddwyd, ac nid breuddwyd oll.
**Dream**, *v.* breuddwydio; gweled breuddwyd; gweled mewn breuddwyd; gweled drwy hun; gweled drwy gwsg; gwagdybio, ymleferydd, dychymygu.
**Dreamer**, *s.* breuddwydiwr, breuddwydydd, breuddwydwr; dychymygwr, ffoldybiwr, hurtyn, hurthgen; diogyn; breuddwyd o ddyn.
**Dreamful**, *a.* breuddwydiog, breuddwydiol; llawn breuddwydion.
**Dreaming**, *p.* yn breuddwydio, gàn freuddwydio, &c.; breuddwydiol; hwyrdrwm, trymhyrddig, trymluog, llyferthin, musgrell, llaes, diogswrth, swrth, cysglyd; hurt, pwl, synwyrbwl, pendew.
A dreaming fellow—breuddwyd o ddyn; dyn hwyrdrwm, trymhyrddig, *neu* synwyrbwl; hurthgen, hurtyn, hutyn, cadafael.
**Dreamingly**, *ad.* mewn breuddwyd; fâl un â fai mewn breuddwyd; yn hwyrdrwm, &c.
**Dreamless**, *a.* difreuddwyd.
**Dreamy**, *a.* breuddwydiog, llawn breuddwydion.
**Drear**,† *s.* (S. *dreorig*) ofn, arswyd; erchylldod.
**Drear**, *a.* hyll, erchyll, cethin, erch, echrydus, echrys, echryslawn; gwyll, gwrm; prudd ac unig, prudd-unig.
**Drearihead, Dreariment**, † *s.* (o *dreary*) erchylldod, erchylldra, hyllder, erchyllrwydd.
**Dreariness**, *s.* erchylldod, erchyllder, erchylldra, erchyllrwydd, hyllrwydd; prudd-der unig, prudd-unigedd; pruddineb, ansirioldeb, anhylonrwydd, tristwch.
**Dreary**, *a.* (S. *dreorig*) erchyll, hyll, erch, cethin, echrydus, echrys, echrysol; prudd ac unig; prudd-unig; gwyll, gwrm, caddugaidd; anhylon, ansiriol, prudd, trist, tristlawn, athrist, galarus, gresynol, gresynus, ingol, ing, blin, llwm.
**Dredge**, *s.* (Ff. *drège*) treillrwyd, rhwyd llymeirch, tynrwyd llymeirch, llusgrwyd llymeirch, llymeirchrwyd; treillyd, brithyd; ceirch a haidd wedi eu cydhau.
**Dredge**, *v. a.* treillio, treillrwydo; pysgota â threillrwyd; dàl â threillrwyd.
**Dredge**, *v. a.* (Ff. *drague?*) goflodio, goflodi; ysgeintio â blawd *neu* beillied.
**Dredger**, *s.* treilliwr, treillydd, treilliedydd, pysgotwr llymeirch.
**Dredger, Dredging-box**, *s.* goflodydd, goflodyr, blodflwch, blwch goflodio, treillflwch, goflodgist.
**Dredging**, *s.* treilliad, treilliant.

**Dredging-machine**, *s.* treillbeiriant, treill-ermig, peiriant treillio.
**Dree**,† *v. a.* (S. *dreah*) goddef, dyoddef.
**Dregginess**, *s.* (o *dreggy*) gwaddodogrwydd, gwaddodlydrwydd, gwaddogrwydd, lleidiogrwydd; brynti, bryntedd, bryntni, budredd, annheredd; gwaddodiad.
**Dreggish**, *a.* gwaddodaidd, gwaddodlyd, gwaddodog, llorionllyd; brwnt, budr, aflan.
**Dreggy**, *a.* (o *dregs*) gwaddodlyd, gwaddodog, fflesog, rhwtwsog, rhytionllyd, llorionaidd, lleidiog, brwnt, budr, aflan, annher.
**Dregs**, *s. pl.* (Sw. *drägg;* D. *drank*) gwaddod, gwaelodion, gwaddodion, llorion, rhytion, rhwtion, rhwtws, sorod, swrwd, llwrwg, ffles, gwehilion, gohilion, sothach, ffwlbri, ysgarthion, ysgubion, gwrthodion, ysborion, anmhuredd.
  The dregs of the people—gwehilion y bobl; yr adlawiaid, y gwreng, y werinos, yr adfaon.
  The dregs of a distemper—gweddillion clefyd.
**Drench**, *v. a.* (S. *drenccan, drencan;* Al. *tränken;* Is. *drenken*) trochi, gwlychu, tochi, mwydo, gwlychu drwyddo, tryfwydo, trwytho; rhoi trochfa, boddfa, *neu* olchfa i; golchi; gorgothi, dirgothi.
**Drench**, *s.* traflwnc, trancell, traflwng, tarlwnc, tarlwng, darlwnc, toslwnc; dogn o gyffyriau i anifail; meddyglyn meirch; ysgothlyn, dirgothlyn, dirgyffyr; gorfodlwnc, caslwnc; gwlychiad, gwlychfa, trochfa.
**Drencher**, *s.* gwlychwr, mwydwr, tochydd, trochydd; trancellwr; rhoddwr cyffyriau i anifeiliaid.
**Dress**, *v.* (Ff. *dresser*) gwisgo, dilladu; addurno, trwsiadu, trwsio, gwychu, harddu; trin; gwrteithio, cyweirio; diwyllio, cyffeithio; taclu, tacluso, hatru; rhesu, gwneuthur yn rhes, rhibynio, rhibio.
  To dress one's self—ymwisgo, ymddilladu, ymdrwsio, &c.; gwisgo am dano ei hun.
  To dress anew—adnewyddu, ail gyweirio, adgyweirio; cyweiriaw o newydd; lluganu.
  To dress cloth—trin brethyn, taclu brethyn.
  To dress leather—cyffeithio lledr, cyweirio lledr, trin lledr.
  To dress land—diwyllio tir, gwrteithio tir, trin tir; amaethu, llafurio.
  To dress meat—trin bwyd, cyweirio bwyd; arlwyo, coginio; gwneuthur bwyd; parotöi bwyd.
  To dress a tree—ysgythru pren, amysgythru pren, trin pren.
  To dress flax—breuanu, heislanu; trin llin.
  To dress wool—chwalu gwlan.
  To dress a wound—trin archoll, cyweirio archoll; trin archollion.
  To dress a child—trin plentyn; gwisgo plentyn.
  To dress a horse—trin march, taclu march.
  To dress curiously—hoewi, pincio, gwychu, twtneisio; gwisgo yn daclus.
  To dress one's feet—golchi ei draed (2 *Sam.* xix. 24).
  To dress up a room—cyweirio ystafell, cymmoni ystafell, trwsio ystafell.
  To dress a dead body—trin *neu* gyweirio corff marw.
**Dress**, *s.* gwisg, dillad, gwisgad, trwsiad, diwyg, addurn, addurniad, trws, amde, achre, achro, achris, telyw, tudded; pâr o ddillad.
  New dress—gwisg newydd, newyddwisg, dillad newydd.
  Dress coat—trwsgob, trwsgoban, trwsbais.
  Mourning dress—galarwisg, gwrmdde.
  What a dress is that?—pa fath ar wisg yw hòna? pa fath ar wisg yw hon yna? pa fath wisg yw hòna?
  A man of dress—gwas dillad, dyn coegwisg, coegyn, ysgoegyn, coegwisgwr.
**Dresser**, *s.* (o *dress*) gwisgwr, gwisgydd, trwsiwr, trwsiedydd, trwsiadwr; dilladwr, dilledydd; ymdrwsiwr, ymwisgwr; triniwr, trinwr, trinydd, triniedydd, cyweiriwr, cyweirydd, cyffeithiwr, diwyllydd, gwrteithiwr, parotöwr, cymmonwr.
  Dresser of leather — cyffeithiwr crwyn, cyweiriwr crwyn, crwynwr.
  Dresser of meat—triniwr, trinwr, trinydd, cyweiriwr, *neu* gyweirydd bwyd; cog, cogydd, coges, arlwywr.
  Dresser of a vineyard, Vine-dresser, } gwinllanwr, gwinllanydd.
  Dresser of land—diwylliwr, diwyllydd, diwylliawdr, diwylliawdwr, triniwr, *neu* wrteithiwr tir; tirdriniwr, tirddiwylliwr, tirgywylliwr.
  Dresser of a tree—ysgythrwr, ysgythrydd; triniwr pren *neu* goed.
  Dresser of old things, Dresser up of old things, } adgyweiriwr *neu* adgyweirydd hen bethau; adnewyddwr hen bethau; clytiwr; llugenydd.
**Dresser**, *s.* (Ff. *dressoir*) seld, trestl; cilfwrdd.
**Dressing**, *s.* dillad, gwisg, gwisgad, trwsiad, ymdrwsiad; tacliad, addurniad; triniad, triniaeth, triniedigaeth, gwrteithiad, diwylliad, diwylliant, diwylliawd, diwyllodraeth; gwrtaeth, achles; tirdriniad, tirddiwylliad; curfa, cosfa, cyweirfa, maeddgen, cystwy, cystwyad; parotoad.
**Dressing-glass**, *s.* drych ymwisgo, drych ymdrwsio, trwsddrych.
**Dressing-room**, *s.* ystafell ymwisgo, cell ymdrwsio, trwsgell, ystafell drwsio, ystafell ymdrwsio.
**Dressings**, *s. pl.* trwsfoldiau, addurnolion.
**Dressing-table**, *s.* bwrdd ymwisgo, bord ymwisgo, bwrdd ymdrwsio, trwsfwrdd.
**Dressmaker**, *s.* gwisgiades, gwisgyddes, dilledyddes, gwnyddes, trwsiades.
**Dressy**, *a.* (o *dress*) trwsiadus, gwisgwych, trwsiadwych, coegwisg; taclus, gwych ei wisg; dangosiadus ei ddillad.
**Dreul**, *v. n.* (o *drivel?*) glyfoerio, ymboeri.
**Drib**, *v. a.* (o *dribble?*) tocio, cwtogi, blaendori, brigdori.
**Drib**,† *s.* (S. *drypan*) dyferyn, defnyn, dafn.
**Dribble**, *v.* (o *drip;* S. *drypan;* Al. *triefen*) defnynu, dyferu, dyferynu, dafnu, dosi, distyllu, rhidysio, meru; glyfoerio; ymlleferydd; syrthio yn wanaidd ac arafaidd.
**Dribblet**, *s.* (o *dribble*, yn ol *Johnson;* ond o'r C. *rhib*, yn ol *Webster*) dryllyn, manddryll, ysbil, ysbilyn, rhib, swm bychan, manswm, mansum: *pl.* dryllach, dryllynach, dryllynach, mân ddrylliau, cyrbibion, ysbilion, tipynach.
**Dribbling**, *s.* defnyniad, dyferiad, dafniad, meriad, dosiad, rhibiad.
  Dribbling debts—mân ddyledion, dyledach, dyletach.

**Drier,** *s.* (o *dry*) sychwr, sychydd, dysychwr, dysychydd; craswr, crasydd; dyhysbyddwr; sychyr.

**Drift,** *s.* (D.; o *drive*) amcan, bwriad, tuedd, dyben, arfaeth, tueddnod, rhediad, llawn fryd, meddylfryd, cyrch, cais, gyr, gyrfa, gyriad, tynfa, hynt, hwyl, llwrw, gwaneg, sawd, nwyd, nwyth; lluwch, lluchfa, lluch, haif, hiff, hyff, hwff; hiffyn; cluder, pentwr; croeslwybr, tramwyfa danddaiarol; golwg; gwahaniaeth maint.

Drift of snow—lluwch, lluch, *neu* haif o eira.

Drift of leaves—haif o ddail; lluchfa o ddail.

Drift of ice—cluder o ia; ysysan o ia; hiff o ia.

**Drift,** *v.* lluchio, lluwchio, hyffio, hiffio, heifio, gwanegu, pentyru, ymdyru, cludeirio; gyru o'i flaen.

**Drifting,** *s.* lluchiad, lluwchiad, hiffiad, hyffiad, heifiad, cludeiriad, pentyriad, ymdyriad; lluwch, lluch, haif, hiff, hyff, hwff.

**Driftsail,** *s.* attalhwyl, gwaneghwyl.

**Driftway,** *s.* gyrffordd; ffordd gyffredin i yru anifeiliaid ynddi.

**Driftwind,** *s.* lluchwynt, hiffwynt, heifwynt.

**Driftwood,** *s.* cludergoed, hiffgoed, gyrgoed.

**Drill,** *v.* (S. *thirlian;* Al. ac Is. *drillen;* Sw. *drilla;* D. *driller*) ebillio, trulio; tyllu âg ebill, â thrul, *neu* â thrwyddew; tyllu; rhillio; goferu, rhidysio, suo, sïo; tynu drwy, trydynu; hyfforddi, dysgu, addysgu, cyfarwyddo, dybreithio, preithio, dysgu milwyr; dysgu a hyfforddi; tynu yn mlaen, hudo, denu, llithio.

To drill away time—gwag *neu* ofer dreulio yr amser; gwag ddifyru yr amser; diffrwytho yr amser; pencawna.

To drill (in husbandry)—rhillio; hau yn rhesi; hau yn rhilliau.

**Drill,** *s.* trul, trwyddew, tryddew, treiddew, ebill; rhill, rhes, rhibyn, rhibin; hyfforddiad, addysgiad, dybreithiad, preithiad; rhillyr; rhidys, goferen, aberig; ab, epa.

Turnip drill—rhillyr maip, rhillyr erfin, meiprillyr, rhill maip.

**Drill-box,** *s.* rhillgist, rhillflwch; yr hadflwch wrth hau yn rhilliau.

**Drill-harrow,** *s.* rhill-oged, oged rill, og rill.

**Drill-husbandry,** *s.* rhill-amaethyddiaeth, rhill-hwsmonaeth; heuad hadau yn rhilliau *neu* resi.

**Drilling,** *s.* rhilliad; heuad yn rhilliau *neu* resi; llian bras, rhillnwydd.

**Drill-plough,** *s.* rhill-arad, rhill-aradr, arad rhill.

**Drily,** *ad.* (o *dry*) yn sych, &c.

**Drink,** *v.* (S. *drincan, drican;* Is. *drinken;* Al. *trinken*) yfed; dïodi; potio; llyncu, llewa.

To drink often—yfetri, ymyfed, llymeitian, dïota.

To drink off—yfed ar un traflwnc; yfed y cwbl ar unwaith; yfed y cwbl ar un drancell.

To drink to—yfed at.

To drink one down—gorchfygu un wrth yfed; bwrw un i lawr wrth yfed; yfed un i lawr; gorchfygu, trechu, darostwng.

To drink in—sugno; sugno i mewn; tynu i mewn; llyncu i fyny; tarnu, sychu, hysbyddu.

To drink up—yfed y cwbl; llyncu y cwbl; yfed i fyny.

To drink health, / To drink to the health, } yfed iechyd; yfed iechyd da; yfed yn gibli; yfed yn llync-destyn.

To drink and be friends—yfed ac ymgymmodi; yfed o gwpan cymmod; yfed heddychawd, yfed heddwch; cydyfed o gwpan tangnefedd; boddi yr annysgymmod mewn cwpanaid o gwrw *neu* ffiolaid o lŷn.

Trees that drink water—coed dyfradwy (*Ezec.* xxxi. 14).

**Drink,** *s.* dïod, llŷn, dïodlyn; gwirod, gwirodlyn; peth i'w yfed: *pl.* dïodau, dïodydd.

To give one drink—dïodi un; rhoi dïod i un.

Strong drink — dïod gadarn, dïod gref, cwrw cadarn, cwrw cryf.

To fill *or* pour drink out for one—heilio, gwallaw, gwallofi, *neu* lenwi dïod i un; heilio ar un; trullio i un.

Drink-offering—dïod-offrwm.

Foudness for drink—yfgarwch, dïodgarwch.

Fond of drink—yfgar, dïodgar.

**Drinkable,** *a.* yfadwy; â ellir ei yfed.

**Drinkable,** *s.* dïod yfadwy, yflyn: *pl.* yfolion.

**Drinkableness,** *s.* y cyflwr *neu* yr ansawdd o fod yn yfadwy; yfoldeb.

**Drinker,** *s.* yfwr, dïotwr, dïotydd, dïotai, ymyfwr, cyfeddachwr, llymeitiwr, dyn yfgar; meddwyn.

**Drinking,** *a.* yfgar, yfol, dïodgar.

**Drinking,** *s.* yfed, yfiad.

Continual drinking—yfetri, ymyfed, dïota; yfed diwala *neu* barhäus.

Excessive drinking—brwysgedd, meddwdod, gormod yfed, yfed i ormodedd.

Drinking companion—cydyfwr, cyfeddachwr, cydbotiwr, cyd-ddïotwr, cyfddïotwr, glân gydymaith.

A drinking gossip — yfwraig, cyfeddachwraig, cyfeddaches.

Given to drinking—dïodgar, yfgar, yfedgar.

A man given to drinking—dyn dïodgar, dyn yfgar, dyn yfedgar, dïodgarwr, yfgarwr, yfedgarwr, dyn dïodrydd; dyn gwingar.

A drinking bout—cyfeddach, cydyfed, term, term cyfeddach.

A drinking together—cydyfed, cyfyfed.

Drinking glass — yfwydryn, dïodwydryn, gwydryn dïod, gwydryn yfed, gwydr dïod, gwydr yfed.

Drinking cup—cwpan yfed, yfgib, yfgwpan, ban yfed, ban, dïodlestr; hirlas.

**Drinking-horn,** *s.* heilgorn, corn yfed, yfgorn, buelin, hirlas, ban, ban yfed.

**Drinking-house,** *s.* dïotty, cofftty.

**Drinkless,** *a.* diddïod, heb ddïod.

**Drinking-money,** *s.* arian yfed, arian dïod, yfarian.

**Drip,** *v.* (S. *drypan, driopan, dropian*) dyferu, defnynu, dafnu, dosi, meru, dystyllio, defnïo.

**Drip,** *s.* dyferiad, defnyniad, dafniad; dos, dafn, defnyn, dyferyn, dyfer, mèr, degryn, meryn; bargod, bondo, asbant; dyferion.

**Dripping,** *s.* dyferion, toddion, tawdd, cigferion.

Dripping eaves—bargod, bondo, asbant.
**Dripping-pan**, *s.* padell ddyferion, padell doddion, padell y toddion, dosbadell, dosban, dyferell ; padell i dderbyn dyferion *neu* doddion cig yn pobi.
**Dripple**,† *a.* (o *drip*) gwàn, egwan, prin.
**Drips**, *s. pl.* dyferolion.
**Dripstone**, *s.* bargodlech, bargodfaen.
**Drive**, *v.* (S. *drifan ;* Is. *dryven ;* Al. *treiben*) gyru, gwthio, peri myned, hel, hela, ymlid, erlid, tarfu, dyru, taraw, taro, pwyo, gyrthio, hyrddio, burthio, procio ; dirio, cymhell, annos, gwasgu, annog, twa ; dwyn yn mlaen ; cael ei yru ; tueddu, amcanu ; lluchio, hyffio ; cethrain, cethrëu, cethru.
To drive away — gyru ymaith, tarfu ymaith, ymlid ymaith, gyru ffwrdd ; gwasgaru.
To drive away with dogs—annos â chwn ; ymlid ymaith â chwn ; cŷno ymaith.
To drive away the time—treulio yr amser ; difyru yr amser ; pencawna.
To drive back—gyru yn ol, &c.; gyru yn wysg cefn ; cilgwthio, dadyru, dadergyrio.
To drive on, } gyru yn mlaen ; gyru
To drive forward, } ar ; hyrddio, hyrddu ; annog, annos ; gwthio, ymhyrddu, ymhyrddio.
Drive on—gyr arni.
To drive out—gyru allan *neu* ymaith ; ymlid allan *neu* ymaith ; bwrw allan *neu* ymaith ; goresgyn.
To drive together—gyru yn nghyd ; cydyru ; dwyso, secu, sechu.
To drive under — gyru dàn, darostwng, goresgyn, curo, maeddu, mathru.
To drive off the time—oedi yr amser ; gohirio, oedi.
To drive bees—lladd, mogi, mygu, tori, *neu* dynu gwenyn ; gyru, bwrw, *neu* symmud gwenyn o un cwch i'r llall.
To drive before him—gyru o'i flaen ; cilgwthio.
To drive all before one—gyru y cwbl o'i flaen ; symmud pob rhwystr ; myned yn mlaen er gwaethaf pob anhawsder ; dwyn ei amcan i ben er gwaethaf pob anhawsdra.
To drive feathers—cyweirio plu, trin plu, trin pluf.
To drive the plough—cethrain ; galw *neu* yru yr ychain ; hela y ceffylau.
To drive a mill—troi melin.
To drive a trade—cynnal crefft.
He drives a sad trade—mae efe yn cynnal crefft sal ; y mae yn dylyn drwg arferion ; y mae efe yn dylyn buchedd anhyfryd *neu* fywyd aflawen.
To let a ship drive—rhoi llong i fyny i'r gwynt a'r tònau ; dwyn llong gyda'r gwynt.
The ship drives—mae y llong yn llusgo ei hangor ar ei hol.
And so they were driven—a hwy a ddygwyd felly (*Act.* xxvii. 17).
Driven snow—manod, od mân, briwod ; lluwch.
As white as the driven snow—cyn wyned a'r manod.
**Drive**, *s.* gyr, gyrfa, gwib ; tro mewn cerbyd ; byrdaith ar farch ; gyrwib.
**Drivel**, *v. n.* (o *drip, dripple, dribble*) glyfoerio, glafoerio, glyfoeri, ymboeri ; ymleferydd, ynfydu, dotio ; bod yn lledfrydig *neu* orphwyllog.
**Drivel**, *s.* glyfoerion, glafoerion, ymboerion, poerion : *sing.* glyfoer, glafoer, poeryn, ymboer ; † glyfoeriwr, ymboerwr, ynfyd.
**Driveller**, *s.* glyfoeriwr, glyfoerydd, glafoeriwr, ymboerwr ; un lledfrydig, ynfyd, ffol, penwan, *neu* wallgof ; symlyn, ynfyd, ynfydyn, hurtyn, gwirionyn, ffol, ffwl, anwr, gwaeddan.
**Drivelling**, *s.* glyfoeriad, glafoeriad, ymboeriad.
**Driver**, *s.* (o *drive*) gyrwr, gyriedydd, gyrydd ; cethrydd, cethrwr, cethreinwr, cethreinydd, cethreor, cethreuwr ; geilwad.
Driver of a cart—menwr, cartwr, certiwr, certwynwr ; gyrwr cart, men, *neu* drol.
Driver of a carriage—cerbydwr, cerbydydd, cerbytai, gyrwr cerbyd, gyriedydd cerbyd.
Ox-driver, } cethreinwr, cethreinydd,
Plough driver, } cethreuwr, cethreor, cethrwr, geilwad ychain, gyrwr ychain.
**Driving**, *s.* gyriad, gwthiad, gyrawd, erlid, burthiad, heliad, &c.; tueddiad, tuedd ; erwch.
Driving notes—gyrnodau.
**Drizzle**, *v.* (Al. *rieseln*) dyferynu, defnynu, deigrynu, dafnu, defnïo, ffrwylo, gwlithwlawio, brith-wlawio ; briw-wlawian, mânwlawio ; disgyn yn fân ddyferion ; bwrw gwlaw mân, bwrw gwlith-wlaw, bwrw briwwlaw.
**Drizzle**, *s.* gwlaw mân, ffrwyl, mân-wlaw, briwwlaw, brith-wlaw, gwlith-wlaw, briw-wlawiach.
**Drizzling**, *s.* ffrwyliad, mân-wlawiad, briwwlawiad, dyferyniad, defnyniad.
Drizzling rain=*Drizzle, s.*
Mild drizzling weather—lleithin arafdeg.
**Drizzly**, *a.* mân-wlawog, mân-wlawiog, gwlithwlawog, gwlith-wlawiog, brith-wlawiog, briw-wlawog, ffrwylaidd, ffrwylog, mânddefnynog, mân-ddyferynog ; yn bwrw gwlaw mân.
**Drogman**, *s.*=*Dragoman.*
**Droil**, *v. n.* (Is. *druilen*) gweithio yn araf *neu* yn aflerw ; cystegu, cystogi, ymgystegu, ymgystogi, trafferthu, ymdrafferthu ; bod â'i ben mewn peth.
**Droil**, *s.* cystegwr, cystog, cystogwr, trafferthwr, ymdrafferthydd ; dïogyn, seguryn, segurwas, dïoberwr, begegyr, bychygyr, hurtyn, hurthgen ; malwen o ddyn.
**Droit**, *s.* (Ff.) iawnder, iawn, hawl, def, cyfiawnder, uniondeb, rhaith, cyfraith.
Droits of admiralty — defion y morlys, odfaelion y llyngeslys, damweinfaelion y morlys.
**Droll**, *a.* (Ff. *drôle ;* Al. *drollig*) digrif, digrifol, ysmala, cellweirus, cellweirgar, arabeddus, difyr, difyrus, digriflawn, digriflan, dysmal, arab, arabol, annifrif, annifrifol, llawen, llon, digriflon, gorawenus, hynod, od.
**Droll**, *s.* digrifwr, digrifwas, ysgentyn, croesan, croesaniad, cellweiriwr, cellweirydd, cellweirgarwr, cymhenddyn, cymhenwr, ysmalyn, un digrif, gwas digrif, un digriflawn ; chware digrif, coegchware, croesaren, ysmaldod, ysmalawd, ysmalwaith, digrifwaith, croesanwaith.

**Droll,** *v.* cellwair, cellweirio, arabeddu, cydgam, cymmwedd, saethyta, dywedyd maswedd, gwatwar, gwawdio, ysmalhau, dywedyd ysmaldod; chwareu y gwas digrif; twyllo hocedu.

**Droller,** *s.* digrifwr, digrifwas, ysgentyn, croesan, croesaniad, croesanwr, ysmaldodwr, cellweiriwr, cellweirydd, cellweirgarwr, cymhenddyn, cymhenwr, un digrif, gwas digrif, un digriflawn, ysmalddyn, arabeddwr, arabwr, chwydawydd.

**Drollery,** *s.* digrifwch, ysmaldod, ysmalder, ysmalrwydd, digrifedd, cellwair, chwydawiaeth, cymmwedd, arabedd, cymhendod, coeg ddigrifwch, ysmalhäwch, croesanaeth, croesandod, cellweirgarwch; chware llamddelwau.

**Drolling,** *s.* digrifwch, ysmaldod, &c.

**Drollish,** *a.* go ddigrif, lled ddigrif, lled ysmala, tràn ysmala, go ysmala, digrifaidd.

**Dromedary,** *s.* (Ff. *dromadaire;* Ysp., Port., ac It. *dromedario;* Gw. *droman;* Ll. *dromedarius;* Gr. *dromas*) cammarch, dromedar; camel Arabia; camel âg un hwrwg ar ei gefn; rhedfil.

Mules, camels, and young dromedaries—dromedariaid, mulod, ac ebolion cesyg (*Esth.* viii. 10).

For the horses and dromedaries — i'r meirch ac i'r cyflym gamelod (1 *Bren.* iv. 28).

**Dromo,** *s.* (Gr. *dromos*) rhedlong, llong fuan: math ar bysg.

**Drone,** *s.* (S. *drane, dræn;* Al. *drohne*) begegyr, bychygyr, bygegyr, gwenynen ormes; dïogyn, dïoberwr, seguryn, segurddyn, segurwas, dïogwas, dyn dïog, malwoden o ddyn, dyn musgrell, dyn llegach, dyn llyferthin; grŵn, grŵnan, trymsain, swn marwaidd.

**Drone,** *v. n.* grŵnan, grŵna, trymseinio, seinio yn farwaidd; segura, dïogi, mewyda.

**Drone-fly,** *s.* cleren fegygyr.

**Dronish,** *a.* dïog, musgrell, swrth, musgrellaidd, marwaidd, llegach, llyferthin, anweithgar, araf, llusgenaidd, llibin, mewydus, merydd, trymaidd.

**Dronishness,** *s.* musgrellni, musgrelli, musgrelledd, dïogi, syrthni, anweithgarwch, llibindod, mewydedd, mewydrwydd.

**Droop,** *v. n.* (S. *drepan;* Isl. *driupa*) dihoeni, llipäu, edwi, edwino, llesghau, llesgu, llaesu, llacäu, llacio, pendrymu, ymollwng, ymlaesu, lliprynu, nychu, methu, lleipro, gwywo, gwanhau, pentwyno, gogwyddo, plygu, darleddfu.

**Drooping,** *a.* llipa, llibin, llesg, llaes, llac, llag, pendrwm, lleipr, lliprynâidd, trymdde; dihoen, edwin, nychlyd, egwan, methedig; yn crogi ei ben i lawr; yn ymollwng; ymollyngol.

**Drop,** *s.* (Is.; S. *dropa, dropian;* Al. *tropfen;* Sw. *droppe*) dyferyn, dafn, defnyn, dos, mèr, meryn, mered, deigryn, degryn, dws, dyfer, llymaid; bagedyn, boglyn, clustdlws, pwmpl; croglithryn, llithryn, llithr.

**Drop,** *v.* dyferu, defnynu, dafnu, dystyllu, dystyllio, meru, dosi, degrynu, deigrynu, beru, ystyferu, defnïo; syrthio *neu* gwympo yn ddyferion; cwympo *neu* syrthio yn ddagrau; dyhidlo; gollwng, gellwng, syrthio, cwympo; goddef *neu* adael i syrthio; gadael, gadaw; gadael i; gadaw yn llonydd; peidio; peidio â; peidio â chanlyn; goddef i ddïanc; esgeuluso; gadaw i fyned heibio; rhoi heibio; gadael i lawr; rhoddi, dodi, *neu* osod i lawr; gostwng; bwrw, taflu; disgyn; marw, trengu; ysgeintio, britho, amrywioli; myned yn wag; syrthio, cwympo, *neu* ddyfod i mewn; twmpian, twmpio.

To drop down—syrthio i lawr; cwympo i lawr.

To drop down (in seamen's language)—myned gyda'r afon; myned tua'r môr; myned i lawr yr afon; myned i lawr; myned i waered.

To drop off—syrthio *neu* fyned ymaith; ymadael, ymadaw; marw, myned o'r byd.

To drop away—ymadaw yn ddirgel *neu* yn lladradaidd; tynu ymaith yn ddirgel *neu* yn lladradaidd; cilio yn lladradaidd *neu* yn ddirgel.

To drop in—dyfod i mewn o un i un.

To drop a suit—gadaw y maes.

To drop a calf—bwrw llo, dyfod â llo, alu, llydnu.

To drop a word—yngan gair, yngan; defnynu gair, dyferu gair.

To drop with sweat, } To be dropping with sweat, } dyferu gàn chwys; bod yn chwys dyferol; bod yn chwys dwr dyferol; bod yn chwys dyferu.

Dropping thick—hidl.

To drop astern—myned tua phen ol y llong; llaesu buander llong.

**Droplet,** *s.* (o *drop*) dyferyn bach, defnyn bychan, dyferionyn, defnyn: *pl.* dyferionos, defnynach.

**Dropping,** *s.* dyferiad, defnyniad, defnïad, dafniad, meriad, deigryniad, degryniad, hidlad, dyhidlad, dystylliad; syrthiad, cwympad.

Droppings of the eaves—defni y bargod, dyferion y bondo, dyferion y to, ystyferion.

Dropping tube—dyferbib.

Continual dropping—defni parhäus.

Droppings of cattle—biswal, biswail, tom, eulon, budail, beudail, tom gwartheg.

**Droppingly,** *ad.* bob yn ddyferyn, &c.; yn ddefnynau, yn ddyferynau, yn ddyferion.

**Drops,** *s. pl.* dyferion, defni, &c.; boglynau, pwmplau, bagadau.

**Drop-serene,** *s.* (*drop* a *serene;* Ll. *gutta serena*) pylolwg, pylni, tywyllni, dafn araul.

**Dropsical,** } **Dropsied,** } *a.* (o *dropsy*) dyfrglwyfus; claf o'r dyfrglwyf; dyfrglwyfaidd.

**Dropstone,** *s.* dyferfaen=math o ysger.

**Dropsy,** *s.* (Gr. *hudrôps;* Ll. *hydrops;* hen Seis. *hydropisy*) dyfrglwyf, dyfrwst, llynwys.

**Dropwort,** *s.* (*drop* a *wort*) crogedyf.

Water dropwort—dibynlor.

Hemlock water dropwort—gysplys, dibynlor cegidaidd, gysplys cegidaidd.

Common water dropwort—dibynlor pibellaidd.

Parsley water dropwort—dibynlor perllysddail.

**Drosera,** *s.* (Gr. *droseros*) gwlithlys, chwys yr haul, tawddrudd, toddedig rudd, toddaid rudd.

**Drosky,** *s.* (R.) math ar gerbyd pedrolwyn, arferedig gàn y Rwssiaid.

**Drosometer**, *s.* (Gr. *drosos* a *metron*) gwlithfesur, gwlithfeidyr=offeryn i fesur swmp gwlith.

**Dross**, *s.* (S. *dros*) sorod, sothach, gorferw, sinidr, swrwd, llwrwg, rhytion, rhwtion, rhwtws, sindw, swtrach, mwnws, ewyn, gorferw mettel, baw gefail; rhwd; anmhuredd.
  Dross of metal—gorferw mettel, sorod mettel.
  Dross of iron—sinidr, gorferw haiarn.

**Drossiness**, *s.* anmhuredd, anmhurder, sothachlydrwydd, sinidrogrwydd, sorodogrwydd, brynti, bryntni, budredd, annheredd, rhwd, rhydni.

**Drossless**, *a.* disorod, disothach, dïanmhuredd.

**Drossy**, *a.* sothachlyd, sinidrog, sorodog, llawn sothach, brwnt, budr, anmhur, annher, rhwtionllyd, anmhuraidd, diwerth.

**Drotchel**,† *s.* (o *dretch*, efallai, yr hwn, yn Chaucer, a arwydda *segura*) dyhiren, seguren; seguryn.

**Drought**, } *s.* (S. *drugothe*; Is. *droogte*) sychder, sychin, sychder haf, tywydd sych, hin sech; syched, sychedfod; gwres, crasder.
**Drouth**, }

**Droughtiness**, } *s.* sychder, sychdra, sychni; sychedigrwydd.
**Drouthiness**, }

**Droughty**, } *a.* sych, sychinog; sychedig; â syched arno; cras, sych-wresog, tesog.
**Drouthy**, }

**Droumy**,† *a.* (arfera Chaucer *drovy*) bawlyd; trafferthus.

**Drove**, *s.* (S. *draf*; o *drive*) gyr, deadell, cenfaint, gre; myntai, haid, torf, tyrfa, bagad, twr; gyrffordd.

**Drover**, *s.* (o *drove*) porthmon; gyrwr, gyriedydd; gyrfad.
  To act as drover—porthmona.
  Pig-drover—porthmon moch.

**Drown**, *v.* (D. *drugner*; S. *adrencan*) boddi; soddi, suddo; gyru i'r gwaelod; trochi; gorlifo, gorlifeirio.
  To drown one's self—ymfoddi, boddi ei hun.
  To drown sorrow—boddi gofid; yfed er anghofio ei ofid *neu* ei dristyd; boddi ei dristwch mewn gynaid o gwrw; yfed er ymgysuro.
  Easily drowned, } hyfawdd; hawdd ei foddi; hawdd i'w foddi.
  Easy to be drowned, }
  Not easy to be drowned—anhyfawdd; anhawdd ei foddi.

**Drowner**, *s.* boddwr, boddiedydd.

**Drowning**, *s.* bawdd, boddiad, boddiant; sawdd, suddiant, ymsawdd.

**Drowning**, *a.* ar fawdd, ar foddi, yn boddi.
  A drowning man—dyn ar fawdd.

**Drowse**, *v.* (Belgaeg hen, *droosen*) hepian, dargysgu, lledgysgu, gogysgu, pendrymu; syrthdrymu, trymeiddio, trymluo; bod yn gysglyd, &c.; gwneuthur yn gysglyd *neu* drymaidd.

**Drowsihed**,† *s.* (o *drowsy*)=*Drowsiness*.

**Drowsiness**, *s.* cysglydrwydd, cysgadrwydd, cysgrwydd, cysgarwch, cyslydrwydd, cysni, cysgu, trymluogrwydd, syrthni, trymsyrthni, trymluogder, musgrelli, musgrellni, musgrelledd, dïogi, marweidd-dra, trymeiddrwydd, mewyd, mewydedd, mewydrwydd, anweithgarwch.

**Drowsy**, *a.* (o *drowse*) cysglyd, swrth, (*f.* sorth), trymswrth, trymllyd, cyslyd, cysgadlyd, trymluog; â chysgu arno; trwm gan gysgu; dïog, dïogswrth, marwaidd, musgrell, swrthlyd; cuall, trymhyrddig; â suo i gysgu; â bair gysgu; cysgbar, cysgbair.
  The drowsy disease—yr hunglwyf, yr hunhaint, y cysghaint.

**Drowsy-headed**, *a.* pendrwm, trymllyd, trymaidd, cysglyd, musgrell.

**Drub**, *v. a.* (Sw. *drabba*; D. ac Al. *tref*...) llachio, ffonodio, pastyno, pastynu, ffondorio, ffusto, curo, dulio, ystwyalu, dyrnu, cnocio, llabio, wabio.

**Drub**, *s.* lloch, curfa, maeddgen, llab, cnoc, ergyd, ffat, cnith, wab.

**Drubbing**, *s.* curfa, maeddgen, cyweirfa, llachiad, pastynad, ffondoriad, ffonodiad, wabiad, dygaboliad.

**Drudge**, *v. n.* (Gw. *drugaire*; Ysg. *drug*; Isl. *droogur*; S. *dreccan*) cystogi, cystegu, gwneuthur caledwaith, gwneuthur budrwaith, caledweithio, budrweithio, gweithio yn galed, caethwasanaethu; llafurio, ymboeni, ymdrafferthu, ymdraffullio; bod yn was i bawb; bod yn fawr ei drybestod; ymboeni mewn gwaith; bod yn y tom hyd y clustiau; gweinyddu, gwasanaethu, athrino, gorthrino.

**Drudge**, } *s.* cystog, cystogwr, cystegwr, cystogydd, llafurwas, caethwas, caethwr, caledweithiwr; un i wneuthur pob gwaith budr a chaled; gwas i bawb; gwas dàn bawb; gwneuthurwr y caledwaith; gwneuthurwr y budrwaith; gwas cegin, gwas càr, gwas budrwaith: *f.* cystoges, cysteges.
**Drudger**, }

**Drudger**, } *s.*= { *Dredger*.
**Drudging-box**, } { *Dredging-box*.

**Drudgery**, *s.* caledwaith, budrwaith, cwst, cystogwaith, caethwaith; gwaith caled a budr; gwaith anmreiniol, trybestod, ffwdan; caethiwed, caethnawd, anmraint, caethwasanaeth; pob math ar waith *neu* wasanaeth caled a distadl.

**Drug**, *s.* (Ff. *drogue*; Is. *droogery*; Ysp., Port. ac It. *droga*) cyffer, cyffyr; defnydd meddygol; nwydd anwerthadwy; gwaelbeth: *pl.* cyfferi, cyffyriau, moddion meddygol, moddion meddyg.
  A mere drug—peth dibris, iselbris, diystyr, dïelw, *neu* ddigyfrif; peth cwbl ddibris, &c.; gwaelbeth.
  Mortal drug, } cyffyr marwol, gwenwyn.
  Deadly drug, }

**Drug**, *v.* cyffyrio, cyfferio; rhagnodi *neu* weinyddu cyfferi; tymmeru *neu* gyweirio â chyffyriau; trwytho â chasbeth; mysgu cyfferi â [druged.

**Drugger**,† *s.* (o *drug*)=*Druggist*.

**Drugget**, *s.* (Ff. *droguet*) math o frethyn;

**Druggist**, *s.* (o *drug*; Ff. *droguiste*) cyfferiwr, cyfferydd, cyfferïwr, gwerthwr cyfferi.

**Drugmill**, *s.* (*drug* a *mill*) melin gyfferi, cyfferfelin.

**Drugster**,† *s.* (o *drug*)=*Druggist*.

**Druid**, *s.* (Gw. *draoi*; C. *derwydd*; Gr. *druidai*; Ll. *druides*, *druidæ*) derwydd, dryw: *pl.* derwyddon.
  Arch-druid—archdderwydd, ardderwydd.

**Druidess**, *s.* derwyddes, drywes.

**Druidic**, } *a.* derwyddol, derwyddonol, drywol.
**Druidical**, }

**Druidish**, *a.* derwyddaid, drywaidd; fel y derwyddon.

**Druidism**, *s.* derwyddiaeth, derwyddoniaeth, derwyddoni, drywyddiaeth, athrawiaeth y derwyddon.
**Drum**, *s.* (Is. *trom, trommel;* Al. *trommel;* Sw. *trumma;* D. *tromme*) tabwrdd, rhuglen.
The drum of the ear—tabwrdd y glust, tabyrdden y glust, baril y glust.
A drum of figs—crynflwch o ffigys; rholsypyn o ffigys; sypyn ffigys ar lun tabwrdd.
**Drum**, *v.* tabyrddu, tabyrddio; canu tabwrdd, pwyo tabwrdd, curo tabwrdd; chwareu ar dabwrdd.
**Drumble**,† *v. n.* (C. *trwm?*) dïogi, segura; bod yn drymllyd *neu* ddïog.
**Drumfish**, *s.* rhuglenbysg=pysg â geir ar dueddau America Ogleddol.
**Drumly**,† *a.* (C. *trwm?*) tew, plwca, marwaidd, merllyd, llonydd, sefydlog.
**Drummajor**, *s.* prif dabyrddwr, pentabyrddwr.
**Drummaker**, *s.* gwneuthurwr tabyrddau.
**Drummer**, *s.* tabyrddwr, rhuglenwr.
**Drumstick**, *s.* pren tabwrdd, dulbren tabwrdd.
**Drunk**, / **Drunken**, } *a.* (o *drink*) meddw, brwysg, abrwysg, dïodrydd, meddwedig, meddwain; gwedi meddwi; mewn meddwdod.
Somewhat drunk, / Half drunk, } lledfeddw, gofrwysg, gofeddw, crachfeddw.
Dead drunk—meddw chwilgorn, meddw chwibwrn, llwyrfeddw, llwyrfrwysg, abrwysg, cwbl feddw; marw gàn feddwdod; cancr-feddw.
Extremely drunk—tra meddw, trameddw, gorfeddw, meddw dros ben.
To get drunk — meddwi, brwysgo, abrwysgo.
To make drunk—meddwi; gwneuthur yn feddw.
Drunk out—gwedi ei yfed yn llwyr.
He is topingly drunk—mae efe yn feddw chwilgorn.
Be not drunk with wine—na feddwer chwi gàn win.
**Drunkard**, *s.* (o *drunk*) meddwyn, brwysgwr, brwysgyn, dïotwr, meddwr, ymyfwr, potiwr, dïotai, dïotydd, yfwr mawr, dyn yfgar, dyn gwingar, un meddw, dïodrydd: *pl.* meddwon.
Awake, ye drunkards—deffröwch, feddwyr (*Joel* i. 5).
**Drunkenness**, *s.* meddwdod, meddwaint, brwysgedd, meddwawd, dïotach, yfgarwch, dïodgarwch.
What soberness concealeth drunkenness revealeth — allwedd calon cwrw da; allwedd y galon cwrw da; yn y gwin y ceir y gwir.
**Drupaceous**, *a.* (o *drupe*) ellfywynaidd, amfywynaidd, amfywynog, amffrwythol.
**Drupe**, *s.* (Ll. *drupæ;* Gr. *drupetēs*) ellfywyn, amfywyn, amffrwyth=ffrwyth bywynaidd yn nesaf allan, yn cynnwys cneuen neu gareg â chnewullyn oddi mewn; megys eirin, bricyll, ceirios, &c.
**Druse**, *s.* (Al.) crisgeuedd=ceuedd craig yn dryfrith o grisial, neu yn llawn o ddwr.
**Drusy**, *a.* llawn o fân grisial, crisielynog, manrisialog.
**Dry**, *a.* (S. *dri, drig, dryg;* Is. *droog*) sych; sychlyd, hysp, dyhysbydd, dysbydd, annyfrwys, diddwfr; crin, cras, gwyw, gwywlyd, crinsych, crispin; wedi celffeinio; dinodd, disudd, disug; sychedig; diwlaw, heb wlaw anffrwythlawn, diffrwyth, egwan, eiddil; noeth, noethlwm, llymrig, noethlymyn; marwaidd, difywyd; llym, pigoglym, gwawdus, cnoawl, gwatwarus, gwatworus, digrif, ffel, ffalst, cyfrwysgall: *f.* sech, hesp.
Dry land—sychdir, tir sych; crasdir.
Dry breasts—bronau hyspion.
Dry jests — sych gellwair, mwyneiriau gwatwarllyd, digrif eiriau gwatwarus.
Dry weather—sychin, tywydd sych, hin sech, sych-hin.
Dry rot—braen sych, sychfraen, pwd sych, sychbwd, gwiddoniad.
Extremely dry—tra sych, sych iawn, gorsych, trasych, sych dros ben.
Somewhat dry—lled sych, go sych, lledsych, gosych.
**Dry**, *v.* sychu, dysychu, sychiannu, tarnu; crasu; gwneuthur yn sych; dyhysbyddu, dysbyddu, hysbyddu; ymsychu; myned yn sych, myned yn hysp; crispynu, crispinio, celffeinio; gwywo.
To dry up—sychu i fyny; sychu yn llwyr; tarnu; gwiddoni.
**Dryad**, *s.* (Gr. *druades;* Ll. *dryades*) gwyddanes, coedwen, gwyddelen, coedeigren, duwies y coed.
**Dryas**, *s.* (Ll. *dryades*) derig=tylwyth o blanigion.
**Dryboned**, *a.* esgyrnsych; sych ei esgyrn.
**Dryer**, *s.* (o *dry*) sychwr, sychydd, dysychwr, dysychydd; craswr, crasydd, dyhysbyddwr; sychyr.
**Dryeyed**, *a.* llygadsych; sych ei lygad.
**Dryfat**, *s.* (*dry* a *vat*) basged sech, twrnel sych.
**Dryfoot**, *s.* (*dry* a *foot*) sychbed, sychdroed, sawyrbed=ci â ymlido ei ysglyfaeth wrth wynt y troed.
**Drying**, *a.* sychol, dysychol, sychiannol, sychedigol; yn sychu.
Drying house—sychfa, sychdy, ty sychu.
**Drying**, *s.* sychiad, sychiant, dysychiad, dysychiant, sychedigaeth; crasiad.
**Dryite**, *s.* (Gr. *drus*) maenbren, coed maenedig.
**Dryly**, / **Drily**, } *ad.* yn sych, yn hysp, yn gras, &c.
**Dryness**, *s.* (o *dry*) sychder; hysprwydd; crasder, crasrwydd; gwywder; crinder; syched; diffrwythder, llymrigrwydd.
**Drynurse**, *s.* (*dry* a *nurse*) llawfammaeth, llawfaethes, mammaeth sech, sechfammaeth, mammaeth lawfaeth, maethwraig lawaeth.
**Drynurse**, *v. a.* llawfaethu, llawaethu, maethu heb laeth, magu heb laeth, magu yn sych.
**Dry-rub**, *v. a.* sychrwbio, sychrathu; rhwbio *neu* rwtio yn sych.
**Drys**, *s.* (Gr. *drus?*) maenholltau, holltau careg.
**Drysalter**, *s.* (*dry* a *salt*) sychnwyddwr, sychionydd; masnachwr sychfwydydd.
**Dryshod**, *a.* (*dry* a *shod*) troedsych, yn droedsych; heb wlychu ei draed; heb fyned dros ei esgidiau.
**Drystove**, *s.* sychdwymdy, sychgell.
**Dryvat**, *s.* (*dry* a *vat*) basged sech, twrnel sych.
**Duad**, *s.* (Gr. *duo*) deuad, deuawd, undeb dau.
**Dual**, *a.* (Ll. *dualis*, o *duo*) deuol; perthynol i ddau.
Dual number—rhif deuol, deuobrif.
**Dualism**, *s.* (o *dual*) deuoliaeth; deudduwiaeth

=athrawiaeth dwy egwyddor wahanol ac annibynol mewn dyn.
Dualist, *s.* deuolwr, deuolydd, deuolgredwr.
Dualistic, *a.* deuolig.
Duality, *s.* deuoldeb, deuolrwydd, deuoledd; rhaniad, parthiad, gwahaniad.
Duarchy, *s.* (Gr. *duo* ac *arché*) deubendod, deulywodraeth, deubendodaeth, llywodraeth dau.
Dub, *v.* (S. *dubban*; Gr. *tuptô*) creu, gwneuthur, *neu* urddo yn farchog; urddasu, urdduno, dyrchafu, urddo; neddyfu; byrsynio.
Dub, *s.* ergyd, cnoc, ffat, cnith, llach, llab.
Dubber, *s.* costrel neu lestr croen, arferedig yn yr India.
Dubbing, *s.* neddyfiad; naddiad â neddyf *neu* fwyellan; seimwrtaeth.
Dubiety, } *s.* (Ll. *dubius*) petrusrwydd, an-
Dubiosity, } nilysrwydd, ammheusrwydd, petrusedd, petrusdra.
Dubious, *a.* (Ll. *dubius*) ammhëus, ammheuol, petrus, annilys, petrusol, arbetrus, annïau, ansicr; mwys, amwys, amwysol; aneglur, anamlwg; ansefydlog, gwamal, anmhenderfynol.
Doubtfulness, *s.* ammheuaeth, petrusder, petrusedd, petrusdeb, petrusdra, petrusrwydd, petrusgarwch, ammheurwydd, ammheuedd, ammheusrwydd, petruswch, ammheugarwch, annilysder, annilysrwydd, ansicrwydd; mwysder, amwysder, amwysedd, mwysedd; anwadalwch.
Dubitable, *a.* (Ll. *dubitabilis*) ammhëus, ammheuol, petrusol, petrus, annilys, ansicr; ammheuadwy; â ellir ei ammheu.
Dubitancy, *s.* (Ll. *dubitans*) ammheuaeth, ammheurwydd, ammheudod, ammheu, petrusrwydd; ansicrwydd, annilysrwydd.
Dubitation, *s.* (Ll. *dubitatio*) ammheuad, petrusad, petrusiant, petrusawd, arbetrusad; ammheu, ammheuaeth.
Dubitative, *a.* (Ll. *dubito*; Ff. *dubitatif*) petrusiannol, petrusiannus, petrusol, ammheuedigol, ammheuol.
Ducal, *a.* (Ff., Ysp., a Port.; Ll. *ducalis*) dugiol, duciol, dugaidd; perthynol i ddug.
  Ducal coronet — coronig dug; coronig ddugiol.
Ducat, *s.* (Ff.; Ll. *ducatus*) ducat, dugat, dugad, dugiadur.
  Gold ducat—ducat aur=gwerth o ddeutu 9*s.*
  Silver ducat — ducat arian=gwerth o ddeutu 4*s.*
Ducatoon, *s.* (Ff. *ducaton*; It. *ducato*; o *ducat*) darn o arian bath; yn yr Ital, gwerth tua 4*s.* 6½*c.*; yn yr Isdiroedd, tua 5*s.* 5¾*c.*
Duchess, *s.* (Ff. *duchesse*, o *duc*) duges, duces.
  A little duchess—dugesan.
  Duchess dowager—duges waddolog, duces weddw.
Duchy, *s.* (Ff. *duché*) dugiaeth, duciaeth; ardal *neu* diriogaeth dug.
  Duchy of Lancaster—dugiaeth Hirgaer, dugiaeth Caerhirfryn, duciaeth Lancaster.
  Duchy Court—duglys; llys dugiaeth Hirgaer.
Duck, *s.* (o *duck*, *v.*) hwyad, hwyaden: *pl.* hwyaid.
  Tufted duck—hwyad gopog.
  Eider duck, } hwyad fwythblu.
  Gothland duck, }
  Shoveler duck—hwyad lydanbig.
  Red-breasted shoveler — hwyad frongoch lydanbig.
  Pintail duck—hwyad gynffonfain, hwyad lostfain.
  Swallow-tailed duck, } hwyad gynffon
  Swallow-tail duck, } gwennol, hwyad lost gwennol.
  Ferruginous duck—hwyad frech.
  Grey-headed duck—hwyad benllwyd.
  Scaup duck—hwyad lygad arian, llygad arian.
  Pochard duck—hwyad bengoch.
  Golden-eyed duck — hwyad lygad aur, llygad aur.
  Velvet duck—hwyad felfedog.
  Sea duck—morhwyad, hwyad fôr.
  Decoy duck—hudhwyad, hudnwy, hudhwyaden.
  Long-tailed duck — hwyad gynffon hir, hwyad lost hir.
  Wild duck—hwyad wyllt, corshwyad, garan hwyad, hwyaden wyllt.
  Tame duck—hwyad ddof, hwyaden ddof.
  Like a duck—hwyadaidd.
  Abounding with ducks—hwyadog; llawn o hwyaid.
Duck, *v.* (Al. *ducken*, *tauchen*; Is. *duiken*) trochi, soddi, suddo, grawthu, cleigio, dychleigio; ymdrochi, ymsoddi, ymsuddo; bwrw dàn ddwr; taro dàn ddwr; myned dàn ddwr; plygu, crymu, ymblygu, ymgrymu, capio, plygu pen, crymu pen.
Duck, *s.* llamgareg, ysglentfaen, careg ddadlam, careg adlam; careg â ysglentir ar wyneb dwr; crymiad pen, plygiad pen, capiad.
  Duck-and-drake — chware llamgareg, chwareu ysglentfaen; ysglentio careg ar wyneb dwr.
  To make ducks and drakes of one's money —gwastraffu *neu* afradu arian; taflu ymaith arian.
Duck, *s.* (D. *dukke*) anwylyd, anwylyn, mwynen.
Duck, *s.* (Sw. *duk*; Al. *tuck*) cryfliïan.
Duck-bill, *s.* hwyadbig, hwyadryn.
  Duck-bill wheat — gwenith Normandi, gwenith Norddmandi.
Duck-bills, *s. pl.* hwyadbigau, pigau hwyaid =esgidiau llydanbig y 15fed canrif.
Ducker, *s.* (o *duck*) trochwr, trochydd, trochiedydd, ymdrochwr, ymsoddwr, cleigiwr.
Ducking, *s.* trochiad, ymdrochiad, ymsoddiad, trochedigaeth.
Ducking-stool, *s.* trochgader, cader drochi, ystol drochi.
Ducklegged, *a.* (*duck* a *leg*) byrgoes, coesfyr; â chanddo goesau byrion fel coesau hwyad.
Duckling, *s.* (o *duck*) hwyaden, hwyad ieuanc, hwyad ifanc, cyw hwyad.
Duck-meat, } *s.* bwyd hwyaid, bwyd yr hwy-
Duck's-meat, } aid, llinhad y dwr, llinos y
Duckweed, } dwr, llinos y dwfr, llinhad y dwfr.
  Lesser duckweed—llinhad y dwfr lleiaf, bwyd hwyaid lleiaf.
Duckoy, *s.*=*Decoy.*
Duck's-foot, *s.* troed yr hwyad.
Duct, *s.* (Ll. *ductus*) pibell, pib, awell, ffordd, gwyth; tywysiad, hyfforddiad, llywiad.
Ductile, *a.* (Ll. *ductilis*) hydyn; ystwyth,

hyblyg; hyddwyn, hydrin; estynadwy, ystynadwy, tynadwy; plygadwy; hawdd ei ddwyn, ei drin, ei dywys, *neu* ei estyn; à aller ei guro a'i yru yn deneu *neu* fain.
**Ductileness, Ductility,** *s.* (Ll. *ductilitas*) hydynrwydd, hydynedd; hyblygedd, hyblygrwydd, ystwythedd, ystwythder, ystwythdra; hydrinedd; estynedd.
**Duction,** *s.* (Ll. *ductio*) dygiad, cyweiniad; arweiniad.
**Ducture,†** *s.* (Ll. *duco, ductus*) hyfforddiad, tywysiad.
**Dudgeon,** *s.* (Al. *degen*) dageran, bidogan.
**Dudgeon,** *s.* (C. *dygen*) digofaint, llid, dygen, dig, malais, cenfigen, cynghorfynt, drygwyllys, drwg ewyllys, soriant, cas, casineb, drygnwyd, cynddrygedd, anghydfod.
To take in dudgeon—digio, sori, ffromi, diglloni, cymmeryd yn ddrwg, cymmeryd yn chwith, bod yn anfoddlawn.
**Duds,** *s. pl.* (Ysg. *dud;* Is. *tod*) hen ddillad, hen ddillatach; bratiau, carpiau, bralau, dillad carpiog.
**Due,** *a.* (Ff. *dû;* Ll. *debeo*) dyledus, dyladwy, dyledig; haeddedigol, haeddedig; iawn, addas, cyfaddas, cymhwys, gwiw, priod, priodol, cyfreithlawn, da.
Due time, Due season, iawn bryd, amser cyfaddas, amser priod, amser dyledus, tymmor, adeg, pryd, amser.
Due desert—iawn haeddiant, gwir haeddiant.
Due to me—dyledus i mi; yn dda i mi.
Not due—annyledus.
That which is not due—annyled, annylyed.
To be due—bod yn ddyledus; dyledu.
After the due order—yn y modd y dylesym (1 *Cron.* xv. 13).
We receive the due reward of our deeds—yr ydym yn derbyn yr hyn a haeddai y pethau à wnaethom (*Luc* xxiii. 41).
With-hold not good from them to whom it is due—nac attal ddaioni oddi wrth y rhai y perthyn iddynt (*Diar.* iii. 27); nac attal ddaioni oddi wrth ei berchenogion.
**Due,** *s.* dyled, dylyed, dyl; iawn, cyfiawnder; eiddo; haeddiant, teilyngdod; dylw, def.
To obtain my due—cael fy nyled, fy nyl, fy eiddo, *neu* fy haeddiant.
Because it is thy due—o herwydd dy ran di yw (*Lef.* x. 13); herwydd dy eiddo di ydyw.
This shall be the priest's due from the people—hyn fydd defod yr offeiriaid oddi wrth y bobl (*Deut.* xviii. 3).
**Due,** *ad.* yn iawn, yn gywir, yn addas, yn hollol, yn wiw.
**Due,†** *v. a.* talu yn ddyled.
**Dueful,** *a.* addas, gweddus, cymhwys, priodol.
**Duel,** *s.* (Ff.; Ll. *duellum*) ornest, ymornest, ymgysbwy; ymladd rhwng dau lawlaw; brwydr benben; ymryson.
To fight a duel=*Duel, v.*
**Duel,** *v.* ornestu, ymladd ornest, ymornestu, ymornest.
**Dueller, Duellist,** *s.* ornestwr, ornestydd, ymladdwr ornest.
**Duelling,** *s.* ornestiaeth, ornestiad; ornest; ymladd *neu* ymladdiad lawlaw.
**Duello,†** *s.* (It.) ornest; rheol ornestu.



**Dueness,** *s.* (o *due*) priodoldeb, priodolder, addasrwydd, cyfaddasrwydd, cymhwysdra.
**Duenna,** *s.* (Ysp.) dysgodres, hen ddysgodres, athrawes, dysgedyddes, elltrewen; hen fenyw i warchod ar ddynes ieuanc.
**Duet, Duetto,** *s.* (It. *duetto*) cân ddeulais, dygan ddeulais, dwyed, deuon, dwyawd.
**Duffel,** *s.* (Is.) math ar frethyn garw.
**Dug,** *s.* (Isl. *deggia*) teth, diden, did, diten; bron.
A little dug—tethan, teth fechan.
Having dugs—tethog, didenog.
**Dugong,** *s.* math o forfil.
**Duke,** *s.* (Ff. *duc;* It. *duca;* Ysp. *duque;* Ll. *dux*) dug, duc.
Grand duke — gorddug, gordduc, uchel ddug, ucheldduc, uchelddug.
**Dukedom,** *s.* (*duke*, a'r terfyniad *dom*) dugiaeth, duciaeth.
**Dukigi Bachi,** *s.* (Tyrc.) ail swyddog y cadoffer Tyrcaidd.
**Dulcamara,** *s.* (Ll. o *dulcis* ac *amarus*) elinog, mynyglog, manyglog.
**Dulcet,** *a.* (Ll. *dulcis*) melus, chweg, per, peraidd, melusber, perfelus, chwegaidd; hyfryd, hyfrydber, maws.
**Dulcification,** *s.* (o *dulcify*) melusiad, melusiant, pereiddiad, pereiddiant, chwegiad; gwneuthuriad yn felus.
**Dulcifluous,** *a.* (Ll. *dulcis* a *fluo*) meldardd, melred, melusred, melredol, chweglifol, melredog, chwegredol.
**Dulcify,** *v. a.* (Ff. *dulcifier;* Ll. *dulcis a facio*) melusu, pereiddio, chwegu, perhau; gwneuthur yn felus.
**Dulcimer,** *s.* (It. *dolcimello*) dwsmel.
**Dulciness,†** *s.* (Ll. *dulcis*) melusdra; mwynder, tynerwch.
**Dulcitude,** *s.* (Ll. *dulcitudo*) melusder, melusdra, melusedd, melusrwydd, melusi, peredd, perder, perdra, pereidd-dra, chwegrwydd, chwegder.
**Dulcorate,** *v. a.* (*dulco*) melusu, pereiddio, chwegu, perhau.
**Dulcoration,** *s.* melusiad, melusiant, pereiddiad, pereiddiant, chwegiad; gwneuthuriad yn felus.
**Duledge,** *s.* cyssylltbin.
**Dulia,** *s.* (Ll.; Gr. *douleia*) isaddoliad, isaddoliaeth, isaddoliant, santaddoliad, santaddoliaeth, addoliant saint.
**Dull,** *a.* (C. *dwl;* Al. *toll, tölpel;* S. ac Is. *dol*) hurt, syn, syfrdan, dwl, (*f.* dòl), penfas, penfeddal, penblydd, disynwyr, synwyrbwl, penbwl, penbylaidd, cuall, pendew, penffol, penwan, lledfeddod; trwm, trymhyrddig, hwyrdrwm, marwaidd, swrth, musgrell, dïog, dïogswrth, trymluog, araf, dïysbryd, difywyd, hurth; diflas, ansiriol, anhylon, llwfr, prudd, trist; pwl, (*f.* pol), dïawch, difin, aflym, ambwl; tywyll, caddugaidd, cymylog, aneglur, afloew; anfywiog, anweithgar; talpaidd.
Dull of hearing—trwm ei glywed; trwm ei glybod; anhyglust, clusttrwm, lledfyddar, gofyddar, tràn fyddar.
Dull of apprehension—synwyrbwl; pwl ei synwyr; trwm, anghyflym, *neu* anghraff ei ddeall; dwl ei ddeall.
Dull weather—tywydd cymylog, tywyll, niwlog, du, diflas, *neu* ddwl.
A dull fellow—dyn synwyrbwl, anhylon,

dïysbryd, hurt, *neu* ddifywyd; hurtyn, hurthgen, cuall.

A dull horse—ceffyl *neu* farch dïog, marwaidd, dïysbryd, dïafwch, dïawch, *neu* araf-droed; march hwyrdrwm.

A dull looking-glass—drych tywyll, aneglur, anghlaer, afloew, *neu* annhryloew.

Somewhat dull—lled hurt, go bwl, lledbwl, &c.

Trade is grown dull with us—aeth masnach yn farw *neu* yn ddifywyd yn ein parthau ni.

To make dull—gwneuthur yn hurt, &c.; hurtio, syfrdanu, pylu, &c.

To grow dull—dechreu hurtio, &c.; myned yn hurt, &c.

**Dull**, *v.* hurtio, syfrdanu; pylu, arbylu, ambylu; gwneuthur yn hurt, &c.; dïawchu, difinio; trymhau, marweiddio, hwyrdrymu, trymluo; byddaru; diflasu; llyfrhau, prudd-hau, tristäu; tywyllu, cymylu, caddugo; myned yn hurt, &c.; hurthio.

**Dullard**, *a.* (o *dull*) delffaidd, cuall, hurt, hurtaidd, penbwl, penbylaidd, penfas, penfeddwl, pendew, dwl, synwyrbwl.

**Dullard**, *s.* cuall, delff, hurtyn, hurtan, clwpa, hurthgen, hutyn, penllorcan, llelo, penbwl, ffwlcyn, cadafael, hurth, hult, brebwl, ullda, llob, llobyn, pendew, hult, un dwl.

**Dull-brained**, *a.* synwyrbwl; pwl ei synwyr; pendew, penfeddal, pensyfrdan, penfas, penbwl.

**Dull-browed**, *a.* trymaeliog; trwm ei ael; â golwg drymaidd arno.

**Dull-eyed**, *a.* llygadbwl; cibddall; pwl ei olwg; pwl ei olygon; trwm ei olwg.

**Dullhead**, *s.*=*Dullard*, *s.*

**Dull-sighted**, *a.* llygadbwl, cibddall, coegddall, lled-ddall, goddall; pwl ei lygaid; pwl ei olygon.

**Dull-witted**, *a.* synwyrbwl; pwl ei synwyr; pwl ei ddeall, &c.

**Duller**, *s.* hurtiwr, syfrdanwr, syfrdanydd, pylwr, pyliedydd.

**Dully**, *ad.* yn hurt, &c.

**Dulness**, *s.* hurtrwydd, syfrdandod, syndod; pylni, pylder, pylrwydd, pyledd, arbyledd, ambyledd, aflymder, difinedd, dïawchedd; dyldra, dylni, dyldod; trymder, trymllydrwydd, trymluogrwydd, trymluogder, marweidd-dra, musgrelli, musgrellni, syrthni, dïogi, trymhyrddigrwydd, trymsyrthni, anfywiogrwydd; diflasder, diflasdod; penbyledd, pendewedd, penfasedd, penfasder, penglogedd, penwendid; tywyllni, caddug, afloewder, anghlaerder; anghreffni.

**Dulocracy**, *s.* (Gr. *doulos* a *crateô*) llywodraeth caethion, pendodaeth caethweision, caethbendodaeth, caethlywiaeth.

**Dulse**, *s.* (?) dylusg=math o wymon.

**Duly**, *ad.* (o *due*) yn ddyladwy; mewn modd dyladwy; fel y gweddai; yn addas, yn briodol, yn iawn, yn rheolaidd; fel y mae yn addas; fel y mae yn gweddu; yn ol y rheol; yn ol y drefn; yn ol y ddefod; yn ddichlyn, yn fanwl, yn gywir, yn ddïesgeulus; yn brydlawn, yn gyfamserol; o amser i amser; o bryd i bryd.

**Dumb**, *a.* (S.; Al. a Sw. *dumm*) mud, aflafar; dystaw, tawedog, dilafar; heb yngan; yn tewi â son.

Deaf and dumb—mud a byddar; mudfyddar, byddarfud.

One that is dumb—mudan: *f.* mudanes, mudes.

To strike dumb—peri, gyru, *neu* wneuthur i un dewi; cau geneu un; taro yn fud; peri yn fud; gyru taw ar.

He was struck dumb—efe a aeth yn fud.

To be dumb—bod yn fud *neu* ddystaw; tewi.

**Dumb**, *v. a.* dystewi, gostegu; gwneuthur yn fud.

**Dumb-bells**, *s. pl.* mudglych, mudglychau.

**Dumbness**, *s.* mudaniaeth, mudanaeth, mudrwydd, mudandod, mudanrwydd, aflafaredd, afleferydd, aflafarwch; mudanedd; dystawrwydd, tawedogrwydd, taw.

**Dumfound**, *v. a.* dystewi, gostegu, dyddelwi.

**Dummerer**,† *s.* (o *dumb*) ffug-fudan.

**Dummy**, *s.* (o *dumb*) mudan.

**Dumous**, **Dumose**, *a.* (Ll. *dumosus*) llwynaidd, perthog, prysog; llawn llwyni *neu* berthi; llawn o lwyni a dyrysi; ffluwch, siochog.

**Dump**, *s.* (Al. *dumm;* Is. *dom*) ysmigwst, gwedwst; madrondod; synedigaeth, syndod, syn feddwl, syn fyfyrdod, san, irdang, syfrdandod; trymfryd, tromfron, tristyd, pruddineb, prudd-der, pruddglwyf; trymder, trallod, *neu* chwithrwydd meddwl; syn-, dig-, *neu* ffrom-ddystawrwydd; gwasgaredd meddwl; absennoldeb meddwl; dybyrgan.

**Dump**, *s.* bwrdd cyfrif trwsgl o blwm (yn chwareu plant).

**Dumpish**, *a.* hurt, syfrdan, pensyfrdan, penbwl, pendew, cuall, dwl; prudd, trist, athrist, pruddglwyfus, anhylon, trymllyd, dybyr, trymfrydig, pendrist; mewn syndod, mewn syn feddwl, mewn synedigaeth; syn feddylgar, syn fyfyr, syn fyfyriol, syn ddystaw, ffrom ddystaw.

**Dumpishness**, *s.* hurtrwydd, syfrdandod, penbyledd, dylni, cuallder; syndod, synder, syndra, sanedigrwydd; pruddineb, prudd-der, trymfrydigrwydd, syn feddylgarwch, dybyrwch, dybyrdod.

**Dumpling**, *s.* (o *dump*) torpell, troli, twmpan, rholen, poten; poten dorpell, pwding dorpell; torpell o bwding; torpell o boten; twmpyn, twrllach.

A dumpling fellow—dyn byrdew, dyn byrfraisg; dyn unhyd unlled; twlffyn, torpwth: *f.* twmpan, twlltffen, twrlläes.

**Dumps**, *s. pl.* ysmigwst, gwedwst; madrondod, pruddineb, prudd-der, dybyrdod.

He is in the dumps—mae yr ysmigwst arno; mae efe yn glaf o'r ysmigwst; mae y wedwst arno; mae efe yn synfyfyriol, &c.

**Dumpy**, *a.* (o *dump*) byrdew, byrfraisg; unhyd unlled.

**Dun**, *a.* (S. *dunn;* C. *dwn;* Gw. *donn*) dulwyd, dwn, gwrm, gwineulwyd, gwineuddu, gell, llwyd-ddu, arddufrych, brychddu, dufrych, gwrmwn, gwrmdde; tywyll, gwyll.

Yellowish dun—melynllai.

**Dun**, *v. a.* dwn-gyweirio, gwrm-gyweirio; cyweirio pysg nes y bônt o liw dwn; gwrmu.

**Dun**, *v. a.* (S. *dynan*) taer ofyn, taer geisio, dirio, dirwasgu; taer ofyn dyled; taer geisio arian; gofyn dyled yn fynych ac yn haerllug;

bod yn daer am arian; cymhell un i dalu; byddaru; dygn flino.
**Dun**, *s.* taer ofynwr, taer geisiwr, gofynydd taer, diriwr am arian, ceisiad haerllug; taer ofyniad, taer gais, taer geisiad, cais, ceisiad.
**Dunce**, *s.* (Al. *duns; oddi wrth Duns Scotus*, meddylir) penbwl, cuall, pendew, delff, brebwl, penllorcan, hurthgen, hurtyn, llelo, clwpa, penglog, penwan, delbren, hult, hurtan, llob, llobyn, ffwlcyn, ullda, hwgwd.
**Dun-bee**, } *s.* clyryn llwyd, cacynen y meirch,
**Dun-fly**, } cethreor.
**Dun-bird**, *s.* hwyad bengoch.
**Duncery**, *s.* (o *dunce*) penbylni, penbyledd, cualldder, cuallдod, hurtrwydd, penfasedd, penwendid, &c.
**Duncify**,† *v. a.* penbyleiddio, hurtio; gwneuthur yn benbwl.
**Duncish**, *a.* delffaidd, penbylaidd, hurtaidd, pendew, penfasaidd, syfrdan, syfrdanaidd, hurthgenaidd, hultaidd.
**Dunder**, *s.* (Ysp. *redundar;* Ll. *redundo*) gwaddod, gwaelodion, llorion, anmhuredd.
**Dunderpate**, } *s.* hurthgen, cadafael, penbwl,
**Dunderhead**, } brebwl, penllorcan, hultyn, hurtyn, cuall, clwpa, pendew, penwan.
**Dun-diver**, *s.* hwyad ddanneddog.
Lesser dun-diver—trochydd danneddog.
**Dune**, } *s.* (S. *dun;* Ff. *dune;* Al. *düne*) bryn,
**Dun**, } bre, moel, garth, iselfre; cronadail bigfain.
**Dunfish**, *s.* (*dun* a *fish*) dwnbysg; y penfras wedi ei wrm-gyweirio.
**Dung**, *s.* (S. ac Al.) tom, dom, baw, tail; biswal, biswail, aul, eulon, ebod, ebodn, ystlom, cach, llibystr, cagl; ysgothfa.
Cow-dung—tom gwartheg, tail gwartheg, biswal gwartheg, budail, beudail, biswal, biswail, bisweilyn.
Dried cow-dung — gleiad, gleiaden: *pl.* gleiaid.
Sheep's dung — tom defaid, baw defaid, cagl.
Goat's dung—tom geifr, baw gafrod, eulon, cagl.
Horse-dung—ebod, ebodn, tom ceffyl.
Dung (for manure)—tail, tomdail.
Thin dung—pibion, ystiffion.
Full of dung—teilog, llawn tail; tomog.
Dung-cart—teilgart, tomgart, cart tail, cart teilo, certwyn teilo.
Dung-farmer—carthwr geudai, carthydd geudai, cothynwr, glanhäwr ysgothfeydd.
**Dung**, *v.* tomi; teilo; ystlomi, maesa; bisweilio, ebodni, euloni, tomfoi, caglu, cachu; ysgothi, ysgythu, ymarllwys; gwerydu, bwrw tail, bwrw tom; gwrteithio â thail.
Well-dunged—teilog, llawn tail; wedi ei deilo yn dda; tomog.
To dung thin—ystiffio, ysgothi, ysgythu, pibo, trafu.
**Dung-beetle**, *s.* chwilen y dom, chwil y dom, tomchwilen, chwilen wyllt, teilchwilen.
**Dungeon**, *s.* (Ff. *dongeon, donjon*) daiardy, daiargell; carchardy, carchar, carchar tywyll, carchar caeth, carchar tanddaiarol; dyfngell, pwll, ffau.
The dungeon of hell—pwll uffern, pydew uffern, tywyll garchardy uffern; gwaelod uffern.
**Dungeon**, *v. a.* caethiwo mewn daiardy; carcharu dàn y ddaiar; carchargellu, caethgarcharu.
**Dungfly**, *s.* cleren y dom, clyryn y dom, tomgleren, cylionen y dom, tomgylionen: *pl.* tomgler, tomgylion.
**Dungfork**, *s.* (*dung* a *fork*) teilfforch, ysteilfforch, tomfforch, fforch dail, fforch deilo, pigfforch dail.
**Dunghill**, *s.* (*dung* a *hill*) tomen, teilfa, tomen dail.
**Dunghill**, *a.* perthynol i'r domen; tomenaidd, bawaidd, brwnt, budr, gwael, distadl; prin gwerth ei godi o'r domen.
Dunghill cock—ceiliog y domen.
Dunghill gods—tomdduwiau.
**Dunging**, *s.* teilad, tomiad; budeilad.
**Dungy**, *a.* tomog, teilog, llawn tom, llawn tail, tomlyd, bawlyd, bawaidd, brwnt, budr.
**Dungyard**, *s.* (*dung* a *yard*) teilbarth, tombarth, buarth tom, teilfan, teilfa.
**Dunlin**, *s.* o (*dun*) y pibydd rhuddgoch.
**Dunnage**, *s.* llwythgodion=ffagodau, a phethau cyffelyb, à roir ar waelod llong i godi nwyddau trymion oddi wrth y gwaelod.
**Dunner**, *s.* taer ofynwr, taer geisiwr, gofynydd taer, diriwr am arian, ceisiwr haerllug; dygn flinwr, byddarwr.
**Dunning**, *s.* (o *dun*) dwn-gyweiriad, gwrmgyweiriad.
**Dunnish**, *a.* (o *dun*) gwrmaidd, dulwydaidd, llwyd-dduaidd, lled ddwn, go ddwn, brychdduaidd.
**Duo**, *s.* (Ll. a Gr.) càn ddeulais, dwyed; dau.
**Duodecahedral**, *a.* (Ll. *duodecim*, a Gr. *hedra*) =*Dodecahedral*.
**Duodecahedron**, *s.*=*Dodecahedron*.
**Duodecimals**, *s. pl.* (Ll. *duodecim, duodecimus*) deuddegiadau; deuddegiadaeth, deuddegiaeth; croesluosiaeth.
Duodecimal multiplication = croesluosiaeth, croesluosogaeth; deuddegiadaeth.
**Duodecimfid**, *a.* (Ll. *duodecim* a *findo*) deuddegholIt, deuddeghollteg.
**Duodecimo**, *a.* (Ll. *duodecimus*) deuddegplyg, deuddengmhlyg, 12plyg, deuddegol; yn cynnwys 12 dalen i'r llèn.
**Duodecimo**, *s.* llyfr deuddegplyg, deuddegplyg, deuddengmhlyg.
**Duodecuple**, *a.* (Ll. *duo* a *decuplus*) deuddegplyg, deuddengmhlyg, deuddegtro, deuddegol.
**Duodenary**, *a.* (Ll. *duodenarius*) deuddegol, deuarddegol.
Duodenary arithmetic—rhifyddiaeth ddeuddegol, rhifyddeg ddeuddegol.
**Duodenum**, *s.* (Ll.) y cyntaf o'r màn goludd; y coluddyn 12 modfedd; màn berfeddyn; màn goludd, perfeddach, màn berfedd.
**Duoliteral**, *a.* (Ll. *duo a litera*) deulythyrol, dwylythyrenol; cynnwysedig o ddim ond dwy lythyren.
**Dup**,† *v. a.* (?) agor, agoryd.
**Dupe**, *s.* (Ff.) dyn hydwyll, dyn hyhud, symlyn, hydwyllog, hydwyllyn; dyn hawdd ei hudo *neu* ei dwyllo; dyn twylledig; ffwlcyn, gwirionyn, hygoelyn.
**Dupe**, *v. a.* twyllo, somi, hocedu, castio, somddenu, hudo; camarwain drwy gymmeryd mantais ar hygoeledd un.
**Dupeable**, *a* hydwyll, hyhud, twylladwy.
**Dupery**, *s.* (Ff. *duperie*) twyllad, hudiad, hydwyllad, castiad.
**Dupion**, *s.* dychwilerwe, chwilerwe dyblyg.

**Duple**, *a.* (Ll. *duplus*) dyblyg, deublyg, dwbl.
**Duplicate**, *a.* (Ll. *duplicatus*) dyblyg, deublyg, deuddyblyg, dyblygol.
**Duplicate**, *s.* cyfysgrif, cyfysgrifen, adysgrif, adysgrifen, adlun, eilun, cysgrif, cysgrifen, gwrthysgrifen, dyblygen.
**Duplicate**, *v. a.* (Ll. *duplico*) dyblygu, deublygu, dyblu; gwneuthur yn ddyblyg; plygu.
**Duplication**, *s.* (Ff.; Ll. *duplicatio*) dyblygiad, deublygiad, dyblygiant, deublygiant, deublygiaeth, dybliad; plygiad, plygiant; plyg, dyblyg, deublyg, plygfa; adluniad.
**Duplicature**, *s.* (Ff.) dyblygedd, deublygiaeth, dyblygiaeth, deublygedd, dyblygiad, deublygiad; plygiad, plygiant; dyblyg, deublyg, plyg.
**Duplicity**, *s.* (Ff. *duplicité ;* It. *duplicità ;* o'r Ll. *duplex*) dyblygrwydd, dyblygedd, deublygrwydd; twyll, deuwynebedd, deuwynebiaeth, deuwynebogrwydd, rhagrithrwydd.
**Dupper**, } potel fualgen, costrel hydd-
**Dubber**, } groen.
**Durability**, } *s.* (o *durable*) parhausder, par-
**Durableness**, } hausrwydd; parhad, para, hirbarhad, hirbara; gallu i barhau; anniflanrwydd; toraeth.
**Durable**, *a.* (Ll. *durabilis*) parhäus, parhaol, paraol, hirbarhäus, hirbarhaol, o hirbara, o hirbarhad; à barhao, à bery; hir ei bara; diball, safadwy; anniflan, annifan; toraethus; caled, ffêr, cryf.
**Dura Mater**, *s.* (Ll.) crefadyr, y crefadyr; pilen allanol yr ymenydd; arbilen yr emenydd.
**Duramen**, *s.* (Ll.) rhuddin, rhudding, calon pren, madruddyn pren.
**Durance**, *s.* (Ll. *durans*) carchar, caethiwed, dalfa, attalfa; carchariad, caethiwad; parhad, para; ysbaid.
  To be in durance—bod yn ngharchar.
  Of little durance—dibara, dibarhad, diflan, ansafadwy, anmharhäus; byr ei barhad.
**Durant**, *s.* (Ll. *durans*) bytholnwydd, bythnwydd.
**Duration**, *s.* (Ll. *duratio*) parhad, para, hydfod, hirfod, hyd, ystod, ysbaid; olyniad.
  Long duration—hirbara, hirbarhad, hir bara, hirfod.
  Of long duration—hirbarhäus, hirbarhaol, parhäus; hir ei bara; hir ei arosfa; o hir barhad; o hir bara.
  Of short duration—byr ei bara; byr ei barhad; dibara, dibarhad, anmharhäus; diflan, difan; darfodedig.
**Durbar**, *s.* clybodgell (yn yr India).
**Dure**, *v. n.* (Ll. *duro ;* Ff. *durer*) parhau, para, aros; sefyll.
  But dureth for a while—eithr dros amser y mae (*Mat.* xiii. 21).
**Dureful**,† *a.* parhäus, parhaol.
**Dureless**,† *a.* dibara, dibarhad, anmharhäus; diflannus, darfodedig, diflan, difanw.
**Duress**, *s.* (Norm. *duresse ;* Ll. *durities*) carchar, caethiwed, dalfa; carchariad, caethiwad, treisddaliad; cyfyngder, cyni, caledi, gwasgfa, caethder.
**During**, *p.* (o *dure*) yn parhau, yn para; yn aros; yn bod; parhäus, parhaol.
  During long—hirbarhäus, diball; yn parhau *neu* aros yn hir.
**During**, *prep.* tra parhao; tra, hyd tra, cyd ag, cyhyd ag; yn ystod, yn ysbaid, yn oed.
  During life—yn ystod bywyd; yn hyd bywyd; tra parhao bywyd.
  During life only—oesfoddog.
  During pleasure—hyd fodd, ar fodd; tra parhao bodd.
  During dinner—a ni yn ciniawa; a nyni ar giniaw; tra yr oeddem yn ciniawa; tra yr oeddem ar giniaw; yn ystod ciniaw; ar giniaw.
  During my stay there—tra yr aroswyf *neu* yr arosais yno; hyd tra yr aroswyf *neu* yr arosais yno; cyd ag yr arosof *neu* yr arosais yno; yn ystod fy arosiad yno; yn hyd *neu* oed fy arosfa yno.
  During that time—yn hyd *neu* yn ystod hyny o amser; o fewn hyny o amser; yn ysbaid yr amser hwnw.
  He staid with us during that transaction—arosodd gyda ni tra parhaodd hyny o orchwyl.
  During the course of last month—yn chwyl y mis diweddaf; yn ystod y mis diweddaf.
  The honour of being head of one's family is granted during life only—oesfoddog yw pencenedlaeth.
  During the late unhappy confusions—dros *neu* yn amseroedd y diweddar helbul trwch anhapus; yn ystod y diweddar gythrwfl annedwydd.
**Durity**, *s.* (Ll. *duritas ;* Ff. *dureté*) caledrwydd, caledwch, caledi, calededd; gerwinder.
**Durous**,+ *a.* (Ll. *durus*) caled.
**Durst**, *p. p.* (Is. *dorst*) amser neithiedig o *Dare*.
**Duse**, *s.*=*Deuce*.
**Dusk**, *a.* (Is. *duister ;* Al. *düster*) tywyll, godywyll, lled dywyll, lledlwyd, golwyd, gwrm, dwn, gell, dulwyd, llwyd-ddu, llwydaidd, llygliw, lled-ddu, gwyll, llwyd-dywyll.
**Dusk**, *s.* cyfnos, gogyfnos, cyflychwyr, llychwyr, gorchyfarwy, corchyferwy; cyfliw gwr a llwyn; gwyll, tywyll, godywyll; hudd; dulwyd, llygliw, tywyllni, dulwydni, gwrmedd, lledlwydedd, düwch.
  In the dusk of the evening—yn y cyfnos; yn y cyflychwyr; yn ngwyll y nos; rhwng gwawl a gwyll; rhwng y ddau oleu; rhwng goleu a thywyll; yn min nos.
**Dusk**, *v.* gwrmu, tywyllu, godywyllu, tywyllu; gwneuthur yn lled dywyll; myned yn lled dywyll; tynu at y tywyll.
**Duskiness**, } *s.* tywyllni, godywyllni, lled-
**Duskishness**, } dywyllni, gwrmder, dulwydedd, golwydedd, llygliw; tywyllwch, gwyllwch, caddug; dechreu tywyllwch.
**Duskish**, } *a.* (o *dusk*) godywyll, lled dywyll,
**Dusky**, } tràn dywyll, gwyll, dywyll; dulwyd, golwyd, gwrm, dwn, llwyd, gwrmdde, gell, llygliw, llwyd-ddu, duog, duaidd, llwydaidd, gwrmwn, gwrmdde, cethin; anoleu, anghlaer, caddugol, cadduglyd, niwlog, cymylog, dilewyrch; trist, athrist, tristlawn, prudd.
  Dusky green—gwrmlas, golwydlas.
  Dusky greenness—gwrmlesni.
**Dust**, *s.* (S. *dust*, *dyst ;* T. *doest*, *duyst*) llwch; ffylor, pylor, meilon, pain, paill, blawd; pridd.

Dust (in botany)—pain, paill, llwch.
Gold dust, Dust of gold, } llwch aur, eurdywod, manlwch aur, eurflawd, eurlwch.
Saw dust—blawd llif, llifion.
File dust—llifion durlif.
Wood dust—blawd gwŷdd, meilon gwŷdd.
Rope dust—rhaffllwch.
Corn dust—pilion yd, ysgarthion yd, meilon yd.
A particle of dust—llychyn, ffyloryn.
A cloud of dust—haif o lwch; lluwch o lwch; hiff o lwch.
It will fall to the dust—syrthia i'r llwch; e ddaw i ddim.
Full of dust—llychlyd, llawn llwch, ffylorog, pylorog, llychwin.
Dust colour—lliw llychwin.
To throw dust upon, To besprinkle with dust, To soil with dust, } llychwino, llychu, llychio, bwrw llwch ar, llychlydo.
Soiled *or* besprinkled with dust—llychwinedig; llychwin; llychedig.
To reduce to dust—gwneuthur yn llwch *neu* yn ffylor; pwyo yn llwch *neu* yn ffylor; llychu, meiloni, ffylori, pylori, malurio, briwo yn fân, mân friwo; troi yn llwch.
To cleanse from dust—dilychu; glanhau oddi wrth lwch; ysgubo llwch ymaith.
To dissolve into dust — troi yn llwch; myned yn llwch; llychu.

**Dust,** *v. a.* dilychu; llychwino, llychu, llychio, bwrw llwch ar.

**Dustbrush,** *s.* llychrugl, gwrychell lwch, ysgubell lwch, gwrychell lychio.

**Duster,** *s.* llychydd, llychyr, dilychydd, llychgarp; gogr, gwagr.

**Dustiness,** *s.* llychlydrwydd, llychineb, llychedd, llychiant, llychwinogrwydd, llychiogrwydd.

**Dustman,** *s.* llychwr, llychydd, llychur, llychwas.

**Dustpan,** *s.* padell lwch, llychbadell, llychban, llestr llwch.

**Dusty,** *a.* llychlyd, llychwin, llawn llwch; ffylorog, pylorog; pyloraidd.
Dusty white—llychwyn, gwŷn llychwin, gwŷn llychlyd.

**Dutch-Clover,** *s.* millfeillionen, meillionen Olwen, meillionen wèn, meillionen wèn y waen; maill gwỳn, meillion gwynion, millfeillion, meillion rhedegog.

**Dutchess,** *s.* (Ff. *duchesse*) duges, duces.

**Dutch-Gold,** *s.* eurrith, tombac, aur yr Isdir.

**Dutch-Myrtle,** *s.* madywydd, mordywydd, gwyrling, gwyrddling, helygen Mair.

**Dutch-Rushes,** *s. pl.* marchronell y gauaf, rhawn y march gauafol.

**Dutchy,** *s.* (Ff. *duché*) dugiaeth, duciaeth; ardal *neu* diriogaeth dug.

**Duteous, Dutiful,** } *a.* (o *duty*) ufydd, ufyddgar, gostyngedig, gostyngaidd, dyledgar, ufyddol, uddyf, ufyll, hufyll, ufell; naturiol; parchus, parchedig, edmygol; parod i wneuthur ei ddyled *neu* ddyledswydd; â wnel yn rhwydd ei ddyled *neu* ddyledswydd; llawn ufydd-dod; llawn o ufydd-dod; parod i ryngu bodd; wrth archiad.

**Dutiable,** *a.* (o *duty*) tolladwy, cyllidadwy; agored i dalu cyllid *neu* doll.

utied, *a.* cyllidiog, cyllidiol; tolladwy; tolledig.

**Dutifulness,** *s.* ufyddgarwch, dyledgarwch, ufydd-dod, gostyngeiddrwydd, gostyngedigrwydd, uddyfdod, ufylldod, ufyllder, ufyddoldeb, ufyddolder, ufyddolrwydd, hufylldod, ufyddiant, ufydd-dra; parodrwydd i wneuthur dyled *neu* ddyledswydd; tuedd i wneuthur yr hyn a ddylid; parch, parchusrwydd.

**Duty,** *s.* (o *due*) dyledswydd, dyled, dylyed, eddyl, dylid, dyl, daffar; swydd, gwasanaeth, gwaith, rhan; toll, cyllid, tâl, treth, tredd, teyrnged; dyledsum; cymmediw.
It is your duty—eich rhan a'ch dyled yw; eich dyledswydd ydyw; y mae yn ddyledswydd arnoch; eich dyled ydyw.
I thought it my duty—mi a'i tybiais yn ddyled arnaf; mi a'i cyfrifais yn ddyled *neu* ddyledswydd arnaf; tybiais mai ym dyledswydd oedd.
He did his duty—gwnaeth yr hyn a ddylasai; gwnaeth ei ddyledswydd.
Not to do one's duty—bod yn ol am ei ddyledswydd; peidio â chyflawnu ei ddyledswydd; peidio â gwneuthur ei ddyledswydd.
To do another's duty—dirprwyo un.
As the duty of every day required—fel yr oedd ddyledus bob dydd yn ei ddydd.
To be on duty—bod yn *neu* ar ei wasanaeth; bod yn *neu* ar ei orsaf; bod yn *neu* ar ei orchwyl; bod yn *neu* ar ei sefyllfa; bod yn nghyflawniad ei swydd; bod yn nghylch cyflawnu ei swydd; bod ar ddyledswydd.
Present my duty to him—rhowch fy ngwasanaeth iddo; rhowch fy nghymmediwau iddo.
Of bounden duty—o rwym *neu* rwymedig ddyled.
It is our bounden duty—ein rhwymedig ddyled yw; mae yn ddyledswydd rwymedig arnom.
Men on duty—gwŷr mael.

**Duumvir,** *s.* (Ll.) deuwriad: *pl.* deuwriaid.

**Duumviral,** *a.* (Ll. *duumviralis*) deuwriol; perthynol i ddeuwriaid *neu* i ddeuwriaeth.

**Duumvirate,** *s.* (Ll. *duumviratus*) deuwriaeth, y ddeuwriaeth, llywodraeth dau.

**Dwale,** *s.* (?) codwarth=planigyn gwenwynig.

**Dwale,** *s.* du, lliw du, cibddu.

**Dwarf,** *s.* (S. *dweorg, dwoorg;* Is. a Sw. *dwerg*) còr, coryn, pegor, pegoryn, nar, corddyn, corach, llogwrn; corig, gwrachyn, (*f.* gwrachen), gwrachan, gwrachell, geuddyn; còr-.
Female dwarf—coren, cores, corddynes, pegores, llogyrnes, gwrachen, gwrachanes.
Dwarf elder—corysgaw, ysgaw Mair, ysgaw y ddaiar, ysgaw bendigaid, gwaed y gwŷr, creulys mawr.
Dwarf oak—cordderwen.
Dwarf palm—corbalmwydd.

**Dwarf,** *v. a.* cori, naru, nareiddio, llogyrnu; gwneuthur yn gòr; rhwystro *neu* attal twf; lleihau.

**Dwarfing,** *s.* coreiddiad, coriad, nareiddiad, coedgoriad, coriad coed, coednariad.

**Dwarfish,** *a.* coraidd, corachaidd, naraidd, llogyrnaidd, corddynaidd; bychan, bychanig; gwael, dirmygedig.

Dwarfishness, *s.* coreiddrwydd, nareiddrwydd, coracheiddrwydd, corddyneiddrwydd, llogyrneiddwch, nareiddwch, gwrachandod; bychander maint.
Dwarf-walls, *s. pl.* corfuriau, corwaliau.
Dwaul,† *v. n.* (S. *dwelian, dwolian*) ymlleferydd, bod yn wallgof.
Dwell, *v. n.* (D. *dvæler;* Sw. *dvala, drälias;* T. *dualla;* Isl. *dvelia*) preswylio, cyfanneddu, trigo, trigiannu, anneddu, cartrefu, tario, pryseddu, prysedda, aros, arosi, cyfaros, trefu, trefiannu, trigfanu, preswyliannu, haddefu; bod, byw, sydda; sefyll, gorsefyll; eistedd.
To dwell upon—sefyll, gorsefyll, *neu* ymhelaethu ar; bod yn faith ar; dàl manol sylw ar; aros ar; glynu wrth; erlyn.
To dwell together—cyttrigo, cydbreswylio, cyttrigiannu, &c.; trigo yn nghyd; preswylio yn nghyd, &c.; cyttal, bod yn gytty.
And made them dwell in this place—ac a'u cyfleasant hwy yn y lle hwn (1 *Sam.* xii. 8).
Dweller, *s.* preswyliwr, preswylydd, cyfanneddwr, anneddwr, trigiannydd, trigwr, cartrefwr: *pl.* trigolion.
A dweller by—cymmydog.
Dwellers in the same house—cyttywyr.
A dweller with another—cyttywr, cytty, un cyttyol; à fo yn yr un ty.
Dweller on land — un daiardrig, daiardrigydd.
Dweller in *or* on water—un dyfrdrig, dyfrdrigydd.
Dwelling, *p.* yn preswylio, yn cyfanneddu, &c.; trigiannol, trigol, anneddol, cyfanneddol, preswyl, preswyliannol, preswyliog.
Dwelling on land — daiardrig; yn preswylio ar y ddaiar.
Dwelling on water—dyfrdrig.
Oh thou daughter dwelling in Egypt!—O ferch gyfanneddol yr Aifft!
Dwelling, *s.* preswylfod, preswylfa, cartref, annedd, trigias, trigfa, trigfan, trigiant, trigle, pryseddfod, ty annedd, ty preswyl, bod, haddef, arosfa; anneddiad, preswyliad, trefiant, trefad, godrig, cyfanneddiad, arosiad; lluestty, pabell.
Summer dwelling—hafod.
Dwellinghouse, *s.* ty annedd, annedd-dy, anneddfa, preswylfod, trigfod, preswyldy, trigfa, ty cyfanneddol, ty byw.
Summer dwellinghouse—hafotty.
Dwellingplace, *s.* preswylfa, preswylfan, preswylfod, anneddle, anneddfa, trigfa, trigfan, trigle, haddef, haddfa, arosfa, pryseddfa, pryseddfod, cartref, cartrefle, trefa, esyddyn.
We have no certain dwellingplace — yr ydym ni yn grwydriaid (1 *Cor.* iv. 11).
Dwindle, *v.* (S. *dwinan;* Sw. *tvina*) dihoeni, edwi, edwino, dedwino, difanu, ditlanu, methu, digynnyddu, gwanhau, gwywo, darfod, treulio, diwrygio, eiddilo, gwaethygu, lleihau; myned ar feth; myned ar ball; myned ar ddim; tori, gwasgaru, gwanychu.
To dwindle away=*Dwindle.*
Dwindled, *a.* dihoen, anhoenus, dihoenedig, &c.
Dye, *v. a.* (S. *deagan;* Ll. *tingo*) lliwo, lliwio; rhoi lliw ar.
Double dyed — lliwedig ddwywaith; à liwiwyd ddwywaith; gwedi ei liwo ddwywaith.
Dye, *s.* lliw, gne.
Of a deep dye—dyfnliw, dyfnliwiog, dyfnliwedig; dwfn ei liw; dwfn eu lliw.
Crimes of a deep dye—beiau dybryd, gorthrwm, *neu* waradwyddus.
Dyeing, *s.* lliwiad, lliwad; lliwyddiaeth, lliwiadaeth.
The art of dyeing—lliwyddiaeth.
Dyer, *s.* lliwydd, lliwiwr, lliwiedydd.
Dyer's-weed, *s.* melengu, cynffon titw.
Dyer's greenweed, } banadlos, eurfanadl.
Dyer's broom, } banadl aur, corfanadl, melynog y waen, llysiau melyn, llysiau penfelyn.
Dying, *a.* (o *die*) yn marw, ar dranc, ar farw, wrth farw, yn trengu; ar ei derfyn; marwol, angeuol.
Dying bed—gwely angeu.
Dying hour—awr angeu, awr marwolaeth.
He is dying—y mae efe yn marw; y mae efe ar ei derfyn.
Dyke, *s.*=*Dike.*
Dynameter, *s.* (Gr. *dunamis* a *metron*) gallfesur, chwyddalliadyr, gallfeidyr=offeryn i fesur chwyddallu tremwydrau.
Dynametrical, *a.* gallfesurol, chwyddalliadyrol; perthynol i chwyddalliadyr.
Dynamical, } *a.* (Gr. *dunamis*) grymofyddol,
Dynamic, } nerthofyddol, grymymmodol: nerthig.
Dynamics, *s.* (Gr. *dunamis*) grymofyddiaeth, nerthofyddiaeth, grymymmodeg, grymofiaeth.
Dynamometer, } *s.* (Gr. *dunamis* a *metron*)
Dynometer, } grymfesur, grymfeidyr, grymfydrai, nerthfesur = offeryn i fesur nerth dynion, anifeiliaid, a pheiriannau.
Dynast, *s.* (Gr. *dunastês, dunasteia*) llywadur, llywiadur, llywodraethwr, rheolwr, teyrn, penadur, tywysog; llywodraeth, rheolaeth.
Dynastic, *a.* llywodlinol, teyrnlinol, breninlinol, teyrnachol; perthynol i lywodlin.
Dynastidians, *s. pl.* (Gr. *dunastês*) cawrchwilod.
Dynasty, *s.* (Gr. *dunasteia*) llywodlin, teyrnlin, breninlin, teyrnach, barlin; llywodraeth, arglwyddiaeth, arlwyddiaeth, teyrnedd, arfonedd, penadurdod, penaduriaeth, rheolaeth; gwelygordd *neu* wehelyth olynol breninoedd; llin *neu* linach o freninoedd.
Dys, (Gr. *dus*) rhagddawd anesgarol, yn dynodi *drwg, anhawdd, caled; an-, dis-, di-.*
Dysæthesia, *s.* (Gr. *dus* ac *aithêsis*) annheimladrwydd, annheimladedd, teimlwall, teimlball, annheimlad.
Dyscrasy, *s.* (Gr. *duscrasia*) dryglynedd, dryglynoredd, dryglifnaws; annhymmeredd llynoedd y corff; dryganaawdd corfflynoedd; anhawnt.
Dysecoia, } *s.* (Gr. *dusêcoos*) byddarwch, bydd-
Dysecœa, } eri, trymder clyw.
Dysenteric, *a.* (o *dysentery*) gwaedlifol, gwaedglwyfus, gwaedrydd; perthynol i'r gwaedlif.
Dysentery, *s.* (Gr. *dusenteria*) gwaedlif, gwaedglwyf, gwaedlyfi, gwaedlws, gwaedbibre, darymred gwaed, clefyd y gwaed.
Dysgeusia, *s.* (Gr. *dus* a *geusis*) anarchwaeth, diffyg archwaeth, pall chwaeth.
Dysnomy, *s.* (Gr. *dus* a *nomos*) anghyfraith; drygreithiad, deddfiad drwg, dryglywiad.

**Dysodile,** *s.* (Gr. *dusôdês*) drewlo.
**Dysopsy,** *s.* (Gr. *dus* ac *ôps*) pylni golwg, llygadbylni, llygadbyledd, golygball, drygolwg.
**Dysorexy,** *s.* (Gr. *dus* ac *orexis*) dicräwch, dichwantrwydd, diffyg chwant bwyd, mallchwant, chwantwall.
**Dyspepsy,** } *s.* (Gr. *duspepsia*) annhraul, an-
**Dyspepsia,** } nhreuledd, annhreuliant, malldraul, anhydreuledd, treulwall, gwalldreuliad, annhreuliad ymborth.
**Dyspeptic,** *a.* anhydraul, malldreuliol, annhreuliol, drygdreuliol; blinedig gàn dreulwall; perthynol i annhreuledd.
**Dysphagy,** *s.* (Gr. *dus* a *phagô*) caethlwnc, caethlynciad, anhawsder llyncu, llyncwall, llyncball, aflyncedd.
**Dysphony,** *s.* (Gr. *dusphônia*) ffeigeb, attal dywedyd, attal dywediad, anhawsder llefariad.
**Dysphoria,** *s.* (Gr. *dusphoreô*) anorbeidrwydd, anamynedd, diffyg amynedd; anoddefgarwch mewn cystudd.
**Dyspnœa,** *s.* (Gr. *duspnoia*) diffyg anadl, caethanadl, mogfa, mygodfa.
**Dyspnoic,** *a.* byranadlog, caethanadlog.
**Dysthetic,** *a.* (Gr. *dus* a *tithêmi*) dryganeoddol, drygnawsol, heintansoddol.
**Dysthymic,** *a.* (Gr. *dusthumos*) anobeithiol, gwanobeithiol.
**Dystome,** } *a.* (Gr. *dus* a *temnô*) anhyhollt;
**Dystomic,** } anhawdd ei hollti.
**Dysury,** *s.* (Gr. *dusouria*) y tostedd, attal dwr, carchar dwr, anhawsder troethi, pisglwyf, trynclwyf.
**Dytiscus,** } *s.* (Gr. *duticos*) chwilen y dwr, dyfr-
**Dyticus,** } chwilen; chwilod y dwr.

# E.



**E**, rhagddawd Lladin, yn dynodi *o*, *odd*, *oddi*, *allan o;* ac mewn llawer o eiriau mae iddi ystyr negyddol neu ddifeddedigol; *heb*, *di-*, *an-*.

**Each**, *a.* (S. *ælc*, *elc;* Is. *elk*) pob, pob un; naill.
  Each other—eu gilydd, y naill y llall, naill y llall.
  Each of us—pob un o honom; y naill a'r llall o honom; pob un o hanom.
  Each one—pob un.
  Each man—pob dyn.
  Each one of all—pob un o bawb; pob rhyw un.
  On each side—o'r ddeutu, o'r ddau du, ar bob tu, ar bob ochr, ar bob ystlys, o bob parth, o'r ddeuparth.
  They assisted each other—cynnorthwyasant eu gilydd; cynnorthwyasant y naill y llall.
  At each word she shed tears—hi a ollyngodd *neu* a dywalltodd ddagrau gyda phob gair; hi a wylodd gyda phob gair.
  He gave to each soldier a part — efe a roddodd i bob milwr ei ran.
  According to the language of each people—yn ol tafodiaith y ddeubar bobl (*Neh.* xiii. 24).
  They asked each other of their welfare—cyfarchasant well bob un i'w gilydd (*Ecs.* xviii. 7).

**Eachwhere**,† *ad.* (*each* a *where*) pob màn, yn mhob màn, yn mhob lle.

**Eager**, *a.* (Ff. *aigre;* Ll. *acer*) taer, awyddus, awchlym, awchus, taerddrud; gwresog, tanbaid, tanbeidiol; angerddol, angerddus, poethlym, gwresoglym, terwyn, brwd, greidiol, ffyrnig, llym, esgudlym, graid, creidiol; llym ei fryd *neu* gais; awyddfawr, awyddfrydol, awyddol, awyddog, brwdfrydig, teryll; sur, egr, chwibl, surllyd; chwerw; pigoglym; gwancus, rheibus, trachwantus; haerllug, digywilydd; egnïol, prysur, ewn, eon, ffysg, hawn.
  To become eager, } myned yn daer, &c.;
  To grow eager, } dyfrydio, ffyrnigo, cynddeiriogi; tanbeidio; ymlosgi gàn chwant, gàn ddig, *neu* gàn boethder, &c.; suro, egru, chwiblo.
  Eager attempt—taergais.

**Eagerly**, *ad.* yn daer, &c.; yn unchwant, yn rhawth, yn drachwannog.

**Eagerness**, *s.* taerni, taerder, taerdra, taerdeb, taerineb, awydd, awchlymder, awchlymdra, awchlymedd, awchlymrwydd, tanbeidrwydd, angerdd, awchusrwydd, llymder, gwresogrwydd, brwdfrydedd, poethder, poethni, angerddoldeb, poethlymder, terwynder; taerflys, awyddfryd, ainc, gwanc, blys, taerawydd, mawrchwant, dirchwant, argyllaeth; surni, suredd, egredd, egri, chwibledd; chwerwedd, chwerwder; hawnid, hawnt, awch, awg, ewnedd.

**Eagle**, *s.* (Ff. *aigle;* Ll. ac It. *aquila;* Ysp. *aguila*) eryr; *f.* eryres.
  Golden eagle—eryr euraid, eryr melyn.
  Ring-tail eagle, } eryr tinwyn.
  White-tailed eagle, }
  Bald eagle, } eryr moel, eryr
  White-headed eagle, } penwyn.
  Sea-eagle, } moreryr, eryr y môr, eryr y
  Ossifrage, } dwfr, pysg-eryr, gwalch y weilgi.
  Great sea-eagle—eryr mawr y môr.
  Eagle—Eryr=bath aur yn y Taleithiau Cyfunol, gwerth deg doler, neu £.2 2*s*.
  The Eagle—yr Eryr=cydser yn yr hannergylch gogleddol.
  Like an eagle—eryraidd.

**Eagle-eyed**, } *a.* llygadlym, llygadgraff;
**Eagle-sighted**, } craff ei olwg.

**Eagle-flighted**, *a.* banhedegog, uchedegog, uchelhedegol, uchedegol, uch-hedegol, uchhedegog; yn ehedeg yn uchel; yn hedeg yn uchel fel yr eryr.

**Eagle-speed**, *s.* cyflymder *neu* fuander yr eryr; buander eryrod.

**Eagless**, *s.* (o *eagle*) eryres, eryr benyw.

**Eagle-stone**, *s.* eryrfaen, eryrai.

**Eaglet**, *s.* (o *eagle*) eryran, cyw eryr, eryr ieuanc.

**Eagle-winged**, *a.* goradain, buanred, eryr-adeiniog; mòr gyflym a'r eryr; ar edyn eryrod.

**Eagle-wood**, *s.* (Malayaeg, *agilla*, yr hwn a lygrwyd i *aquila*, eryr) eryrwydd, eryrgoed.

**Eagre**, *s.* (C. *hygre?*) hygre, tonrwyg, llanw ar lanw, uchlanw, gorlif.

**Ealderman**,† *s.*=*Alderman*.

**Eame**,† *s.* (S. *eam*) ewythr.

**Ean**, *v.* (S. *eanian*) oena, oeni, wyna, alu, llydnu, bwrw oen.

**Eanling**,† *s.* oen newydd ei fwrw.

**Ear**, *s.* (S. *ear*, *eare;* Is. *oor;* Al. *ohr;* D. *ore;* Sw. *ora*) clust, ysgyfarn, ysgyfar; clyw, clybod; dyrnddol, gafael, dolen; twysen, bleiniad.
  A little ear—clustan, clusten.
  A single ear—twysen, twysenig.
  Ears of corn—twys o yd, twys yd, twysenau yd, twyseni yd, bleiniaid, rhafnau o yd, twysau yd.
  Ear of a vessel — clust llestr, dyrnddol llestr, gafael llestr, dolen llestr.
  Having ears—clustiog; clustfawr, hirglust, clust-hir.
  Having long *or* large ears—clustfawr, hirglust, clust-hir.

Having red ears—clustgoch, clustrudd, ysgyfarllynig; coch ei glust.
Having slouching ears—clustlipa, clustlaes, llaesglust.
Having no ears—diglust, cwla, moel.
Having ears pricked up—clustfain.
To prick up the ears—clustfeinio.
A pricking up of the ears—clustfeiniad.
Deaf ear—clust fyddar.
To give ear — gwrandaw, gwrando, ymwrandaw, andaw, ymandaw, clust-ymrandaw, clustymwrando, clustfeinio, rhoi clust, gostwng clust.
Of a ready ear—hyglust.
About one's ears—am ben un; am ei ben.
To be by the ears, To fall together by the ears, To go together by the ears, } myned benben; myned wrth y pen a'r clustiau; myned ben yn nghad; bod ben yn nghad; myned ben yn erfid; ymdynu, ymryson, ceintachu, ymgiprysu.
To set together by the ears—gyru benben; gyru ben yn nghad.
If this should come to my father's ear—pe deuai hyn i glustiau fy nhad; pe deuai hyn i glyw fy nhad; os hyn a ddaw i glyw fy nhad.
To pluck the ears—tynu y twys.
Jew's ears—clustiau yr ysgaw; clust yr Iuddew.
Cat's ear—melynydd, clust y gath.
Mouse-ear, Mouse-chickweed, } clust llygoden, cornwlyddyn, gwlyddyn blewog.
Mouse-ear hawkweed—blewynog, torllwyd; torllwydig.

**Ear**, *v. n.* twysenu; tyfu yn dwysenau; hedeg, hodi; hadu.
**Ear**,† *v. a.* (Ll. *aro*) aru, arddu, aredig, amaethu, diwyllio, trin tir, braenaru, gwrteithio.
**Earable**, *a.* (o *ear*) aradwy, arddadwy.
**Earache**, *s.* (*ear* ac *ache*) gwŷn clust, dolur clust, gwaew clust; poen yn y glust.
**Earal**,† *v. a.* clustiol; â dderbynir gàn y glust.
**Ear-bored**, *a.* clusttyllog; tylledig ei glustiau; â'i glustiau wedi eu tyllu.
**Earcap**, *s.* clustgap, cap clustiau.
**Eardeafening**, *a.* clustfyddarol, clustfyddarus; yn byddaru y clustiau.
**Eared**, *a.* (o *ear*) clustiog; âg iddo glustiau; twysenog, twysog.
Red-eared—clustgoch, clustrudd, ysgyfarllynig; coch ei glust.
Crop-eared—clustgwta, clustgwtog, cwla; diglust, moel; gwedi tocio ei glustiau.
Long-eared—hirglust, clust-hir; â chlustiau hirion iddo.
Flap-eared—clustlibin, clustlipa.
Deaf-eared—clustfyddar.
Eared corn—yd twysenog; yd yn y dwysen; yd wedi hodi; yd yn hodi; yd yn ei hawd; yd yn hedeg; yd yn hadu; yd yn ei hosan.
Even-eared—cyfglust, clust-wastad.
**Ear-erecting**, *a.* clustfeiniol, clustfain; yn codi *neu* sythu y clustiau; yn clustfeinio.
**Earing**, *s.* (o *ear*) clustraff.
**Earing**, *s.* (o *ear*,† *v. a.*) ariad, arddiad, arddwriaeth, âr.
In the which there shall be neither earing nor harvest—y rhai a fyddant heb nac âr na medi (*Gen.* xlv. 6).
Earing time—amser aredig.
**Earl**, *s.* (S. *eorl*) iarll; *pl.* ieirll.
The consort of an earl—iarlles.
**Earlap**, *s.* (*ear* a *lap*) clustlibyn, clustlab, clustlabed, clustlib, clustliprym, clusttipyn, llipryn clust, tipyn y glust, llibyn y glust, cwr isaf y glust.
**Earldom**, *s.* iarllaeth.
**Earless**, *a.* diglust, heb glust, heb glustiau, dïysgyfarn; anwrandawgar, anhyglust.
**Earliness**, *s.* (o *early*) cynnarwch; boreuedd, boreuder, boreuolrwydd, boreolrwydd, boreuoldeb.
**Earlock**, *s.* (*ear* a *lock*) clustgudyn, clustlofn, clustlofyn, clustlyweth, cudyn ger y glust.
**Early**, *a.* (S. *ær*, *er*) cynnar; boreuol, boreol, bore, boreu, cynnarol; prydlawn.
It is early—mae yn fore.
Rather early—cynnaraidd, lledfore.
Early-rising—bore-godiad, boregodi.
**Early**, *ad.* yn gynnar, yn fore, yn foreuol, yn y bore, mewn pryd, mewn amser, yn blygeiniol; bore.
Early or late—yn gynnarach *neu* yn ddiweddarach; yn gynnarach *neu* yn hwyrach; ryw bryd neu gilydd.
Very early—yn fore iawn; yn blygeiniol iawn; yn gynnar iawn.
Early in the morning—yn blygeiniol, yn bylgeiniol, yn fore, yn foreuol.
All the people came early in the morning to him—yr holl bobl a foreu-gyrchent ato ef.
It is vain for you to rise up early—ofer i chwi foreu-godi.
In their affliction they will seek me early—pan fyddo adfyd arnynt y'm boreugeisiant.
**Earmark**, *s.* (*ear* a *mark*) nod clust, clustnod.
**Earmark**, *v. a.* clustnodi, nodi y glust.
**Earl-Marshal**, *s.* cyfeistyddiwr llys, iarllfyddinwr, iarllgyfrestrydd, iarllrestrwr, llysgyfrestrwr.
**Earn**, *v. a.* (S. *earnian*, *ærnian*) ennill, ynnill, elwa, maelio, nillo; haeddu, teilyngu, rhyglyddu, dirper, dirperu, gobrynu.
He earns his shilling a day all the year round—y mae efe yn ennill ei swllt bob dydd drwy y flwyddyn.
**Earnest**, *a.* (S. *eornest*, *geornest*) difrif, difrifol, dïofregedd, diwagedd, diwegi, digellwair, digydgam, dichwareu, prysur; pwysfawr, dwys, prudd, dïorwag; dyfal, diwyd, astud, ystig, astig, esgud, eorth; taer, awyddus, awchus, awchlym, gwresog, gwresoglym, terwyn, eiddgar, brwdfrydig, egnïol, taergeisiol; taerlew, taerddrud, bywiog.
In earnest—o ddifrif, yn ddifrifol, yn ddifrif, mewn difrif, heb gellwair, yn ddigellwair, o brysur, yn brysur; yn lle gwir; mewn prysurdeb.
In good earnest—o wir ddifrif; yn wir ddïau; yn ddigellwair, &c.
Earnest prayers — gweddïau dyhewydus, gweddïau difrifol.
Earnest care—diwydrwydd (2 *Cor.* viii. 16).
Earnest expectation — awyddfryd, taer ddysgwyliad, dysgwyliad dwys.

To be earnest upon *or* with—dirio ar; bod yn daer ar; cymhell, annog; dygn flino.
To give earnest heed to—ystyried yn ddifrifol ar; gwrando yn ddyfal ar; dàl ar (*Heb.* ii. 1).

**Earnest**, *s.* difrifoldeb, difrifolder, difrifwch, anofregedd, anghellwair, prysurdeb, taerineb, taerder; gwireddoldeb; ern, ernes, gwystl, briduw, gwaes, arwaes.
Earnest money—ern, ernes, arian arddelw, ceiniog arddelw, gwystl, briduw, gwaes, arwaes.
To give an earnest, To give earnest money, } erno, rhoi ern, rhoddi ern, rhoddi ernes.

**Earnestly**, *ad.* yn ddifrifol, &c.; o ddifrif, mewn difrif; mewn prysurdeb; yn graff, yn graffus; yn lew; o lwyrfryd calon.
Most earnestly—o wir ddifrif; o ddifrifwch calon.
To look earnestly—edrych yn graff; syllu yn graff; edrych yn ddifrifol.
To pray earnestly—gweddïaw o ddyhewydus fryd; gweddïo yn ddyfal; gweddïaw o lwyrfryd calon; difrifol weddïo.
To desire earnestly—awyddu, taer awyddu.
To contend earnestly—ymdrechu yn lew; taer ymdrechu, taer ymdrech.

**Earnestness**, *s.* difrifoldeb, difrifwch, difrifolder, difrifolrwydd, prysurdeb, dwysder, taerineb, taerni, taerder, dyfalwch, astudrwydd, astigrwydd, ystigrwydd, eerthedd, anofregedd, dïofregedd, anghellwair, eiddgarwch, gwresogrwydd, terwynder, tanbeidrwydd; awyddfryd, awydd, taer awydd, brwdfrydedd, brwdfrydigrwydd; pryder, gofal; llwyrfryd calon; difrif a dyfal fryd ar beth.
With great earnestness—o ddifrif calon, o ddifrifwch calon; o wir ddifrifoldeb; mewn difrifoldeb mawr.

**Earning**, *s.* ennill, ynnill, cyflog; ennilliad, elwant.

**Earpick**, *s.* (*ear* a *pick*) carthydd clust, clustgarthydd, clustgarthyr, clustgarth, clustbig.

**Ear-piercing**, *a.* clusttreiddiol, clusttrywanol; yn treiddio y glust.

**Earring**, *s.* (*ear* a *ring*) clustdlws, clusttlws, clustrwy, clustfodrwy.
Earring of gold—tlws o aur (*Iob* xlii. 11); anwyl-dlws euraid (*Diar.* xxv. 12).

**Earsh**,+ *s.* (o'r Ll. *aro*) tir âr, ardir, âr, tir arddedig, tir â arwyd.

**Earshot**, *s.* cyrhaedd y glust, ergyd y glust.
To start out of earshot—bod allan o glyw; bod o gyrhaedd clyw; bod o gyrhaedd y glust.

**Earth**, *s.* (S. *eard, eorth, yrth*; Al. *erde*; Is. *aarde*) daiar, daear, y ddaiar, daiaren, daearen; llawr, y llawr; tir, tud; elfydd, elfydden; pridd, gweryd.
Heaven and earth—nef a daiar, nef a llawr.
Calcareous earth—calchdir, calchddaiar, daiar galch; calchbridd; priddgalch.
Adamic earth—daiar goch, clai coch, daiar Addafig.
Silicious earth—tywottir; pridd callestrig, pridd callestrog, daiar gallestrig, daiar gallestr, cellttud, celltir.
Yellow earth—daiar felen, melyndud=math o ddelidfaen melyn, meddal, à geir yn Wehraw, yn Lusatia Uchaf.
Argillaceous earth—cleidir; cleibridd; daiar glai.
Bolary earth—lleiondir, daiar leiondd, talpbridd.
Fuller's earth—pridd gogarth, pridd y panwr, priddgalch y panwr, priddgalch y panwyr, clai y panwr.
Potter's earth—priddgist, pridd y crochenydd, cleigist, clai y crochenydd, clai y priddor.
The face of the earth—gwyneb y ddaiar, wyneb y llawr, tudwedd, tudwedd, gledd.
Apt to seek the earth, Earth-seeking, } daiargyrch, daiargais, daiargeisiol.
Earth turned up by a bull—buglawdd.
To tear up the earth (as bulls use to do)—bugloddio, bugloddi.
Dwelling on earth—daiardrig.
In earth—ar y ddaiar; yn y ddaiar; mewn daiar.
Irruption of the earth—daiardor.
Earth-smoke—cwd y mwg, mwg y ddaiar, coden euraid, coden hyred, coden eurych, mwydon y ddaiar, mwydion y ddaiar.

**Earth**, *v.* daiaru, daearu, priddo, claddu; ymddaiaru; myned i'r ddaiar; gorchuddio â phridd; rhoi mewn gweryd; rhoi yn y gweryd.

**Earthbag**, *s.* (*earth* a *bag*) daiargod, daiargwd.

**Earthbank**, *s.* daiarglawdd, daiardwyn, daiargaer.

**Earthboard**, *s.* chwelydr, dymchwelydr, gwrachastell.

**Earthborn**, *a.* daiar-anedig; genedig o'r ddaiar; â aned o'r ddaiar; daiarol.

**Earthbound**, *a.* daiar-gaeth, daiar-glymedig; rhwym gân y ddaiar.

**Earth-bred**, *a.* daiar-foes, daiarfoesog; isel, gwael, tlawd, gorwael.

**Earth-created**, *a.* daiar-greuedig; ffurfiedig o ddaiar.

**Earthdin**,† *s.* (*earth* a *din*)=*Earthquake*.

**Earthen**, *a.* (o *earth*) priddin, pridd, priddol; o'r pridd, o bridd, o glai.
Earthen vessels — llestri pridd, llestri priddion, priddlestri, llestri priddin. *sing.* pridden, llestr pridd, priddlestr: *dim.* priddenig.

**Earthenware**, *s.* (*earthen* a *ware*) llestri pridd, llestri priddion, priddlestri, llestri priddin; cregenau; gwaith pridd, cregenwaith.
Dealer in earthenware — priddlestrwr, priddlestrydd, masnachwr llestri pridd, cregenydd.

**Earthfed**, *a.* daiar-borth; gwael, gorwael, isel.

**Earthflax**, *s.* llin y ddaiar, urael, ystinos.

**Earthiness**, *s.* (o *earthy*) daiaroldeb, daiarolrwydd, daiarolder, daiarwch, daiaredd, daiarogrwydd, daiareiddrwydd, priddlydrwydd, daiarllydrwydd.

**Earthliness**, *s.* (o *earthly*) daiaroldeb, daiarolrwydd, daiarolder, daiarogrwydd, daiarwch, daiaredd, daiarllydrwydd, daiareiddrwydd, priddlydrwydd; daiargarwch, bydolrwydd, bydoldeb, bydgarwch.

**Earthling**, *s.* (o *earth*) daiarddyn, daiargarwr, bydolddyn, bydgarwr, bydolyn; un â'i serch *neu* fryd ar bethau sydd ar y ddaiar; un o wŷr *neu* blant y byd: *pl.* daiarblant, daiarolion, marwolion.

**rthly,** *a.* daiarol, daiaraidd, deierin; o'r ddaiar; priddol, priddlyd; o'r pridd; daiargar, bydol, bydgar, bydgarol, bydolfryd, bydolfrydig; gwael.
Earthly beings — daiarolion, daiarblant, bodau daiarol; marwolion.
Earthly course—gyrfa ddaiarol, daiarhynt, tudred, tudredfa, tudrawd.
To make earthly—daiaroli.
**rthly-minded,** *a.* bydolfryd, bydolfrydig, daiarfryd, daiarfrydig, daiargar.
To grow earthly-minded—troi *neu* fyned yn fydolfryd, &c.; troi *neu* fyned yn fydol; rhoddi *neu* osod ei fryd ar fydolrwydd; gosod *neu* roddi ei fryd ar negesau bydol *neu* ddaiarol.
**rthly-mindedness,** *s.* bydolfrydedd, bydolfryd, daiarfrydedd, daiarfryd, daiargarwch, bydgarwch, bydolrwydd, bydoldeb.
**rthnut,** *s.* cneuen y ddaiar, daiargneuen, bywïen: *pl.* clor, cylor, bywi, cnau y ddaiar, daiargnau.
To gather earthnuts—cylora; casglu clor, cynnull bywi.
**rth-pea,** *s.* daiarbysen, pysen y ddaiar: *pl.* daiarbys, pys y ddaiar.
**rthquake,** *s.* (*earth* a *quake*) daiargryn, daiargryd, daiargrynfa.
**rth's-crust,** *s.* crofen, crawen, cresten, crestyn, *neu* grystyn y ddaiar; daiargrofen, daiargrest, daiargrwst, daiargrawen.
**arthshaking,** *a.* (*earth* a *shake*) daiargrynol, daiargrydiol, daiargrydus; yn siglo *neu* yn crynu y ddaiar.
**arth-shine,** *s.* daiargan, daiarglaer=yr hyn a elwir yn gyffredin 'yr hen leuad yn ngho yr un newydd.'
**arth-table,** *s.* tudfwrdd, llorfwrdd.
**arth-tongue,** *s.* tafod y ddaiar.
**arth-wandering,** *a.* daiarwibiol, daiargrwydrol, daiargrwydr, daiarwib; yn crwydro y ddaiar.
**arthwork,** *s.* dairwaith.
**arthworm,** *s.* amwydyn, abwydyn, abwydyn y ddaiar, llyngyren y ddaiar; daiarbryf: *pl.* amwyd, abwyd, llyngyr y ddaiar.
**arthy,** *a.* daiaraidd, daiarllyd, daiarog, priddlyd, priddaidd, priddol; o'r ddaiar, o'r pridd; daiarol, deierin; daiardrig; bydol.
Earthy spirits—ysbrydion daiardrig.
**ar-trumpet,** *s.* clustgorn, udgorn clust, corn clyw.
**arwax,** *s.* (*ear* a *wax*) cŵyr clust, cŵyr y glust, clustgwyr.
**arwig,** *s.* (S. *ear-wigga, ear-wicga*) pryf clust, pryf y glust, pryfyn clust, gorlosten, pryf y clustiau, chwilen clust, chwilen glust, clustchwilen.
**Ear-witness,** *s.* tyst clyw, tyst clywedog.
**Ease,** *s.* (Ff. *aise;* S. *æth;* Ll. *otium*) esmwythder, esmwythyd, esmwythdra, esmwythedd, esmwythiant, gorphwysdra, gorphwysder, gorphwys, gorphwysfa, seibiant, hamdden, llonyddwch, hoe, saib; hawddineb, hoddiant, hawsder, hawsedd, hawsdra; rhwyddineb, rhyddineb, anghaethiwed; ysgafnder, hawshad, ysgafnhad, ysgyfalhäwch; dyddanwch, hyfrydwch, cysur; hun, cwsg; tangnef; anwes, amwes; hawddfyd, hawddfod, hawddfryd.
Chapel of ease—capel anwes.
At ease—yn esmwyth; yn esmwyth arno; yn ddiwaith, yn ddiofal, yn ddifraw, yn ddidaro, yn segur, yn ddïofid; diofal, didres, segur, ysgyfala, didrafferth; mewn hawddfyd; mewn daioni; heddychol; wrth ei fodd.
To live at ease, To take one's ease, } byw mewn hawddfyd; cymmeryd ei orphwysdra *neu* ei orphwysfa; byw yn esmwyth, &c.
He lives at heart's ease—y mae efe yn byw wrth fodd ei galon.
They think of nothing but taking their ease—eu hunig swydd yw dylyn difyrwch; eu hunig orchwyl yw dylyn difyrwch; ni roddant eu bryd ar ddim ond ar ddifyrwch a mwythau.
He lives too much at ease—y mae efe yn ymroddi yn ormod i ddifyrwch a mwythau.
Well at ease—mewn ansawdd da; da ei ansawdd.
Ill at ease—anesmwyth; claf; drwg ei ansawdd.
With ease—yn hawdd, yn esmwyth, yn rhwydd, yn hyrwydd, yn ddidrafferth, gyda rhwyddineb.
Without either ease or intermission—heb na rhwyf na gorphwys.
Thou shalt find no ease — ni orphwysi (*Deut.* xxviii. 65).
Take thy ease—gorphwys (*Luc.* xii. 19).
Heart's ease, Pansy violet, } deuwynebog, llysiau y Drindod, trilliw.
**Ease,** *v. a.* esmwytho, esmwythäu, esmwythäu ar, esmwytho ar; ysgafnhau, ysgafnu, hawshau; llonyddu, llinaru, dyhuddo, lleddfu, dofi, llareiddio, tawelu, llaesu, llacäu, lloddi, diflino, dadflino, dadboeni; cysuro, dyddanu; rhoi esmwythder i; rhyddhau; ysgyfalhau.
To ease a ship — llaesu rhaffau llong; llaesu *neu* lacio llong.
To ease one's self—esmwytho *neu* esmwythäu ei hun; maesa, ystlomi, eistedd; bod ar yr astyllen; esmwythäu ei gorff; ymesmwytho.
I will ease me of mine adversaries—ymgysuraf ar fy ngwrthwynebwyr.
What am I eased? — ai llai fy ngofid (*Job* xvi. 6)?
Not that other men be eased—nid fel y byddai esmwythdra i ereill.
Ease somewhat of the yoke—ysgafnha beth ar yr iau.
He eased me of my burden — efe a'm rhyddhaodd oddi wrth fy maich.
I will ease them—mi a esmwythâf arnynt.
That they might be eased of them—fel y byddai iddynt gael esmwythdra oddi wrthynt.
To ease away, To ease off, } llaesu yn raddol; llacio yn raddol; llaesu rhaff o fesur gradd a gradd.
Eased of taxes—rhydd oddi wrth drethi; rhydd oddi wrth dalion; à ryddhäwyd oddi wrth dalion.
**Easeful,** *a.* esmwyth; llonydd, tawel, tangnefus, heddychol, digyffro, heddol, heddychlawn, heddlawn.
**Easefulness,** *s.* esmwythder, esmwythdra, esmwythyd; heddychlonedd, tangnefusrwydd, heddycholdeb.
**Easel,** *s.* (T. *asel, esel?*) attegwydd paentiwr, attegydd, attegyr.

**Easeless**, *a.* anesmwyth; aflonydd, disaib.

**Easement**, *s.* (Ff. *aisement*) cyfleusder, cyfleusdra, cyfleusrwydd; esmwythiad, esmwythâd, esmwythiant, esmwythawd, hawshad, ysgafnhad; rhyddfraint, ffordd rydd, ffordd ddiwahardd, ffordd ddiwarafun; braint ddidal.
House of easement—esmwythdy, geudy, ysgothdy, ysgothfa, rheitty.

**Easily**, *ad.* yn esmwyth, yn rhwydd, yn hawdd, &c.; hy-.
More easily—yn haws, yn hawddach, yn rhwyddach, &c.

**Easiness**, *s.* (o *easy*) esmwythder, esmwythdra, esmwythyd, llonyddwch, rhwyddineb, rhwyddyd, rhwydd-deb, hawsder, hawsdra, hawddineb, hwylusder, hwylusdod, hwylusrwydd, rhwyddyndod, rhwyddiant, rhwyddynedd; rhyddineb, anghaethiwed; hynawsedd, arafwch, arafedd, mwynder, cyweithasrwydd; hyblygedd, meddaledd, meddalwch; tawelwch, tangnef; gorphwysdra, gorphwysder.
Easiness of temper—hynawsedd, arafwch, arafedd, tawelwch, addfwynder; dyoddefgarwch, goddefgarwch, ymoddef, amynedd.
Easiness to be prevailed upon—hyblygedd; meddalwch, meddaledd; hawddineb i gymeryd ei ddarbwyllo.
Easiness to be pleased — diddigrwydd, boddgarwch, hyfoddrwydd, boddlonrwydd.
Easiness of address—mwynder ymadrodd; esmwythder ymadrodd; deheurwydd, addasrwydd, *neu* harddwch ymddygiad; boneddigrwydd, cyweithasrwydd.
Easiness of belief—hygoeledd, rhygoeledd, coelgarwch, hygrededd, rhygrededd.
Easiness of expression — rhwyddineb, rhwyddyd, rhyddineb, parodrwydd, *neu* anghaethiwed ymadrodd; hyawdledd.
Easiness of style—rhwyddineb *neu* rhyddineb ieithwedd; esmwythder geirweddiad; esmwythder ymadrodd; dull rhwydd, rhydd, *neu* esmwyth ar ymadroddi; naturioldeb ieithwedd; ieithwedd naturiol.

**East**, *s.* (S.; Al. a Sw. *ost;* Is. *oost;* Ff. *est*) dwyrain, y dwyrain, dwyr; dwyreinbarth, dwyreinfyd; codiad, cwniad, cychwyn, *neu* gychwyniad haul.
South-east — de-ddwyrain, deheu-ddwyrain.
North-east—gogledd-ddwyrain.

**East**, / **Easterly**, / **Eastern**, } *a.* (S. *eastern*) dwyreiniol, dwyrain; perthynol i'r dwyrain; o du y dwyrain; tua'r dwyrain; tua chodiad haul; dwyrol.
East wind—dwyreinwynt, gwynt y dwyrain, gwynt dwyreiniol, gwynt o'r dwyrain, gwynt dwyrain.
East Indies, / East India, } yr India Ddwyreiniol, India y Dwyrain, y Ddwyreiniol Ind.
East India Company — Cymdeithwys yr India Ddwyreiniol; Cymdeithwys y Ddwyreiniol Ind; Cymdeithas yr India Ddwyreiniol.
On the east part—o du y dwyrain (*Lef.* i. 16).
The east end—tua'r dwyrain (2*Cron.* iv. 10).

**Easter**, *s.* (S. *eastre;* Al. *ostern;* oddi wrth y dduwies *Eostre*, fel y tybir) Pasc, y Pasc, gŵyl y Pasc.
Easter Sunday—Sul y Pasc, Sul Pasc; dydd y Pasc, dydd Pasc.
Easter offerings—offrymau Pasc.
Easter eve—nos Basc, noswyl y Pasc, ucherwyl Pasc, nos ŵyl y Pasc.
Easter week—wythnos Basc, wythnos y Pasc=yr wythnos â ddechreu ar Sul y Pasc.

**Easterling**, *s.* (o *east*) dwyreiniwr, dwyreinydd; chwiw.

**Easterly**, / **Eastward**, } *ad.* tua'r dwyrain; yn ddwyreiniol; tua chodiad haul.

**Easy**, *a.* (o *ease*) hawdd, esmwyth, rhwydd, hyrwydd; ysgafn, dirwystr, annyrys; dirmgais; hynaws, tirion; llonydd, tawel; meddal; hyfodd, boddgar, parod; hy-.
Very easy—tra hawdd, &c.; hyrwydd.
It is easier—haws yw, hawddach yw; y mae yn hawddach *neu* yn haws.
Easy of access, / Of easy address, } hygyrch, hawdd-gyfarch; hawdd *neu* rwydd ymddyddan âg ef; hawdd cael dyfodiad *neu* ddyfodiad ato; hawdd cael dyfod *neu* fyned ato.
Warm and easy — esmwythglyd, cynhesglyd.
Easy chair—cader esmwyth, mwythgader, esmwythfainc.
Easy to be borne—hyddwyn; goddefadwy.
Easy to be understood—hyddeall, hyddallt; hawdd ei ddeall; hawdd i'w ddeall; rhwydd ei amgyffred; eglur, amlwg, goleu, dealladwy, deallus.
Easy to be deceived, / Easily deceived, } hydwyll, hyhud; hawdd ei dwyllo; hawdd i'w dwyllo.
Easy to be caught, / Easily caught, } hyddal; hawdd ei ddal; rhwydd i'w ddâl.
A very easy piece of work—gwaith diorchest; gwaith heb fawr gamp arno; gwaith rhwydd, gwaith hawdd, gwaith esmwyth.
Easy in temper, / Of an easy temper, / Easily pleased, / Easy to be pleased, } hyfodd, boddgar, diddig, hydrin, hynaws, hydyn, rhadlawn, esmwyth, heddychol, heddychlawn, tangnefus; esmwyth ei dymmer.
In easy circumstances, / Easy in one's circumstances, } esmwyth yn y byd; cynhes yn y byd; mewn ansawdd da; yn dda ei amgylchiadau; yn dda ei ansawdd; esmwythglyd; mewn sefyllfa esmwyth.
Easy to be prevailed upon—hyblyg; hywedd; meddal, ansad; hawdd ei ddarbwyllo.
To make easy—esmwythâu, esmwytho, heddychu, arafu, tangnefu, tawelu, llonyddu; rhwyddhau.
To grow *or* become easy—esmwytho, llonyddu, ymesmwytho, ymlonyddu, ymdawelu, &c.; myned yn esmwyth.
Easy style—ieithwedd rwydd, rydd, esmwyth, lefn, lithrig, *neu* ystwyth.

**Eat**, *v.* (S. *eatan, hitan, ytan, etan;* Is. *eten;* Ll. *edo*) bwyta, ymborthi, ymborthi ar, pori; llewa; difa, ysu, treulio, dyfetha.

To give one to eat—bwydo; porthi; rhoi i un beth i'w fwyta.
That eats but little—dicra.
To eat all about—amgnoi, damgnoi, cylchysu.
To eat up — ysu, difa, dyfetha, treulio, llwyr fwyta, llwyr ddifa, bwyta; bwyta *neu* ysu i fyny.
To eat in, / To eat into, } ysu, difa, bwyta, dyfetha, treulio; bwyta i, bwyta i'r.
To eat out—bwyta, bwyta allan, difa, ysu.
To eat one's words — llyncu ei eiriau; bwyta ei eiriau; galw yn ol ei eiriau; dadalw ei eiriau.
To eat greedily — bwyta yn llyminog; glythu, gnythu; bwyta yn wancus.
To eat together — cydfwyta, cydbori; bwyta yn nghyd; pori yn nghyd; bwyta gyda eu gilydd.
To eat often—dyfwyta, mynych fwyta.
To eat one out of house and home—llwyr fwyta un; llwyr ddifa un; difa un yn llwyr; bwyta *neu* ysu un i fyny.
Good to eat=*Eatable, a.*
To eat liquorishly—bwyta y tamaid goreu; bwyta ammeuthynion; cymmeryd *neu* fynu ei ddewis damaid; bwyta *neu* fyw yn finfelus, yn finflysig, yn foethus, *neu* yn fwythus; cymmeryd byd da yn helaethwych.
Eatable, *a.* bwytadwy, hyfwyd, hygno, hybawr, llewadwy; â fwytäer; â ellir ei fwyta.
Eatable, *s.* bwyd, ymborth, lluniaeth.
Eatables—bwydydd, lluniaeth, ymborth, bwyd; pethau bwytadwy; pethau i'w bwyta.
Eater, *s.* bwytäwr, bwytai, ymborthwr; ysolyr, ysydd.
A great eater — dyn bwytëig, bwytäwr mawr, glwth, dyn glwth, rhwth, rhawth, gewai, gwanciwr, bwytäwr diwala, rhemmwth.
A dainty eater—bwytäwr da; bwytäwr moethus *neu* finfelus.
Eath,† *a.* (S.) hawdd, rhwydd, esmwyth, llonydd.
Eath,† *ad.* yn hawdd.
Eating, *p.* yn bwyta, gàn fwyta, dàn fwyta, &c.; ysol, difaol.
Great eating—glythineb, glothineb, glythni, rhythni, glythi, glythedd, bwyta mawr.
He loveth good eating and drinking—y mae efe yn caru bwyta ac yfed yn dda; mae efe yn caru byw yn finfelus.
Greediness for eating and drinking—glythinebgarwch.
Eating-house, *s.* bwytty, ty bwyta, cegindy.
Eating-room, *s.* ystafell fwyta, ciniawgell, ystafell giniaw.
Eau, *s.* (Ff.) aw, gwy, dwfr, dwr.
Eau de vie—dwfr y bywyd; lloswin, llosgwin, poethwin.
Eaves, *s. pl.* (S. *efese*) bargod, bondo, asbant, bargod to, bargod ty.
Dropping of the eaves—defni y bargod; defnyniad y bargod.
Eaves-board, / Eaves-catch, / Eaves-lath, } *s.* astell fargod, bargod-asen, bargod-eisen, bargod-aseth: *pl.* bargodais.

Eavesdrop, *v. a.* bargodlechu, gwrandaw dàn y bargod; gwrandaw, clust-ymwrando, clustfeinio, *neu* ymglustfeinio dàn y bargod; clust-ymwrandaw *neu* glustfeinio dàn y ffenestri.
Eavesdrop, *s.* defni y bargod, defni bargod, dyferion y bargod, dyferion y to, ystyferion.
Eavesdropper, *s.* gwrandäwr, gwrandäwydd, clustfeiniwr, *neu* glustfeinydd dàn y bargod; gwrandäwr *neu* glustfeiniwr dàn y ffenestri; clustfeiniwr dàn fargod; à wrendy dàn y bargod *neu* y ffenestri; bargodlechwr, bargodlech.
Ebb, *s.* (S. *ebbe*, *ebba*; Al. ac Is. *ebbe*) trai, mordrai, ertrai, moreb, adlif, trai y môr, gwrthlif, llaer, dystyll.
Low ebb—isel drai, iseldrai, moreb isel; meth, methiant.
To be at a low ebb—bod ar iseldrai; bod yn isel *neu* yn wàn yn y byd; byw mewn tlodi *neu* ofid; bod mewn gofid *neu* dlodi.
The turn of the ebb—llygad y dystyll.
Ebb, *v. n.* treio, adlifo, morebu, gwrthlifo, ertreio, llaeru, mordreio; gwrthffrydio, cilio, lleihau, digynnyddu, darfod, myned ar feth.
Ebbing, *s.* trai, mordrai, ertrai; treiad, mordreiad, ertreiad, morebiad, llaeriad.
Ebbing and flowing—yn treio ac yn llenwi; yn treio a llanw; yn myned ac yn dyfod; yn myned a dyfod.
The ebbing and flowing of the sea—trai a llanw; trai a llanw y môr; llif ac adlif y môr; mordrai a morlanw; trai a blaw y môr; trai a llanwed y môr; mordrai a morlif.
Ebbtide, *s.* trai, ertrai, mordrai, moreb, adlif, gwrthlif, gwrthred, llaer, dystyll, treilif.
Ebon, / Ebony, } *s.* (Gr. *ebenos*; Ll. *ebenus*) muchwydd, ebenwydd, ebonwydd, dugoed, ebenus, ebon, dubren, muchbren.
Horns of ivory and ebony—cyrn ifori ac ebenus (*Esec.* xxvii. 15).
Ebon, *a.* à wnaed o'r ebenwydd *neu* ebenus; du fel yr ebenus; du, muchudd; muchwyddin, muchwyddain.
Ebonize, *v. a.* duo, muchuddo, tywyllu; gwneuthur o liw yr ebenus.
Ebony-tree, *s.* muchwydden, ebenwydden, ebonwydden, y pren ebenus, y pren ebon.
Ebracteate, *a.* (*e*, heb, a *bractea*) anmlodeilog.
Ebriety, *s.* (Ll. *ebrietas*) meddwdod, meddwaint, brwysgedd, abrwysgedd, meddwawd, abrwysgiad, dïotach, yfgarwch, dïodgarwch.
Ebrillade, *s.* (Ff.) ysterciad, terciad, ysbonciad.
Ebriosity, *s.* (Ll. *ebriositas*) dïodgarwch, yfgarwch; meddwdod cynnefinol *neu* wastadol; ymroddiad i feddwdod.
Ebulliency, *s.* (Ll. *ebullio*) gorferwad, trosferwad, berwad drosodd, gorferwedd.
Ebullient, *a.* gorferwol, dyferwol, trosferwol; yn berwi drosodd.
Ebullition, *s.* (Ll. *ebullitio*) berwad, gorferwad, dyferwad, berw, crychias, crychferw, berwedd, berwyd; berwad yn grychias; berwad yn grychias glochog; berwad yn angerddol; crychiant, brydiant, angerdd, poethi, brydaniaeth, angerddiad, cynhwrf.
Eburnean, *a.* (Ll. *eburneus*) ifyrn, o ifori, o'r ifori.

**Ecaudate,** *a.* (Ll. *e* a *cauda*) dilost, digonnyn, aflostog.
**Eccaleobion,** *s.* (Gr. *eccaleô* a *bios*) deorfais; dyfais i ddeor wyau â gwres celfyddydol.
**Eccentric,** } *a.* (Ll. *eccentricus*) afreolaidd,
**Eccentrical,** } gwyrog; nwythus, nwythol, nwythig, nwythaidd, arnwythus, cynnwythig; echreiddig, esgreiddig, anghymherfedd, anghynghreiddig, anghynghraidd; yn gadaw y craidd *neu* y canolbwynt; yn gwyro *neu* yn ciliaw oddi wrth y canolbwynt; âg iddo *neu* iddynt ganolbwynt amgen *neu* wahanol; anatebol *neu* anghyfatebol i'r dyben *neu* i'r amcan; anghyfartal, anghydweddol; anghytûn â'r rheol sefydledig; gwrthwyneb i'r rheol sefydlog; annhrefnus, afreolus, od, hynod, pengam.
Eccentric circles—cylchau echreiddig *neu* esgreiddig; cylchau cymhlethedig â gwahan ganolbwynt i bob un o honynt; cylchau yn cymhlethu â'u gilydd â gwahanol gymherfeddi bob un onaddynt.
**Eccentric,** *s.* cylch echreiddig; peth esgreiddig; echreiddig, echreiddyn, peth afreolaidd: *pl.* echreiddigion, esgreiddigion.
**Eccentricity,** *s.* echreiddigrwydd, esgreiddigrwydd; echreiddiad, echreiddiant, esgreiddiant, afreoleiddrwydd, gwyrogrwydd; nwythas, nwythigrwydd, nwythusrwydd, nwythedd, nwytholdeb, nwytheiddrwydd, nwythiant, arnwythas, arnwyth; ymadawiad, gwyrad, *neu* giliad oddi wrth y canolbwynt; anghyfartaledd, afreoledd; hynodrwydd.
Eccentricity of a planet — echreiddigrwydd planed = pellder canolbwynt chwylgylch planedoddi wrth ganolbwynt yr haul.
**Ecchymosis,** *s.* (Gr. *ecchumôsis*) ymddangosiad manau cleisiog ar y croen; cleisfanogrwydd.
**Ecclesiarch,** *s.* (Gr. *ecclêsia* ac *archê*) glwysbenaeth, penaeth eglwysig, glwysreolwr.
**Ecclesiastes,** *s.* (Gr.) y Pregethwr, Llyfr y Pregethwr.
**Ecclesiactic,** } *a.* (Gr. *ecclêsiasticos*) eglwysig,
**Ecclesiastical,** } eglwysol, eglwysaidd; perthynol i'r eglwys; yn perthyn i'r eglwys; glwysol, glwys.
**Ecclesiastic,** *s.* gwr eglwysig, eglwysog, eglwyswr, eglwysydd, eglwysur, golychwydwr.
**Ecclesiasticus,** *s.* Llyfr Ecclesiasticus (yn yr Apocrypha); Doethineb Iesus ab Sirach.
**Ecclesiology,** *s.* (Gr. *ecclêsia* a *logos*) eglwyseg.
**Ecclesiological,** *a.* eglwysegol.
**Eccoprotic,** *a.* (Gr. *ec* a *copros*) rhyddhaol, ysgothol, gosgothol, tirion ysgothol, lledgarthol.
**Eccoprotic,** *s.* ysgothai, ysgarthai, carthai tirion; gosgothai, gosgarthai; cyffer ysgothol tirion.
**Eccrinology,** *s.* (Gr. *eccrinô*) rhidiadaeth.
**Echelon,** *s.* (Ff.) griswedd, grisffurf.
**Echinate,** } *a.* (Ll. *echinus*) draenogaidd,
**Echinated,** } dreiniog, draenog, gwrychog, pigog.
**Echinidæ,** *s.* (Gr. *echinos*) morddraenogod.
**Echinite,** *s.* draenogfaen.
**Echinodermata,** } *s. pl.* (Gr. *echinos* a *derma*)
**Echinoderms,** } draengroenogion, crasgroenogion.
**Echinus,** *s.* (Ll.; Gr. *echinos*) draenog; mor-ddraenog; pen pigog, top pigog.
**Echium,** *s.* (Gr. *echis*) gwiberlys, gwesyn y wiber bronwerth y wiber, tafod y bwch, tafod y afr.
**Echinophora,** *s.* (Gr. *echinos* a *pherô*) mor-pigog.
**Echo,** *s.* (Ll.; Gr. *êchô*, *êchos*) adsain, adlais, adlef, dadsain, dadlef, gwrthlais, ateb-, gwrthsain, gwrthson, gwrthswn, adsw-, careg lefain, craig lefain, craig lafar, craig lefair, llech lafar.
**Echo,** *v.* adseinio, dadseinio, dadsain, ads-, adlefain, adleisio, atebleisio, gwrthleis-, gwrthseinio, darleisio, tarleisio, darstain, tarsteinio.
**Echometer,** *s.* (Gr. *êchos* a *metron*) seinfes-, seinfydrai, seinfeidyr, adseinyr.
**Echometry,** *s.* seinfesuriaeth, seinfydraeth, mesuriad parhad seiniau; seinadeilaeth.
**Eclaircise,** *v. a.* (Ff. *éclaircir*) egluro, eglu-hau, deongli, esbonio, amlygu, dangos i'r oleu.
**Eclaircissement,** *s.* (Ff.) eglurhad, eglur-, esboniad, deongliad, amlygiad, dangosiad i'r oleu.
**Eclampsy,** *s.* (Gr. *eclampsis*) lluchedyn, lluchedeu; yr haint dygwydd, masglwyf.
**Eclat,** *s.* (Ff.) bloddest, bloedd o ganmoliaeth cyforddyl; canmoliaeth, moliant, mol-, clod, anrhydedd; dysgleirdeb, gloew-, gloewineb, llewych, llewyrch, ysblander, rhwysg, gwychedd, gwychder, gorwych-, urddas, mawrydigrwydd, gogoniant, urdd-iant, rhwysg a rhodres.
**Eclectic,** *a.* (Gr. *eclecticos*) detholig, dewis-, detholawl, detholedig, dewisig, dewised-, dewisionol, detholiadol.
Eclectic philosopher — athronydd detholig.
**Eclectic,** *s.* detholydd, dewisydd, dewisionydd, detholigwr, athronydd detholig: *pl.* deth-igion, detholigiaid, detholiaid.
**Eclecticism,** *s.* detholiaeth, detholigaeth, detholedigaeth, dewisigaeth, dewisyddiaeth, athrawiaeth y Detholigiaid.
**Eclegm,** *s.* (Gr. *ecleichô*) llyfgyffyr; cyffyr o surfedd ac olew; mysgolew.
**Eclipsareon,** *s.* (o *eclipse*) diffygiadyr, diffyg-ebyr=offeryn i egluro arddangosiad diffyg-ion.
**Eclipse,** *s.* (Gr. *ecleipsis;* Ll. *eclipsis*) diffyg, diffyg (ar yr haul *neu* y lloer); argudd-, cluddiad, cludd, huddiad, pall, cil; cwm-, tywyllwch, caddug; gwaradwydd.
**Eclipse,** *v.* peri diffyg ar; cymylu, tywyllu, arguddio, dychluddo, huddo, cysgodi, cudd-, gorchuddio, caddugo, huddiannu; pylu dysgleirdeb; taflu i'r cysgod; anenw-, gwarthruddo, gwaradwyddo; diffoddi, diffodd; myned dàn ddiffyg; bod â diffyg ar-s gludd arno; diffygio.
To be eclipsed, } bod dàn ddiffyg, dan
To be in eclipse, } gysgod, *neu* dàn gwmwl; bod mewn anmharch, anfri, *neu* anurddas; bod yn warthruddedig; diffygio, gwallygio.
**Ecliptic,** *s.* (Gr. *ecleipticos;* **Ll.** *eclipti-*) heulrawd, heulrod, diffyglin; cylch y diffygion, rhod.
**Ecliptic,** *a.* heulrodol; perthynol i'r heulrawd, yn goddef diffyg; cluddiol.

**Eclogue**, *s.* (Gr. *eclogê*) bugeileg, bugeilgerdd, bugeilgan, cân fugeiliol.
**Economic**, **Economical**, *a.* (Gr. *oiconomicos*) trefniadol, trefnidol; cynnil, annhreulgar, trefnus, diwastraff, diafrad, tolgar, dryd, drydol, ymarbedus, tringar; teulunethol, teulüyddol; perthynol i deulüyddiaeth; tydrefnol, tydrefnus.
**Economics**, *s.* teuluaeth, tydrefnidedd, teulüwriaeth; teulüyddiaeth.
**Economist**, *s.* cynnilydd, cynnilwr; trefnidydd, trefnidwr; iawndrefnwr, cyttrefnwr, trefnwr; â drino y pethau sy ganddo yn ddiafrad.
**Economize**, *v.* cynnilo; bod yn gynnil; arfer cynnildeb; trefnido, trefnyddio, trefnyddu; trin yn drefnus.
**Economy**, *s.* (Gr. *oiconomia;* Ll. *œconomia*) cynnildeb, cynniledd, cynnilwch, cynnildra; trefnidedd, trefniadaeth, trefnidiaeth, trefnid, trefniant, cyttrefn, trefn, trefniad, cyfundrefn, deseb, triniaeth, triniad; goruchwyliaeth, agweddiad; egwyddor; teithi.
  Jewish economy—yr oruchwyliaeth Iuddewig.
  Domestic economy, Household economy, teuluaeth, teulüyddiaeth, teulüwriaeth, trefnidedd teuluol, trefnidedd teuluaidd, cynnildeb teuluol, tylywodraeth, tydrefniant, tydrefnidedd; rheolaeth, llywodraeth, *neu* drefnidiaeth ty.
  Political economy—trefnidedd gwladol, agweddiad gwladol, gwleidiadaeth.
  Human economy—agweddiad dynol.
  Economy of life—trefnidedd oes, oesdrefn, oesdraw.
  This is the true economy of human life—hyn yw gwir deithi einioes dyn.
**Ecphasis**, *s.* (Gr.) mynegiad eglur.
**Ecphonesis**, *s.* (Gr.) dirlais; arlef, gwaeddolef; diweddlef; rhyfeddeb.
**Ecphractic**, *a.* (Gr. *ec a phrattô*) teneuol; rhyddhaol, dadrwystrol; toddol.
**Ecphractic**, *s.* cyffer teneuol *neu* ddadrwystrol: *pl.* teneuolion.
**Ecstasied**, *a.* perlewygol, llesmeiriol, mewn perlewyg, mewn perlesmar, mewn hyfrydfas; gwedi ei lyncu i fyny gàn lawenydd; gorlonedig, gorlawen.
**Ecstasy**, *s.* (Gr. *ecstasis*) perlewyg, llesmar, llesmair, mas, perlesmair, llawenfas, hyfrydfas, llawen lewyg, perfas, llon lesmar, gorawen, perloes, perlewygfa, gorlonder, gorlonedd; llewyg, mas, *neu* lesmar gàn lawenydd; gwŷn, ias, gwynias; gwynfyd, gorhyfrydwch, gorffawg;† gordristyd; †gwallgofrwydd.
**Ecstasy**, *v. a.* llesmeirio, gorloni, gorlloni, gorawenu, perlewygu, perfasu, hyfrydfasu; llanw â llesmair, perlewyg, *neu* lawenydd.
**Ecstatic**, **Ecstatical**, *a.* perlewygol, llesmeiriol, perlesmeiriol, perloesol, gorlonedig, gorawenus, gorawenol, gorlonol, perfasol, gwyniasol; mewn perlewyg, perloes, llesmar, perlesmar, llewyg, *neu* berlewygfa; yn cael ei lyncu i fyny gàn lawenydd; yn cael ei orchfygu gàn lawenydd; hyfryd tu hwnt i fesur.
**Ectasis**, *s.* (Gr.) sillhwyant, sillhwyhad; gwneuthuriad sill fèr yn sill hir.
**Ectypal**, *a.* (o *ectype*) cyfysgrifol, dadysgrifol, adysgrifol, tanysgrifol, adluniol; â gymmerwyd o'r gwreiddiol.
**Ectype**,† *s.* (Gr. *ectupos*) cysgrif, cyfysgrif, adysgrif, adlun, eilun, cyflun.
**Ecumenic**, **Ecumenical**, *a.* (Gr. *oicoumenicos*) cyffredinol, cyffredin, llwyrwysol.
  Ecumenical council—cynghor cyffredinol, cynghorfa gyffredinol, cynghor cyffredin; cynghor cyffredinol Cred; cynghorfa cynnrychiolwyr eglwysi Cred.
**Ecurie**, *s.* (Ff.) marchdy, aman, marchlan.
**Edacious**, *a.* Ll. (*edax*) bwytëig, gwancus, glwth, (*f.* gloth), glythig, rhawth, rhwth, (*f.* rhoth), bolrwth, cegrwth, ceulrwth, cyfys, bwydiog, rheibus, barus, gnythol.
**Edacity**, *s.* (Ll. *edacitas*) bwyteigrwydd, glythineb, glothineb, glythni, glythedd, glythigrwydd, glythinebgarwch, gwanc, gnwth, gnythawd, rhythni, bolraib, bolrythni, gwancusrwydd, rhaib ar fwyd, bwyta diwala, ainc, rheibusrwydd.
**Edder**, *s.* (S. *eder*) bidbleth, aswiail, aswial, gwrychrwy, cauad pen clawdd.
**Edder**, *v. a.* bidblethu, aswialu, gwrychrwyo.
**Eddish**, **Eadish**, *s.* adladd, attwf.
**Eddoes**, **Edders**, *s.* (enw brodorol) math o wraidd bwytadwy priodol i Affrica.
**Eddy**, *s.* (S. *ed*, yn ol, ac *ea*, dwr?) pwll tro, trobwll, llyn tro, gwibwrn, hoewal, troddwfr, sybwll, troad dwfr, cylchdroad dwfr; llynclyn, sugnbwll; gwrthlif, adlif; dystroad.
  A strong eddy—chwyrnfor; morgymlawdd.
**Eddy**, *v. n.* dyströi; troi, cylchdroi; troi fel pwll tro.
**Eddy**, **Eddying**, *a.* dystroawl, cylchdroawl; yn troi, yn dyströi, yn cylchdröi; tröedig, dyströedig; tro-; ffalm; chwyrndroawl, chwibwrn, gwibwrn.
  Eddy tide—gwrthlif, adlif, gwrthred llif, trai, dystyll.
  Eddy wind—trowynt, corwynt, gwynt ffalm, toredwynt, awel dro, gwynt tro, gwynt tröedig.
  Eddy water—troddwfr; marwddwfr, marddwfr, merddwfr, dwfr llonydd (yn iaith morwyr).
**Edematous**, **Edematose**, *a.* (Gr. *oidêma*) chwyddlynorog; dyfrglwyfus; llynorog; chwyddedig.
**Eden**, *s.* (H.) Gwynfa, Paradwys, hyfrydle.
  Eden plains—gwastadoedd paradwysaidd; gwastadedd tra hyfryd; gwastadedd Eden.
**Edenized**, *a.* (o *Eden*) gwynfaog, gwynfäedig; â dderbyniwyd i wynfa *neu* baradwys.
**Edentata**, **Edentals**, **Edentates**, *s. pl.* (Ll. *edentatus*) anneintogion, anneintigion=milod heb ddannedd blaen.
**Edentate**, **Edentated**, *a.* (Ll. *edentatus*) anneintiog, diddannedd, diddaint, heb ddannedd.
**Edentate**, *s.* anneintiog; milyn heb ddannedd blaen.
**Edentation**, *s.* anneintiad, diddeintiad, diddanneddiad.
**Edge**, *s.* (S. *ecg;* Al. *ecke, ege;* D. *eg;* Sw. *egg;* Ll. *acies*) min; awch, afwch, llymder, llymdra; ymyl, cwr, ochr, or, goror, emyl, ymylgylch, byl, haech, rhim, rhimp, crimell, crim, crimp; eithaf.

To set the teeth on edge—peri y ddeincod; codi deincod; peri dincod.
The being on edge—deincod, y ddeincod.
Edge tools—heiyrn awch, arfau awch, arfau miniog.
Even with the edge—cyfor, cyforiog.
Edge to edge—minfin.
Turned edge—gwrthfin.
Edge of a cliff—ael rhiw, ffring, ffrin, ael clogwyn, min clogwyn.
Lower edge—godre; *pl.* godreon, godrau.
Back edge—adfin.
Outer edge—gorfin, gorymyl, min allan.
Edge of night—min nos.
To make an edge—awchu, hogi, minio, llymu.
To take off the edge—dïawchu, tori awch, pylu awch, tynu y min, pylu, erbylu, dadawchio, dadawchu.
Having an edge=*Edged*, *a.*
Having no edge—dïawch, difin, pwl, aflym, ambwl.
Having two edges—deufiniog, deufin; amlym.
Having three edges—triminiog; triochrog.
Having but one edge—unfiniog, unminiog, unfin.
Having a turned edge—gwrthfiniog.
Setter of an edge—gof awch, awchwr, awchydd, hogwr, hogydd, golymwr, golymydd; blaenllymwr.
Not only with the edge, but with the point—nid yn unig â'r min, eithr â'r blaen.

**Edge**, *v.* awchu, minio, llymu, golymu, hogi, llymhau, awchlymu, cyfhogi, llifo, llifiannu; ymylu, eirionynu, bylu, rhimio, rhimpio; cynhyrfu, cyffröi, cythruddo, annog, annogi, symbylu, dirio, cymhell, annos, rhoi awch yn, llymhau bryd, chwerwi; symmud; symmud bob ychydig; symmud â'i fin *neu* ymyl yn mlaen; pwyso ar y gwynt.
To edge in—troi, gwthio, cadw, *neu* locio i mewn; cylchynu, amgylchynu, amgylchu; troi y cyrau *neu* yr ymylau i mewn; ymlithro i mewn yn ddirgel; ymwthio i fewn.
To edge forward—ymwthio, ymylu, ymwasgu, *neu* weithio yn mlaen.
To edge in with—tynu yn agos at; agoshau at; dynesu at.
We must edge upon the wind—rhaid i ni bwyso *neu* wasgu ar y gwynt.

**Edged**, *a.* miniog, awchus, llym, awchlym, llifaid; ymylog, ochrog, eironynog, rhimiog, bylog.
Two-edged—deufiniog, deufin; amlym.
Broad-edged—awchlydan, minlydan.
Sharp-edged—awchlym, awchus; llym ei fin.

**Edgeless**, *a.* dïawch, pwl, difin, aflym, ambwl, anawchus.

**Edge-railway**, *s.* min-reilffordd.

**Edgetool**, *s.* erfyn awch, offeryn awch, haiarn awch, erfyn miniog.

**Edgewise**, *ad.* ar y min; ar hyd y min; ar hyd yr ymyl; yn llwrw ei ymyl; yn wysg ei fin; â'i fin *neu* ymyl yn mlaen, llwrw y min *neu* yr ymyl; â'i ochr *neu* ystlys yn mlaen.

**Edging**, *s.* ymylwe, eirionyn, eirionen, amaerwy, ymylgylch, mined, rhidens, sider, culwe, bylwe; ymylres, minres; aif.

**Edible**, *a.* (o'r Ll. *edo*) bwytadwy, hyfwyd, hygno, llewadwy; â ellir ei fwyta; â fwytäer.

**Edict**, *s.* (Ll. *edictum*) rheitharch, rheitharcheb, teyrnarch, rheitharchiad, archiadeb, ordinhad gyhoedd, cyhoeddeb, cyhoeddiad, arhoeddiad.

**Edictal**, *a.* rheitharchol, teyrnarchol, rheitharchiadol; perthynol i reitharcheb.

**Edificant**, *a* (Ll. *ædificans*) adeiladol, adeilawl; yn adeilo.

**Edification**, (Ll. *ædificatio*) adeiladaeth, adeiladiad, adeilad; addysgiad, addysg, hyfforddiad, gwelliant, gwellhad, gwellineb.

**Edificatory**, *a.* adeiladol, adeilawl.

**Edifice**, *s.* (Ll. *ædificum*) adeilad, adail, ty, adeildy; adeiladaeth, adeilwaith.

**Edificial**, *a.* (o *edifice*) adeiladaidd, adeilaidd, adeildyol; perthynol i adail *neu* adeilad.

**Edifier**, *s.* (o *edify*) adeiladwr, adeiladydd, adeilwr, adeilydd; addysgwr, addysgydd, hyfforddwr.

**Edify**, *v. a.* (Ll. *ædifico*; Ff. *édifier*) adeiladu, adeilo; addysgu, hyfforddi, athrawiaethu, athrawu, gwellhau.

**Edifying**, *a.* adeiladol; addysgiadol, hyfforddiadol, addysgol.

**Edifyingness**, *s.* adeiladoldeb, adeiladolrwydd; addysgoldeb.

**Edile**, *s.* (Ll. *ædilis*) adeilior=swyddog Rhufeinig â ofalai am yr adeiladau cyhoeddus.

**Edileship**, *s.* adeilioraeth, swydd yr adeilior.

**Edit**, *v. a.* (o'r Ll. *edo*) golygu, llenolygu; golygu cyhoeddiad; cyhoeddi.
Edited by A. B.—dàn olygiad *neu* olygiaeth A.B.; golygedig gàn A.B.

**Edition**, *s.* (Ll. *editio*) argraffiad, argraff; cyhoeddiad, adgyhoeddiad, gosodiad allan.
Stereotype edition—argraffiad ystrydeb, argraffiad cyfargraff.

**Editor**, *s.* (Ll.) golygydd, golygwr, llenolygydd; colwynwr *neu* golwynydd llyfr; cyhoeddwr; cyhoeddydd.

**Editorial**, *a.* golygyddol, llenolygyddol, llenolygol; o eiddo y golygydd.

**Editorship**, *s.* golygyddiaeth, golygiaeth, golygiad, llenolygiaeth, swydd golygydd.

**Edituate**,† *v. a.* (Ll. *edituor*) amddiffyn ty *neu* deml.

**Educable**, *a.* (Ll. *educo*) addysgadwy, meithrinadwy, &c

**Educate**, *v. a.* (Ll. *educo*) dwyn i fyny, addysgu, hyfforddi, meithrin, meithrino, magu; deifnogi, deifnio, addygu, dysgu.

**Educated**, *a.* addysgedig; gwedi cael dygiad i fyny; dygiadus, deifniog, dysgedig, addygiadus; gwedi cael *neu* dderbyn addysg; gwedi cael dysg *neu* ddysgeidiaeth; gwedi ei ddwyn ar fonedd; gwybodus; addysgwych.

**Education**, *s.* (Ll. *educatio*) addysg, addysgiad, addysgiant, addysgiaeth, dysg, dysgeidiaeth, dygiad i fyny, addygiad, deifnogaeth, hyfforddiad; meithrinaeth, meithriniaeth, meithriniad, magiad; trawiaeth, dysgaeth, dysgad; moes; dysg a moesau da.
Good education—addysg da, dysg da, &c.; moes.
Evil education—drygddysg, drwg addysg, addysg drwg; anfoes.
Superior education—rhagorddysg, gorddysg, addysg rhagorol, dysg rhydeddus.
Liberal education—dygiad i fyny mewn dysg a moesau da; dygiad i fyny mewn

dysg a moes; dygiad i fyny ar fonedd; addysg mewn dysg a moes; addysg breiniol, rhyddedog, rhydeddus, rhyddedus, *neu* foneddigaidd.

To give children a liberal education—dwyn plant ar fonedd; dwyn plant i fyny ar fonedd.

Committee of council on education — pwyllgor cynghor addysg; cyssedd y cynghor addysg; pwyllgor y cynghor ar addysg; cyfeistedd y cynghor ar addysgiad; cyssedd y cynghor ar addysgiaeth.

Secular education — addysg cyffredin, addysg gwladol, addysgiaeth fydol, addysg anghyssegrol.

**Educational**, *a.* addysgol, addysgiannol, addysgiadol, addygiadol, dysgeidiol; perthynol i addysg, &c.

Educational institutions — sefydliadau addysg, sefydliadau dysg, sefydliadau addysgiadol; dysgeidfau, dysgeidfaoedd, addysgfaoedd.

**Educator**, *s.* addysgwr, addysgydd, addysgiadur, addysgiedydd, dysgwr, dygwr i fyny, meithrinydd, deifnogwr.

**Educe**, *v. a.* (Ll. *educo*) dwyn allan, tynu allan; dwyn i oleuni; dwyn i'r goleuni; dadanhuddo, amlygu, dangos, erthynu, eddygu, deodi.

**Educt**, *s.* (Ll. *eductum*) deawd, erthynawd, eddygawd; peth à dynwyd allan; alldaeth, erthynedd: *pl.* eddygion, deodion, erthynolion.

**Eduction**, *s.* (Ll. *eductio*) tyniad allan, dygiad allan; dygiad i'r golwg; dygiad i'r goleuni; dadenhudded, amlygiad, erthyniad, eddygiad, deodiad.

Eduction pipe—erthynbib, pibell eddygu.

**Eductor**, *s.* tynwr allan, tynydd allan, dygwr allan, dygiedydd allan; tyniedydd, tynydd, eddygydd, eddygwr.

**Edulcorate**, *v. a.* (Ll. *edulco;* Ff. *édulcorer*) melusu, chwegu, pereiddio, perhau, meluso, melusiannu; sugro; puro, teru, pureiddio, puriannu, tirioni.

**Edulcoration**, *s.* melusiad, melusiant, chwegiad, pereiddiad, pereiddiant; sugrad; purad, teriad.

**Edulcorative**, *a.* melusol, melusiannol, pereiddiol; sugrol; puriannol.

**Eek**, *v. a.*=*Eke.*

**Eel**, *s.* (S. *æl;* Al. *aal*) llyswen, llysŵen; llawethan, llywethan: *pl.* llyswod, llysŵod, llyswenod.

Conger eel, Sea eel, — llyswen bendoll, morlyswen, morlysŵen, y bendoll.

A small eel, A young eel, — llyswenig, llysŵenig, llyswenan, llysŵenan.

Electrical eel—llyswen drydan, llyswen drydanol, llysŵen luchiasol.

Sand eel—llymrïen, llymrïad, llymrïaden: *pl.* llymrïod, llymrïaid.

Broad-nosed eel—llyswen drwynllydan.

Sharp-nosed eel—llyswen drwynfain.

To catch eels, To fish for eels, — llyswena, dàl llyswod, pysgota llyswod.

**Eelfishing**, *s.* llyswena, pysgota am lyswod.

**Eelpie**, *s.* pastai lyswod, crawsaig lyswenod.

**Eelpot**, *s.* basged lyswena, basged llyswod.

**Eelpout**, *s.* llofen, llofenan, corlyswen, corlysŵen; llyswenig, llyswenan.

**Eelskin**, *s.* croen llyswen, croen llyswod.



**Eelspear**, *s.* tryfer lyswod.

**Effable**,† *a.* (Ll. *effabilis*) hydraeth, hydraith, traethadwy, treithadwy, hyson, adroddadwy, traethol, mynegol.

**Efface**, *v. a.* (Ff. *effacer*, o'r Ll. *ex* a *facio*) dileu, anflurfio, difwyno, aflunio, llygru, dinystrio, dystrywio, crafu allan, diddymu; tywyllu, cuddugo, cymylu; treulio, treulio ymaith.

**Effacement**, *s.* dilead, anffurfiad, difwynad, dinystriad.

**Effascinate**,† *v. a.* (Ll. *effascino*) swyno, rhinio, hudo, rheibio.

**Effect**, *s.* (Ll. *effectus*) effaith, affaith, effeithiolaeth, affeithiolaeth, gwaith, gweithrediad gweithred, canlyniad, ffrwyth, ffaith; dyben, pen, perwyl, ystyr, amcan; budd, lles, llesiad, mantais; sylwedd, swm; yr hyn a barwyd; yr hyn à ddel o beth; grym; cwblhad, perffeithiad.

These are the effects of drunkenness—dyma effeithiau, ffrwythau, *neu* ganlyniadau meddwdod; dyma yr hyn a ddaw o feddwdod; dyma yr hyn a ddaw o feddwi.

To effect—i berffeithrwydd cyflawn; i ben da; i ddyben da; i ben.

He brought the matter to effect—efe a ddygodd y peth i ben; dygodd y peth i ben da; dygodd y peth i ddyben da.

What was the effect of it?—beth a ddaeth o hono? beth a ddaeth o hano? beth a fu y canlyniad? pa rinwedd oedd ynddo? pa effaith oedd ynddo? pa beth a ddygwyddodd ar hyny? pa dyciant a gafodd? pa dyciant a fu iddo? pa fath oedd ei olion?

In words to this effect—mewn geiriau i'r perwyl, i'r ystyr, *neu* i'r dyben yma; mewn geiriau i'r ystyr hyn; yn y geiriau hyn neu y cyffelyb; mewn geiriau cyffelyb *neu* debyg i hyn.

To no effect—yn ofer, yn ddiles, yn ddifudd, yn ddirym.

Void to all effects—dirym i bob deunydd.

Of no effect—ofer, gwag, diffrwyth, coeg, seithug, difudd, diles, anolo, diddym, dirym, dinerth, anhyrym, dieffaith.

To make of no effect—diddymu, dirymu, dirymio, difuddio, diffrwytho, seithugio, gwneuthur yn ofer, peri yn ofer, dieffeithio.

He did, in effect, say—efe a wnaeth gystal a dywedyd; dywedodd cystal a hyny.

It is in effect the same—yr un peth mewn gwirionedd ydyw.

To take effect—myned *neu* ddyfod i ben; cael ei gyflawnu; cael ei ddwyn i ben; cael effaith; cael ei effaith; cymmeryd lle; ffynnu, llwyddo, tycio.

Contrary effect — gwrtheffaith; effaith groes *neu* wrthwynebol.

Christ is become of no effect to you—chwi a aethoch yn ddifudd oddi wrth Grist (*Gal.* v. 4).

**Effect**, *v. a.* effeithio, cyflawnu, dwyn i ben, cwblhau, gorphen, gorphenu, dybenu; achosi, peri, peru, peri bod, gwneuthur, gwneyd, gweithredu, gorugo; dichon, dichoni, digoni, gallu, gallel.

**Effectible**, *a.* effeithiadwy, galluadwy, galladwy,

dichonadwy, gwneuthuradwy, paradwy; â ellir ei ddwyn i ben.
Effection, *s.* (Ll. *effectio*) effeithiant, effeithiad; effeitheb.
Effective, *a.* (Ll. *effectivus*) effeithiol, effeithlawn, affeithiol, achosol, achosiadol; gweithredol, gwneuthurol, goberol; grymus, grymiol, nerthol, cryf, cadarn, galluog, dichonol, digonol, digoniannol; cymhwys, addas, *neu* barod i waith; effeithbair.
The army consisted of ten thousand effective men—yr oedd yn y fyddin ddeng mil o wŷr cymhwys i'r gad; yr oedd yn y fyddin ddeg mil o wŷr parod i ryfel.
Effectively, *ad.* yn effeithiol, &c.; gydag effaith; yn nghyd âg effaith.
Effectless, *a.* dïeffaith, aneffeithiol, dirym; difudd, ofer, diles, anolo.
Effector, *s.* (Ll.) effeithiwr, effeithydd, achosydd, perydd, peridydd, periadur, effeithiedydd, gwneuthurwr.
Effects, *s. pl.* da, daoedd, moddion, alaf, da cyffro, da cyfodedyn, golud, cyfoeth, dodrefn; cwbl o'r mud; arian parod; nwyddau; masnach.
Effectual, *a.* (o *effect*) effeithiol, effeithlawn, affeithiol, achosol, achosiadol; gweithredol, gwneuthurol, goberol, ffeithiol; grymus, grymiol, nerthol, cryf, cadarn, galluog; cymhwys, addas, *neu* barod i waith; hollol, cyflawn; ffrwythol, ffrwythlawn; ffynnedig, ffynnadwy; gorol, dichonol, digonol; gwirioneddol.
To be effectual—dichoni, gallu, gallael, gallel, dichon, digoni; bod yn effeithiol, &c.
A great door and effectual—drws mawr a grymus (1 *Cor.* xvi. 9).
By the effectual working of his power—yn ol grymus *neu* nerthol weithrediad ei allu ef.
The effectual fervent prayer of a righteous man availeth much—llawer a ddichon taer weddi y cyfiawn (*Iago* v. 16).
Effectually, *ad.* yn effeithiol; gydag effaith; yn nghyd âg effaith; yn rymus, yn nerthol; yn ddybenus, yn hollol, yn gyflawn.
As effectually as — yn gystal a; mòr effeithiol a.
Which effectually also worketh in you—yr hwn hefyd sydd yn nerthol weithio ynoch chwi.
Effectuate, *v. a.* (o *effect*; Ff. *effectuer*) effeithio, effeithioli, affeithio, achosi, ffeithio, peri, peru, gwneuthur; dwyn i ben, cyflawnu, cwblhau, gorphen, gorphenu, dybenu, dwyn o amgylch, gorugo; gallu, gallel, dichoni, dichon, digoni, digoniannu.
Effectuation, *s.* effeithiad, effeithiolaeth, ffeithiad, ffeithiant, effeithiant, digoniant, dichoniad.
Effectuous, *a.*=*Effectual.*
Effeminacy, } *s.* (o *effeminate*) gwreigeidd-
Effeminateness, } rwydd, gwreigeidd-dra, gwreigioldeb, gwreigiolrwydd, mercheiddrwydd, merchedeiddrwydd, mercheidd-dra; maswedd, meddalwch, meddaledd, meddalder, mwythusder, mursendod, murseneiddrwydd, tynerwch, destlusrwydd; anŵredd, annewredd, anwrolaeth, annyndra, annyndid; anlladrwydd, trythyllwch, tesach.
Effeminate, *a.* (Ll. *effœminatus*) gwreigaidd, gwreigiol, gwreigol, merchedaidd, benywaidd; mursenaidd, mwythus, moethus, masweddgar, masw, maswy, masweddol, mwyth, meddal, meddf, meddfaeth, tyner, miwail, destlus; heb ddim gïau ynddo; anŵraidd, annewr, annewraidd, annyndidog, anwrol; hywraig, fel benyw; gwàn, gwanaidd.
An effeminate person — maswedddwr mwythlan.
Effeminate, *v.* gwreigeiddio, benyweiddio, mercheiddio, merchedeiddio, murseneiddio, mursenu, anwrio, anŵreiddio; gwneuthur yn wreigaidd, &c.; myned yn wreigaidd, &c.
Effeminately, *ad.* yn wreigaidd, &c.; trwy wraig, trwy fenyw, gàn wraig, gàn fenyw.
Effemination, *s.* gwreigeiddiad, benyweiddiad, mercheiddiad, murseneiddiad, anŵreiddiad, anwriad; gwreigeiddrwydd, benyweiddrwydd, gwreigioldeb.
Effendi, *s.* (Tyrc.) enw o barch yn dynodi *Meistr*, à roddir yn benaf i ddysgedigion ac eglwysogion yn amherodraeth Twrci.
Efferous,† *a.* (Ll. *effero*) creulawn, ffyrnig, ciaidd, tren, ffroddus, gwyllt, anwar.
Effervesce, *v. n.* (Ll. *effervesco*) brydio, dyfrydio, dyferwi, gorferwi, crychferwi, siferwi, ymgynhyrfu, ymferwi, bwrlymu; twymo, gwresogi; bod yn frwd, yn dwym, neu yn wresog; gwresogi gàn waith neu ymgynhyrfiad; berwi.
Effervescence, *s.* brydiad, dyfrydiad, dyferwad, crychferwad, brydaniaeth, berwad, siferwad, ymgynhyrfiad, bwrlymiad.
Effervescent, *a.* dyfrydiol, dyferwol, dyferw, crychferwol, dyferwog, brydiol; yn dyferwi, yn dyfrydio.
Effervescible, *a.* dyfrydiadwy, brydiadwy, dyferwadwy, berwadwy, hyferw.
Effete, *a.* (Ll. *effœtus*, *effetus*) diffrwyth, anffrwythlawn, anhiliog, diblant, dïepil, dihil, diffaeth; llesg, methedig, methiannus, gwanllyd, egwan.
Efficacious, *a.* (Ll. *efficax*) effeithiol, effeithlawn, affeithiol, achosol; grymus, nerthus, nerthol, grymiol, nerthog, galluog, grymiannol, nerthiannus, nerthfawr; à ddichon ddwyn i ben; à eill beru yr effaith à ddymuner; addas, cymhwys.
To render efficacious — gwneuthur yn effeithiol, &c.; grymiannu, nerthuso, effeithioli, nerthocäu, nertholi, nerthogi.
Efficaciousness, } effeithioldeb, effeithiolrwydd,
Efficacy, } effeithiolder, nerthineb, nerthusrwydd, nertholrwydd, nertholdeb, nerthogrwydd, nertholedd, nerthusedd, nerthwch, grymusder, grymusdra, grymusrwydd; grym, nerth, gallu, galluedd, galluogrwydd, rhinwedd, digoniant, achosoldeb, peirioldeb, nerthfawredd; effaith gweithrediad; gallu i gynnyrchu effeithiau; cyferddoniant, cyferddawn.
Efficience, } *s.* (Ll. *efficiens*) effeithiad, effeith-
Efficiency, } iolad, achosiad, gweithrediad; grym, gallu, *neu* rinwedd i beri *neu* wneuthur; gwneuthuriad *neu* bariad bod peth; pariad effeithiau; effaith, achos; effeithiolaeth, periadaeth; gallu, grym.
Efficient, *a.* effeithiol, achosol, achosiadol, parol, pariannol, pariannus, pariadol,

It is enough—digon yw; y mae yn ddigon; digona.

They did not count it enough—nid digon oedd ganddynt; nid digon ganddynt.

It is not enough that we abstain from doing evil—nid digon yw ymgadw o honom rhag gwneuthur drwg; nid yw ddigonol ymgadw o honom rhag gwneuthur drwg.

Enough, *s.* digon, digonedd, gwala; haflug, amledd, amlder.

I have had enough—mi a gefais ddigon; mi a gefais fy ngwala.

I have enough of it — y mae genyf fi ddigon o hono; mae genyf fi ddigon a digonedd o hono; y mae genyf fi rad Duw o hano.

I have enough to do it withal—mae genyf fodd i'w wneuthur.

To give enough to—rhoi digon, digonedd, gwala, *neu* gyfraid i; rhoi ei ddigon, ei ddigonedd, ei wala, *neu* ei gyfraid i; digoni, diwallu, digonoli; boddloni; llenwi.

Enough is as good as a feast—digon yw digon o ffigys; digon yw digon o fendith ei fam.

Enough, *ad.* digon, yn ddigon, yn ddigonol, yn ddiwall.

It is true enough—mae yn ddigon gwir; mae yn wir ddigon; y mae yn wir ei wala.

This Cæsar knew well enough—gwyddai Caisar hyn yn ddigon da; hyn a wyddai Caisar yn dda ddigon.

Ready enough—digon parod, parod ddigon; eithaf parod.

Ye have dwelt long enough in this mountain—digon i chwi drigo hyd yn hyn yn y mynydd hwn (*Deut.* i. 6).

Enounce, *v. a.* (Ll. *enuncio;* Ff. *énoncer*) traethu, treithu, cyhoeddi, mynegu, adrodd, dadgan.

Enouncement, *s.* traethiad, mynegiad, cyhoeddiad, adroddiad, dadganiad.

Enow, *a.* | Enow, *s.* | Enow, *ad.* } lluosog o *Enough:* ond anfynych eu harferir.

En Passant, *ad.* (Ff.) ar y ffordd; ar gerdded; ar redeg; ar ei hynt; ar ei daith; ar hynt; wrth fyned heibio; gyda llaw; gyda myned heibio; wrth frysio; wrth brysuro.

Enquicken,† *v. a.* bywhau.

Enquire, | Inquire, } *v.* (Ff. *enquerir;* Ll. *inquiro*) gofyn, holi, ceisio, chwilio, ymofyn, ymholi, ymofyn am, ymofyn â, ymoralw, ymorol, ymoroli, ymgeisio, ymgais, ymofynyd, ymorol am; ymgynghori, ymgynghori â.

Let us enquire into the matter—chwiliwn *neu* holwn y peth *neu* y mater; ymofynwn yn nghylch y peth *neu* y mater.

As though ye would enquire something more perfectly concerning him—fel pe byddech ar fedr cael gwybod yn fanylach ei hanes ef (*Act.* xxiii. 15).

Enquiry, *s.* ymofyniad, ymholiad, ymofyn, holiad, chwiliad, ymchwiliad, ymoralw, ymoralwad, ymorol, gofyniad.

Enrace,† *v. a.* (o *race*) planu.

Enrage, *v. a.* (o *rage;* Ff. *enrager*) llidio, cyffröi, cythruddo, cynddeiriogi, ennyn llid, cynneu dig, gyru yn gynddeiriog; annog, cyffröi, *neu* gynhyrfu i ddigofaint; gwylltio, gorddigio, ffyrnigo, gorwytho; peri ymgynddeiriogi, peri gwyniasu, peri ynfydu, peri gwallgofi; cynhyrfu *neu* gyffröi dig.

Enraged, *p. p.* llidiedig, &c.; cynddeiriog, llidiog, llidus, gorddig, gorwyllt; à yrwyd yn ynfyd *neu* yn gynddeiriog; gwedi ei yru yn gynddeiriog *neu* yn ynfyd.

To be enraged—bod yn gynddeiriog, &c., llidio, gorddigio, digio, brochi, ymgynddeiriogi.

To grow enraged—myned yn gynddeiriog, cynddeiriogi, ymgynddeiriogi, ymffyrnigo.

Enrange,† *v. a.* (o *range*) rhestru, rhesu, rhencio, rhengu, rhengio.

Enrank, *v. a.* (o *rank*) rhestru, rhesu, rhencio, rhengio, rhengu; gosod yn rhestr; gosod yn rhes; byddino.

Enrapt, | Enraptured, } *a.* (o *rap*) mewn perlewyg, mewn llon lesmar, mewn perlesmair, mewn hyfrydfas, mewn llawenfas, perlewygol, llesmeiriol; gorlawen.

Enrapture, | Enravish, } *v. a.* (o *rapture, ravish*) llesmeirio, perlewygu, perloesi, gorlloni, gorlloni, gorlawenu, gorlawenychu, perfasu, hyfrydfasu; taflu *neu* fwrw i berlewyg; rhoi *neu* beri mewn hyfrydfas; llesmeirio gan ddifyrwch *neu* ddyddanwch; llanw â llesmair.

Enrapt,† *v. a.*=*Enrapture, Enravish.*

Enravishment, *s.* perlewyg, perlesmar, llesmair, llon lesmar, llawenfas, perfas, perlesmair, hyfrydfas, gorlonder, gorlawenydd, perloes, perlewygfa, llesmair, mas, gorawen; llesmair, mas, *neu* lewyg gàn lawenydd.

Enregister, *v. a.* (o *register;* Ff. *enregistrer*) coflyfru, cofrestru, cofresu, cofnodi, echresu, ysgrifenu mewn coflyfr *neu* gofrestr.

Enrheum, *v. n.* (Ff. *enrhumer*) gormwytho; bod â'r gormwyth *neu* ddyferwst arno.

Enrich, *v. a.* (o *rich;* Ff. *enrichir*) cyfoethogi, gwneuthur yn gyfoethog; berthogi, brashau, brwyso; cynnysgaethu â chyfoeth; ffrwythloni, gwrteithio; gwneuthur yn fras *neu* yn ffrwythlawn; berthu; ystorio, haflugo.

Enricher, *s.* cyfoethogwr, cyfoethogydd.

Enrichment, *s.* cyfoethogiad; yngyfoethogiad, berthogiad, berthiad; brashad, gwrteithiad, diwylliad, brwyshad, gwellhad; helaethiad, mwyhad.

Enridge, *v. a.* (o *ridge*) grynio, trumio; gwneuthur yn rynau.

Enring, *v. a.* (o *ring*) modrwyo, cylchynu, amgylchu, amgylchynu, damgylchu; rhwymo, amrwymo.

Enripen, *v. a.* (o *ripen*) addfedu, ffaethu; gwneuthur yn addfed.

Enrive, *v. a.* (o *rive*) hollti, ysgyrioni, delltu, eisgio, holli.

Enrobe, *v. a.* (o *robe*) gwisgo, dilladu; harddwisgo, addurno; harddu *neu* addurno â gwisg; trwsio, trwsiadu, arwisgo, ysgino; gwisgo am.

Enrol, | Enroll, } *v. a.* (Ff. *enrôler*) coflyfru, cofrestru, cofresu; ysgrifenu mewn coflyfr *neu* gofrestr; ysgrifo mewn llyfr coffadwriaeth; rhoi mewn llyfr *neu* goflyfr; cofnodi; cofysgrifo; llyfru *neu* lythyru enwau; ysgrifenu i lawr; †cau am.

Enroller, *s.* cofrestrydd, cofrestrwr, coflyfrydd, coflyfrwr, cofnodwr, cofysgrifydd.

Enrolment, *s.* cofrestriad, coflyfriad, cofresiad, llyfriad; ysgrifenad mewn coflyfr; coflyfr,

**cofrestr**, cofres, cofysgrif, cofysgrifen, llyfr coffadwriaeth.
**Enroot**, *v. a.* (o *root*) gwreiddio, peri gwreiddio; planu yn ddwfn; sicrhau.
**Enround**,† *v. a.* (o *round*) amgylchu, amgylchynu, cylchynu, amgau.
**Ens**, *s.* (Ll.) en, endid, bod, hanfod, bodolaeth, bodoliaeth; sylwedd bywiol; rhinwedd.
**Ensafe**,† *v. a.* diogelu.
**Ensample**, *s.* (o *sample*, neu *example*; Ll. *exemplum*) anghraifft, enghraifft, cynllun, cynnrych, rhagddull, cynddull, cynffurf, cynneilwad, dangoseb, dangosen, rhagffurf, cynddelw, rhagddarlun, engraff, egluryn, sampl, esampl; prawf, dangosiad.
Being ensamples to the flock—gàn fod yn esamplau i'r praidd (1 *Pedr* v. 3).
**Ensample**, *v. a.* rhoddi, dangos, *neu* osod anghraifft; rhoddi cynllun; anghreifftioli, egluro, profi.
**Ensanguine**, *v. a.* (o *sanguine*; Ll. *sanguis*) gwaedlydio, gwaedlydu, gwaedreiddio, gwaedruddo; gwneuthur yn waedlyd; halogi â gwaed; trybaeddu *neu* drochi mewn gwaed; ysbrychu â gwaed.
Ensanguined field—maes gwaedlyd, maes gwaedlydiog.
**Ensate**, *a.* (Ll. *ensis*) cleddyfaidd, cleddaidd; ar lun cleddyf.
**Enschedule**, *v. a.* (o *schedule*) atlenu, attodlenu; gosod mewn atlen; rhoddi ar attodlen.
**Ensconce**, *v. a.* (o *sconce*) cysgodi, gwasgodi, diogelu, amddiffyn; amgloddio.
**Enseal**, *v. a.* (o *seal*) inselio, selio, inseilio, golöi, cwyrfathu; rhoi *neu* osod sel ar.
**Ensealing**, *s.* inseliad, seliad, inseiliad.
**Enseam**, *v. a.* (o *seam*) gwrymio; gwnio yn nghyd, cydwnio, gwrym-wnio.
**Enseamed**,† *a.* (o *seam*) seimiog, seimlyd.
**Ensear**, *v. a.* (o *sear*) creithlosgi, serio, ysoli, llosgi.
**Ensearch**,† *v. a.* (o *search*) chwilio, ymchwilio am, chwilio am, ymofyn am.
**Ensemble**, *s.* (Ff.) cydoll, cyfoll, oll, cwbl; gyda'u gilydd, yn nghyd.
**Enshield**, *v. a.* (o *shield*) tarianu, cadellu; gorthöi, toi, *neu* wisgo â tharian; rhoi tarian am; amddiffyn, diffynu, noddi; amddiffynu megys â tharian; gorchuddio, gorthöi.
**Enshrine**, *v. a.* (o *shrine*) creirio, creirgadw; rhoddi i gadw *neu* yn nghadw mewn creirgell; rhoi yn nghadw *neu* i gadw mewn cysegrfa; creirgellu, creirdyo, tlysgellu, ysgrino, coffri.
**Enshrouded**, *a.* (o *shroud*) amwisgedig, amdöedig, amdoawg, gorchuddiedig.
**Ensiferous**, *a.* (Ll. *ensis* a *fero*) cleddyfog, cleddyfddwyn, cleddog, cleddeuddwyn; yn dwyn cleddyf.
**Ensiform**, *a.* (Ll. *ensis* a *forma*) cleddyfaidd, cleddyflun, cleddyfwedd, cleddaidd, cleddyfain; ar lun cleddyf; ar ddull cledd.
**Ensign**, *s.* (Ff. *enseigne*; Ll. *insigne*, *insignia*) baner, baniar, lluman, penwn, penon, pensel, eiddoed; arwydd, nod; banerwr, llumanwr, banierwr, banierydd, banerydd, dygiawdwr y lluman.
Bearing an ensign — banerog, banierog, llumanog.
**Ensign-bearer**, *s.* banerwr, llumanwr, llumanydd, banierydd, banerydd, banierwr, dygiawdwr y lluman, dygiawdr y faner.
**Ensigncy**, *s.* banieraeth, baneraeth, llumanaeth, penseliaeth, baneryddiaeth; swydd *neu* urddas banerwr.
**Ensigned**, *p. p.* banerog, banierog, llumanog.
**Enskied**,† *a.* (o *sky*) gwybreuedig; gwedi ei osod yn y nef; anfarwoledig.
**Enslave**, *v. a.* (o *slave*) caethiwo, caethu; dwyn yn gaeth; dwyn i gaethiwed; gwneuthur yn gaeth; gwneuthur yn gaethwas; argaethu; difreinio.
**Enslavedness**, *s.* caethiwed, caethiwusrwydd, caethedigrwydd, caethiwedigrwydd, caethiwad; caethfyd, caethder, caethnawd, caethrawd.
**Enslavement**, *s.* caethiwed, caethiwad, caethiad, caethiant, caethder, caethfyd, caethrawd, caethnawd, caethwasaeth, caethwasanaeth, caledwaith, caledfyd, ceithialedd; dygiad yn gaeth, argaethiad.
**Enslaver**, *s.* caethiwydd.
**Ensnare**, *v. a.* (o *snare*) maglu, rhwydo, byddaglu, byddagu, bachellu, bagellu, carfaglu, telmu.
**Ensnarer**, *s.* maglwr, rhwydwr, byddaglwr, bachellwr, bagellydd.
**Ensnaring**, *p.p.* yn maglu, &c.; bachellgar, dichellgar, rhwydol, bachellus; dengar.
**Ensnarl**, *v. a.* (o *snarl*) dyrysu, maglu, rhwydo, methlu, nidro.
**Ensober**, *v. a.* (o *sober*) sobri, sobreiddio, dadfeddwi; peri yn sobr, yn bwyllog, *neu* yn ddifrif.
**Ensphere**, **Insphere**, *v. a.* (o *sphere*) cronellu, cronenu, clobenu, clobynu, pellenu; gosod mewn cronen; gwneuthur yn gronen.
**Enstamp**, *v. a.* (o *stamp*) arfathu, argraffu, argraffu ar, argraffu yn ddwfn, printio yn ddwfn, gwneuthur ol dwfn.
God enstamped his image on man—argraffodd Duw ei ddelw ar ddyn.
**Enstyle**, *v. a.* (o *style*) enwi, cyfenwi, arenwi, gorenwi, galw.
**Ensue**, *v.* (Ff. *ensuivre*; Norm. *ensuer*; Ll. *sequor*) canlyn, dylyn, dylyd, arganlyn, oliannu, dyfod ar ol, dygwydd wedi.
Let him seek peace, and ensue it—ymgeisied â heddwch, a dylyned ef (1 *Pedr* iii. 11).
**Ensuing**, *p.* yn canlyn, yn dylyn, &c.; canlynol, dylynol, nesaf, ar ol, i ddyfod, nesaf ar ol, nesaf i ddyfod, rhagwyneb.
The ensuing year—y flwyddyn nesaf; y flwyddyn ganlynol.
**Ensurable**, *a.* (o *insure*) diogeladwy.
**Ensurance**, *s.* (o *ensure*) diogeliad, digollediad, yswiriant, diogelwch, diogeliant, digolliant.
**Ensure**, *v.* (*in* a *sure*; Ff. *assurer*) diogelu, digolledu, yswirio, digolliannu, dilysu.
**Ensurer**, *s.* (o *ensure*) digolledwr, digolledydd, digolliannwr, ymrwymwr am ddigolliant.
**Ensweep**, *v. a.* (o *sweep*) ysgubo, hwysgo, dysgubo.
**Entablature**, **Entablement**, *s.* (Ff. *entablement*; Ysp. *entablamento*) argoplech, pentablech, tabwaith; gorysgwydd; topaddurn.
**Entacle**,† *v. a.* (o *tacle*) taclu.
**Entail**, *s.* (Ff. *entailler*) rhwymddisgyniad; tattrefrwym, hawlrwym, etifeddrwym, tifeddrwym, rhwym, tudrwym; anaralledd, anaralliad; rhwymdir, tir hawlrwym= rhwymiad wrth hiliogaeth yn anattaladwy, yn anwerthadwy, *neu* yn anaralladwy.

**Entail**, *v. a.* hawlrwymo, tattrefrwymo, tifeddrwymo, tudrwymo; anarallu; sefydlu yn anarallwy *neu* yn anwerthadwy; rhwymo wrth yr etifedd; rhwymo wrth ryw un *neu* rai neilltuol; gadael etifeddiaeth, etifeddu; rhwymo=rhwymo tir wrth had un byth, fel nas gellir na'i werthu na'i roddi i ereill oddi wrth yr iawn etifeddion; sefydlu treftadaeth yn y cyfryw fodd ag nas geill yr un o'r rhai a'i meddiannant rhag llaw mo'i rhoi i'r neb y myno.

**Entail, Entaile,** *s.* (It. *intaglio*) tlysgerfiad, tlysgerfwaith; y rhanau mwyaf cynnil a llafurfawr o gerfwaith.

**Entail,** † *v. a.* cerfio, trychu, tlysgerfio.

**Entailment**, *s.* (o *entail*) hawlrwymiad, tattrefrwymiad, tudrwymiad, anaralliad; rhwymiad etifeddiaeth yn anaralladwy wrth ddyn a'i etifeddion; rhwymddisgyniad.

**Entame**, *v. a.* (o *tame*) dofi, gwarhau, gwareiddio; darostwng.

**Entangle**, *v. a.* (o *tangle*) dyrysu, maglu, nidro, methlu, dyrysblethu, rhwydo, carfaglu, rhysu, penblethu; dàl mewn magl; rhwystro, cynghafu, afrwyddo, annhrefnu.

To entangle one's self—ymddyrysu, ymrwystro, ymnidro, &c.

Tending to entangle—dyrysol, dyrysgar, nidrol.

**Entangled**, *a.* dyrys, rhwystrus, afrwydd, cynghafus, cynghafog, cynghawog, nidrog, penbleth, cinyglog, astrus, clymedig, dyrysedig, &c.

Entangled hair—gwallt dyrysedig, nidrog, *neu* ginyglog.

**Entanglement**, *s.* dyryswch, dyrysrwydd, dyrysni, dyrysi, dyrysedd, nidr, nidri, nidredd, nidrogrwydd, rhwystr, ymrwystr, ymbleth, ednid, methledd, astrusi, anhawsder, penbleth, cynghafusrwydd, cynghafogrwydd, cynghaw, annhrefn, didri; dyrysiad, maglad, nidrad, methledd, cymhlygiad, ymfagliad, ymddyrysiad, ymrwystrad.

**Entangler**, *s.* dyryswr, dyrysydd, nidrwr, maglwr, &c.

**Entasis**, *s.* (Gr.) cyrfleiad; canolchwydd.

**Entasia, Entasis,** *s.* (Gr. *entasis*) rhwymwyneg, gwrwst rwymol.

**Entastic**, *a.* rhwymwynegol; perthynol i wrwst dynrwymol.

**Entassment**, *s.* (Ff.) pentwr, twr, crug, cruglwyth, cyttwr, carnedd.

**Entelechy**, *s.* (Gr. *entelecheia*) gwirfod, gwirfodaeth, dirfodaeth, dirhanfod, gwirhanfod.

**Entelminthia**, *s. pl.* (Gr. *entos* a *helmins*)= *Entozoa*.

**Entender**, *v. a.* (o *tender*) ymddwyn yn dyner at; bod yn dyner *neu* dirion wrth.

**Enter**, *v.* (Ff. *entre;* o'r Ll. *inter, intra*) myned i mewn; dyfod i mewn; myned i; myned i mewn i; treiddio; dechreu, cynnechreu; dechreu ar; myned ar; llyfru, ymlyfru; aelodi, ymaelodi; myned yn aelod i *neu* o; cael ei dderbyn; cofrestru, cofresu, rhestru; gosod i lawr, dodi i lawr; ffurfio rhan o.

To enter into—myned i; myned i mewn i; myned i fewn i; myned i mewn.

To enter on *or* upon—cymmeryd mewn *neu* yn llaw; myned yn nghylch; myned yn nghyd â; dechreu, cychwyn; dechreu ar; ymgymmeryd â.

To enter in a book—llyfru, coflyfru; ysgrifenu, nodi, *neu* roi mewn llyfr; gosod *neu* ddodi i lawr mewn llyfr; dodi *neu* osod mewn llyfr; ysgrifenu, dodi, *neu* nodi yn ei lyfr.

To enter in by violence—rhuthro, ymwthio, *neu* dori i mewn.

To enter in by stealth—ymlusgo, llithro, *neu* ymlithro i mewn yn lladradaidd; dyfod i mewn yn lladradaidd.

To enter an action against one—rhoi cwyn yn erbyn un; cwyno yn erbyn un; cychwyn *neu* gyffröi hawl yn erbyn un; cychwyn cynghaws yn erbyn dyn; rhoi cyfraith ar un.

To enter into the merits of a cause—chwilio gwreiddyn y mater; manwl holi peth; dwfn chwilio peth; chwilio peth i'r gwaelod; mynu gweled gwaelod, sail, *neu* eithaf peth; chwalu mater yn drwyadl.

To enter into bond for appearance—ymrwymo *neu* ymwystlo ar ymddangos; ymrwymo *neu* ymwystlo ar ateb; ymwystlo *neu* ymrwymo ar ddyfod ger bron, ymrwymo drwy fachysgrif ar ateb; ymrwymo *neu* ymwystlo ar ddyfod ger bron yr ynad ar y dydd penod.

To enter one's self in a person's service—myned i wasanaeth un; myned yn was *neu* weinidog i un; ymgyflogi i un; myned at un ar ei gyflog *neu* wasanaeth.

To enter a young beginner—egwyddori; dechreu un mewn peth; rhoi yr addysg cyntaf i un; sylfaenu un mewn celfyddyd.

To enter into a league — cynghreirio, ymgynghreirio; gwneuthur cynghrair; myned i gynghrair.

To enter into articles, To enter into covenant, ammodi, cyfammodi, tynu cytundeb; myned mewn cyfammod; myned dàn gyfammod; ymgyfammodi; gwneuthur ammod *neu* gyfammod; cytuno ar ammodau.

To enter into conference—cynnadla, cynnadlu, myned mewn cynnadl.

To enter into contention — ymgynhenu, cynhenu; myned i mewn i gynhen; myned i gynhen.

To enter into conversation—dechreu ymddyddan; myned mewn ymddyddan.

They entered into conversation—hi a aeth yn ymddyddan rhyngddynt.

To enter into a treaty for peace—cylafareddu am heddwch; myned mewn cylafaredd am heddwch; cynnal cylafaredd am heddwch.

To enter into friendship with one—ymrwymo *neu* fyned mewn cyfeillach âg un; ymgyfeillio *neu* ymgyfeillachu âg un; myned i gyfeillach âg un.

To enter into judgment—myned i farn.

Enter not into judgment—na ddos i farn.

To enter into orders—cymmeryd *neu* dderbyn urddau; myned dàn *neu* mewn urddau; cymmeryd urddau arno.

To enter a caveat — gwahardd; bwrw rhwystr *neu* anach; gosod rhwystr *neu* anach; rhoddi anach, gwahardd, gwaharddeb, *neu* rwystr; rhoi lluddeb *neu* anacheb; gosod, rhoddi, dodi, *neu* fwrw nam; rhoi rhybudd gochel.

**To** enter upon a business—ymosod *neu* ddechreu ar waith; ymosod *neu* ddechreu ar ei waith; myned i'w neges; dechreu ei orchwyl; cychwyn ei *neu* i'w orchwyl; dechreu gorchwyl; dechreu galwedigaeth.

**To** enter on *or* upon an estate—cymmeryd *neu* gael goresgyn; derbyn ei etifeddiaeth *neu* dreftadaeth; myned i mewn i'w etifeddiaeth *neu* dreftadaeth; cymmeryd meddiant o'i etifeddiaeth.

**To** enter upon an office—myned i swydd; myned i mewn i swydd; dechreu ei swydd; dechreu swydd; cymmeryd swydd arno.

**To** enter upon a journey — cychwyn i daith; codi i daith; dechreu taith; cychwyn taith; cychwyn.

**To** enter college—myned i goleg; myned i'r coleg; dechreu *neu* gynnechreu mewn coleg; derbyn i goleg; derbyn i mewn i goleg; cymmeryd i mewn i goleg; cymmeryd, derbyn, *neu* gofrestru enw mewn coleg; rhoi ei enw ar lyfrau y coleg; rhoddi ei enw yn llyfrau y coleg; ymaelodi, ymgofrestru, *neu* ymlyfru mewn coleg; myned yn aelod o goleg.

**He** entered St. David's College—aeth i Goleg Dewi Sant; cynnechreuodd yn Ngholeg St. Dewi; ymaelododd yn Nghlasgor Dewi Sant, &c.

**He** was entered at Jesus College—derbyniwyd ef i Goleg Iesu; cafodd ei dderbyn i Glasgor Iesu; aeth i Goleg Iesu; anfonwyd ef i Goleg Iesu; cofrestrwyd ef yn Ngholeg Iesu.

**To** enter one's self—rhoi ei enw i mewn; rhoi ei enw yn *neu* ar y llyfrau; ymgofrestru, ymrestru, ymlyfru, ymgoflyfru; ymaelodi; ymrwymo; myned i; myned yn.

**To** enter one's self a soldier—myned yn filwr; ymrestru yn filwr; ymrwymo yn filwr; rhoi ei enw yn mysg y milwyr; ymrwymo; rhoi ei enw i mewn.

**Entered** at Stationers' Hall—cofrestrwyd yn Neuadd y Safwerthwyr; coflyfredig yn Neuadd y Safwerthyddion; breiniedig drwy *neu* yn y Safwerthlys; llyfredig yn y Safwerthlys.

**To** enter the lists—myned i'r ymdrechfa; ymgystadlu; tynu y dorch.

**Into** a malicious soul wisdom will not enter —nid ä doethineb i enaid drygionus.

**I** will enter into the battle—mi a af i'r rhyfel.

**Enter** into his gates with thanksgiving—ewch i mewn i'w byrth ef â diolch.

**Enterclose,** *s.* (*enter* a *close*) rhyngfynedfa, rhyngffor; tramwyfa rhwng dwy ystafell.

**Enterdeal,**† *s.* (*enter* a *deal*) cydfasnach, cyttrafod.

**Entering,** *s.* mynediad, mynedfa, dyfodiad, dyfodfa; mynediad, dyfodiad, *neu* ddyfodfa i mewn; cyntedd, cynteddfa, cynhor, cynnor.

From the entering of Hamath—o ddyfodfa Hamath; o'r lle yr eir i mewn i Hamath; o'r ffordd yr ewch *neu* yr eir i Hamath; o'r ffordd y deuir i Hamath.

To the entering of Egypt—hyd y mynediad i'r Aifft.

2 R

**Enteritis,** *s.* (Gr. *enteron*) fflameg y coluddion, ennynfa yr ymysgaroedd, tandde yr ymysgaroedd.

**Enterlace,** *v. a.* (*inter* a *lace*) cydblethu, cymhlethu, cydweu, cyfresu, cyfrestru, rhyngsideru, cymhlitho, cydgymmysgu, gosod; rhwygo, rhwyllo.

**Enterocele,** *s.* (Gr. *enteron* a *cêlê*) coluddfreg, torgoludd.

**Enterography,** *s.* (Gr. *enteron* a *graphô*) perfeddiomaeth, dysgrifiad o'r perfedd, darluniad o'r coluddion.

**Enterolith,** *s.* (Gr. *enteron* a *lithos*) coluddfaen.

**Enterology,** *s.* (Gr. *enteron* a *logos*) coluddiaeth, coluddeg; traethawd ar ranau tufewnol y corff.

**Enteromphalos,** *s.* (Gr. *enteron* ac *omphalos*) bogeilfreg, bogelfreg, bogeldor, torfogel.

**Enterparlance,** *s.* (Ff. *entre* a *parler*) cymmadledd, cymmadl, cylafaredd, cyflafaredd, cydlafaredd, cydsiarad, ymgom, ymddyddan, cymddyddan, cydymddyddan, parliad.

**Enterplead,** *v. n.* (*inter* a *plead*) rhyngddadleu, rhyngddadlu, rhyngymddadleu, rhyngbleidio.

**Enterprise,** } *s.* (Ff. o *entreprendre*) antur, an-
**Enterprize,** } turiaeth, llyfas, llafas, llefas, arlyfas, arlefas, arfaidd; cais, ymgais, cynnyg, ymgynnyg, argais, dargais, dargynnyg, prawf, baidd, dewisgamp; cychwyn; bwriad, amcan, cyrch, gosod; gwaith, gweithred, *neu* orchwyl à gymmero un arno; gwaith, gweithred, *neu* orchwyl à gymmerir mewn llaw; arlefasiad, arlyfasiad, ymorchest.

A hardy enterprise—arfaidd.

Let reason go before every enterprise—cyn dechreu pob gwaith bydded rheswm (*Eccles.* xxxvii. 16).

His enterprises were hindered — ei orchwyl ef a rwystred (1 *Mac.* ix. 55).

Having gotten opportunity to further his foolish enterprise—pan gafodd efe amser cyfaddas i'w ynfydrwydd (2 *Mac.* xiv. 5).

So that their hands cannot perform their enterprise—fel na allo eu dwylaw ddwyn dim i ben (*Iob* v. 12).

Missionary enterprises—anturion cenadol, anturiaethau cenadol.

**Enterprise,** *v. a.* anturio, llyfasu, llafasu, llefasu, arfeiddio, arlefasu, arlyfasu, beiddio; cymmeryd mewn llaw; cymmeryd arno; myned yn nghylch gwneuthur rhywbeth gorchestol; llafurio, ymegnïo, ymorchestu; profi, amcanu, cychwyn, dechreu; ymgeisio â gweithiau; dechreu a cheisio cyflawnu; gwneuthur *neu* roi cynnyg ar; rhoddi cais ar.

**Enterpriser,** *s.* anturiwr, anturydd, llyfaswr, llyfasydd, arfeiddiwr, arlyfaswr, ceisidydd; ymyrydd âg anhawsdra; dyn anturus, anturiol, anturfawr, anturgar, arfeiddiol, *neu* hyfaidd.

**Enterprising,** *a.* anturus, anturiol, anturiog, llyfasol, llefasol, llafasol, arlyfasol, llyfesig, llyfasus, llafasus, anturfawr, anturgar, arfeiddiol, hyfaidd; penderfynol, eofn, dewr, glew, dewrwych.

**Entersole,** *s.* (Ff. *entresol*) rhynglawr, rhyngloft.

**Entertain,** *v. a.* (Ff. *entretenir*) croesawu, croesaw, groesawu, gresaw, arfolli, arfoll, darfolli, gwestu, gwesta, gwest, lletya; derbyn

**yn groesawus, yn groesawgar,** *neu* yn lletty-gar; **llettya**; derbyn i'w dy; bwyda a dïodi; porthi; rhoi ymborth i; rhoi lluniaeth a chynnaliaeth i; gosymmeithio, gosymdeithio; cynnal, dygynnal, cadw, dàl, derbyn, maethu, diwallu, arlwyo; difyru, dyddanu, digrifo, digrifhau, lloni, llonychu, lloddi, lloddiannu, dadebru, boddio; rhoi lle i; coleddu, coledd, mynwesu, achlesu, amwesu, anwesu, cynnwys, llettyu.

Be not forgetful to entertain strangers—nac anghofiwch lettygarwch.

Do not entertain so unfavourable an opinion of me—na lettywch dyb mòr galed am danaf; na chynnwyswch dyb mòr galed am danaf; na thybiwch *neu* na feddyliwch mòr annhyner am danaf; na choleddwch *neu* na fonweswch dyb mòr anhynaws am danaf.

Do not entertain such wicked thoughts—na roddwch le i feddyliau mòr ddrwg.

I entertain hopes still — mae genyf fi obaith fyth; yr wyf fyth yn gobeithio; yr wyf fyth mewn gobaith.

Thou shalt entertain, and feast, and have no thanks—ti a lettyi ac a ddïodi rai anniolchgar (*Eccles.* xxix. 25).

**Entertain,†** *s.*=*Entertainment.*

**Entertainer,** *s.* croesawydd, gresawydd, arfoll-wr, arfollydd, darfollwr, llettŷwr, (*f.* lletty-wraig); porthwr, arlwywr; gwneuthurwr, gwneuthurydd, cynnaliwr, cynneilydd, *neu* feistr gwledd; gwleddwr, gwestwr; difyrydd, difyrwr, dyddanwr, digrifydd.

Which of these is the entertainer?—pa un o'r rhai hyn yw meistr y wledd? pa un o'r rhai hyn ydyw y gwahoddwr *neu* y gwahoddydd? pa un y gwestwr, a pha un y gwestai?

**Entertaining,** *a.* difyr, difyrus, dyddan, dydd-anus, dyddanol, difyrol, difyrgar, difyredigol, digrifol, dyddangar, dyddanaidd, digrifhaol, boddiol, lloddus, lloddiannol; teuluaidd.

Entertaining knowledge — gwybodaeth ddifyr, gwybodaeth ddyddan.

**Entertainment,** *s.* croesaw, croesawiad, gres-aw, gresawiad, croesawgarwch, arfolliad, arfoll, arfolliaeth, arfolledigaeth, darfoll-iant, darfolliad, darfoll, darfolledigaeth, derbyniad croesawus, derbyniad, llettyad, lletty, gwestfa, ysbyd, ysbydiad, ysbydaeth; gwledd, gwest, ciniaw, prain, cyfeddach, banfaeth, cywledd, gwestfa, allwest, cyfedd, arlwy, lluniaeth, ymborth; llettyaeth, llettŷ-wriaeth; difyrwch, dyddanwch, digrifwch, difyrwaith, lloddiant, llawdd; gochwareu, croesaren, coegchware, difyrwawd, gogym-wawd, chware.

He gave me entertainment—efe a'm der-byniodd; derbyniodd fi i'w dy; efe a'm llettyodd; rhoddes i mi letty; efe a'm croesawodd.

What kind of entertainment did you meet with there?—pa fath ar letty, ar westfa, *neu* ar lettŷwriaeth a gawsoch yno?

A house *or* place of entertainment—lletty cyffredin, gwestty, gwestfa, gwestle, lletty, gwest, ostl, ostri, llettyfa, tafarndy.

A spare, scanty, *or* slender entertainment—adwledd.

To keep an entertainment—cynnal cyf-eddach.

**Entertissued,** *a.* (Ff. *entre* a *tissu*) cydweuedig, cymhlethedig, cydblethedig, cymhleth, cyf-restredig, cydweog, masgol, masgog; cy-mhlith; amryliw.

**Entheal,** *a.* (Gr. *entheos*) dwyfysbrydol, dwyf-ysbrydoledig; gwedi ei ddwyfol ysbrydoli; cynhyrfedig gàn ysbryd Duw; à roddwyd gàn ysbrydoliaeth Duw.

**Entheastic,** *a.* (Gr. *entheos*) dwyfrymus, dwyf-nerthol, dwyfnerthog, dwyfegnïol; à chan-ddo rym Duw; à chanddo egni dwyfol.

**Entheastically,** *a.* yn ddwyfrymus, &c.; yn ol grym, gallu, *neu* egni dwyfol.

**Entheat,†** *a.* (Gr. *entheos*) penboeth, brwdfryd-ig, gorwyllt.

**Enthral,** / **Enthrall,** *v. a.* (*en* neu *in*, a *thrall*) caethiwo, caethu; gorthrymu; llyffetheirio; dwyn i gaethiwed; dwyn yn gaeth; gwneuthur yn gaeth.

**Enthralment,** / **Enthrallment,** *s.* caethiwed; caethiwad, caeth-iad; dygiad i gaethiwed; dygiad yn gaeth; llyffetheiriad, caethfyd, blinfyd, caethnawd, caethrawd.

**Enthrill,** *v.* (o *thrill*) treiddio, trywanu; menu, menu ar; treiddio trwy.

**Enthrone,** *v. a.* (o *throne*) gorseddu, gorseddogi; rhoi *neu* osod ar orsedd; rhoi *neu* osod i eistedd ar orseddfainc; penseddu, gor-feincio; uchafu.

**Enthronement,** *s.* gorseddiad, gorseddiant.

**Enthronize,†** *v. a.*=*Enthrone.*

**Enthunder,** *v. a.* (o *thunder*) taranu; gwneuthur twrf mawr fel taran.

**Enthusiasm,** *s.* (Gr. *enthousiasmos*) penboethni, penboethder, brwdfrydedd, brwdfrydigrwydd, penfrydedd, peniasedd, gorhewyd, gorhewyd-edd, hewydaeth, gwynfydiaeth; gwres *neu* frydaniaeth yr ymenydd; penboethni, syfr-dandod, penwendid, gorphwyll, gwallgof-rwydd, lledfryd, lledfrydedd, ynfydrwydd, *neu* wylltineb crefyddol; hewyd, gwŷn, aidd, gwresogfryd, brydiasedd, poethfryd, mawr-serch, llerthrwydd, llerth; brydaniaeth dar-felydd; gorawen, gorwylltineb; gau ysbryd-oliaeth; traha *neu* ryfyg ysbrydol; tyb *neu* goel o fod un dàn ddigyfrwng dywysiad Ys-bryd Duw; awenyddiaeth, awen; gwres, gorawydd.

**Enthusiast,** *s.* (Gr. *enthousiastês*) penboethwr, penboethiad, brwdfrydwr, gorhewydwr, gor-hewydydd, gwynfydwr, penboethur, penias-og, peniaswr; crefyddwr penboeth, un ynfyd-grefyddol, crefyddwr penfrwd, breuddwyd-iwr crefyddol; gorawenydd, awenydd, dar-felyddwr; iwin, llerthwr.

**Enthusiastic,** / **Enthusiastical,** *a.* penboeth, brwdfrydig, brwdfrydus, gorwyllt, gor-hewydus, gorhewydol, gorhewydig, penfrwd, peniasog, gwynfydig, gwresog, brwd, tan-baid, gwresoglym, angerddol, terwyn, tan-llyd; gorawenus, awenddrud, awenfawr, awenyddfawr, awenboeth, awenyddol; dyrch-afedig; ynfyd-grefyddol; iwin, llerth, an-sobr; llawn penboethni, &c.

**Enthymematical,** *a.* (Gr. *enthumêma*) deu-freichebus; perthynol i reswm deufraich; yn cynnwys dwyfreicheb.

**Enthymeme,** *s.* (Gr. *enthumêma*) dwyfreicheb, deufreicheb, cyfreswm deufraich; cyfreswm wedi ei gwtogi o un o'i osodion.

**Entice,** *v. a.* (Ysp. *atizar*; Ff. *attiser*) hudo, denu, llithio, arlithio; tynu drwy deg; dar-

ddenu, llithiannu, llithiogi, llathludo; annog, cymhell; twyllo; swyno.
**Enticement**, *s.* hudoliaeth, hudiad, deniad, llithiad, hudiant, llithiant, llithiawd, hudedd, llith, hud, llithiaeth, arlith, llathlud, llathludiad, hudoliad; annogaeth, annog.
**Enticer**, *s.* hudwr, hudydd, llithiwr, denwr, hudolydd, llathludwr.
**Enticing**, *a.* denol, hudol, llithiol, deniadol, llithiog, llithiannol, hudoliaethus, hudoliaethol, hudog, hudolaidd, denog, denedigol, arlithiol.
Enticing words—geiriau denu; ymadrodd hygoel; geiriau denol, &c.
**Enticingly**, *ad.* yn ddenol, yn ddeniadol, &c.
**Entire**, *a.* (Ff. *entier;* Ll. *integer*) cyfan, cyfa, cwbl, cyflawn, hollol, cyfoll, llwyr, cyflwyr, trylwyr, allwyr, cyfangwbl, cyfrdo, cyfrgwbl, digoll, didwn, didor, anmwlch, difwlch, cydol, cyfanol, cyfaol, hollus, oll; llawn; cywir, trwyadl, clau; sicr, dilys; pur, digymmysg, anllygredig; perffaith; digangau; diranedig.
Entire stem — paladr digangau; paladr [cyfan.
Entire leaf — dalen difwlch, deilen anmwlch; dalen ddiranedig; dalen gyfan.
**Entirely**, *ad.* yn gyfan, &c; achlân, i gyd, i gyd oll, yn llwyrgwbl; heb adaw un; heb adaw gronyn; oll a chwbl; oll; yn lân.
To love entirely—trahoffi, gorhoffi; caru o lwyr ewyllys calon; caru o lwyr wyllys ei galon; caru yn hollol, &c.; cyfan garu.
**Entireness**, *s.* cyfander, cyfanrwydd, cyfandra, cwbledd, cyflawnder, llwyrdeb, llwyrder, trylwyrder, allwyrdeb, allwyrder, cyflwyrder, cyflawnrwydd, ollid, ollder, digollrwydd, perffeithrwydd; purdeb, cleudeb, cleuder, cywirdeb, uniondeb, gonestrwydd; anllygredigaeth; y cyfan, y cyfanswm.
**Entirety**, *s.* cyfanrwydd, cyfander, llwyrder, cyflawnder; y cyfan, yr oll, y cwbl, y cyfanswm, y cyfansum.
**Entitative**, *a.* (o *entity*) endidol; â'i ystyried ar ei ben ei hun.
**Entitle**, *v. a.* (Ff. *entituler*) rhoi hawl i; rhoi enw i; rhoddi braint i; hawlogi; enwi, galw; rhoi enwawd, rhoi senw; rhoi enw, rhoi hawl; addasu, cyfaddasu, cymhwyso; rhoi cymhwysder i; teilyngu i; meddu hawl; cael yr enw; cael yr enwawd.
His learning entitled him to this distinction—rhoddes ei ddysg iddo hawl i'r anrhydedd hwn; teilyngodd ei ddysgeidiaeth iddo yr anrhydedd hwn.
Your bravery entitles you to the admiration of mankind—eich dewredd a bair, o wir hawl, i'r byd yn gyfan eich mawrygu.
How ready zeal for party is to entitle Christianity to their designs!—paroted yw serch i blaid i fwrw *neu* roddi ar Gristionogaeth amcanion y blaid hòno! mòr barod yw y serch i blaid i gyfrif i Gristionogaeth amcanion y blaid hòno!
**Entity**, *s.* (Ll. drosgl, *entitas;* Ff. *entité*) endid, bod, hanfod, en; bodolaeth, bodoliaeth, bodoldeb, hanfodoldeb, bodiad.
**Entoil**, *v. a.* (o *toil*) maglu, rhwydo; dàl mewn magl; dyrysu, nidro, methlu, rhwystro.
**Entomatography**, *s.* (Gr. *entoma* a *graphô*)= *Entomology.*



**Entomb**, *v. a.* (o *tomb*) claddu, daiaru, beddrodi; rhoi mewn bedd *neu* feddrod; rhoi yn y bedd; rhoi *neu* osod mewn gwyddfa.
**Entombment**, *s.* claddedigaeth, angladd; claddiad, daiariad.
**Entomic**, *a.* (Gr. *entoma*) trychfilig, trychbryfig, rhilionig.
**Entomoid**, *a.* (Gr. *entoma* ac *eidos*) trychfilaidd; tebyg i drychfil.
**Entomolite**, *s.* (Gr. *entoma* a *lithos*) maendrychfil, rhilfaen, trychfil wedi ymgaregu.
**Entomological**, *a.* trychfilodol, trychednogol, trychfilyddol, rhilionegol.
**Entomologist**, *s.* trychfilofydd, trychfilodydd, trychfilodwr, trychfilhanesydd, trychfilydd, rhilionegydd, trychednogwr.
**Entomology**, *s.* (Gr. *entoma* a *logos*) trychfilodiaeth, trychednogaeth, trychfilaeth, trychfilhanes, rhilioneg, trychfilyddiaeth; hanes trychfilod *neu* drychbryfed.
**Entomostomata**, *s. pl.* (Gr. *entomis* a *stoma*) trycheneuogion.
**Entomostraca**, *s. pl.* (Gr. *entoma* ac *ostracan*) cragenrilion, cragendrychfilod.
**Entomotomy**, *s.* (Gr. *entoma* a *tomê*) difyniaeth trychfilod, trychfildoriaeth.
**Entonic**, *a.* (Gr. *en* a *tonos*) gornerthig.
**Entortilation**, *s.* (Ff. *entortillement*) troad yn gylch, cylchdroad.
**Entozoa**, *s. pl.* (Gr. *entos* a *zôon*) ymbyrion, ymbryfed, ceudodfilod, mewnbryfed, ceudodbryfed; bolgynron, bolbryfed, bollyngyr.
**Entozoic**, *a.* ymbyriol, ymbryfig, ceudodbryfig, ceudodfilig; cynronig.
**Entozoon**, *s.* ymbryfyn, ymbryf, ynbryfyn, ceudodfil, ceudodbryf; bolgynronyn, bolbryf, bolbryfyn.
**Entrail**, *s.* coluddyn, perfeddyn, penygen, paneg, monochen.
**Entrail**,† *v. a.* (It. *intralciare*) cydweu, cydwau, rhyngweu; amrywio, amrywioli.
**Entrails**, *s. pl.* (Ff. *entrailles;* Gr. *entera*) coluddion, coludd, perfedd, ymysgaroedd, ymysgar, perfeddion, penyg, syrth, tripa, monoch; rhanau mewnol.
Small entrails—glasgoludd, mân goluddion.
Divination by the entrails—ymysgargoel, dewiniaeth ymysgar.
**Entrammel**, *v. a.* (o *trammel*) llyffetheirio, cloffrwymo, hualu, gefynu, troedogi; dyrysu, rhwystro, nidro.
**Entrammelled**, *a.* llyffetheiriog; dyrys, nidrog; † crych.
**Entrance**, *s.* (Ll. *intrans;* Ff. *entrant*) mynediad i mewn; dyfodiad *neu* ddyfodfa i mewn; mynediad, dyfodfa; cyntedd, cyntor, cynhor, cynnor, porth, drws; trydded, ffosp, ffor, ffordd, adwy, agoriad, rhodfa; dechreu, dechreuad, cynnechreu, cychwynfa; derbyniad, derbyniad i mewn; geneu.
Entrance money—rhagarian, tâl derbyn, rhagdal, arian derbyniad i mewn, derbyndal.
Forced entrance—rhuthrad *neu* doriad i mewn; rhuthr.
To give entrance — gollwng i mewn; cenadu dyfod i mewn; ceniadu dyfod i mewn.
To make an entrance to a discourse—cychwyn araeth; dechreu *neu* agor

ymadrodd; dechreu traethawd; rhagymadroddi.
To deny entrance to one's house—gwahardd ty i un; gwardd ei dy i un; gwarafun i un ddyfod i'w dy.
To make one's entrance—dyfod i mewn; ymddangos; dechreu, cynnechreu, dechreu ar; dyfod.
And ran before Ahab to the entrance of Jezreel—ac a redodd o flaen Ahab nes ei ddyfod i Iesreel (1 *Bren.* xviii. 46).
To the entrance of Gedor—i flaenau Gedor (1 *Cron.* iv. 39).

Entrance, *v. a.* (o *trance*) rhoddi mewn perlewyg *neu* lesmar; peri perlewyg *neu* lesmar; taflu *neu* fwrw i berlewyg *neu* lawenfas; taflu i hyfrydfas; perlewygu, perlesmeirio, hyfrydfasu, llawenfasu, perfasu, gorloni, gorlawenu; peri llewygu gan hyfrydwch.

Entrap, *v. a.* (o *trap*; Ff. *attraper*) maglu, bachellu, rhwydo, carfaglu, byddaglu, bagellu, telmu; dàl mewn magl, byddag, byddagl, *neu* rwyd; denu i fagl *neu* rwyd; tynu i fagl; methlu, dyrysu, nidro; llithio, twyllo, hudo, denu, somi; dàl drwy gyfrwysdra; dwyn i lathlud.

Entreat, *v.* (Ff. *en* a *traiter*) atolygu, atolwg, deisyf, deisyfu, adolwg, adolwyn, erfyn, erfynied, erfynio, ymbil, ymbilio, eiriol, eirioli, crefu, ymhwedd, amhwedd, erdolwg, erchi, dymuno, gweddïo, ioli, ymneddu, ymnedd; ymioli, ymddifregu, ymadolwyn, eidduno, dir-ofyn; trin; cynghori; †difyru; †traethu.
I earnestly entreat you—ufydd atolygaf i chwi; taer ddeisyfaf arnoch.
To entreat well—bod yn dda wrth un.
To entreat ill—anmharchu.
To entreat God—atolygu ar Dduw; ymioli *neu* ymddifregu â Duw; gweddïo ar Dduw.
To entreat for one—eiriol dros un.
To entreat one's favour—ymbil âg wyneb un; ymbil o flaen un; erfyn nawdd un.
To be entreated of—gwrandaw ar; cymmodi â; bod yn foddlawn i.
Easy to be entreated—hawdd ymbil âg ef; hawdd eiriol arno; hawdd cymmodi *neu* ymgymmodi âg ef; hawdd ei ddyhuddo; cymmodol, cymmodlawn, rhywiog, hynaws; hydrin, hawdd ei drin.
Not to be entreated—anhawdd cymmodi âg ef; anhawdd ei ddyhuddo; anghymmodol, anghymmodlawn, anghymmodadwy, anymbilgar, afrywiog, anhynaws; na ellir eiriol arno; anhydrin, anhawdd ei drin.
There is no entreating of him—ni waeth ymbil âg ef na pheidio; ni thâl dim ymbil âg ef; ni ry glust yn y byd i ymbil; nid oes ymbil âg ef.
A little entreating made him stay—hanner gwahodd a barodd iddo aros; ychydig gymhell a barodd iddo aros; nid oedd rhaid iddo wrth daer wahoddiad i aros; nid oedd rhaid iddo wrth lawer o grefu arno i aros; ni cheisiodd ond prin wahoddiad i aros.

Entreatance,† *s.*=*Entreaty.*

Entreater, *s.* atolygwr, atolygydd, deisyfwr, erfyniwr, ymbiliwr.

Entreative, *a.* deisyfol, erfyniol, atolygol, ymbiliol.

Entreaty, *s.* (o *entreat*) deisyf, deisyfiad, atolygiad, atolwg, dymuniad, dymuniant, dymuneb, dymuned, damuned, ymbil, ymbiliad, erfyn, erfyniad, taer ddeisyfiad, taergais, eirioledd, eiriolaeth, eiriolwch, eiriolaeth, eidduned, eiddunawd, arch, cais, gorymbil, gweddi, adolwch, taerni, ymnedd, gweddi daer.
To use entreaties—ymbil, deisyf, erfyn, &c.
By entreaty—wrth ddymuned, ar ddeisyf, trwy ymbil, &c.

Entree, *s.* (Ff.)=*Entry*.

Entremets, *s. pl.* (Ff.) rhyngalorion, rhyngddysglau, moethddysglau.

Entrepot, / Entrepote, *s.* (Ff. *entrepôt*) ystordy, ystorfa, nwyddfa, nwydd-dy, ty nwyddau.

Entresol, *s.* (Ff.) rhynglawr, rhynglofft.

Entrick,† *v. a.* (o *trick*) castio, twyllo; dyrysu, nidro.

Entrochal, *a.* trogloddol.

Entrochite, / Entrochus, *s.* (Gr. *trochos*) trogloddyn; *pl.* trogloddion.

Entry, *s.* (Ff. *entrée*) cyntedd, dyfodfa, cynteddfa, porth, cyntor, cynhor, cynnor, drws, trydded; mynediad i mewn; dyfodiad *neu* ddyfodfa i mewn; goresgyn, cymmeryd goresgyn, meddiannad, cymmeriad meddiant; llyfriad, coflyfriad, cofnodiad.
Single and double entry—llyfriad ac adlyfriad; unllyfriad ac adlyfriad; llyfriad unig a llyfriad dyblyg.
To give entry to—derbyn, cymmeryd, *neu* ollwng i mewn.
The entry of the river—aber afon, geneu afon.
At the entry of the city—yn mhen y dref (*Diar.* viii. 3).
At the entry of the sea—wrth borthladdoedd y môr (*Esec.* xxvii. 3).

Entune, *v. a.* (o *tune*) ceincio, tônio, erddyganu, canu, telori, cyweirio.

Entwine, / Intwine, / Entwist, *v. a.* (o *twine*, *twist*) cordeddu, cyfrodeddu; troi, dyrwyn, nyddu, *neu* ymnyddu am; amnyddu, fillio, cynglynu, cylchynu; ymdröi *neu* ymglymu am.

Entwined, / Entwisted, *p. p.* cyfrodeddig, amdröedig, cordeddedig, cyfrodedd, cyfrodeddog.

Entwinement, / Intwinement, *s.* cordeddiad, cyfrodeddiad, amdroad, ffilliad, amnyddad; unad, undeb.

Enubilate,† *v. a.* (Ll. *e* a *nubila*) digymylu, digaddugo, agor.

Enubilous, *a.* digwmwl, digaddug, dinifwl, didarth; teg, araul.

Enucleate, *v. a.* (Ll. *enucleo*) dignewullio, dignewullu; tynu allan y cnewull *neu* y cnewullyn; digygnu; egluro, eglurhau, esbonio, amlygu, egori, agor; dinidro, dad-ddyrysu, dirwystro; dwyn *neu* chwilio allan sylwedd.

Enucleation, *s.* dignewulliad; digygniad; eglurhad, egluriad, esboniad, amlygiad, agoriad, egoriad; dinidrad, dad-ddyrysiad, dadrwystrad.

Enumerate, *v. a.* (Ll. *enumero*) rhifo, cyfrif, cyfrifo, rhifnodi, nifeirio, niferu, niferiannu, rhifiannu, dyrifo, bwrw cyfrif, bwrw rhifedi; rhifo bob yn un ac un.

Enumeration, *s.* (Ll. *enumeratio*) rhifiad, cyf-

rifiad, niferiad, niferiant, niferiaeth, nifeiriant, dyrifiad, rhifiant, rhifedigaeth, bwriad rhifedi.

**Enumerative**, *a.* rhifiadol, rhifol, rhifiannol, niferol, nifeiriannol.

**Enunciate**, *v. a.* (Ll. *enuncio*) traethu, treithu, dadgan, adrodd, mynegu, yngan, ynganyd, ynganu, llafaru, llefaru, arlefaru, dysmegu, dywedyd; cyhoeddi, gosod allan, dangos, arddangos, dadguddio.

**Enunciation**, *s.* (Ll. *enunciatio*) traethiad, treithiad, traethad, dadganiad, adroddiad, mynegiad, mynegiant, mynegiaeth, llafariad, llefariad, arlefariad, arlafariad, goddegiad, dywediad, amlygiad, ymadrodd; cyhoeddiad; hysbysiad, hysbysrwydd; traith, mynag.

**Enunciative**, *a.* (Ll. *enunciativus*) traethol, treithol, treithiadol, dadganiadol, mynegiadol, mynegiadus, mynegiannol; cyhoeddol, cyhoeddiadol; yn haeru *neu* yn gwadu yn bendant.

**Enunciatory**, *a.* traethol, treithol, mynegol, llafarol, llefarol, ynganol, goddegol, cynanol, llafarseiniol, seiniol, llefiadol, acenol.

**Envassal**, *v. a.* (o *vassal*) gwasoli; gwneuthur yn gaethddeiliad; gwneuthur yn gaeth; gwerthu yn gaethwas; gwneuthur yn wasolwr.

**Envelop**, } *v. a.* (Ff. *envelopper*) cuddio, gor-
**Envelope**, } chuddio, encuddio, enhuddo, amlenu, amgau, amdöi, gorthöi, amwisgo, damblygu, amblygu, goblygu, arlenu; plygu, crynöi, rhwymo, dodi, troi, *neu* roi mewn; amdröi, amwregysu, amgylchu, tulio, tuddo, tuddedu, amguddio, amgorni, amgylchu âg, amgylchynu â; rhoi yn nghudd; rhoi dan gudd; rhoi dan orchudd; amgaesu, golöi, tuellu, eddyllu, dargau; lleinio; gwisgo â; gwisgo mewn.

**Envelope**, } *s.* amlen, gorchudd, tudded, gortho,
**Envelop**, } hudded, enhudded, amwisg, amgaes, caes, tuddedyn, tuell, tuddell, enhudden, fforel, hul, hulen, amdo, tul, golo, caw, llèn, caen, to, amgauad, clawr, amglawr.

Envelope of a letter—amlen llythyr.

**Enveloped**, *p. p.* cuddiedig, &c.; mewn amlen.

Enveloped (in heraldry)—cyfrodeddig â nadroedd; amdröedig, cyfrodeddig.

**Envelopment**, } *s.* gorchuddiad, encuddiad,
**Envelopement**, } cuddiad, amleniad, amdoad, enhuddiad, enhuddiant, gorthoad, amblygad, goblygad, damblygad, amgauad.

**Envenom**, *v. a.* (o *venom*) gwenwyno; cymmysgu â gwenwyn; chwerwi; cynddeiriogi, llidio.

**Envermeil**, *v. a.* (Ff. *vermeil*) rhufliwo, lliwio yn goch, cochliwio.

**Enviable**, *a.* (o *envy*) cenfigenadwy; haeddgas, llidbair; rhagorol, ardderchog, gwiw, dymunol.

**Envier**, *s.* cenfigenwr, cenfigenydd; cynghorfynwr, cynghorfynydd; un à genfigeno.

**Envious**, *a.* (o *envy*; Ff. *envieux*) cenfigenus, cenfigenllyd, cynghorfynnus, cynghorfynus, migus, cenfigenol, maleisus, drygwyllysiol, dygenus, gorfynog, gorfynol, gorfynig, gorafunol, gygus; dygas, dygasol, gelynol; yn dàl cilwg; eiddigus.

**Environ**, *v. a.* (Ff. *environner*, *environ*) amgylchu, amgylchynu, cylchynu, damgylchu, damgylchynu, amgau, gwarchau, amwregysu, amguddio, gorchuddio, amduddedu, amdöi, cau i mewn; gwisgo.

To environ with strength—amgadarnhau, amnerthu; amgylchu *neu* amgylchynu â chadernid; gwregysu *neu* amwregysu â nerth; rhoi amddiffyn o amgylch; rhoi amddiffyn o bob parth.

**Environment**, *s.* amgylchyniad, damgylchiad, damgylchyniad, cylchyniad, amgylchiad, amgauad, amgauedigaeth, amgylchedigaeth, amgylch.

**Environs**, *s. pl.* amgylchoedd, amgylchau, amgylchleoedd, damgylchoedd, cylchynau, cwmpasoedd, cylchleoedd, amgylch-wlad; y wlad o amgylch; y lleoedd oddi amgylch.

**Envoy**, (Ff. *envoyé*) llysnegeswr, llysnegesydd, llysnegesiadur, negeswr, negesydd, cenad, cenadwr, llysgenadwr, llysgenad, negesweinydd.

**Envoyship**, *s.* llysnegesiaeth, llysnegesiant, llysnegesyddiaeth, negesyddiaeth, negesiaeth, cenadwriaeth, llysgenadaeth.

**Envy**, *s.* (Ff. *envier*) cenfigen, cynghorfynt, cynghorfyn, cynghorfen, gorfyn, gorfynt, gorfyndod, drygwyllys, malais, cynddrygedd, dygasedd, cas, casineb, malais, cilwg, trachas, eiddigedd, llid.

**Envy**, *v. a.* cenfigenu, cynghorfynnu, cynghorfynu, gorfynnu, gorfynu; cenfigenu wrth, cynghorfynnu wrth; dàl cilwg wrth *neu* at; eiddigeddu wrth; gwynfydu; grwgnach; gorafun, gorafuno, gwarafun.

To be envied—bod yn wrthrych cenfigen; bod yn nod i saeth cenfigen.

Better be envied than pitied—gwell it' genfigenu na gresynu wrthyt.

Let us not envy one another—nac ymgenfigenwn wrth ein gilydd.

Envied—y cenfigener wrtho; y cenfigenir wrtho.

Envying one another—gàn ymgenfigenu wrth eich gilydd.

**Envying**, *s.* cenfigeniad; cenfigen, cynghorfynt, cynghorfyn; cenfigenu.

**Enwallowed**, *a.* (o *wallow*) ymdreigledig, ymgreiniedig, ymdrybaeddol, ymdrybaeddus.

**Enwheel**, *v. a.* (o *wheel*) cylchu, cylchynu, amgylchu, amgylchynu, olwyno.

**Enwiden**,† *v. a.* (o *wide*) lledu, llydanu.

**Enwomb**,† *v. a.* (o *womb*) beichiogi; claddu, cuddio.

**Enwrap**, *v. a.* (o *wrap*) amblygu, goblygu, damblygu, amlenu, amgylchu, amgau, cau i mewn, amdöi, gorthöi, gordöi.

**Eocene**, *a.* (Gr. *heôs* a *cainos*) gwawreinaidd, gwawreinig, gwawronain.

Eocene period—y cyfnod gwawreinaidd=enw à roddir gàn ddaiaregwyr i un o bedwar cyfnod yr haenau trydyddol.

**Eolian Harp**, } *s.* (o *Æolus*, duw y gwyntoedd)
**Eolian Lyre**, } chwadelyn, awyrdelyn, telyn awelain, telyn Eolaidd, telyn Eolig, telyn Aiolain.

**Eolipile**, *s.* (Ll. *Æolus* a *pila*) chwabelen, agerbel, agerbelen.

**Eon**, *s.* (Gr. *aiôn*) Aion, Enon; rhinwedd, priodoledd, perffeithrwydd.

**Ep**, } rhagddawd Groeg, yn dynodi *tros*, *uwch*,
**Epi**, } *ar*, *dros*, *uch*, *uwch law*, *odd ar*, *yer*, *yer llaw*; *cawanegiad*.

**Epact**, *s.* (Gr. *epactê*; Ll. *epacta*; Ff. *epacte*) attodrif, epact=oed y lleuad y dydd cyntaf o'r flwyddyn.

Menstrual epact—yr attodrif misol=cymmaint ag yw mis yr haul yn fwy na mis y lleuad.

Annual epact—yr attodrif blyneddol, yr attodrif blwyddol = cymmaint ag yw blwyddyn yr haul yn fwy na blwyddyn y lleuad; sef, tuag 11 diwrnod.

Epagoge, *s.* (Gr.) tynwyddeb, tynwyddyd areithyddol.

Epanalepsis, *s.* (Gr.) adymgymmeriad, ailymgyrch=ffugr areithyddol. [areitheg.

Epanodos, *s.* (Gr.) darddychweliad=ffugr mewn

Epanorthosis, *s.* (Gr.) ailgywair, adgywair=troell ymadrodd.

Eparch, *s.* (Gr. *eparchos*) rhaglaw talaeth, llywodraethwr talaeth, Eparch.

Eparchy, *s.* (Gr. *eparchia*) talaeth, tiriogaeth, *neu* raglawiaeth dàn reolaeth Eparch; Eparchaeth.

Epaulet, *s.* (Ff. *épaulette*) ysgwyddarn, ysgwyddob=math o addurn à wisgir gàn filwyr ar eu hysgwydd.

Epaulement, } *s.* (Ff. *épaule*) ystlyswaith, ys-
Epaulment, } bodwaith.

Epenetic, *a.* (Gr. *epainéticos*) moliannol, darglodus, clodforus, clodforawl, arfoliannol, canmoliaethol.

Epenthesis, } *s.* (Gr. *epenthesis*) ymsang, rhyng-
Epenthesy, } ddawd, rhyngddodiad, llythyren ymsang, sill ymsang=chwanegiad llythyren neu sill yn nghanol gair; megys, *dywedwyd* am *dywedwyd*.

Epenthetic, *a.* ymsangol, rhyngddodol, rhyngddodiadol.

Epergne, *s.* (Ff.) ysbagern, safaddurnen.

Epha, *s.* (H.) mesur Hebrëig, à elwir hefyd *bath*, yn cynnwys y ddegfed ran o homer, neu 7 galwyn a 4 peint.

Ephemera, *s.* (Ll. o'r Gr. *ephêmeros*) twymyn undydd, cryd undydd, twymyn undyddiog, twymyn ddïwrnod, dyddgryd; dyddgleren, dyddglyryn, cleren undydd, cylionen undydd; trychfil undydd, trychfil undyddiog; pryf undydd; peth byrhoedlog.

Ephemeral, } *a.* (Gr. *ephêmeros*) dyddiol,
Ephemeric, } peunyddiol, beunyddiol, beu-
Ephemerous, } nydd, peunydd; undyddiog, undydd; yn dechreu a darfod mewn un dydd; byrhoedlog.

Ephemerans, } *s. pl.* undyddogion, trychfilod
Ephemerinæ, } undyddiog.

Ephemeris, *s.* (Gr.) serddyddiadur, seroniadur; dyddlyfr y planedau a'r ser; dyddiadur, dyddlyfr.

Ephemerist, *s.* serdremiwr, serolygydd, sernodydd; serddewin.

Ephemeron, *s.* (Gr.) bod undydd, peth undyddiog, undyddyn.

Ephemeron worm—pryf undydd, pryf undyddiog, pryfyn undydd.

Ephialtes, *s.* (Gr.) hunllef, yr hunllef.

Ephidrosis, *s.* (Gr.) heintchwys.

Ephod, *s.* (H.) ephod=math ar ysgwyddwisg, ysgablar, neu addurn-wregys, à wisgid gàn yr offeiriad Iuddewig.

Ephor, *s.* (Gr. *ephoros*) math ar swyddog, o ba rai yr oedd pump, gynt yn Sparta.

Ephoralty, *s.* Ephoriaeth; swydd yr Ephor; swydd yr Ephoriaid.

Epic, *a.* (Gr. *epicos;* Ll. *epicus*) hanesol, hanesiol, adroddol, mynegol; arwrol, arwraidd.

Epic poem—hanesgerdd, hanesgan, cerdd hanesol; cerdd arwrol, pryddest arwraidd, arwrgerdd, cân arwrol.

Epic poet—hanesfardd, prydydd hanesol, prydydd arwrol, bardd arwraidd, arwrfardd, uchelfardd.

Epic poetry—prydyddiaeth hanesol, hanesfarddoneg, prydyddiaeth arwrol, barddoniaeth arwrol; hanesgerdd, haneseg.

Epic, *s.* hanesgerdd, hanesgan, haneseg, cerdd hanesol; cerdd arwraidd, arwrgerdd.

Epicarp, *s.* (Gr. *epi* a *carpos*) argroen; croen nesaf allan i ffrwythau.

Epicede, } *s.* (Gr. *epicêdios;* Ll. *epicedium*)
Epicedium, } galargan, galargerdd, galarnad, marwnad, marnad, galargwyn, galareb, galarwawd, arwylgerdd; galardraith, araeth angladdol, angladdeb.

Epicedial, } *a.* galarnadol, marwnadol, marnad-
Epicedian, } ol, galarus, alaethus, alaethol, cwynfanol, galargwynol.

Epicene, *a.* (Gr. *epicoinos;* Ll. *epicœnus*) deurywiol, deurywiog, deuryw; gwryw a benyw.

A noun of the epicene gender—enw deuryw, enw deurywiol.

Epicerastic, *a.* (Gr. *epiceraô*) tyner, tynerol, llinarol, esmwythaol, esmwythol, meddalhaol, lloddol.

Epicure, *s.* (Ll. *epicurus,* oddi wrth *Epicurus,* yr athronydd) glwth, glythwr, gloddestwr, wttreswr; dyn blysig, minflysig, *neu* finfelus; moethyn, (*f.* moethen), mwythyn, mwythlan, moethgarwr, glythinebwr, glythyn, moethwas, mwythwas, blysborthwr, ancwynai; dyn wttresgar; dyn à ymroddo i ddifyrwch a mwythau; dyn glwth, rhawth, rhwth, cegrwth, *neu* geulrwth; un à gymmero fyd da yn helaethwych: Epicuriad.

Epicurean, *a.* (Ll. *epicureus*) blysig, moethgar, moethus, mwythus, ammoethgar, wttresgar, glwth, (*f.* gloth), glythig, minfelus, minflysig, gloddestgar, bolgar, rhydreulgar, rhydrythyll; à rydd ei fryd ar fwyta ac yfed: Epicuraidd.

Epicurism, *s.* blysigrwydd, moethgarwch, mwythgarwch, moethusrwydd, moethineb, glythineb, glythni, gloddest, wttres, wttresgarwch, rhythni, glothineb, chwantgarwch, glythgarwch, glythedd, glythi, glythinebgarwch, glythogrwydd, bolgarwch, gnwth, gnythawd, wttresiaeth, rhysedd, trythyllwch: athrawiaeth Epicurus, yr hwn a ddysgai mai bwyta ac yfed oedd y daioni penaf: Epicuriaeth.

Epicurize, *v. n.* gloddesta, glythu, wttresu, gwledda, preinio, ceulrythu; ymröi i gyfeddach a moethau; ymröi i drythyllwch a chyfeddach; byw yn ol athrawiaeth Epicurus; proffesu egwyddorion Epicurus.

Epicycle, *s.* (Gr. *epicuclos;* Ll. *epicyclus*) argylch, argant.

Epicycloid, *s.* (Gr. *epicucloeides*) argantlin, argylchlin.

Epicycloidal, *a.* argantlinaidd, argylchlinaidd.

Epidemic, } *a.* (Gr. *epidêmos*) ymdaenol,
Epidemical, } ymwasgarol, hydaen; à ymdaeno dros lawer o bobl; à ymwasgaro dros y rhan fwyaf o drigolion gwlad; cyffredin, cyffredinol; heintus, heintiol; glynol.

Epidemic disease—haint ymdaenol; haint llŷn, haint llynol; clefyd à ymdaeno dros yr holl wlad.

**Esculic Acid**, *s.* sur castanig.

**Escutcheon**, *s.* (Ff. *escocheon, écusson ;* o'r Ll. *scutum*) arflen, arwyddlen, maes arfau, aes arfau, ysgwyd arfau, arfaes, boneddaes, maes pais arfau, maes arfau bonedd ; pais arfau, arfbais; y maes yr arddangosir arfau bonedd arno.

**Escutcheoned**, *a.* arflenog, arwyddlenog ; arfbeisiog, achenog ; â chanddo bais arfau.

**Eshler**, *s.* (Ff. *echelier*)=*Ashlar.*

**Esloin**,† *v. a.* (Ff. *éloigner*) symmud.

**Esophagotomy**, *s.* (Gr. *oisophagos* a *tomê*) cegdrychiad, cegendrychiad, trychiad y sefnig.

**Esophagus**, *s.* (Gr. *oisophagos*) sefnig, y sefnig, ceg, y geg, cegen, llwnc, llyncfa, corn y geg, y corn pori, corn y gwddf, ceudod y gwddf, y ffordd i'r cylla.

**Esoteric**, } *a.* (Gr. *esôteros*) cyfrinachol, cel,
**Esoterical**, } dirgel, cyfrin, cyfriniol, cyfrinol, celddysgaid ; anghyhoedd, cuddiedig ; neillduol.

**Esotery**, *s.* cyfriniaeth, dirgelwch, dirgeledd, dirgeledigaeth, dirgelrwydd, cyfrinach, celedigrwydd, mwysder ; rhin.

**Esox**, *s.* (Ll.) penhwyad, rhwyad, y pysg penhwyad.

**Espalier**, *s.* (Ff. o'r Ll. *palus*) amgoedres, amgledrwydd, amgoedwal ; cledrwaith i ddàl ffrwyth-goed.

**Espalier**, *v. a.* amgoedresu, amgoedwalio, amgledrwyddu ; gwneuthur amgoedres ; amddiffyn âg amgoedres.

**Esparcet**, *s.* (Al. *esparsette*) math o godog.

**Especial**, *a.* (Ff. *special ;* Ll. *specialis*) neilltuol, arbenig, anad, penodol ; penaf ; enwedig, enwedigol, hysbysol, ysbysol ; rhagorol, nodedig, anghyffredin.

**Especially**, *ad.* yn neilltuol, &c. ; yn anad dim ; o flaen dim ; yn flaenaf dim ; yn anad neb ; yn bendifaddeu, yn bendiannod.

Most especially—yn benaf oll ; yn benaf dim ; o flaen pob peth ; o flaen pob dim ; yn fwyaf enwedigol ; yn fwyaf neilltuol, &c. ; chweithach ; mewn modd anghyffredin.

**Especialness**, *s.* arbenigrwydd, arbenigder, neilltuolrwydd, neilltuoldeb, enwedigrwydd, penodolrwydd, penodoldeb.

**Esperance**, *s.* (Ff. o'r Ll. *spero*) gobaith.

**Espial**, *s.* (o *espy*) ysbeiwr, ysbeiedydd, ysbeiennwr, selwr, selydd, fforiwr ; ysbeiad, ysbeiant, ysbeiawd, seliad, seliant, sel, fforiad, ardremiad.

**Espier**, *s.* ysbeiwr, ysbeiedydd, ysbeienddyn, ysbeiennwr, selwr, selydd, fforiwr, chwiliedydd, bradwyliedydd.

**Espinel**, *s.* (It. *spinella*) ysbinem, pigruddem= math o ruddem.

**Espionage**, *s.* (Ff.)ysbeiad, ysbeiant, ysbeiawd, ysbeiwriaeth, selyddiaeth, seliad, seliant, peithiad, ysbeithiad, fforiad, ardremiad.

**Esplanade**, *s.* (Ff.; Ysp. *esplanada*) osglanerch, osgwalc, llechweddfa ; rhynglanerch ; llethrglawdd ; glaslanerch, glasdalwrn, glesin, talwrn.

**Espousal**, *a.* (o *espouse*) dyweddïol ; perthynol i ddyweddi ; neithiorol ; priodasol ; cyfneithiol, ymgredol ; yn perthyn i neithior *neu* briodas.

**Espousal**, *s.* dyweddïad ; cyfneithiad, ymgrediad ; mabwysiad, mabwys ; amddiffyniad, diffyniad, coleddiad.

**Espousals**, *s. pl.* dyweddi, ymgred, cyfn[illegible] cred briodas ; dyweddïad, ymgrediad, [illegible] neithiad, ymneithiad, ymddyweddïad ; [illegible] odas, neithior.

**Espouse**, *v. a.* (Ff. *épouser :* Ysp. *desp[illegible]*) dyweddïo, cyfneithio ; ymgredu âg, ym[illegible] i ; ymneithio âg ; priodi ; cymmeryd [illegible] brïod *neu* ddyweddi ; rhoi cred bri[illegible] mabwyso, mabwysiadu, cofleidio ; amdd[illegible] diffynu ; ysbwyso.

To espouse one's cause—dadleu dadl [illegible] amddiffyn, mabwyso, *neu* gofleidio [illegible] un.

To espouse one's opinion—priodi tyb [illegible] priodi barn un ; mabwyso barn [illegible] cymmeryd tyb un yn dyb iddo ei hun.

To espouse one's self to one—ymbriod[illegible] un ; ymddyweddïo âg un ; ymgred[illegible] un.

**Espousement**, *s.* dyweddïad, amgrediad, [illegible] neithiad, ymddyweddïad ; priodiad ; ys[illegible] iad.

**Espouser**, *s.* dyweddïwr, ymgredwr, cyfn[illegible] iwr, ymneithiwr ; cofleidydd, amddiffyn[illegible] mabwysydd.

**Esprit**, *s.* (Ff.) ysbryd ; anian, tuedd.

**Espy**, *v.* (Ff. *épier, espier ;* Is. *bespieden*) [illegible] beio, ysbïo, ysbeenna, ysbienna, selu, [illegible] fod, gweled, syllu, syllio, tremio, trem[illegible] ganfod, arsyllu, ceinio, fforio ; gweled [illegible] ganfod o bell ; gwylied, gwylio, cyfarchw[illegible] golygu ; cael allan wrth ddysgwyl ; dysg[illegible] a gwylied ; chwilio, peithio, ysbeioni, [illegible] beithio.

When Moses sent me to espy out the l[and] —pan anfonodd Moses fi i edrych a[llan] sawdd y wlad (*Jos.* xiv. 7).

Into a land that I had espied for them [—i] wlad yr hon a ddarparaswn iddy[nt] (*Esec.* xx. 6).

Espying place—gwylfa, dysgwylfa, ys[illegible] enfa, tremynfa, twr gwylied, gwyl[illegible] bryn gwylied, gwylfryn.

**Espy**, *s.* ysbeiwr, ysbeiedydd, ysbeiennwr, ys[illegible] beienddyn, ysbeiennydd, ysbïwr, ysbie[illegible] selwr, selydd, canfyddwr, fforiwr, peith[illegible] syllwr, syllydd, peithwas, chwilied[illegible] chwilgi.

**Esquire**, *s.* (Ff. *écuyer ;* It. *scudiere ;* o'r Ll. *scutum*) yswain, ysweiniad, isamer ; ch[illegible] ydd *neu* ddygiedydd arfau : *pl.* ysweiniaid.

**Esquire**, *v. a.* ysweinio ; gweini ar, gweinyd[d] ar, gweini i.

**Essay**, *v. a.* (Ff. *essayer*) profi, cynnyg, cei[illegible] cynnyg, osio, osi ; gwneuthur prawf, ca[illegible] *neu* gynnyg ; ymgeisio â ; rhoi cais ar [illegible] gwneuthur prawf *neu* osod ; ymegnio, y[illegible] drechu, ymorchestu, ymbrofi ; llyfasu, a[illegible] turio, amcanu ; prawu, delbrofi.

**Essay**, *s.* prawf, praw, cynnyg, cais, ymg[illegible] argais, dargais, profiad, prawen, cynbra[illegible] rhagbrawf, ymbrawf ; traethawd, treithaw[illegible] byr draethawd, byrdraith ; antur, c[illegible] hwp, gosod, cynnygiad ; rhagflas, cynflas[illegible] delbrawf.

Essay of a deer—parwyden llwdn hydd.

**Essayer**, } *s.* traethodydd, treithodwr, by[r]-
**Essayist**, } draethwr, byrdraethodwr, ysgr[illegible] enydd traethodau.

**Essence**, *s.* (Ff.; Ll. *essentia*) sylwedd ; anian[illegible] natur, nawd, naturiaeth, notur ; bod, hanf[illegible] bodolaeth, nur, taeth, ednyfed, nyfed, edny[illegible]

ednywed, myraeth, myred, myredd; ain, en, ân; cynryw, cyndaeth, cynnhaeth; sudd, sug; arogl, perarogl, persawr, persawyr, perfwg, perogl, perchwa, sawr, sawyr, safwyr, arwynt, rhogl; rhinwedd, rhin, cyferddawn, nerth, sylwedd godidocaf.

**Essence,** *v. a.* arogli, perarogli, persawru, persawyro, perogli, perfygu, perwyntio.

**Essential,** *a.* (Ll. *essentialis*) hanfodol, sylweddol, bodol; anianol, naturiol; cynrywiol, darsylweddol; anhebgorol; pur, puredig, taethol, taethus, enain, einiol, myr, ednyfedog, nyfedol, nurol, myriol, myredol, myreddol, cyndaethol; hedin, hedinol; defnyddiol, defnyddgar.

**Essential,** *s.* hanfod, bod, bodolaeth, hanfodaeth; peth hanfodol, cynegwyddor; y prif bwnc; y peth penaf; myredd.

The essentials—yr hanfodolion, y rhanau hanfodol, y rhanau cyfansoddol.

**Essentiality,** } **Essentialness,** } *s.* hanfodoldeb, hanfodolder, hanfodolrwydd, hanfodoledd, bodoldeb, sylweddoldeb, sylweddolrwydd; cynrywioldeb; anhebgoroldeb; cynegwyddorion.

**Essentially,** *ad.* yn hanfodol, &c.; mewn gwirionedd, mewn effaith; mewn sylwedd; yn ol trefn anian.

**Essentiate,** *v.* hanfodi; hanfodoli; dyfod *neu* fyned o'r un sylwedd; ymsylweddu; gwneuthur hanfod.

**Essoign,** } **Essoin,** } *s.* (Norm. *exon;* Ll. gyfreithiol, *exonia;* hen Ff. *essonier*, *exonier*) asswyn, esswyn, esgusawd, esgus; asswynai, esswynai; yr asswynedig; yr un â esgusoder.

**Essoign,** } **Essoin,** } *v. a.* asswyno, esswyno, esgusodi; caniatäu esgus; ymasswyno, ymesswyno, ymesgusodi.

**Essoiner,** *s.* asswynwr, esswynwr, esgusodwr; cyfreithiwr â esgusoda absen un arall.

**Establish,** *v. a.* (Ff. *établir;* Ll. *stabilio*) sefydlu, cadarnhau, diogelu, sicrhau; gosod, gosodi, arsefydlu; gosod yn anghyfnewidiol, yn ddisigl, *neu* yn ddilyth; seilio, sylfaenu; dilysu, cryfhau, cyfnerthu; penodi; cyflawnu; peri i barhau; cwblhau; cyfarwyddo, gorchymyn; trefnu, darparu, attegu, hwylio; codi, cyfodi.

To establish one's self—ymsefydlu, ymgadarnhau, ymsicrhau, ymddiogelu.

To establish a title—bwrw hawl.

The lip of truth shall be established for ever—gwefus gwirionedd a saif byth.

**Established,** *p. p.* sefydledig, &c.; cadarn, sicr, diogel, sefydlog, dïysgog, safadwy, disymmud, cryf; dilys, dibetrus; safedig; awduredig; gosodol, deddfedig.

The Established Church—yr Eglwys Sefydledig.

**Establisher,** *s.* sefydlwr, sefydlydd, gosodwr, gosodydd, penodwr, sicrhäwr, &c.

**Establishment,** *s.* (Ff. *établissement*) sefydliad; gosodiad, sicrhad, arsefydliad, diogeliad, cadarnhad, gosod, gosodaeth, gosodedigaeth; cyfnerthiad, cryfhad; trefnid, cadernid, sicredd, dilysrwydd; sail, sylfaen; gosgorddyd, preswylgordd, gwenidres, tyaeth; cyllid, ardreth, rhent, daered; yr hyn a ddel i mewn yn flyneddol; cyflog; flurflywodraeth; flurf.

House establishment—tyaeth.



**Estacade,** *s.* (Ff.; Ysp. *estacada*) palis, polglawdd, cledrffos.

**Estafet,** *s.* (Ff. *estafette;* Ysp. *estafeta*) aergenad, cadgenad, brysgenad rhyfel.

**Estate,** *s.* (Ff. *état*; Al. ac Is. *staat;* Ll. *status*) cyflwr, ansawdd, sefyllfa, ystâd; gradd, urdd; tiriogaeth, tir, etifeddiaeth, treftadaeth, treftad, tattref, rhandir; da (*pl.* daoedd), anlloedd, eiddo, golud, cyfoeth; pethau ar helw un; meddiant (*pl.* meddiannau), cyllid, ardreth, daered, elw; tyddyn, syddyn, maenor, maenol; gradd pob dyn wrth ei feddiannau, ei ach, a'i sefyllfa; uchelradd, uchelswydd, urddas; helynt, hwyl, gorddigor; gwladwriaeth.

Estates—uchelwyr, goreugwyr, goreuon, bonedd, boneddigion, dyledogion, gwŷr da, gwŷr uchelradd, pendefigion, cyfurddorion; graddau, uchelraddau; graddau bonedd, bonedd-raddau; graddau dynion mewn cymdeithas *neu* mewn gwladwriaeth; dyledogaeth, pendefiggaeth; meddiannau, tiroedd, &c.

Real estate—tiriogaeth, tir, da anghyffro, da digyffro, da anghyfodedyn, da tirol, meddiannau ansymmudol, da anghyfodadwy, da perthynasol.

Personal estate—eiddion, da cychwynol, da symmudol, da cyfodedyn, da cyffro, da cyffroadwy, daoedd symmudadwy, da personol, da ansodol.

Low estate—iselradd, isel radd; cyflwr isel, gwael, salw, sal, distadl, tlawd, *neu* ddisas; salwedd, tlodi.

Man's estate—oedran *neu* faintioli gwr; addfedrwydd *neu* gyflawnder oedran.

He is grown up to man's estate—y mae efe wedi cyrhaedd oedran gwr; mae efe wedi cyrhaedd ei gyflawn oedran; mae efe wedi tyfu i fyny i faintioli gwr.

As soon as he came to man's estate—cyn gynted ag y daeth efe i'w faint a'i oedran; cynted ag y daeth efe i'w oedran a'i faintioli; cân gynted ag y daeth efe i oedran gwr; er cynted ag y daeth efe yn wr.

A girl at marriageable estate—merch *neu* forwyn mewn oedran priodi.

Estate of the body—hwyl; hwyl dda *neu* ddrwg; hwyl iechyd *neu* glefyd; ansawdd y corff; tymmer y corff.

Health and good estate of the body are above all gold—iechyd a chyfansoddiad da sydd well na phob aur.

All men look on you as having a great estate—pawb a'ch cyfrifant yn wr cyllidog *neu* gyllidfawr.

Persons whose estates join—cydbriodorion, cyttirogion.

The indisputable proprietor of an estate—priodor.

An investing in an estate, }
A giving livery and seizin of an estate, } estyn, ystyn, estyniad, rhoddiad goresgyn.

That has had livery and seizin of an estate—estynol, ystynol.

Whose estate is this?—tir pwy yw hwn? pwy bïau y tir hwn? eiddo pwy yw y tir yma? tiriogaeth pwy yw hon?

In our low estate—yn ein hiselradd; yn ein hisel radd.

All the estate of the elders—yr holl henaduriaeth (*Act.* xxii. 5).
Herod made a supper to the chief estates of Galilee — gwnaeth Herod swper i oreugwyr Galilea (*Marc* vi. 21).
Their first estate—eu dechreuad (*Iud.* 6).
In his estate—yn ei le yntau (*Dan.* xi. 21).
After your old estates—fel yr oeddych gynt (*Esec.* xxxvi. 11).

**Estate**, *v. a.* cynnysgaethu â meddiannau; sefydlu.

**Estated**, *a.* tiriog, rhandirog, treftadog; â chanddo feddiannau, &c.

**Esteem**, *v.* (Ff. *estimer;* Ll. *æstimo*) cyfrif, ystyried, ystyrio, tybied, tybio, barnu, bwrw, meddylied, meddylio; gwneuthur cyfrif o; rhoi bri ar; brio, dyfrïo, cymmyru, edmygu, parchu, gorpherchi, perchi, anrhydeddu, ardduno, hoffi; prisio, cywerthyddio, gwerthfawrogi; bod gàn un dyb da am; gosod gwerth ar; cyffelybu.
To esteem greatly, } To esteem highly, } mawrbrisio; rhoddi mawrfri ar; gwneuthur mawr gyfrif o; uchel brisio, tra phrisio; mawrhau, mawrygu, clodfori.
To esteem lightly, } To esteem little of, } dibrisio, dïystyru, dirmygu, bychanu; gwneuthur bychan bris *neu* gyfrif o; gwneuthur ychydig bris *neu* gyfrif o; ysgilio.
To esteem worthy—cyfrif, barnu, tybio, *neu* dybied yn deilwng; cyfrif yn wiw; cymmeradwyo; teilyngu; bod yn wiw ganddo.
That which is highly esteemed among men—y peth sydd uchel gyda dynion (*Luc* xvi. 15).

**Esteem**, *s.* cyfrif, cyfrifiad, bri, parch, cymmeriad, cymmeradwyaeth, cymmyredd, cymmyred, cyfrïad, cyfri, tyb da, barn dda; pris, prisiad, pwys.
Self-esteem—hunanfri, hunfrïedd.

**Esteemable**, *a.* hybarch, gwiwbarch, hybris, cyfrifol, cyfrifus, cyfrïol, cymmeradwy, parchus, parchedig, urddasol, cymmyreddus; gwerthfawr, prisfawr; o fri, o barch, o gymmeriad, o bris, o werth, o gyfrif, o gyfrifiad; teilwng o barch; gwiw o fri.

**Esteemed**, *p.p.* cyfrifedig, &c.; y gwneir cyfrif o honc; y gwnaed cyfrif o hano; y rhoddir bri arno; cyfrifol, cyfrifus, cyfrïog, cyfrïol, parchus.
Little esteemed—heb fawr fri arno; heb fawr gyfrif o hono; dibris, dibarch, digyfrif, anghyfrifol.
Nothing esteemed—heb ddim bri arno; heb ddim cyfrif o hono; heb fri arno; heb gyfrif o hono; anghyfrifol, anghyfrifus, digymmeriad, dibris, dïystyr, dirmygus, dirmygedig, gwael, sal, salw.
He was nothing esteemed in those days—nid oedd bri yn y byd arno yn y dyddiau hyny; nid oedd dim bri arno y dyddiau hyny.

**Esteemer**, *s.* cyfrifwr, cyfrifydd, tybiwr, prisiwr, brïwr; â rydd fri ar beth.

**Esthetic**, *a.* (Gr. *aisthêticos*) ceinofyddol, deinofyddol, teleidig, deiniol, dain, deiniolig, teleidiol.

**Esthetics**, } **Æsthetics**, } *s.* (Gr. *aisthêticos*) ceinofyddiaeth, deinofyddiaeth, teleidiaeth, teleideg, deineg, deiniolaeth=athrawiaeth y prydferth mewn prydyddiaeth ac yn y prgelfyddydau.

**Estiferous**, *a.* (Ll. *æstus* a *fero*) gwresddwy gwresddygol; yn cynnyrchu gwres.

**Estimable**, *a.* (Ff.) hybarch, gwiwbarch, haedbarch, hybris, cyfrifol, cyfrifus, cyfri cyfrïadwy, cymmeradwy, parchus, parchedig, urddasol, cymmyreddus; gwerthfawr prisfawr; o fri, o barch, o gymmeriad, o bris, o werth, o gyfrif, o gyfrifiad; teilwng o barch; gwiw o fri.

**Estimable**, *s.* yr hyn sy'n deilwng o barch: p cyfrifolion, hybrision.

**Estimableness**, *s.* hybarchedd, gwiwbarchedd cyfrifoldeb, cyfrifolder, cyfrifusrwydd, parchusrwydd, gwerthfawredd.

**Estimate**, *v. a.* (Ll. *æstimo;* Ff. *estimer*) cyfrif cyfrifo, bwrw, barnu, tybio, tybied; prisio cywerthyddio; rhoi, gosod, *neu* ddodi pris ar; ffurfio barn am; bwrw cyfrif ar; gobrisio, gogyfrif, amcan-gyfrif, amcanbrisio tybgyfrif, brasgyfrif.

**Estimate**, *s.* cyfrif, cyfrifiad, prisiad, gobrisiad gogyfrif, amcan-gyfrif, amcanbrisiad, tybgyfrif, brasgyfrif, cyfrifwerth; cywerthyddiad, cywerthiad; pris, gwerth, cywerthydd cywerth, amcanwerth; bwriad pris *neu* draul; amcandraul; amcanfarn, amcandyb
To make an estimate of—rhoi barn *neu* amcanfarn; bwrw amcanbris, bwrw amcan; rhagfwrw; barnu; prisio, cywerthyddio.

**Estimation**, *s.* (Ll. *æstimatio*) cyfrifiad, cyfrifiant, cyfrif; prisiad, cywerthyddiad, rhoddiad pris; barn, tyb, amcanfarn; parch, bri cyfri, cymmeriad, cymmeradwyaeth, cymmyredd, cymmyred, cymmyraeth, edmygedd anrhydedd, tyb da, barn dda.
According to common estimation—fel y tybir yn gyffredin; fel y bwrir yn gyffredin; fel y cyfrifir yn gyffredin; yn ol cyfrif cyffredin.
In man's estimation—yn ngolwg, yn marn, yn nhyb, *neu* yn nghyfrif dyn; hyd y gwel dyn.

**Estimative**, *a.* cyfrifiadol, cywerthyddol, prisiadol; darfelyddol, dychymygol.

**Estimator**, *s.* cyfrifwr, cyfrifydd, prisiwr, prisiedydd, cywerthyddiwr, gogyfrifwr.

**Estival**, *a.* (Ll. *æstivus*) hafol, hefin, hafaidd.

**Estivate**, *v. n.* hafu, treulio yr haf.

**Estivation**, } **Æstivation**, } *s.* (Ll. *æstivatio*) hafad, hafiad, hafiant, treuliad haf.

**Estoile**, } **Etoile**, } *s.* (Ff.) seren â 6 modrwy dònog (mewn herodraeth).

**Estoilee**, *s.* (Ff.) sergroes; seren â 4 pelydryn hir ar lun croes.
Cross estoilee—sergroes.

**Estop**, *v. a.* (Ff. *étouper*) attal, rhwystro; rhwystro hawl oblegid gweithred yr hawlwr ei hun.

**Estoppel**, *s.* (o *estop*) attalfa, rhwystr, lludd, rhwystr hawl.

**Estovers**, *s. pl.* (Norm. *estoffer;* Ff. *étoffer*) cyfreidiau, rheidiau; cynnaliaeth, gosmaeth.

**Estrade**, *s.* (Ff.) ystrad; gwastadle, lle gwastad; uchle, uchfan; ystafell gyhoeddus.

**Estrange**, *v. a.* (Ff. *étranger*) dyeithro, estroni, estroneiddio, estronoli, pellhau; cilio, neilltuo; ymddyeithraw oddi wrth; cadw oddi wrth.

To estrange one's self—ymddyeithro, &c.
They were not estranged from their lust—ni omeddwyd hwynt o'r hyn a flysiasant (*Salm* lxxviii. 30).
**Estrangedness**, *s.* dyeithrwch, dyeithredd, estroneiddrwydd, estronedigrwydd, estronoldeb, dyeithredigrwydd.
**Estrangement**, *s.* dyeithrad, dyeithriad, estroniad, estroniaeth, estroneiddiad, estronoliad, ymbellhad, ymddyeithrad; pellhad; symmudiad, mudiant.
**Estrapade**, *s.* (Ff.) ysboncawd, hersawd.
**Estray**, *v. n.*=*Stray.*
**Estrayer**, *s.* (Norm.) anifail treigl, anifail crwydr, anifail crwydrad, crwydryn.
**Estreat**, *s.* (Norm. *estraite, estreite*; o'r Ll. *extractum*) adysgrif gywir, gwir adysgrif, cysgrif, cysgrifen, tynysgrif, elltyneb; camgyleb.
**Estreat**, *v. a.* tynysgrifo, adysgrifo, cysgrifo.
**Estrepe**, *v. a.* (Norm. *estreper*) difrodi, difrodi tir, tirddifrodi, anrheithio.
**Estrepement**, *s.* (Norm. *estreper, estripper*) difrod, tirddifrod; anrhaith=y difrod â wnel deiliad oesfoddog ar dir neu dyddyn, er niwed i'w berchenog.
**Estrich**, *s.* Ff. (*autrauche*) estrys.
**Estrich**, **Estridge**, } *s.* manblu yr estrys, plu yr estrys.
**Estuance**,† *s.* (Ll. *æstus*) gwres, twymedd.
**Estuary**, *s.* (Ll. *æstuarium*) mornant, moryd, morgamlas, morgainc, morgang, morddwr, morddwfr, morafon, cainc o fôr, camlas; tarthfadd, tarthfaddon.
**Estuate**, *v. n.* (Ll. *æstuo*) berwi, ymferwi, brydio, angerddu, cyffröi, ymgynhyrfu, ymderfysgu; bod mewn cynhwrf *neu* gyffro.
**Estuation**, *s.* berwad, ymferwad, berw, berwedd, brydiad, angerddiad, cynhyrfiad, cyffroad, morgymlawdd.
**Esture**,† *s.* (Ll. *æstuo*) trais, gorthrech, trawsedd; cynhwrf, cyffro, berw.
**Esurient**, *a.* (Ll. *esuriens*) newynog, newynol, newynllyd; â chwant bwyd arno.
**Esurine**, *a.* (Ll. *esurio*) bwytaol, difaol, ysol.
**Etch**, **Eddish**, } *s.* (anhysbys) adladd, attwf.
**Etch**, *v. a.* (Al. *ätzen*; Is. *etsen*) ysgerfio, surgerfio, surgrifio, craflunio, yslunio; cerfio â sur blorig; †darlunio, braslunio, cynllunio.
**Etching**, *s.* ysgerfiad, ysgerfiaeth, ysgerfiadaeth, surgerfiad, surgrifiad, crafluniad, ysluniad.
Etching needle—pin ysgerfio, nydwydd ysgerfio.
Etching ground—llawr ysgerfio; cymmysgedd ysgerfio.
**Eteostic**, *s.* (Gr. *eteos* a *stichos*) gwirwers, cyfansoddiad brudlythyrol.
**Etern**,† *a.* (Ll. *æternus*)=*Eternal.*
**Eternal**, *a.* (Ll. *æternus*; Ff. *éternel*) tragwyddol, tragywyddol, tragywydd, bythol, annherfynol, didranc, diderfyn, pythol, bythig, tragywyddog, tragwyddog, tragwydd, tragyfyth, gwastadol, gwastad, oestad, oestadol; anfarwol, bythbarhäus, bythbarhaol.
**Eternal**, *s.* y Tragwyddol, y Tragywyddol, Rhen, Ior, y Duw tragwyddol.
**Eternalist**, *s.* tragwyddolwr, tragwyddolydd=un â gred fod y byd er tragwyddoldeb.
**Eternalize**, *v. a.* tragwyddoli, tragywyddoli, bytholi, tragwyddogi.

2 S 2

**Eternally**, *ad.* yn dragwyddol, &c.; byth, tros byth, dros byth, dros fyth, byth bythoedd, yn oes oesoedd; byth ac yn dragywydd.
**Eternify**, † *v. a.* (Ll. *æternus* a *facio*) tragwyddoli, tragywyddoli, anfarwoli.
**Eternity**, *s.* (Ll. *æternitas*; Ff. *éternité*) tragwyddoldeb, tragywyddoldeb, tragwyddolrwydd, tragywyddolder, tragywyddolrwydd, tragywyddoledd, bytholrwydd, bytholdeb, bytholder, byth, tragywyddogder, tragwyddogrwydd; anfarwoldeb.
To eternity—byth, byth bythoedd, yn oes oesoedd, hyd dragwyddoldeb, yn oestad, yn dragywydd, &c.; i dragwyddoldeb.
To all eternity—byth heb ddiwedd; byth ac yn dragywydd; hyd eithaf tragywyddoldeb; yn oes oesoedd; byth bythoedd; i bob tragywyddoldeb.
From eternity—er tragwyddoldeb, o dragywyddoldeb; er cynoes, er y gynoes.
From all eternity—er pob tragywyddoldeb; o bob tragwyddoldeb; cyn na'r oesoedd.
**Eternize**, *v. a.* (Ff. *éterniser*; Ll. *æterno*) tragwyddoli, tragywyddoli, bytholi, tragwyddogi; peri parhau byth; anfarwoli.
**Etesian**, *a.* (Ll. *etesius*; Gr. *etêsios*) cyfnodol; sefydlog, sefydledig; yn chwythu ar amserau penodol o'r flwyddyn.
Etesian winds—gwyntoedd cyfnodol.
**Ethal**, *s.* (o sillau cyntaf *ether* ac *alcohol*) nyfelwirf.
**Ethe**,† *a.* (S. *eath*) hawdd, rhwydd, esmwyth, llonydd.
**Ethel**,† *a.* (S.) ardderchog, godidog, boneddig.
**Ether**, *s.* (Gr. *aithêr*; Ll. *æther*) nyfel, nwyfre, uchawyr, gwybr, gwybren, uchwybr; nyfelwy, gwirfwy; gwŷr.
**Ethereal**, *a.* (Ll. *æthereus*) nyfelaidd, nyfelawl, nyfelig; gwybrenol, wybrenol, gwybrol, wybrol, ewybrenol, awyrol, nwyfreawl, arnwyfreawl, nwyfreaidd; nefol, nefolain, nefolus; pur, coeth, gwyrain.
Ethereal sphere—nwyfre, arnwyfre, nwyfreant, cylch y gwynaint.
**Etherealize**, **Etherize**, } *v. a.* nyfeleiddio; awyroli; gwneuthur yn nyfel; troi yn nyfel.
**Ethereous**, *a.* (Ll. *æthereus*) nyfelaidd; â wnaed o nyfel; nefol, nefolain, nefolaidd; awyrol, wybrenol.
**Ethereum**, *s.* (o *ether*) nyfelsawd=math o losnwy.
**Etheriform**, *a.* (*ether* a *form*) nyfelaidd; â chanddo ffurf nyfel.
**Etherine**, *s.* (o *ether*) nyfelain=math o losnwy.
**Etherole**, *s.* (Gr. *aither* ac *elaion*) nyfolew.
**Ethero-sulphuric Acid**, **Ethionic Acid**, } *s.* sur nyf-ufelig, sur nyflosfeinig, sur nyfonig.
**Ethic**, **Ethical**, } *a.* (Gr. *êthicos*; Ll. *ethicus*) moesol, moesaidd; perthynol i foesau; yn perthyn i foesddysg; yn trin moesau; yn traethu ar foesoldeb; moesathrawol.
Ethic epistles—llythyrau moesol, llythyrau moes.
**Ethics**, *s.* moesddysg, moesaddysg, meeseg, moesoni; athrawiaeth moesau ac arferion.
**Ethionate**, *s.* (o *ether*) nyfonaint.
**Ethmoid**, **Ethmoidal**, } *a.* (Gr. *êthmos* ac *eidos*) rhidyllog, rhidyllaidd, gograidd.
**Ethmoid**, *s.* yr asgwrn rhidyllog, y rhidyllog.

**Ethnarch**, *s.* (Gr. *ethnos* ac *archê*) pencenedl, pen cenedl, pen cenedloedd, cenel-benaeth.

**Ethnic, Ethnical**, *a.* (Gr. *ethnicos;* Ll. *ethnicus*) cenedlig, paganaidd, paganol, paganig; perthynol i'r cenedloedd; yn perthyn i'r paganiaid; digred; ethnigaidd.

**Ethnic**, *s.* cenelddyn, cenedlddyn, dyn cenedlig, pagan, ethnig, dyn digred, dyn annuw, dyn didduw, dyn eilunaddolgar; un o'r cenedloedd; un o wŷr anghred; dyn anghydnabyddus â chrefydd ddadguddiedig: *pl.* cenedloedd, y cenedloedd, paganiaid.

**Ethnicism**, *s.* cenedligaeth, paganiaeth, anghred; eilunaddoliaeth; ethnigaeth.

**Ethnographic, Ethnographical**, *a.* cenedlonawl, cenedlofyddol, cenedlyddol, cenedlwyddol; yn darlunio cenedloedd.

**Ethnography**, *s.* (Gr. *ethnos* a *graphô*) cenedloniaeth, cenedlofyddiaeth, cenedlhanes, cenelhanes, cenelwyddiaeth, cenelddysg; cenedlogaeth, ceneldraith; dysgrifiad o wahanol genedloedd.

**Ethnology**, *s.* (Gr. *ethnos* a *logos*) cenedleg, echenogaeth, ciwdodeg; traethawd ar genedloedd.

**Ethological**, *a.* moesyddol, moesegol, moesonol, moesddysgol; yn traethu ar foesogaeth *neu* foesoldeb.

**Ethologist**, *s.* moesegwr, moesonydd, moesddysgwr, traethwr ar foesoldeb.

**Ethology**, *s.* (Gr. *êthos* a *logos*) moesogaeth, moesoneg, moesolaeth, moesyddiaeth; traethawd ar foesau; traith ar foesddysg.

**Ethule, Ethyle**, *s.* (Gr. *aithêr* a *hulê*) nyfelsawd, dansawdd nyfel.

**Etiolate**, *v.* (Gr. *aithô*) cànu, gwŷnu, dargànu, arwŷnu, gwynhau; gwneuthur yn wŷn *neu* yn ganaid; myned yn wŷn *neu* yn wynach; gwŷnu drwy gau allan belydr haul.

**Etiolation**, *s.* cànad, dargànad, gwŷnad, darwŷnad; gwneuthuriad yn wŷn; mynediad yn wŷn.

**Etiological**, *a.* achosegol, achosionol; perthynol i achoseg.

**Etiology**, *s.* (Ll. *ætiologia;* Gr. *aitia* a *logos*) achoseg, achosioneg, peiriadeg; cyfrifiad am achosion; clwyfachoseg.

**Etiquette, Etiquet**, *s.* (Ff. *etiquette*) hyfoeseg, arfoeseg, alathreg, moesgarwch; moesffurfiau, moesddefod, moesarfer; defod, arfer, arddefod, rhyfoes.

**Etite**, *s.* (Gr. *aetos*) eryrfaen, eryrai.

**Ettin**,† *s.* (ansicr) cawr.

**Etui, Etwee, Etwee-case**, *s.* (Ff. *étui*) llogellgist, llogellgaes, llogellas, offergist llogell, offerwain, offergistan.

**Etymologer**,† *s.*=*Etymologist.*

**Etymological**, *a.* (o *etymology*) cyfachyddol, cyfiachyddol, geirdarddol, geirdarddiadol, geirhanol, geirhaniadol, geirdadogol, geiryddol, tadogaethol, cyfachol, tarddiadol; gwreiddiol.

Etymological dictionary — cyneiriadur, cyneirlyfr, gwreiddiadur, geiriadur cyfachyddol, geirlyfr geirdarddol.

**Etymologist**, *s.* cyfachydd, cyfiachydd, geirdarddwr, geirdarddur, geirhanwr, geirdarddydd; chwiliedydd *neu* olrheiniwr gwraidd geiriau.

**Etymologize**, *v. n.* geirdarddu, geirhanu, cyfachyddu, cyfiachyddu, geirdadogi; chwilio *neu* olrhain tadogaeth geiriau; chwilio wraidd geiriau.

**Etymology**, *s.* (Ll. *etymologia;* Gr. *etumos* a *logos*) cyfachyddiaeth, cyfiachyddiaeth, geiryddiaeth, geirhaniaeth, cyfiach, geirdarddiad, geirdarddiadaeth, geirdardd, tadogaeth, geirdadogaeth, geirhaniadaeth, tadogaeth geiriau, bonedd geiriau, gwreiddogaeth, geirfonedd; gwraidd; tarddiad.

**Etymon**, *s.* (Gr. *etumon*) cynair, gwreiddair, tadogair, tadair, tadog, gwreiddyn gair, gwreiddyn, gwraidd, gair gwreiddiol; dechreuad.

**Eucharist**, *s.* (Gr. *eucharistia*) cymun, y cymun, y segrafen, y sacrafen; dïolch, dïolchgarwch.

**Eucharistic, Eucharistical**, *a.* cymunol, segrafenol, sacrafenol; perthynol i'r cymun; dïolchus, dïolchgar, iolchus; er dïolchus gof; yn cynnwys dïolch.

**Euchlore, Euchloric**, *a.* (Gr. *eu* a *chlôros*) madwyrdd, trywyrdd, trywyrddin.

**Euchlorine**, *s.* (Gr. *eu* a *chlorine*) madlaswy, cynegrid llaswy.

**Euchlorite**, *s.* (Gr. *eu* a *chlôros*) madhoegith=math o ddelidfaen.

**Euchology**, *s.* (Gr. *euchologion*) ffurfweddïau, ffurfweddïeg, golucheg; defodlyfr Eglwys Groeg.

**Euchroite**, *s.* (Gr. *euchroia*) tegwerddem, ceinwerdden.

**Euchymy**, *s.* (Gr. *euchumia*) madlynedd, madlynnaws, madlifnaws; cyflwr iach y gwaed a llynau ereill y corff.

**Euclase**, *s.* (Gr. *eu* a *claô*) hyfriwem=math *o* ddelidfaen lledwyrdd.

**Eucrasy**, *s.* (Gr. *eucrasia*) mattymmyr, iachdymmyr, iachdymmer, iachddyli, tymmer iachus.

**Euctical**, *a.* (Gr. *eucticos*) dïolchol, dïolchus, diolchgar, iolchus; yn cynnwys dïolch.

**Eudiometer**, *s.* (Gr. *eudios* a *metron*) areuliadyr, areulfesur, awyrfesur=offeryn i fesur purdeb yr awyr, neu y gyfran o ufelai â gynnwysir ynddo.

**Eudiometric, Eudiometrical**, *a.* areuliadyrol, areulfesurol, awyrfesurol, awyrfydrol; perthynol i areuliadyr.

**Eudiometry**, *s.* areuliadyriaeth, areulfesuriaeth, awyrfesuriaeth.

**Euge**,† *s.* (Gr. a Ll.) clod, canmoliaeth.

**Eugeny**, *s.* (Gr. *eugenês*, o *eu* a *genos*) bonedd, pendefigedd, gwaed pendefigaidd, bonedd cynnwynol.

**Eugh**, *s.*=*Yew.*

**Euharmonic**, *a.* (Gr. *eu*, a *harmonic*) cynghaneddol, cynghan, cynghanawl, perseiniol, cysseiniol, madseiniol, cydgordiol.

**Eukairite**, *s.* (Gr. *eucairos*) madysem=math o ddelidfaen.

**Eulogic, Eulogical**, *a.* (o *eulogy*) canmoliaethol, canmoliaethus, canmoliannol, canmoliannus, arwyreiniol, cyfoliannus, clodus, canmoliadol, arfoliannol, clodforol, arfoliannus, moliannol, moliannus, canmolawl, darglodus, arwyreawl.

**Eulogist**, *s.* canmolwr, canmolydd, arwyreiniwr, arwyreinydd, molwr, molydd, moliannwr, moliannydd, moliedydd, darglodydd, clodforwr, clodforydd, moliannor, dathlydd, darfolwr, ceinfolwr.

**Eulogium**, *s.* (Ll. a Gr. *eulogia*)=*Eulogy.*

**Eulogize,** *v. a.* moli, moliannu, canmawl, canmoli, clodfori, moleddu, arwyrain, darfoli, mawrygu, arfoliannu, dathlu, dyrchafu; derchafu ar air *neu* mewn ysgrifen.

**Eulogy,** *s.* (Gr. *eulogia*) canmoliaeth, molawd, arwyrain, clod, clodair, clodaraeth, moledd, moliant, molyd, mawl, iolwg, darfoledd, arfoliant, darglod, gwawd, arwawd, erwawd, canmolawd, gair da, darfawl, ceinfawl, ceinfolawd.

**Eunomy,** *s.* (Gr. *eunomia*) madraith, madgyfraith, madlywodraeth.

**Eunuch,** *s.* (Gr. *eunouchos*) dysbadd, dysbaidd, efnuch, dysbaddyn, un dysbaddedig, un ysbaddedig; ystafellydd.

**Eunuchate,** *v. a.* dysbaddu, ysbaddu, efnuchu; gwneuthur yn efnuch.

**Eunuchism,** *s.* efnuchiaeth, efnuchedd, dysbaddiaeth.

**Euonymus,** *s.* (Gr. *eu* ac *onoma*) piswydd.

**Euotomous,** *a.* (Gr. *eu* a *temnô*) gwahanhollt-og.

**Eupathy,** *s.* (Gr. *eupathia*, *eupatheia*) iawn deimlad, matteimlad, madoddef, goddefedd, goddefgarwch.

**Eupatorine,** *s.* (o *eupatorium*) byddonain=goalcali tybiedig â geir o fyddon chwerw.

**Eupatory,** } *s.* (Ll. *eupatorium;* Gr. *eupa-*
**Eupatorium,** } *torion;* o *Eupator*, teyrn Pontus) byddon.

**Eupepsy,** *s.* (Gr. *eupepsia*) hydreuliant, hydreuliad, treuliant da, treuliad, bwyttraul da.

**Eupeptic,** *a.* yn treulio yn dda yn y cylla; hydraul, hyferw.

**Euphemism,** *s.* (Gr. *euphêmismos*) syberiaith, lledneiseb, lledneisiaith; mwytheiriad; anhagreb.

**Euphemistic,** *a.* mwynieithol, mwytheiriol, lednais.

**Euphonic,** } *a.* (o *euphony*) perseiniol, hy-
**Euphonical,** } seiniol, hysain, gwiwseiniol,
**Euphonious,** } pereiddseiniol, persain, gwiwsain, pereiddsain, erddyganol, hyfrydsain, perleisiol; per ei sain; gwiw ei sain.

**Euphonicon,** *s.* (Gr. *eu* a *phônos*) perseinon, pereilioneg.

**Euphonize,** *v. a.* perseinio, gwiwseinio, hyseinio, pereiddseinio, hyfrydseinio; gwneuthur yn berseiniol.

**Euphony,** *s.* (Gr. *euphonia*) persain, gwiwsain, hysain, pereiddsain, hyfrydsain, sain ber, sain beraidd, sain dda, cywirsain, cynghanedd, erddygan, mwythsain, melsain, perlef, perder sain, hyseinedd; rhwyddineb sain.

**Euphorbia,** *s.* (Gr.) fflamgoed, dalen dda.

**Euphorbium,** *s.* (Ll. o'r Gr. *euphorbion*) fflamgoedlud, fflamgoedrwyth, sudd fflamgoed.

**Euphrasia,** *s.* (Gr.) effros, golyglys, gloewlys, goleudrem, llysiau effros.

**Euphuism,** *s.* (Gr. *euphuês*) chwyddiaith, coegiaith, chwyddiaeth.

**Euphuist,** *s.* chwythieithwr, arferwr chwyddiaith.

**Eupion,** *s.* (Gr. *eu* a *piôn*) ireidwy=math o hylif gloew, diliws, dïarogl, a diflas, â geir o ulbyg anifeiliol.

**Eupratic,** *a.* (Gr. *eupractos*) hywnel, hyweithiol, hygael; hawdd ei wneuthur; hawdd ei gael.

**Euripus,** *s.* (Ll.; Gr. *euripos*) culfor, cyfyngfor, meinfor.

**Eurite,** *s.* (Ff.) gwynfaen.

**Euritic,** *a.* gwynfeinig, gwynfeinin, gwynfeinaidd.

**Euroclydon,** *s.* (Gr. *eurocludôn*) Euroclydon (*Act.* xxvii. 14) = gwynt tra thymhestlog, cyffredin ar Fôr y Canoldir.

**Eurus,** *s.* (Ll.) dwyreinwynt, gwynt y dwyrain.

**Eurythmy,** *s.* (Gr. *eu* a *rhuthmos*) cydweddiad, cymmesuredd, harddweddiad, cyssondeb, iawn drefn, cyfartalwch.

**Eustyle,** *s.* (Gr. *eu* a *stulos*) madbillas, madbillres.

**Eutaxy,** *s.* (Gr. *eutaxia*) trefn, trefn sefydlog, iawn drefn.

**Euthanasia,** } *s.* (Gr. *euthanasia*) marwolaeth
**Euthanasy,** } esmwyth, tranc esmwyth, esmwyth-dranc, mad farwolaeth.

**Evacate,**† *v. a.* (Ll. *vaco*) gwaghau, arllwys.

**Evacuant,** *a.* (Ll. *evacuans*) gwaghaol, arllwysol, arlloesol, arloesol, rhyddhaol, ysgothol.

**Evacuant,** *s.* ysgothai, cyffer ysgothol: *pl.* ysgotholion, ysgotheion.

**Evacuate,** *v. a.* (Ll. *evacuo*) gwaghau, arlloesi, arloesi, arllwys, allwys, allwy, dyhysbyddu, dysbyddu, hysbyddu; bwrw allan, taflu allan, ysgothi, cothi, cythu; gadael, gadaw, gadu; ymadael o; myned allan o; diddymu, dirymio, dirymu, dïelwi, llaesu.

**Evacuation,** *s.* (Ll. *evacuatio*) gwaghad, gwacâd, gwagiad, arllwysiad, arlloesiad, arloesiad, allwysiad, arloes, arllwys, dyhysbyddiad, dysbyddiad; ysgothiad, cothiad, cythiad, ysgarthiad; bwriad *neu* dafliad allan; gadawiad, gadiad, ymadawiad; diddymiad, dirymiad, dilead; gollyngdod.

**Evacuative,** *a.* gwaghaol, arlloesol, arllwysol, arloesol, allwysiadol, dyhysbyddol, dysbyddol; ysgothol.

**Evacuator,** *s.* gwaghäwr, gwagiedydd, arllwysydd, arlloeswr, dyhysbyddwr; diddymydd.

**Evade,** *v.* (Ll. *evado*) gochel, gochelyd, gochelu, gogelyd, gwagelyd, gwagelu, gwachel, gwachelyd, dïanc, dïengyd, ysgöi, osgöi; dïanc; ymddïanc, ymochel, ymgadw, ymnoddi, ymachub, ffoi, *neu* ysgöi rhag; dïanc, ymddïanc, ymochel, ymgadw, ymnoddi, ymachub, ffoi, *neu* ysgöi oddi wrth; cilio *neu* droi oddi wrth; cilio *neu* droi oddi ar ffordd peth; bwrw, troi, *neu* ollwng heibio; cyfrwys ochel; gochelyd drwy gyfrwysdra; mwyseirio, nyddu; llithro ymaith; ceisio, dïanc; somi.

**Evagation,** *s.* (Ll. *evagatio*) gwib, crwydr, gwibiad, gwibad, crwydrad, gwibiawd, crwydredigaeth, tramwyad; tramp, gwibdaith; gwyrad, cyfeiliornad.

**Evagination,** *s.* (Ll. *evagino*) dadweiniad, diweiniad, dysbeiliad, dysbeliad, tyniad o wain.

**Eval,**† *a.* (*ævum*) oesol, parhaol; perthynol i amser *neu* barhad.

**Evaluation,** *s.* (Ff.) prisiad, cywerthyddiad.

**Evanescence,** *s.* (Ll. *evanescens*) dedwinedd, edwinedd, diflant, diflannedd, edwedd, edwaint, dedwinoldeb, edwinoldeb, edwindod, edwinrwydd, dedwinrwydd, diflanrwydd, diflannusrwydd; dedwiniant, edwiniant, diflaniad.

**Evanescent,** *a.* (Ll. *evanescens*) dedwinol, edwinol, diflan, diflannus, diflanus, diflanedig, difan, dedwin, edwin, edw, difanol; ar ddiflanu, yn diflanu, ar ddiflant; trancedig, darfodedig.

**Evangel,†** *s.* (Ll. *evangelium;* Gr. *euaggelion*) efengyl, yr efengyl, coelfain.
**Evangelian,** *a.* (Ll. *evangelicus*) yn dïolch am gymmwynasau; dïolchus, dïolchawl, iolchus.
**Evangelic,** } *a.* (Gr. *euaggelicos;* Ll. *evan-*
**Evangelical,** } *gelicus*) efengylaidd, efengylawl; cytun â'r efengyl.
Evangelicals—efengyliaid, gwŷr efengylaidd.
**Evangelicalism,** *s.* efengyleiddrwydd, efengylrwydd.
**Evangelism,** *s.* efengyliaeth, cyhoeddiad yr efengyl.
**Evangelist,** *s.* (Gr. *euaggelistēs*) efengylwr, efengylydd, angel ystor.
**Evangelistary,** *s.* llith o'r Efengylau, detholiad o'r Efengylau, efengylwers.
**Evangelization,** *s.* efengyliad, efengyliant.
**Evangelize,** *v.* (Gr. *euaggelizō;* Ll. *evangelizo*) efengylu; pregethu yr efengyl; efengylu i.
**Evangely,** *s.* (Ll. *evangelium*) efengyl, yr efengyl, coelfain; newyddion da.
**Evanid,** *a.* (Ll. *evanidus*) gwanaidd, gwàn, egwan, gwyw, methedig, methiannus, methiantus, llegach, llesg, gwecry, brydd; diflanus, edwin, edwinol, dedwin, dedwinol, diflan, diflanol, edwinaidd, difan, difanol, dismanol, dysmythol, dysmwth.
**Evanish,** *v. n.* (Ll. *evanesco*) diflanu, diflannu, difanu, dysmythu, dadymddangos, dismanu; dedwino, edwino, edwi, difancolli, darfod; myned ar ddim, myned yn ddim; ymgiliaw o'r golwg.
**Evanishment,** *s.* diflaniad, diflanniad, diflant, difaniad, dysmythiad, dismaniad; dedwinad, edwinad.
**Evaporable,** *a.* (Ll. *evaporo*) tarthadwy, mygdarthadwy; â ellir ei droi yn darth.
**Evaporate,** *v.* (Ll. *evaporo*) tarthu, anweddu, mygdarthu, ageru, agerddu, tarthain, anwyddo, mygu allan, mygu, dydarthu; bwrw ager, agerdd, mygdarth, *neu* anwedd; bwrw allan darth *neu* fygdarth; bwrw allan ager *neu* anwedd; esgyn yn darth *neu* anwedd; myned yn darth *neu* anwedd; myned i fyny yn darth, ager, *neu* anwedd; codi yn darth *neu* ager; anadlu, chwythu allan; chwysu allan; gwasgaru, gwasgar.
**Evaporate,** *a.* tarthedig, anweddedig, mygdarthedig, tarthog, agerddog; gwasgaredig; gwasgaredig mewn tarth.
**Evaporation,** *s.* (Ll. *evaporatio*) tarthiad, tarthiant, anweddiad, ageriad, agerddiad, mygdarthiad, anwyddiad; esgyniad yn darth, &c.; mynediad yn darth, &c.
**Evaporometer,** *s.* (Ll. *evaporo*, a Gr. *metron*) tarthiadyr, tarthfesur=offeryn i fesur swmp tarth.
**Evasion,** *s.* (Ll. *evasio*) gocheliad, gwacheliad, gogeliad, gwageliad, ysgoad, gochel, cyfrwys ochel, cyfrwys ocheliad, ciliad, ymgiliad; dichell, ystryw, rhithesgus, mwysdro, mwysair, mwyseiriad, ystranc, ymdro, esgus, twyll, ymdro cyfrwys, ymdro dichellgar, hud, hoced, cast, nydd; ystryw i ddïanc.
**Evasive,** *a.* (Ll. *evado, evasi*) gochelus, cyfrwys, ystrywus, ystrywgar, ymdroawl, gochelog, gwagelog, gochelgar, mwyseiriol, mwysdroawl, mwys, amwys, ymlithrol, dichellgar; â'i duedd i ochelyd *neu* ddïanc; â'i dueddnod i ddïanc *neu* ochelyd.
**Evasiveness,** *s.* gochelgarwch, gochelusrwydd, cyfrwysdra, cyfrwysder, ystrywgarwch, gochelogrwydd, mwysedd.
**Evates,** *s.* (Ll. *vates;* Gr. *ouateis*) ofyddion=dosbarth o'r derwyddon.
**Eve,** *s.* (S. *æfen, efen;* Al. *abend*) noswyl, nos ŵyl, ucherwyl, nos, mywyl.
Christmas eve — nos Nadolig, noswyl Nadolig, ucherwyl y Nadolig.
Easter eve — nos Basc, noswyl y Pasc, ucherwyl Pasc, nos ŵyl y Pasc.
Twelfth-tide eve—noswyl Ystwyll, nos ŵyl Ystwyll.
Eves of holydays—mywyliau.
To keep *or* celebrate the eve of a holyday—noswylio, cadw ucherwyl, cynnal ucherwyl, cynnal noswyl, cadw noswyl, mywylio.
On the eve of—ar fin, yn mron, bron, ar, ger llaw, yn agos i, yn nghylch, ar bwynt.
**Evection,** *s.* (Ll. *evectio*) cludiad ymaith, cyweiniad i ffwrdd, dygiad; dyrchafiad, dyrchiad, derchawd, uchafiad; ymeithiad, dygyweiniad, dygludiad.
**Even,** } *s.* (S. *æfen, efen;* Al. *abend*) hwyr, yr
**Eve,** } hwyr, ucher, echwydd, yr echwydd, diwedydd, cyfnos, y cyfnos, min nos, godechwydd, gohwyr, cyflychwyr.
At even, } yn yr hwyr; yn min nos.
In the even, }
**Even,** *a.* (Is.; S. *efen;* Al. *eben;* Sw. *efven*) gwastad, cydwastad, cyngwastad, llyfn, (*f.* llefn), gwastadlyfn; cyfartal, cydradd, cyfradd, cydraddog, unffurf, unwedd, cyfiol, gogyfiol; cyffelyb, tebyg, cyfal, hafal; uniawn, union, dileddf, diwyr; tawel, digynhwrf, digyffro; cyfniferog, cyfnifer, cynnifer, gogymmaint; teg, clau; cymhwys; esmwyth; têl.
Even ground—tir gwastad, gwastattir, lle gwastad, màn wastad, gwastadfan, gwastadfaes, gwastadle, gwastadfa; tir teg.
Even number—cyfnifer, cynnifer; nifer gwastad, rhif gwastad, nifer cyfartal.
Of an even number, } cyfnifer, cyfniferog,
Of even number, } cynnifer, cynniferog, cynniferol, cyfniferol.
To make of even number—cyfniferu, cynniferu.
Is it even or odd?—ai cynnifer ai anghynnifer ydyw? ai cyfnifer ai amnifer yw?
To play even and odd—chwareu cynnifer ac amnifer; chwareu cynnifer ac anghynnifer; chware cyfnifer ac anghyfnifer.
Even of temper, } gwastadfryd, gwastad-
Of even temper, } frydig, tawelfryd, tawelfrydig, addwynfryd, addwynfrydig, cyfartalfryd; gwastad ei fryd; tawel ei fryd; tawel ei feddwl.
Even balance—mantol gywir *neu* gymhwys; tafal gywir *neu* gymhwys; clorianau cyfiawn *neu* gywir.
Even mind — gwastadfryd; meddwl cyfartal, gwastad, digynhwrf, tawel, *neu* ddigyffro.
Even-shorn—gwastad-gnaif.
To make even — cyfartalu, gwastadhau, gwastatu, gwastadu, gwastatáu, gwastata, cystadlu; gwneuthur yn wastad, yn gydwastad, yn gyfladd, *neu* yn gyfartal; unioni, uniawnu; gwneuthur yn

uniawn; llyfnhau, llyfnu, gorllyfnu; cywiro, cymhwyso, cymmoni; gwneuthur yn llyfn *neu* yn gywir; cyfio, argyfio.

To make even a reckoning — cyfartalu cyfrif, gwastatu cyfrif, cymmoni cyfrif; talu cyfrif; talu yr hyn sy'n dygwydd ar un.

To lay even with the ground—gwneuthur yn gydwastad â'r llawr; gwneuthur yn un â'r llawr.

Even to the mark—hyd y nod.

Even with the edge—cyfor, cyforiog; hyd y byl; hyd yr ymyl.

Even with to-day—cyfer i heddyw.

I will be even with you—mi a fyddaf gyda chwi; mi a fyddaf gymhwys â chwi; mi a dalaf y pwyth i chwi.

Now we are even—yr ydym yn awr y naill gystal a'r llall; yr ydym yn awr y naill gyfuwch a'r llall; yr ydym yn awr gyda'n gilydd.

Very even—gorwastad; gwastad iawn.

To bear affliction with an even mind—dwyn cystudd yn ddyoddefgar; goddef cystudd yn amyneddgar; dwyn cystudd yn wastadfrydig.

My foot standeth in an even place—fy nhroed sydd yn sefyll ar yr uniawn (*Salm* xxvi. 12).

**Even,** *v. a.* gwastatu, gwastadhau, gwastatäu, gwastata, cyfartalu, cystadlu; gwneuthur yn wastad, yn gydwastad, yn gyfladd, *neu* yn gyfartal; unioni, uniawnu; gwneuthur yn uniawn; llyfnu, llyfnhau, gorllyfnu; cywiro, cymhwyso, cymmoni; gwneuthur yn llyfn *neu* yn gywir; cyfio, argyfio, cydraddu.

**Even,**† *v. n.* bod yn gyfartal *neu* wastad.

**Even,** *ad.* sef, ïe, ïa, ys ef; yn ddïau, yn wir; nid amgen, nid amgen na; sef yw hyny; hyd yn oed, hyd y nod, nod; yn gyffelyb ag, mâl ag, fâl ag, fel ag, megys ag; yn yr un modd; yn y cyffelyb fodd; felly, efelly; cymmaint ag; hefyd.

Even so—efelly, felly; fel, fâl, mâl; yn wir.

It is even so—felly y mae.

Even as—fel, fâl, mâl, mâl ag.

Be it even so—bid, boed, *neu* bydded felly.

They found it even so—hwy a gawsant felly; hwy a'i cawsant efelly.

Even now—y mynyd hwn; yn y mynyd hwn; yr awr hon; yn awr hyn; yn y màn.

Even when I wrote—hyd yn oed pan yr ysgrifenwn.

Even in one day—hyd yn oed un dydd.

Love all men, even thy enemies—câr bawb, hyd yn oed dy elynion; câr bawb, nod dy elyn.

**Evene,**† *v. n.* (Ll. *evenio*) dygwydd, dygwyddo.

**Evener,** *s.* (o *even*) gwastatydd, gwastatwr, cyfartalwr, unionwr.

**Evenhand,** *s.* (*even* a *hand*) llawgywirdeb, cydraddoldeb, cyfartaledd, cyfartalwch, cyfartalrwydd, llawgymhwysder, cystadledd, didueddrwydd, gwastadrwydd.

**Evenhanded,** *a.* llawgywir, gwastadlaw, llawgymhwys; diduedd, dïogwydd, anmhleidgar, cywir, clau; cyfiawn, uniawn, iawn, gwastad.

**Evening,** } *s.* (o *even*) hwyr, yr hwyr, ucher,
**Even,** } echwydd, yr echwydd, diwedydd, prydnawn, pyrnawn, cyfnos, min nos, min y nos, gohwyr, pryd echwydd, gosper, min yr hwyr, gogyfnos, goddiwedydd, godechwydd, cwddechwydd, cyflychwyr, llychwyr, llychwr, gorchyfarwy, gorchyferwy, gorchafarwy, chwinsaf, chwinsa, chwinsang, ucherddaw; prydnawngwaith.

Last evening, } neithwyr; prydnawn doe; yr
Yesterday evening, } hwyr doe; doe brydnawn.

In the evening, } yn yr hwyr, &c.; yn
At evening, } lleigus, yn llegus; yn hwyr y dydd.

In the dusk of the evening—yn y cyfnos, yn y gogyfnos, yn y cyflychwyr; yn nghyflychwyr dydd a nos; gyda'r hwyr; gan yr hwyr; yn min y nos, yn min nos; yn min yr hwyr; yn nghyfliw gwr a llwyn; yn chwinsaf; yn y chwinsang; rhwng gwawl a gwyll; rhwng y ddau oleu; yn ngwyll y nos.

To draw towards evening — hwyrhau, ucheru; myned yn hwyr; tynu yn hwyr; llaesu i hwyrhau.

The evening approaches—mae hi yn hwyrhau; mae yn myned yn hwyr; mae hi yn tynu at yr hwyr *neu* y nos.

The evening crowns the day—prydnawn y mae nabod gweithiwr; yn y prydnawn y mae adnabod gweithiwr.

The first of evening—cynechwydd.

**Evening,** *a.* hwyrol, prydnawnol, pyrnawnol, ucherol, cyfnosol, gogyfnosol, hwyr, echwyddol.

Evening prayer — gweddi brydnawnol, prydnawnol weddi; gosper.

Evening song—hwyrgan, uchergan, nosgan; cân hwyrol, &c.

Evening hymn—emyn hwyrol, emyn hwyr, emyn prydnawnol, emyn ucher.

Evening primrose—briallu yr hwyr, hwyr friallu.

Evening star—Gweno, Ucheron, Gwener (pan yn weladwy yn yr hwyr); y seren hwyrol, y seren hwyr, seren yr hwyr, seren y nos; Hesper, Hesperus.

Evening twilight—min nos, min y nos, y cyflychwyr, gorchyfarwy, gorchyferwy, min yr hwyr, cyfnos, gwyll y nos; cyfliw gwr a llwyn.

**Even-keel,** *s.* gwaelod gwastad, trumbren gwastad, cilbren gwastad.

**Evenly,** *ad.* yn wastad, &c.; yn llorwedd.

**Evenminded,** *a.* gwastadfrydig, gwastadfryd, tawelfrydig, tawelfryd, addwynfryd, addwynfrydig; gwastad ei feddwl; tawel ei fryd.

**Evenness,** *s.* (o *even*) gwastadrwydd, cydwastadrwydd, cyngwastadrwydd, gwastadoldeb, gwastadedd, gwastadolrwydd; cyfartalwch, cyfartaledd, cyfartalrwydd; llyfnder, llyfndra, llyfnedd; cydraddoldeb, cyfraddoldeb, cyfraddwch; tegwch; tawelwch, arafedd; unffurfiaeth, unweddoldeb, unwedd; gwastadfrydedd, tawelfrydedd; cyfioldeb, gogyfioldeb; llorweddogrwydd.

Evenness of mind—gwastadfrydedd, gwastadfryd, tawelfrydedd, tawelfryd, gwastadrwydd meddwl, cyfartaledd meddwl, addwynfrydedd, addwynfryd; arafwch, tawelwch, cymmodlonedd; meddwl cyfartal, gwastad, digyffro, *neu* ddigynhwrf.

Evenness of number—cyfniferedd, cynniferedd, cyfniferwch, cynniferwch, cyn-

niferoldeb, cyfniferogrwydd, cyfartaledd rhifedi.

Evensong, *s.* (*even* a *song*) gosper, prydnawnol weddi, gweddi brydnawnol, gwasanaeth prydnawnol; yr hwyr, ucher.

Mattins and evensong—plygain a gosper; pylgain a gosper; boreuol a phrydnawnol weddi.

Event, *s.* (Ll. *eventus*) dygwydd, dygwyddiad, damwaen, dychwaen, damchwaen, chwaen, chwŷl, perwyl, hap, hab, ham, amgylchiad; dyben, diwedd; y peth à ddygwyddo; canlyniad; yr hyn a ddaw o beth.

At all events—dygwydded à ddygwyddo; deued à ddel; doed à ddelo; bydded fel y byddo.

In the event—os dygwydd, o dygwydda; pe dygwyddai, pe hapiai; yn y dygwyddiad; a bod hyny yn bod; os, od, o.

What was the event of it?—beth a ddaeth o hono?

The events of seasons and times—yr hyn a ddamwaen mewn tymmor ac amser (*Doeth*. viii. 8).

What shall be the event—pa beth a ddygwyddo (2 *Mac*. ix. 25).

Event,† *v. n.* tori allan.

Eventerate, *v. a.* (Ff. *éventrer;* o'r Ll. *e* a *venter*) bolrwygo, diberfeddu, dadberfeddu; tynu y perfedd *neu* yr ymysgaroedd allan; rhwygo yr ymysgaroedd; agor y perfedd; rhwygo yn agored.

Eventful, *a.* dygwyddlawn, dygwyddfawr, haplawn, perwylfawr; llawn dygwyddion, llawn damweiniau; pwysig, pwysfawr; dwys ei ganlyniadau; dygwyddiadol; argoeliog, argoelfawr, argoelus.

Eventide, *s.* (*even* a *tide*) hwyr, yr hwyr, ucher, diwedydd, echwydd, cyfnos, gogyfnos, min nos, godechwydd, ucherddaw.

Eventilate, *v. a.* (Ll. *eventilo*) nithio, gwyntyllio, dyffuglio; gogrynu; chwilio, trychwilio, chwalu, dyfal chwilio, manol chwilio, chwilio yn fanwl, dwys holi, dyholi.

Eventilation, *s.* nithiad, nithiant, gwyntylliad, dyffugliad; chwiliad, trychwiliad, dyholiad, manwl holiad, dyfal chwiliad.

Eventual, *a.* (o *event*) dygwyddol, dygwyddiadol, damweiniol, hapiol, chwaenol, perwylus; canlyniadol; terfynol, diweddol, dybenol; diweddaf.

Eventuality, *s.* dygwyddoldeb, dygwyddolrwydd, dygwyddoledd.

Eventually, *ad.* o'r diwedd, yn y diwedd; yn ddiweddaf, yn olaf; yn derfynol.

Eventuate, *v. n.* (o *event*) dygwyddo, dygwydd, damweinio; terfynu, talmu, diweddu, dybenu, darfod, tachweddu.

Ever, *ad.* (S. *æfre*, *efre*) byth, yn dragywydd, yn dragwyddol, yn dragywyddol, yn dragyfyth, bob amser, yn wastad, yn wastadol, yn oestad, yn oestadol; erioed; yn barhäus; o amser i amser; beunydd a byth; yn fythol, yn bythol; pyth, un amser, rhyw amser, ryw amser, ar ryw amser; unrhyw amser.

For ever—byth, tros byth, tros fyth, yn dragywydd, yn dragywyddol, yn dragwyddol, yn oes oesoedd, byth bythoedd, hyd byth, am byth, hyd dragwyddoldeb, yn oestad; yn llwyr.

For ever and ever—byth bythoedd, byth bythol, byth ac yn dragywydd, yn oes oesoedd, byth tragwyddol, byth heb ddiwedd, hyd eithaf tragywyddoldeb; heb dranc na gorphen.

Ever and anon—byth a hefyd; ambell waith; ambell dro; yn awr a phryd arall; yn awr ac eilwaith; yn awr ac yn y mân; yn fynych; weithiau.

Ever after—byth gwedi, byth wedi; byth gwedi hyn *neu* hyny; oddi ar hyny eto; o hyny eto; er y pryd hwnw; er y pryd hyny; o hyny allan.

Ever before—erioed o'r blaen; erioed cyn hyn *neu* hyny; yn wastad *neu* yn oestad o'r blaen; byth cyn hyn *neu* hyny; byth o'r blaen.

Ever since—er pan; oddi ar pan; er hyny o amser; er hyny eto; oddi ar hyny eto; byth oddi ar; byth er; byth oddi ar hyny.

Or ever, } cyn.
Ere ever, }

Ever so poor—cyn dloted, càn dloted; mòr dlawd, tloted.

Though he be ever so poor—er tloted y byddo; pa gyn dloted bynag y byddo; bid mòr dlawd ag y bo; bydded dloted ag y byddo.

As soon as ever—cyn gynted ag; càn gynted ag; cynted ag; cynted byth ag; cyntaf byth ag; yn gyntaf byth ag; gyntaf byth ag; hwy yn gyntaf ag.

As soon as ever I can—cyntaf byth ag y gallwyf; cynted byth ag y gallof.

Did you ever perceive? — a ddeallasoch chwi erioed?

If ever you come to these parts—os byth y deuwch i'r parthau hyn; os un amser y dowch i'r parthau yma.

Ever since the house was finished—er pan orphenwyd y ty; byth wedi gorphen y ty.

Ever since his father's time—er amser ei dad eto; oddi ar amser ei dad eto; byth er amser ei dad; byth oddi ar amser ei dad.

Ever so little—y tipyn lleiaf, y gronyn lleiaf, y mymryn lleiaf, y peth lleiaf, y dim lleiaf, y maint lleiaf, yr ychydig lleiaf; er lleied.

Be it ever so little—er lleied fo; er lleied fyddo; bid mòr fychan ag y bo; bydded cyn lleied ag y byddo; er lleied y byddo; pa gàn lleied bynag y byddo; bynag pa mòr fychan *neu* ychydig y byddo.

Ever drunk, ever dry—yn ol yfed syched y sydd; ar ol yfed syched y sy; po mwyaf fo yr yfed, mwyaf fydd y syched.

Or ever they came at the bottom of the den—ac ni ddaethant i waelod y ffau (*Dan*. vi. 24); cyn eu dyfod i waelod y ffau.

Everactive, *a.* bythfywiog, bythweithgar, bythweithredol; gweithgar bob amser.

Everblessed, *a.* bythfendigaid, bythfendigedig, bythwynfydedig, bendigaid byth.

Everbubbling, *a.* bythferw, bythferwol, bythfwrlymol; yn bwrlymu yn barhäus.

Everburning, *a.* bythlosg, bythlosgol; anniffoddol, anniffodd; yn llosgi byth; yn llosgi byth heb ddiwedd.

Everchanging, *a.* bythnewidiol; yn newid yn barhäus; tra chyfnewidiol.

**Everduring**, *a.* bythbarhaol, bythbarhäus; à bery byth; yn parhau yn dragywydd.
**Everglade**, *s.* (*ever* a *glade*) bythledd, bythlanerch; darn o dir gorchuddiedig gàn ddwr a glaswellt.
**Evergreen**, *a.* (*ever* a *green*) bythwyrdd, gwastadwyrdd, bytholwyrdd, bythddeiliog, gwyrdd yn wastad, gwyrdd bob amser, gwyrdd drwy y flwyddyn, bythlas, bythwyrddog, bythwyrddain, glas bob amser, glas yn wastad, glas drwy y flwyddyn, beidiog; anwyw, anwywedig, anwywol.
**Evergreen**, *s.* bythwyrdd, beidiog, bythddeiliog, bythlas, bythwyrddyn; llysieuyn bythwyrdd, &c.; planigyn anwyw: *pl.* bythwyrddion.
**Everhasting**, *a.* bythfrysiol, bythfrysgar, bythbrysur.
**Everhonoured**, *a.* bythfygedog, bythfygedig, bythfyged, bythfygedol, bythfyg, bythbarchus, byth-anrhydeddus, anrhydeddus byth.
**Everlasting**, *a.* (*ever* a *lasting*) tragwyddol, tragywyddol, bythol, tragywydd, tragyfyth, bythbarhäus, bythbarhaol, didranc, diddarfod, gwastadol, oestadol, trabythol, tragwyddog, pythol, pythig, bythig, oesol, tragywyddog, tragwydd, annherfynol, diddiwedd; bythfywiol, anfarwol; à bery byth.
To make everlasting—tragwyddoli, tragywyddoli, bytholi, tragwyddogi; gwneuthur yn dragywyddol; anfarwoli.
The everlasting hills—bryniau tragywyddoldeb (*Gen.* xlix. 26); y bryniau tragywyddol.
**Everlasting**, *s.* tragwyddoldeb, tragywyddoldeb, tragwyddolrwydd, tragwyddolder, tragywyddolrwydd, tragywyddolder, tragwyddoledd, bytholrwydd, bytholdeb, bytholder, bythigrwydd, byth, tragwyddogrwydd, tragwyddogder; anfarwoldeb.
**Everlasting**, *s.* edafeddog, yr edafeddog; bythlys, bythiglys.
Everlasting pea—ydbys parhäus, ydbys tragwyddol; ydbysen barhäus gulddail.
**Everlastingly**, *ad.* yn dragwyddol, &c.; byth, tros byth, tros fyth, hyd byth, byth bythoedd, byth bythol, yn oes oesoedd, hyd dragywyddoldeb.
**Everlastingness**, *s.* tragwyddolrwydd, tragywyddolrwydd, tragwyddolder, tragywyddolder, tragwyddoledd, bytholrwydd, bytholdeb, tragywyddoldeb.
**Everliving**, *a.* (*ever* a *living*) bythfywiol, bywfyth; anfarwol; yn byw byth; bythfodol; tragywyddol, tragwyddol, bythol; bythbarhäus; yn byw bob amser.
**Evermemorable**, *a.* bythgofiadwy, bythgofus, byth-wiwgof, byth-hygof; i'w gofio byth.
**Evermore**, *ad.* (*ever* a *more*) yn wastadol, yn wastad, yn oestadol, yn oestad, bob amser, yn ddidranc, yn ddiddiwedd, yn ddiddarfod, yn ddidawl, yn barhäus; yn dragywydd, yn dragwyddol, yn dragywyddol, byth, dros byth, hyd byth, am byth, yn oes oesoedd, byth bythoedd; heb dranc na gorphen.
**Everopen**, *a.* bythagored; agored yn wastadol; na chauir byth.
**Everpleasing**, *a.* bythfoddhaol; hyfryd bob amser; à foddha yn wastadol.
**Everrecurring**, *a.* byth-adgyrchol, byth-ddadredol, byth-ddychweliadol; yn darymchwel o hyd.
**Everse**,† *v. a.* (Ll. *eversus*) dymchwelyd, dymchwel.
**Eversion**, *s.* (Ll. *eversio*) dymchweliad, dadymchweliad; dinystr, dystryw, dinystrad, dystrywiad.
Eversion of the eyelids—dymchweliad yr amrantau.
**Eversmiling**, *a.* bythwenol; yn gwenu bob amser; yn gwisgo gwên wastadol.
**Evert**, *v. a.* (Ll. *everto*) dymchwelyd, dadymchwelyd, dymchwel, chwelyd; dinystro, dystrywio, dyfetha.
**Ever verdant**, *a.* bythirlas, bythwyrdd, gwastadwyrdd, bythlas, bythwyrddlas, bythwyrddain, bythwyrddin, bythwyrddonig, bytholwyrdd; gwyrdd, glas, *neu* irlas yn wastadol.
**Everwaking**, *a.* byth-effro, byth-effroawl.
**Everwasting**, *a.* byth-ddifaol, byth-dreuliol.
**Everwatchful**, *a.* byth-wylgar, byth-wyliadwrus, byth-ofalus, byth-wylfawr, byth-wylig.
**Every**, *a.* (o *ever*; hen Seis. *everich*; S. *æfre*, ac *ælc*) pob; pawb.
Every man—pob dyn, pob gwr; pawb.
Every one—pob un; pob rhyw un; pawb, heb adaw un.
Every thing—pob peth, pobpeth; pob dim.
Every body—pob un, pob dyn; pawb; pob rhyw ddyn; pob rhyw un; un ac arall; pawb oll; un ac oll; y cwbl i gyd, y cwbl oll, i gyd oll.
Every person—pob dyn, pob un; pawb.
Every day—pob dydd; bob dydd, beunydd, peunydd, peunyddiol, beunyddiol.
Every night—pob nos; bob nos, peunos, beunos, peunoeth, beunoeth.
Every bit, } Every whit, } pob tipyn, pob tamaid; bob tipyn, bob tamaid, bob mymryn, bob hyfflyn; yn hollol, yn gwbl, yn llwyr, achlân; y cwbl; pob dim; bob dim.
On every side—ar bob tu, ar bob ystlys, ar bob ochr, o bob ochr, o bob tu, o bobtu, o bob parth; yn mhob lle o amgylch; yn mhob màn o amgylch; pobtu, o beutu, ar beutu.
Every way—pob ffordd; bob ffordd, yn mhob ffordd; tua phob lle; i bob ffordd; o bob parth; ollwedd.
Every year—pob blwyddyn; bob blwyddyn; o flwyddyn bwygilydd; o flwyddyn bygilydd; o flwyddyn i flwyddyn; yn flyneddol; o'r naill flwyddyn i'r llall.
Every thing by itself—pob peth ar ei ben ei hun.
Every bean has its black—nid oes neb heb ei fai; nid difai neb a aned.
**Everyday**, *a.* (*every* a *day*) pob dydd, bob dydd, peunyddiol, beunyddiol; arferedig bob dydd; cyffredin, arferol; sathredig.
**Everywhere**, *ad.* (*every* a *where*) yn mhob màn, yn mhob lle; tros y cwbl; yma a thraw, yma ac acw.
**Everyoung**, *a.* (*ever* a *young*) byth-ieuanc, bythifanc, byth-iefanc.
**Evesdrop**, *v. n.*=*Eavesdrop*.
**Evesdropper**, *s.*=*Eavesdropper*.
**Evestigate**,† *v. a.* (Ll. *evestigo*) olrhain, chwilio.

**Evibrate,**† *v.* (Ll. *evibro*) ymsiglo, ysgwyd, chwyrnellu.
**Evict,** *v. a.* (Ll. *evinco, evictum*) difeddiannu, difeddu, diberchenogi, diberchenu, dadfeddiannu; bwrw, tafiu, *neu* yru allan; ennill drwy gyfraith; † profi, arddangos.
**Eviction,** *s.* (Ll. *evictio*) difeddiannad, dadfeddiannad, diberchenìad; dadfeddiant, disfeddiant; difeddiannad drwy gyfraith; prawf, argyhoeddiad, eglurhad, gorfodbrawf, eglurbrawf.
**Evidence,** *s.* (Ff.; Ll. *evidentia*) prawf, profiad, tystiolaeth, tystiad, tystiant; prawfreswm, profreswm; tyst, gwybyddiad, tystiwr; eglurdeb prawf, eglurder prawf; amlygrwydd, hynodrwydd, hysbysrwydd, dilysrwydd, sicrwydd, eglurdeb; arwydd; gweithred, tystysgrif, tystysgrifen, prawfysgrif, ysgrifen, ysgrifenad.
  Written evidence—prawf ysgrifenedig, &c.; tystysgrifen, ysgrifdyst.
  Evidences of Christianity—profion Cristionogaeth; amlygion Cristionogrwydd.
  I took the evidence of the purchase—mi a gymmerais lyfr y pryniad (*Ier.* xxxii. 11).
**Evidence,** *v. a.* profi, tystio, tystiolaethu; egluro, eglurhau, amlygu, arddangos, arllenu, eglur ddangos; dadenhuddo.
**Evident,** *a.* (Ll. *evidens*) amlwg, eglur, goleu, hywel, hysbys, ysbys, ysbysol, honiad, eglwg, hynod, arwel, ardywynig, dysgywen, certh; hawdd i'w weled; hawdd i'w ganfod; sicr; hybrawf.
  Self-evident—amlwg *neu* eglur o hono ei hun; hunandystiol, hundystiol, hundystiog.
**Evidential,** *a.* profol, tystiol; amlygol; yn eglur brofi.
**Evigilation,** *s.* (Ll. *evigilatio*) noswyliad, mywyliad, gwylad, gwyliad, gwyliawd.
**Evil,** *a.* (S. *efel, yfel, hyfel*; Is. *euvel*; Al. *übel*) drwg, drygionus, anfad, anfadus, mall, blin, ysgeler, anwir, enwerus, diriaid, diried, dyhir, diras, niweidiol, echryslawn; annedwydd, gresynol, trychinebus, annuwiol.
  An evil man—dyn drwg, dyn drygionus; drygddyn, dyhiryn, anfadwr; anwir, annuwiol.
  Evil thoughts—meddyliau drwg, meddyliau mall, drygfeddyliau, mall feddyliau, drwg feddyliau.
  Evil eye—llygad mall, llygad drwg.
  In evil case—mewn cyflwr *neu* ansawdd drwg; mewn lle drwg; mewn drwg ddamwaen *neu* gyflwr; mewn aflwydd, trychineb, *neu* anghyflwr.
  Evil report—drygair, anair, gair drwg, anghlod, enllib, hort, absen, athrawd, drygenw.
  Evil affection — drygchwant, drygwyn, drygwyllys, drwg ewyllys, drygnwyd, drwg anwyd, trachwant drwg, drwg duedd.
  Evil spirit—ysbryd drwg; diafol, diafl.
  An evil beast — bwystfil drwg, bwystfil niweidiol.
  The evil one—yr un drwg, y gwr drwg.
  Evil portion—anfadran.
  Evil deed—gweithred ddrwg, drwg weithred, drygwaith, gwaith drwg, anghymmwynas, twrn drwg, tro drwg, chwired.
  Evil disposition—dryganedd, dryganiaeth, dryganian, tuedd drwg, drygnaws; drygfryd.
  An evil course of life—drygfuchedd, buchedd ddrwg.
  To think evil of—drygdybio; meddwl drwg am; tybio yn ddrwg am.
  Apt to think evil—drygdybus, drygdybiol.
  To speak evil of—cablu, difenwi, enllibio, absenu, goganu, hortio; dywedyd yn erbyn; dywedyd drwg am; rhoi anair i.
  More evil—gwaeth, mwy drwg.
  Most evil—gwaethaf, mwyaf drwg.
  Thoroughly evil—tryfall, drwg hollol.
**Evil,** *s.* drwg, drygioni, drygedd, ysgelerder, ysgelerdra, anfadrwydd, anfadwch, anfadedd; niwed, aflwydd, anffawd, trychineb, adfyd, drygfyd, asgen, echrys, eniwed; direidi, anwiredd, annuwioldeb; mall, clefyd, haint, clwyf.
  A great evil—mawrddrwg, drwg mawr.
  Evil betide thee—drwg dynged iti; tro drwg iti; dryglam iti; drwg ddamwaen iti; yn nghrog y bôt ti; yr adwyth a'th gaffo.
  King's evil — clwyf y brenin, clefyd y brenin, manwynion, manwynau, manwyn, mandwyn, porchell iddwf.
  Having the king's evil—manwynog, manwynol, mandwynol; â'r manwynion arno.
Evil, } *ad.* yn ddrwg, &c.
Evilly, }
  He evil entreateth the barren—y mae efe yn dryllio yr anmhlantadwy (*Iob* xxiv. 21).
  The Egyptians evil entreated us — yr Aiphtiaid a'n drygasant ni (*Deut.* xxvi. 6).
  Because it went evil with his house—am fod drygfyd yn ei dy ef (1 *Cron.* vii. 23).
**Evil-affected,** *a.* drwg ei ewyllys; yn gwyllysio yn ddrwg; yn dwyn drwg ewyllys; yn dal cilwg; drygwyllysiol, drygwyllysiog, dryganianol, dryganianus; cenfigenus, cynghorfynus, maleisus; yn dàl bryn; anghariadus.
**Evil-boding,** *a.* dryg-argoelus, dryg-argoeliog; yn darogan drwg, yn darogan drygau.
**Evil-doer,** *s.* (*evil* a *doer*) drygweithredwr, drygweithredydd, drwg weithredwr, drygddyn, un drwg, un drygionus, dyn drygionus, gwneuthurwr drwg.
**Evil-eye,** *s.* llygad mall, llygad drwg.
  To look upon one with an evil eye—edrych ar un â drwg lygad; edrych â llygad mall ar un; cenfigenu *neu* wynfydu wrth un.
**Evil-eyed,** *a.* dryglygeidiog, llygadfall; drwg *neu* fall ei lygad; eiddigus, cenfigenus, drygfrydig.
**Evil-favoured,** *a.* dybryd, gwrthun, drwg yr olwg, anhardd, hagr, anolygus, anwymp, anosgeddig.
**Evil-favouredness,** *s.* dybrydedd, gwrthuni, anharddwch, hagrwch, anolygusrwydd.
**Evil-minded,** *a.* drygfrydig, drygfryd, drygfwriadus, drygfwriadol, drygdueddol, drygwyllysiol; cenfigenus, dygasog, maleisus, dryganianol, dryganianus, gelynol, drwg, drygionus; â'i fryd ar ddrwg; drwg ei fryd.
**Evilness,** *s.* drygedd, drygioni, anfadrwydd; drwg; dryganiaw, dryganiaeth, dryganedd.

**Evil-omened,** *a.* **dryg-argoelus, dryg-argoeliog, dryg-argoeliedig, anhwylus, annhyciannol.**
**Evilspeaking,** *s.* **athrawd, enllib, drygair, goganair, anair, cabl, cablair, absen, drygabsen, hort, gogan, athrodiad, difenwad, cabledigaeth.**
**Evil-wishing,** *a.* drygwyllysiol; **yn gwyllysio yn ddrwg; drwg ei wyllys.**
**Evilworker,** *s.* **drygweithiwr, drygweithydd, drygweithredwr, drygweithredydd, drwg weithredydd, gwneuthurwr drwg, un drygionus.**
**Evince,** *v. a.* (Ll. *evinco*) **arddangos, dangos, profi, eglur ddangos; profi yn ddïymwad; profi, dangos,** *neu* **amlygu drwy** resymau; **amlygu, egluro, eglurhau; dangos yn eglur,** dilys brofi; †gorchfygu.
**Evincement,** *s.* arddangosiad, dangosiad, **profiad, prawf,** eglur ddangosiad, amlygiad.
**Evincible,** *a.* profadwy, hybrawf; dangosadwy, **arddangosadwy;** à ellir ei ddangos.
**Evincibly,** *ad.* yn brofadwy, yn hybrawf, &c.; **yn amlwg,** yn eglur, yn hywel, yn ddïymwad.
**Evincive,** *a.* **profol, tryddangosol, dangosiadol, dangosedigol, hybrofol, amlygiadol.**
**Evirate,†** *v. a.* (Ll. *eviro*) anwrio, dysbaddu.
**Eviration,** *s.* (Ll. *eviratio*) dysbaddiad, ysbaddiad, **anwriad, anwrywiad,** efnuchiad, dadrywiad.
**Eviscerate,** *v. a.* (Ll. *eviscero*) diberfeddu, **dadberfeddu;** tynu allan y perfedd *neu* yr ymysgaroedd; chwilio y perfedd.
**Evitable,** *a.* (Ll. *evitabilis*) gocheladwy; à ellir ei ochel; à aller ei ochel.
**Evitate,** *v. a.* (Ll. *evito*) gochel, gochelyd, ysgöi, dïanc, dïanc rhag, gogelyd, gwachelyd, gwagelyd.
**Evitation,** *s.* (Ll. *evitatio*) gocheliad, gwageliad, gwacheliad, gochel, gwachel, ysgoad, ymogeliad, dïangiad.
**Evite,†** *v. a.* (Ll. *evito*)=*Evitate.*
**Eviternal,** *a.* (Ll. *æviternus*) hirfodol, hirbarhaol; hir anmhenodol.
**Eviternity,** *s.* hirfod, hirfodoldeb.
**Evocate,** } *v. a.* (Ll. *evoco*) galw allan, galw
**Evoke,** } ymaith; galw o'r naill frawdlys i'r **llall;** symmud, symmudo; galw.
**Evocation,** *s.* (Ll. *evocatio*) galwad allan, galwad ymaith, galwad ffwrdd; galwad *neu* symmudiad o'r naill frawdlys i'r llall; galwad; gwŷs.
**Evocator,** *s.* geilwad allan, galwydd, geilwr.
**Evolatic,** *a.* (Ll. *evolaticus*) hyhedegol, hyhedol, hyhedog, hyffysgiol, hyffoawl; chwannog i hedeg ymaith.
**Evolation,** *s.* (Ll. *evolo*) ehediad ymaith, ehediad i ffwrdd, hediad ymaith, ffwrdd-hediad, ehediad, adawiad.
**Evolute,** *s.* (Ll. *evolutus*) ymagorell, cynagorell.
**Evolution,** *s.* (Ll. *evolutio*) dadblygiad, dadblygiant, ymddadblygiad, treiglad, ymdreiglad, ymagoriad, ymegoriad, treiglad allan, dadgorniad; dadblygres; troellysgogiad; dadymluosiant, gwrthymluosiant; ethyniad; gorenidas.
**Evolve,** *v.* (Ll. *evolvo*) dadblygu, agor, egori, ymagor, ymegori, treiglo, ymdreiglo; ymagor ac ymestyn; treiglo allan; dadenhuddo.
**Evolvement,** *s.* **dadblygiad, dadblygiant, ymddadblygiad, treiglad, ymdreiglad, ymagoriad.**
**Evolvent,** *s.* (Ll. *evolvens*) **dadymagorell,** gwrthymagorell.
**Evomition,** *s.* (Ll. *evomo*) cyfogiad, **chwydiad,** gloesiad, gorchwydiad, dislynciad.
**Evulgate,** *v. a.* (Ll. *evulgo*) cyhoeddi, **taenu ar** led, taenu, lledu, cyffredino.
**Evulgation,** *s.* (Ll. *evulgatio*) cyhoeddiad, **taeniad** ar led, angheliad.
**Evulsion,** *s.* (Ll. *evulsio*) **tyniad ymaith** *neu* allan; pliciad, pliciant; **tyniad drwy drais;** treisdyniad.
**Ewe,** *s.* (S. *eowa, eowe;* Gw. *ai, oi;* Ll. *ovis*) dafad, dafad fenyw; mamog.
Ewe lamb—oenes, oenig, oen fenyw.
A little ewe lamb—oenesan, oenesig, oenig fechan, oenig.
Young ewe — hespin, dafadan, dafad ieuanc.
A ewe having young—mamog, mamogiad: *pl.* mamogion, mamogiaid.
A ewe big with young — dafad gyfoen, dafad gyfebr; mamog.
**Ewer,** *s.* (S. *huer, hwer*) dyfrlestr; ysten, ystenan; crothogen.
**Ewry,** *s.* (o *ewer*) **dyfrlestraeth, dyfrlestrogaeth** =swydd yn y llys.
**Ex,** (Gr. a Ll.) **rhagddawd yn arwyddaw** *o, allan o, oddi, allan, oddi wrth, yn deilliaw o; tra, tu hwnt, tros; es-, ell-; diweddar:* ac mewn rhai geiriau ni wna ond grymusu yr ystyr.
Ex-emperor — diweddar amherawdwr; ymherawdwr anorseddog; amherawdwr wedi ei ddïorseddu; ymherawdwr wedi ymddïorseddu.
Ex-minister—diweddar weinidog; un à fu yn weinidog, ond nad yw yn awr mewn swydd.
**Exacerbate,** *v. a.* (Ll. *exacerbo*) chwerwi, llidio, digio, cyffröi, cynhyrfu, cythruddo, blino, gofidio, ennyn llid, cynneu dig, cynddeiriogi, ystuno; gerwino, suro; peri yn chwerw *neu* erwin; gwneuthur yn chwerw *neu* erwin; peri gerwino, peri brydio; gwaethygu.
**Exacerbation,** *s.* (Ll. *exacerbatio*) chwerwad, llidiad, digiad, cynhyrfiad, ymchwerwad, gerwinad, cyffroad, cythruddiad, ymerwinad, cynddeiriogiad, ymgynddeiriogiad, dyfrydiad; cynnydd, cynnyddiad, dygynnydd, *neu* ddygynnyddiad drygnwyd; uchder clefyd, cyrch clefyd, cyrch twymyn; chwerwedd, cynddeiriogrwydd, gerwinder.
**Exacerbescence,** *s.* (Ll. *exacerbesco*) chwerwedd, gerwinedd, gerwinder, cythruddedd, llidiogrwydd, cynddeiriogrwydd; cynnydd clefyd.
**Exacervation,** *s.* (Ll. *ex* ac *acervatio*) pentyriad, crugiad, carneddiad, dasyliad; chwanegiad, mwyhad.
**Exacinate,** *v. a.* (Ll. *exacino*) **dignewullu, dadgnewullu,** tynu y cnewull allan.
**Exacination,** *s.* **dignewulliad, dadgnewulliad.**
**Exact,** *a.* (Ll. *exactus*) manwl, manol, cywair, cywir, cynnil, cywrain, cywraint, dichlyn, celfydd, celfyddgar, cyfrdro, manylaidd, cyfrgwbl, cryno, taclus; perffaith, perffeithgwbl, uniawn; diffael, dïanwadal; cywir i'r pwnc; cywir i'r mynyd; à geidw ei air; wrth reol a llinyn; penodol; diwyd, gofalus; tyn, llym, cyflym; pendant; hollol, trwyadl; trefnus, hydrefn, trefngar.
Very exact—**tra manwl, tra manol, tra chywir, &c.**

**Exact**, *v.* mynu, dirgeisio, taer geisio, gwasgu, gwasgu ar; gofyn, ceisio; codi ar, codi; codi arian ar; cribddeilio, treisfynu, trawsfynu, treisgodi; mynu drachefn; mynu gàn; gwasgu oddi gàn; cymhell allan, dirio allan, dirio am; gorchymyn, peri, erchi, *neu* wneuthur i un roddi peth; gorthrymu, gormesu; cymmeryd.

To exact upon one—gorthrymu un; cribddeilio; gwasgu *neu* wasgu ar un; mynu gàn un.

To exact in price—gofyn chwaneg am beth nag a dâl; gofyn ychwaneg o bris nag a dâl peth; gofyn *neu* geisio yn rhy brid am beth; mynu yn rhy ddrud am beth; gwerthu yn rhy brid, codi crogbris.

To exact in payment—gofyn trathal, tra llog, *neu* dra chyflog; mynu trathâl, tra chyflog, *neu* dra llog; codi trathal, tra llog, *neu* dra chyflog; gofyn, mynu, *neu* godi mwy na'r hyn sy ddyledus; cribddeilio.

**Exacter**, *s.* mynwr, dirgeisiwr, gofynwr, gofynydd; cribddeiliwr, gorthrymwr, gormeswr, gormesydd, gormesiad, treisgodwr.

**Exaction**, *s.* (Ll. *exactio*) mynad, dirgeisiad, gwasgiad, treisfynad, treisgodiad, codiad; cribddeiliad, gormesiad, gorthrymiad; gofyniad mwy na'r hyn a fyddo yn gyfiawn ddyledus; gofyniad *neu* godiad trathal; camdreth, gorthrymdreth, cymhelldreth, camdal, treth gribddail, gorfottreth, gorfottal, annyled, treth; cribddail, gormes, gorthrech, gorthrymder.

Grievous exaction—cribddail, gorthrymder, gormes, gorthrech, cribddail blin.

To exercise exaction upon — gorthrymu, gormesu, gwasgu, gwasgu ar, cribddeilio.

**Exactitude**, *s.*=*Exactness.*

**Exactly**, *ad.* yn fanwl, yn gywir, &c.; wrth reol a llinyn; heb na mwy na llai.

To do a thing exactly — cywreinio; gwneuthur wrth reol a llinyn; manylweithio; gwneuthur yn gywrain, &c.

**Exactness**, *s.* (o *exact*) manyldeb, manylder, manylrwydd, manyledd, manylwch, manyldra, manolder, manolrwydd, cywirdeb, cywirder, cywiredd, cyweirdeb, cywreinrwydd, cywreindeb, cynnildeb, dichlynedd, dichlynrwydd, celfyddgarwch; perffeithrwydd; taclusrwydd, crynoder; trefnusrwydd, hydrefnedd, trefngarwch, &c.; rheoleiddrwydd, rheoledd.

**Exactor**, *s.* (Ll.) trethwr, cynnullwr treth, trethgeisiad, trethgeisiwr, trethgasglwr, camdrethwr; mynwr, dirgeisiwr, gofynwr, gofynydd; cribddeiliwr, gorthrymydd, gorthrymwr, gormeswr; cymhellwr, diriwr, gwasgwr, treisiad, treisgodwr.

**Exactress**, *s.* (o *exactor*) gormeswraig, gorthrymwraig, cribddeiles, gorthrymyddes.

**Exacuate**,† *v. a.* (Ll. *exacuo*) hogi, llymhau, llymu, minio.

**Exacum**, *s.* (Ll. *ex* ac *ago*) corsganri, canri y gors, arlladlys y gors, canri felen eiddil.

**Exaggerate**, *v. a.* (Ll. *exaggero*) mwyhau, chwanegu, ychwanegu, helaethu, ehelaethu, gorhelaethu; trymhau; gwneuthur yn fwy; gwneuthur yn fwy nag y byddo; peri ymddangos yn fwy nag y byddo; gwneuthur yn well *neu* yn waeth nag y bo; gwneuthur peth yn fwy *neu* yn llai nag y byddo; peri ymddangos yn well *neu* yn waeth nag y byddo, gorwirebu; pentyru, crugio, dasylu.

**Exaggeration**, *s.* (Ll. *exaggeratio*) mwyhad, chwanegiad, ychwanegiad, helaethiad, helaethiant, gorhelaethiad, mawreiddiant, trymhad; gwneuthuriad yn fwy nag y byddo; pentyriad, crugiad; pentwr, twr, gormodiaith, gorwireb.

**Exaggeratory**, *a.* mwyhaol, helaethol, gorhelaethol, helaethiadol, helaethiannol, chwanegiadol; gormodieithol, gorwirebus.

**Exagitate**, *v. a.* (Ll. *exagito*) ysgwyd, siglo, cynhyrfu, cyffröi, aflonyddu, terfysgu, cythryblu, cythruddo, ystuno, trabluddio, blino, dygn flino, gofidio; gwaradwyddo.

**Exagitation**, *s.* (Ll. *exagitatio*) cynhyrfiad, cyffroad, cyffrawd, ystunad, aflonyddiad, cythrybliad, cythruddiad, ysgydwad, cyffro, aflonyddwch.

**Exalt**, *v. a.* (Ll. *exalto*; Ff. *exalter*) dyrchafu, derchafu, dyrchu, derchu, codi, cyfodi, arddyrchafu, dyrchafael, derchafael, arddderchafael, arddyrchafael, cerchafael, cerchafu, aruchafu, uchelu, aruchelu, gorchafu, argoni; mawrhau, mawrygu, mawreddu, mawredigo, moli, moliannu, clodfori, canmawl, gogoneddu, brio, dyrchafu clod, cyhoeddi clod, urddoni; puro, coethi.

To exalt one's self — ymddyrchafu, ymdderchafu, ymgodi, ymgyfodi, &c.; balchïo, ymfalchïo, ymchwyddo.

To exalt above measure, } tra dyrchafu
To exalt very much, } tra derchafu.

**Exaltation**, *s.* (Ll. *exaltatio*) dyrchafiad, derchafiad, dyrchafiaeth, derchafiaeth, codiad, arddyrchafiad, arddyrchafiaeth, arddderchafiaeth, arddyrchafad, ardderchafad, dyrchafael, derchafael, arddyrchafael, derchiad, dyrchiad, derchawd, dyrchawd, derchafedigaeth, dyrchafedigaeth, dyrchafed, derchafed, cerchafael, derchafedd, argoniant, gorchafiad, gorchafiaeth, goruchafiaeth, uchafiad, uchiad, ucheliant, uchafiant; gogoniant, arwyrain, bri, urddas, urdduniant, urddoniant; coethiad, purad.

**Exalted**, *p. p.* dyrchafedig, &c.; â ddyrchafwyd, &c.; gwedi ei ddyrchafu, &c.; uchel, goruchel, derch, derchafog, ardderch, derchog.

**Exaltedness**, *s.* dyrchafedigrwydd, derchafedigrwydd, dyrchedigrwydd, derchedigrwydd, dyrchafedd; coegfawredd, coegfri.

**Exalter**, *s.* dyrchafydd, derchafwr, dyrchwr, derchwr, derchydd, dyrchafiedydd, codwr.

**Examen**, *s.* (Ll.) holiant, holiad, holedigaeth, arholiad, holawd, holfa, chwiliad, chwilfa, trychwiliad, ymofyn, ymofyniad, ymchwiliad, manwl ymofyn, manwl ymofyniad, manol chwiliad, dyfal ymofyn.

**Examinable**, *a.* (o *examine*) holadwy; chwiliadwy, ymofynadwy.

**Examination**, *s.* (Ll. *examinatio*) holiad, holiant, holedigaeth, arholiad, holiaeth, holawd, dyholiad, ymofyniad, chwiliad, ymchwiliad, ymchwil, ymofyn; chwilfa, holfa; prawf; dyfal *neu* fanwl chwiliad.

Post-mortem examination — trengholiad, trengholiant, trengchwiliad.

Strict examination—meinholiad, manwl holiad, holiant manwl, traholiad.

**Self-examination** — hunan-holiad, hunan-ymholiad, hunan-chwiliad, hunholiad; ymholiad, ymchwiliad.
After examination had—wedi ei holi ef (*Act.* xxv. 26).
Without examination or knowledge of the truth—heb lwyr chwilio a gwybod y gwirionedd (*Sus.* 48).
**aminator,**† *s.* (Ll.)=*Examiner.*
**amine,** *v. a.* (Ll. *examino*) holi, chwilio, hwilied, ymofyn am, arholi, holiadu, dyholi; hwilio, ymofyn, *neu* holi yn nghylch; wyso, ystyried, ystyrio; profi; gwneuthur rawf ar; osio; craffu, craff edrych.
To examine strictly, To examine accurately, } meinholi, manwl chwilio, manol chwilio, chwilio yn fanwl, traholi.
To examine alike — cydbwyso, cydholi, cydchwilio; chwilio yr un fath.
To examine before, To examine beforehand, } rhagholi, rhag-chwilio, rhag-chwilied, rhagbwyso; rhagystyried; holi *neu* ystyried yn mlaen llaw.
To examine one's self—holi, chwilio, *neu* brofi ei hun; hunanholi, hun-ymholi, hunan-ymholi, hun-ymchwilio, ym-chwilio, ymchwilied.
**aminer,** *s.* holwr, holydd, holiedydd, arholwr, arholydd, arholiedydd, ymholydd, ymholwr, chwiliwr, chwiliedydd, ymofynwr, ymofynydd, profwr, holiannwr.
**amining,** *a.* holiadol, holedigol, holiannol, chwiliadol, ymofynol.
Examining committee — pwyllgor holi, cyssedd holiadol.
**amplary,** *a.* (o *example*)=*Exemplary.*
**ample,** *s.* (Ll. *exemplum;* Ff. *exemple*) anghraifft, enghraifft, engraff, cynllun, cynddelw, cynnelw, cynddull, rhagddull, rhagddelw, cynffurf, rhagddarlun, cynnrych, cynddrych, cynneilwad, cynnelwad, golygwel, rhaglun, dangoseb, dangosen, egluryn, cynbryd, cynnrychydd, sampl, siampl, esampl; prawf, dangosiad.
To give an example—rhoddi, dangos, *neu* osod anghraifft, &c.
For example, As for example, } er dangos, er enghraifft, er anghraifft, er engraff, er mwyn dangos, er cynllun; i roddi cynllun *neu* enghraifft; er rhoddi engraff *neu* anghraifft; i wneuthur hyn yn eglur; er gwneuthur hyn yn eglur; er dangos hyn yn eglur *neu* yn eglurach; er mwyn enghraifft; er sampl: màl, fàl, fel, megys.
To take example by — cymmeryd yn enghraifft *neu* yn rhybudd; cymmeryd un *neu* beth yn engraff *neu* yn rhybudd; cymmeryd rhybudd, enghraifft, *neu* sampl wrth un *neu* beth; cymmeryd rhybudd, engraff, *neu* esampl oddi wrth un *neu* beth.
To make one an example, To make an example of one, } gwneuthur *neu* osod un yn enghraifft; gwneuthur *neu* osod yn sampl; gwneuthur enghraifft o un; gwneuthur engraff o un.
Seeing I have the example of the Ninevites —gàn fod imi anghraifft y Ninefeaid.
Make him an example, that hath begun this against us—dyfetha yr hwn a ddechreuodd arnom ni (*Esth. Ap.* xiv. 11); gwna yn esampl yr hwn a ddechreuodd arnom.
Men take example at it—hwy a'i dylynant hi (*Doeth.* iv. 2).
Leaving his death for an example of a noble courage—gan adael ei farwolaeth yn siampl o galon ddihafarch (2 *Mac.* vi. 31).
**Example,**† *v. a.* enghreifftioli; rhoddi, dangos, *neu* osod anghraifft.
**Exampleless,**† *a.* (*example* a *less*) dïanghraifft, digynllun, heb anghraifft.
**Exampler,** *s.* (o *example*) cynllun, cynnelw, cynddelw, anghraifft, engraff.
**Exanguious,**† *a.* (Ll. *exanguis*) diwaed.
**Exangulous,** *a.* (Ll. *ex* ac *angulus*) anonglog, anghonglog, digonglau, anghornelog, anelinog.
**Exanimate,** *a.* (Ll. *exanimatus*) dïenaid, difywyd, dïysbryd, marw, marwaidd; ofnog, llwfr, llwrf, digalon, llipa, llibin, gwangalon, syn, sancdig, lledfeddod; gwedi ei ddïeneidio; yn *neu* wedi ymollwng.
**Exanimate,** *v. a.* dïeneidio; digaloni, gwangaloni, anghalonogi, llyfrhau.
**Exanimation,** *s.* (Ll. *exanimatio*) dïeneidiad, digaloniad, llyfrhad, llyrfhad, trengiad, marwolaeth, digalondid.
**Exanimous,** *a.* (Ll. *exanimis*)=*Exanimate, a.*
**Exanthema,** *s.* (Gr.) brech, tarddiant, llyfrithiant, llyfrithiad; tarddiadau twymynol.
**Exanthematic, Exanthematous,** } brechol, tarddol, tarddiannol, llyfrithol, llyfrith, llyfrithog, llyfrithiannol, bridol, brechlyd, brechaidd.
**Exantlate,**† *v. a.* (Ll. *exantlo*) dyhysbyddu, gwehynu, gwaghau, tynu allan.
**Exantlation,**† *s.* dyhysbyddiad, dysbyddiad, gwaghad, gwehyniad.
**Exaration,**† *s.* (Ll. *exaratio*) ysgrifeniad, ysgrifenad.
**Exarch,** *s.* (Gr. *ex* ac *archos*) mechdeyrn, rhaglaw, rhaglyw, rhaglofydd; rhaglaw dân yr ymherodron Dwyreiniol.
**Exarchate,** *s.* mechdeyrnaeth, mechdeyrnas, rhaglywiaeth, rhaglawiaeth; swydd, urddas, *neu* awdurdod mechdeyrn.
**Exarticulation,** *s.* (*ex* ac *articulation*) dadgymmaliad, disgymmaliad, digymmaliad, dislead.
**Exasperate,** *v. a.* (Ll. *exaspero*) llidio, digio, cyffröi, cynhyrfu, cythruddo, ennyn llid, ennyn dig, ennynu digofaint, cyffröi llid, cyffröi dig, cynneu dig, cynneu llid, annog i ddigofaint, coddi, cythruddo, gorddigio, chwerwi, cynddeiriogi, gerwino, peri gerwino, gwytho; blino, dygn flino, gofidio, blyngu.
Easy to be exasperated—hyddig, hygawdd, hyffrom, ffromwyllt; hawdd ei ddigio, ei lidio, ei goddi, *neu* ei gyffröi; somgar; anynad.
**Exasperate,** *a.* llidiog, llidus, trallidiog, trallidus, cyffröedig, cynhyrfedig, cythruddedig, cynddeiriog, gorddig, digofus, llidiol.
**Exasperater,** *s.* digiwr, llidiwr, ennynwr llid, cyffröwr dig, annogwr i ddigofaint, cynneuwr dig, gorddigiwr.
**Exasperation,** *s.* (Ll. *exasperatio*) llidiad, digiad, cyffroad, cynhyrfiad, annogiad i ddigofaint, gorddigiad, ennyniad llid, ennyniad dig, dygyffroad; llid, dig, digofaint, gorddig-

ofaint, gorlid, trallid; chwerwedd, gerwinedd.

Exauctorate, } *v. a.* (Ll. *exauctoro*) diswyddo,
Exauthorate, } difuddio; troi o wasanaeth; difuddiaw o fywoliaeth, dadlwysfuddio; diraddio.

Exauctoration, } *s.* (Ll. *exauctoratio*) diswydd-
Exauthoration, } iad; troad o swydd; troad o wasanaeth; difuddiad o fywoliaeth eglwysig; diraddiad.

Exauthorize, *v. a.* (Ll. *exauctoro*) dïawdurdodi; difuddiaw o awdurdod.

Excalceated, *a.* (Ll. *excalceatus*, o *excalceo*) troednoeth, dïesgid, heb esgidiau, dïarchen, anarchenog, dïarchenog, dïesgidiau, dïarchenau.

Excandescence, *s.* (Ll. *excandescentia*) poethder, poethdra, poethedd, poethni, poethineb, poethwynder, poethwynedd, brydaniaeth, brydiogrwydd, ennynfa, gwres, gwynias; dyfrydiad, ffromiad, gwyniasad; gwylltineb, ffromder, gorddig, trallid.

Excandescent, *a.* (Ll. *excandescens*) gwynias, gwyniasol, poethwyn, dyfrydiol, terwyn, tanbaid.

Excantation, *s.* (Ll. *excanto*) dadswyniad, dadriniad, dadgyfareddiad, gwrthswyniad, dadreibiad.

Excarnate, *a.* (Ll. *ex* a *caro*) dignawdio, dignawdoli, digigo; dihatru o gnawd.

Excarnificate, *v. a.* (Ll. *excarnifico*) tori cnawd ymaith; darnio, digigo, dignawdio, cigyddio.

Excarnification, *s.* (Ll. *excarnifico*) toriad cnawd ymaith, digigad, dignawdiad.

Excavate, *v. a.* (Ll. *excavo*) ceuo, cafnu, cafnio, cloddio, ceudyllu.

Excavation, *s.* (Ll. *excavatio*) ceuad, cafnad, cafniad, cloddiad, ceudylliad; ceudwll, twll.

Excavator, *s.* cloddiwr, cloddiedydd, ceudyllwr, ceudyllydd.

Excecate,† *v. a.* (Ll. *excæco*) dallu, gwneuthur yn ddall.

Excecation, *s.* (Ll. *excæcatio*) dalliad, dalledigaeth.

Excedent, *s.* (Ll. *excedens*) gormodedd, gormod, gormodd.

Exceed, *v.* (Ll. *excedo*) rhagori, rhagori ar, blaenori, blaenori ar; dwyn y blaen ar; bod yn oreu; goruchio; myned dros; myned drosodd; myned y tu hwnt i; bod uwch law; bod uwch ben; bod yn rhagorach, yn helaethach, yn odidocach, yn rhagorolach, *neu* yn amgenach na; myned yn well *neu* yn fwy na; myned yn fwy rhagorol na; myned yn rhy bell; myned dros y terfynau; chwanegu, amlhau; maeddu.

Thou hast much exceeded—dy uchder a aeth yn fawr (2 *Esd.* iv. 34).

Exceedable, *a.* rhagoradwy; â eill ragori ar.

Exceeder, *s.* rhagorwr, rhagorydd; un â elo yn rhy bell.

Exceeding, *a.* yn rhagori, yn rhagori ar, &c.; rhagorol; dirfawr, tramawr, tra mawr, anfeidrol; â fo gormodd; blaenorol; dirfaith; iawn, dir; rhagorddwyn.

Exceeding, } *ad.* iawn, tra, dros ben, tu
Exceedingly, } hwnt i, yn ddirfawr, yn dramawr, yn fawr, yn aruthr; yn dra; yn rhagorol, yn odiaeth; heb na meidr na mesur; yn anarferol; gor-, tra-, rhy-.

Exceedingly great, } dirfawr, tramawr,
Exceeding great, } tra mawr, ... dros ben, mawr iawn.

To desire exceedingly—tra chwenn... trachwennychu, chwennychu yn ... fawr; hiraethu am.

Exceeding beautiful—teg odiaeth.

Exceeding great reward — gwobr ... iawn.

Exceeding fruitful—ffrwythlawn iawn ... ffrwythlawn.

Exceeding much brass — llawer iawn ... bres.

Exceeding abundantly—yn dra rhag...

To be exceeding abundant—tra aml...

Exceeding joyful—tra chyflawn o ... ydd; tra llawen, gorllawen.

Exceeding good land—tir da odiaeth.

They waxed exceeding mighty—cryf... yn ddirfawr odiaeth.

Because they were exceeding man... herwydd eu lluosogrwydd ... hwynt.

Exceeding hot—poeth rhagorol; dir... boeth, dirboeth.

Exceeding much spoil — anrhaith ... iawn.

Talk no more so exceeding proudly—chwanegwch lefaru yn uchel uchel.

Until his disease was exceeding gr...nes i'w glefyd fyned yn ddirfawr.

To wax exceeding great—tyfu yn rhag... myned yn fawr iawn.

An exceeding great host—llu mawr ... feidrol; llu mawr iawn.

To be exceeding wroth, } ffromi yn
To be exceedingly angry, } uthr; ... yn ddirfawr.

To be exceeding glad—llawenychu yn ... *neu* yn ddirfawr; llawenychu â llaw...ydd mawr dros ben.

Exceeding glorious—tra gogoneddus; rhagori mewn gogoniant.

Exceeding sorrowful—athrist, trist ... trist dros ben; mewn tristwch dir...

To grow exceedingly—mawr gynny... cynnyddu yn ddirfawr.

Exceeding, *s.* gormodedd, gormod, gorm... gorddigon, rhysedd, tra, tragor.

Exceedingness,† *s.* dirfawredd, dirfeithder.

Excel, *v.* (Ll. *excello*) rhagori, rhagori ar; blaenori, blaenori ar; bod yn fwy na; ... yn well na; bod yn amgenach *neu* yn rhag...orach na; trechu; bod yn drech na; ...genu ar; bod goruwch; goruchio; myned ... tu hwnt i; dwyn y blaen ar; myned dros; myned drosodd; codi yn uwch na; bod uwch law; bod uwch ben; blaenu ar; bod yn mlaen ar; bod yn oreu; prwysgo.

That excel in strength—cedyrn o ner... (*Salm* ciii. 20).

By reason of the glory that excelleth—herwydd y gogoniant tra rhagorol (2 ... iii. 10).

Do not men excel in strength?—... trechaf yw dynion (1 *Esd.* iv. 2)?

That excelled in wisdom—a aeth yn rhag...orol mewn doethineb (*Esth. Ap.* ... 3).

He striveth to excel goldsmiths and silversmiths—y mae efe yn ymryson â gweith... aur ac arian (*Doeth.* xv. 9).

**Excellence,** } *s.* (Ll. *excellentia*) rhagoriaeth,
**Excellency,** } godidogrwydd, ardderchogrwydd, arbenigrwydd, arbenigedd, rhagoroldeb, rhagorolrwydd, rhagor, rhagoriant, rhagoriawd, rhagorineb, rhagoredigaeth, rhagoredd, ardderchedd, enwogrwydd; rhagorfraint; goruchder, goruchafiaeth, goruchelder, mawredd; gwiwdeb, rhinwedd; bonedd, uchelfonedd, dyledogrwydd, urddasoldeb, urddasolrwydd, urddasolder, urddasoldra, urddolrwydd, urddoledd, urddolder; urddas, anrhydedd; gorchest, rhagorgamp, gwiwgamp: *pl.* rhagorion, godidogion, rhagorolion.

All the excellency of virtue consists in action—clod rhinwedd a saif oll ar weithred.

His excellency is invaluable—nid oes à gydbwysa ei degwch ef (*Eccles.* vi. 15).

**Excellent,** *a.* (Ll. *excellens*) rhagorol, godidog, ardderchog, arbenig, arbenigol, gwiw, dewisol, dewis, rhagoriannol, rhagoriaethol, campus, penigamp, odiaeth, odiaethol, da dros ben, amwiw, dïarebol, dïareb, dïarebus, enwog, od, hynod, nodedig, hynodol, gwych, dïell; gorchestol, rhagorgampus, rhagorgamp.

Most excellent—rhagoraf, godidocaf, ardderchocaf, rhagorolaf, goreu, penaf, prif, blaenaf; mwyaf rhagorol, &c.; tra rhagorol, tra godidog, gorwiw, tragwiw, tra ardderchog, &c.

Passing excellent—tra rhagorol, tra godidog, &c.; heb ei gyfryw; heb ei fath; digymhar, anghymharol.

Excellent!—rhagorol! tra rhagorol! o'r goreu! gwŷn fy myd! da dros ben!

An excellent man—dyn rhagorol, &c.; dïareb o ddyn.

There is excellent work on it—y mae gwaith rhagorol arno; mae gwaith gwiw arno.

This is an excellent good thing—peth da dïareb yw hwn; peth da rhagorol yw hwn; peth rhagorol dda yw hwn.

A man of a wonderful and excellent majesty—gwr o ryfeddol a rhagorol fawredd.

He hath done excellent things—godidogrwydd a wnaeth efe (*Esa.* xii. 5).

According to his excellent greatness—yn ol amlder ei fawredd (*Salm* cl. 2).

The honour of his excellent majesty—anrhydedd a phrydferthwch ei fawredd (*Esth.* i. 4).

**Excellently,** *ad.* yn rhagorol, &c.; yn dda odiaeth, yn dda iawn; yn dda dïareb; yn ddïareb o dda.

**Excelsior,** *a.* (Ll.) uwch, uchelach, uch, mwy dyrchafedig.

**Excentric,** } *a.* (Ll. *eccentricus;* Gr. *ex* a
**Excentrical,** } *centron*) afreolaidd, gwyrog; nwythus, nwythol, nwythaidd, arnwythus, cynnwythig; echreiddig, esgreiddig, anghymherfedd, anghynghreiddig, anghynghraidd; yn gadaw y craidd *neu* y canolbwynt; yn gwyro *neu* yn ciliaw oddi wrth y canolbwynt; âg iddo *neu* iddynt ganolbwynt amgen *neu* wahanol; anatebol *neu* anghyfatebol i'r dyben *neu* i'r amcan; anghyfartal, anghydweddol; anghytûn â'r rheol sefydledig; gwrthwyneb i'r rheol sefydlog; annhrefnus, od, afreolus, hynod, pengam.

**Excentricity,** } *s.* echreiddigrwydd, esgreiddig-
**Eccentricity,** } rwydd; echreiddiad, echreiddiant, esgreiddiant, afreoleiddrwydd, gwyrogrwydd; nwythas, nwythigrwydd, nwythusrwydd, nwythedd, nwytholdeb, nwytheiddrwydd, nwythiant, arnwythas, arnwyth, cynnwythigrwydd; ymadawiad, gwyrad, *neu* giliad oddi wrth y canolbwynt; anghyfartaledd, afreoledd; hynodrwydd.

**Except,** *v.* (Ff. *excepter;* Ll. *excipio*) eithro, llysu, llysiannu, gwrthod; cau, gadael, gadaw, *neu* fwrw allan; tynu ymaith, bwrw ymaith, dyeithro; dewis allan, cwlio, achub; anghymmeradwyo; ammheu, rhagu, namwy, namu, gwrthneu; bwrw, taflu, gosod, dodi, *neu* ddwyn yn erbyn; bod â gwrthwynebiad i.

This excepted—oni bai hyn; heb son am hyn; oddi eithr hyn; âg eithro hyn; gyda hyn o eithrad.

Not one excepted, } heb adaw un; heb
None being excepted, } ado un; heb wrthod un; heb lysu neb; heb eithro un.

It is manifest that he is excepted, which did put all things under him—amlwg yw mai oddi eithr yr hwn a ddarostyngodd bob peth iddo (1 *Cor.* xv. 27).

**Except,** *prep.* ond, eithr, oddi eithr, odd eithr, onid, oddi gerth, namyn, amyn, nam, named, namwyn, dyeithr, neithr; o ddiffyg; i maes o; allan o; heb, heb law; oni, onid, onis, os ni, os nid; oni bai, oni byddai, oni buasai, oni bydd; pe na, pe nad, pe nas; anllai, amgen.

Except me—nemof; nemof fi; named fi; onid mi, ond myfi, &c.

Except thee—nemot; ond tydi, eithr ti.

Except him—nemo; ond ef.

Except her—nemi; ond hi.

Except us—nemom; ond ni.

Except you—nemoch; ond chwi.

Except them—nemont; nemont hwy; ond hwy.

Except one—ond un, eithr un, namyn un, named un, nam un.

Except that—ond bod; ond yn unig bod.

Except they be agreed—heb fod yn gytûn (*Am.* iii. 3).

**Excepting,** *p.* gân eithro, yn eithro, &c.; eithr, ond, onid, odd eithr, oddi gerth, namyn, amyn, heb, heb law.

Excepting that—ond bod; ond yn unig bod.

**Exception,** *s.* eithrad, eithriad, dyeithrad, gadawiad allan, bwriad allan, namiad, llysiant, llysiad, llys, gwrthodiad, hebiad; ammheuad, ammheuaeth, gwrthddadl; nam, anach, gorsaf, gwrtheb; tramgwydd; attaliad; gwadiad; gwrth.

Without exception—yn ddinam, yn ddïeithrad, yn ddïanach; yn ddïos, yn ddïammheu, yn ddilys, yn ddilysiant, yn ddïwrthddadl; heb eithrad.

Exception of law—gorsaf cyfraith.

Lawful exception—gorsaf gyfreithiol.

To make an exception against—llysu, gwrthod, eithro, bwrw ymaith, anghymmeradwyo; bwrw, gosod, dodi, dwyn,

*neu* daflu yn erbyn; gorsafu; bwrw arhawl yn erbyn; penodi nam ar.
To put in an exception—gosod rhwystr; bwrw rhwystr; gosod, bwrw, *neu* roi nam yn erbyn; rhoddi anach; bwrw *eithr* i mewn; gosod *eithr* i mewn; rhoddi *neu* roi rhybudd gochel; gwahardd, nagu, anachu, namu; ammheu.
To take exception at a thing—tramgwyddo wrth beth; anfoddhau *neu* anfoddloni wrth beth; digio wrth beth.
Rule of exception — eithreb, dyeithreb, rheol eithrad.
With the exception of five—ond pump, onid pump, eithr pump, namyn pump.
In exception to the common method—yn wrthwyneb i'r drefn gyffredin; yn groes i'r drefn gyffredin; yn ngwrthwyneb *neu* yn y gwrthwyneb i'r drefn gyffredin.
I have an exception to some of them—mae genyf beth yn erbyn rhai o honynt.

Exceptionable, *a.* eithradwy, gwrthodadwy, llysadwy, hylys, hyeithr; à ellir gosod, bwrw, *neu* ddywedyd yn ei erbyn; i'w wrthod, i'w eithro, i'w lysu; i'w feio; hygwl.

Exceptional, *a.* llyswiw, namwiw, gwrthodwiw; à ddylid ei wrthod, ei lysu, *neu* ei eithro.

Exceptioner, Exceptor, } *s.* eithriedydd, eithrwr, eithrydd, eithradwr, gwrthodwr, gwrthodydd, gwrthddadleuwr, gwrthneuwr.

Exceptious, *a.* cecrus, cipgar, anfoddog, dadleugar; anniddig, hygawdd; anynad; hawdd ganddo ddigio; hyfeiol, dreng.

Exceptiousness, *s.* cecrusrwydd, cecrusedd, cipgarwch, dadleugarwch; anniddigrwydd, hygoddiant; anynadrwydd; hyfeioldeb.

Exceptive, *a.* eithrol, eithradol, dyeithrol, llysiannol, gwrthodol.

Exceptless,† *a.* dinam, dilys, dïos, dïwrtheb, dïwrthddadl, dïanach.

Excerebrose, *a.* (Ll. *ex* a *cerebrum*) dïymenydd, dïemenydd, difenydd; disynwyr.

Excern, *v. a.* (Ll. *excerno*) hidlo allan, hidlo, arlloes, lloesi, cythu; gwahanu a gyru allan drwy fân dyllau; chwysu allan.

Excerp, *v. a.* (Ll. *excerpo*) pigo, pigo allan, dethol, gorddethol, dewis, pigo y goreu, dichlyn, dichlynu, ethol, casglu y goreuon; cwlio; tynu y goreu o fysg ereill.

Excerpt,† *v. a.* (Ll. *excerpo*)=*Excerp.*

Excerption, *s.* (Ll. *excerptio*) detholiad, pigiad, dewisiad, dichlyniad, casgliad: *pl.* detholion, pigion, dewision, y goreuon, lloffion.

Excerptor, *s.* (Ll.) detholwr, detholydd, pigwr, dewiswr, dichlynwr.

Excerpts, Excerpta, } *s. pl.* (Ll. *excerpta*) detholion, pigion, dewision, lloffion.

Excess, *s.* (Ll. *excessus*) gormodedd, gormod, gormodd, rhysedd, tra, tragor, rhwy, rhy, tramesur, arddigonedd, gorddigon, rhyfaint, anghymmes; mwy na rhaid; mwy na digon; anghymmedroldeb, anghymmedrolder, wttres, gloddest; amryfusedd; gormawd, gormoddiaeth; eithaf, eithafed.
Excess on all sides—amrysedd.

Excessive, *a.* gormodol, gormoddol, gormodd, gormod, tragorol, dirfawr, rhyfawr, rhy, rhwy, tra, tramesurol; allan o fesur; tu hwnt i fesur; tros ben mesur; tros ben digon; anghymmes, anghymmedrol, anghymmesur, anghymmesurol; mwy na mwy; anfeidrol; amryfus, rhyseddog; anfadfawr; afresymol, direswm; angeriddol; eithaf, eithafig; terwyn; tra-, rhy-, gor-.
Excessive love, Excessive fondness, } trachariad, tra chariad, traserch, rhyserch, rhygariad, trahoffder, cariad gormodol.
Excessive hatred—trachas, trachasineb, rhygas, rhygasineb, gorgas, gorgasineb, rhygasedd.
Excessive expense—rhydraul, traul ormodol.
Excessive laughter—rhychwerthin, trachwerthin; crechwen; chwerthiniad y dannedd.
Be not excessive toward any—na ddod ormod ar un cnawd (*Eccles.* xxxiii. 29).

Excessively, *ad.* yn ormodol, &c.; tu hwnt i fesur; allan o fesur; tros ben mesur; rhy-, tra-, gor-.
To love excessively—tracharu, rhygaru; caru yn ormodol; caru i ormodedd.

Excessiveness, *s.* gormodoldeb, gormodolrwydd, gormodedd, gormoddoldeb, gormoddolrwydd, tragoroldeb, tramesuroldeb, tramesurdeb, tramesurolrwydd, &c.; rhysedd, gormod.

Exchancellor, *s.* (*ex* a *chancellor*) diweddar ganghellydd=un à fu ganghellor, ond sydd heb fod yn awr yn ei swydd.

Exchange, *v. a.* (Ff. *échanger*) newid, cyfnewid, newidio, cyfnewidio, ffeirio, amnewid, cyngwerthu; rhoi y naill beth am y llall; trafnidio; arallu; cyfechwyn.

Exchange, *s.* cyfnewid, cyfnewidiad, newid, newidiad, newidiant, newidiaeth, cyfnewidiaeth, newidwriaeth, cyfnewidwriaeth, cyfwerth, newidiadaeth, cyfechwyn; newidfa, cyfnewidfa, trafnidfa, newitty, newidle; llythyr cyfnewid.
Royal Exchange—y Newidfa Freninol, y Gyfnewidfa Freninol.
Bill of exchange—dyl cyfnewid, llythyr cyfnewid.
Stock-exchange — cyff-newidfa, sawddnewidfa, cednewidfa, cednewid.
Exchange (in arithmetic) — newidiaeth, newidiadaeth, cyfnewidiaeth.

Exchangeability, *s.* (o *exchangeable*) cyfnewidioldeb, cyfnewidiolrwydd, newidiolrwydd, newidioldeb, newidiolder.

Exchangeable, *a.* newidadwy, cyfnewidadwy; cyfnewidiol, newidiol; à ellir ei newid; gwiw i'w newid.

Exchanger, *s.* newidiwr, newidwr, newidydd, cyfnewidiwr, cyfnewidwr, cyfnewidydd.

Exchequer, *s.* (Ff. *échiquier*) trysorlys, cyllidlys, argedfa, argedlys, sylltty, trysorfa y deyrnas, y drysorfa.
Court of Exchequer—cyllidlys, argedlys, trysorlys, ardrethlys, llys y sylltty.
Exchequer bills—argedleni, dylion y sylltty, dylebion y cyllidlys, dylebion y trysorlys.
Chancellor of the Exchequer—Canghellydd y Trysorlys, Canghellwr y Sylltty, Canghellor yr Argedlys, Canghellwr y Cyllidlys.

**Exchequer**, *v. a.* cyllidlysio, argedlysio; cyffröi *neu* gychwyn hawl yn erbyn un yn y cyllidlys.

**Excipient**, *s.* (Ll. *excipiens*) eithrwr, eithrydd, eithrledydd, gwrthodwr, llysiannwr.

**Excisable**, *a.* (o *excise*) cyllidadwy, tolladwy, trethadwy; agored i gyllid; à ellir codi toll *neu* dreulged arno.

**Excise**, *s.* (Ll. *excisum;* Al. *accise*) cyllid, dofraeth, toll, treulgyllid, treulged; treth, ardreth.

**Excise office**—cyllidfa, tollfa, swyddfa treulged, swyddfa treulgyllid, swyddfa dofraeth, treulgedfa.

**Excise**, *v. a.* cyllido, gofyn cyllid, codi cyllid, treulgyllido, treulgedu; gosod cyllid ar; codi dofraeth ar; trethu, ardrethu, tolli, codi treth; gosod dàn dreth *neu* doll.

**Exciseman**, *s.* cyllidydd, cyllidwr, treulgedwr, tollydd, tollwr, dofraethwr, ceisiad; chwilgi.

**Excision**, *s.* (Ll. *excisio*) toriad ymaith, athrychiad, trychad, trychiad, trwch, toriad i ffwrdd, amdrychiad; diwreiddiad, dinystriad, difrodiad, dinystr, dystryw, difrod.

**Excitability**, *s.* (o *excitable*) cynhyrfiolrwydd, cynhyrfioldeb, hygyffröedd, hygynhyrfedd, cynhyrfiadoldeb, cyffroadoldeb, esgutwythrwydd.

**Excitable**, *a.* cyffroadwy, cynhyrfiadwy, annogadwy, annosadwy, hygyffro, hyffrawdd, esgutwyth.

**Excitant**, *s.* coethed, cynhyrfydd, cyffröydd, cyffrodydd.

**Excitate**,† *v. a.* (Ll. *excito*)=*Excite.*

**Excitation**, } **Excitement**, } *s.* (Ll. *excitatio*) cyffroad, cynhyrfiad, cyffro; deffroad; annogiad, annogaeth, annog, annosiad, cymhelliad, ysgogiad, cyffröedigaeth, cynhyrfedigaeth, cyffrawd, cyffrawdd; annogrwydd.

**Excitative**, } **Excitatory**, } *a.* cyffroawl, cyffröedigol, cynhyrfiol, cynhyrfiadol, cynhyrfedigol, cyffröus, cynhyrfgar.

**Excite**, *v. a.* (Ll. *excito*) cyffröi, cynhyrfu; annog, cymhell, dirgymhell, ennyn, ennynu, annos, hysio; ysbarduno, symlu, symbylu, symbylio; gyru *neu* wthio yn mlaen; deffröi, dihuno; codi; gwneuthur; bywiogi, bywhau, bywiocäu.

**Exciter**, *s.* cynhyrfydd, cynhyrfwr, cynhyrfiedydd, cyffröwr, cyffröydd, annogwr; coethed, coethgyffer.

**Exciting**, *s.* cynhyrfiad, cyffroad, annogiad, cynhyrfedigaeth, cyffröedigaeth.

**Excitive**, *a.* cyffroawl, cynhyrfiol, cynhyrfus, cynhyrfiadol, cynhyrfedigol, cyffröedigol, cyffröus, cynhyrfgar; à dueddo i gyffröi.

**Exclaim**, *v. n.* (Ll. *exclamo*) gwaeddi, bloeddio, crochwaeddi, banllefain, crochlefain, croch floeddio, dolefain, dylefain, gwaedddolef, dirleisio; gwaeddi yn groch; llefain yn groch; galw yn groch; garmio, arlefain, gawrio, gawri, gawrian, ysgrechian, ysgrechain, dïaspedain, bloeddian, gwaeddolef, ysgego, ysgarmain, germain, dysgrïo, crio; rhoi banllef, crochlef, garm, ysgarm, ynglef, *neu* ddïaspad; gwaeddi allan, llefain allan, lleisio, ebychu; buguned, bugunad.

To exclaim against—gwaeddi yn erbyn, &c.; croch feio, beio ar, beio; wfftio; gwaeddi wfft i; anghymmeradwyo, goganu, difrïo; dywedyd yn erbyn; codi banllef yn erbyn; gwrthlefain, gwrthgrïo.

Exclaimed against—y llefir, y gwaeddir, *neu* y dywedir yn ei erbyn gàn bawb; gwrthgrïedig; anghymmeradwy.

**Exclaim**, *s.* gwaedd, bloedd, banllef, crochlef, crochwaedd, gwrthlef, llef groch; dadwrdd, dwndwr, twrdd.

**Exclaimer**, *s.* gwaeddwr, bloeddiwr, banllefwr, gwaeddydd, bloeddydd, crochlefwr, dolefwr, dolefydd, gwrthlefwr, gwaeddan.

**Exclamation**, *s.* (Ll. *exclamatio*) gwaedd, bloedd, banllef, dolef, crochwaedd, crochlef, cri, llef, crochlais, llef uchel, llef groch, gwaedd fàn, dolef groch, dysgreth, gorfloedd, dirwaedd, arwaedd, arddolef, dysgri, gorlef, garm, gawr, aedd, ysgri; dadwrdd, dwndwr; gwrthlef; bugunad; rhyfeddeb, syneb, rhyfeddnod, synnod; gwaeddolef, dirlais, arlef; ebychiad, dirleisiad.

Note of exclamation—rhyfeddeb, syneb, rhyfeddnod, synnod (!).

**Exclamative**, } **Exclamatory**, } *a.* bloeddiol, dirleisiol, gwaeddol, crochleisiol, gwaeddfan, bloeddfawr, bloeddgar, gwaeddfawr, ysgreol, ysgrïol, ysgrechol, banllefus, dolefus, croch, ban, uchel; ebychiadol, synfawr, gwaeddolefus.

**Exclude**, *v. a.* (Ll. *excludo*) cau allan; bwrw allan, taflu allan; llysu, gwrthod, llysiannu; eithro; gwahardd, gwardd, gwaharddu, gwarddu; attal, rhwystro, lluddias; cwlio; anghymmeradwyo; neilltuo, dydoli; didyo, cythu, cothi, ysweilio; esgymu; cadw oddi wrth; cadw allan o; peri na ddel i mewn; allgauad.

To exclude one's self—cau ei hun allan; ymwrthod, ymddydoli; ymwrthod â; ymddydoli oddi wrth.

**Excluded**, *p. p.* à gauwyd allan; gwedi ei gau allan, &c., allan-gauedig; gwrthodedig, llysedig, dydoledig, cwliedig, eithredig; anghymmeradwy, annerbyniol, esgymus, esgymedig.

**Exclusion**, *s.* (Ll. *exclusio*) cauad allan, bwriad allan, tafliad allan; llysiad, llysiant, gwrthodiad, eithrad; gwaharddiad, gwarddiad, gwardd; attaliad, rhwystrad, dyoriad, dyor, cythiad, cothiad, ysweiliad; esgymiad; cauedigaeth allan, anghyffrediad; y peth à fwrier allan; chwydredd, chwydr.

**Exclusionist**, *s.* cauwr allan, esgymwr, esgymydd, allan-gauwr, allgauwr, allgauedydd, gwrthodwr, eithrwr.

**Exclusive**, *a.* yn cau allan; gàn gau allan, &c., allan-gauadol, allgauadol, allan-gauedigol, allgauedigol; esgymol; à chanddo allu i gau *neu* gadw allan; à chanddo awdurdod *neu* effaith i gau allan; anghyffred, anghyffrededig, anghynnwysedig; heb gynnwys, heb gymmeryd i mewn; heb son am; eithrol, dydol, neilltuol; oddi eithr, heb, heb law.

Exclusive of—heb, heb law; oddi eithr, oddi gerth.

**Exclusively**, *ad.* (Ll. *exclusivè*) yn neillduol, o'r neilltu, ar neilltu, ar ddydol; ar ei ben ei hun; heb ei gyfrif *neu* ei gynnwys gydag ereill; heb, heb law, oddi eithr, oddi gerth, eithr; gàn gau ereill allan.

**Exclusiveness**, *s.* allgauedigrwydd, allgauadol-

**Expenseful**, *a.* treulfawr, costfawr, costus, drud.

**Expenseless**, *a.* didraul, digost; yn rhad; rhad; heb draul, heb gost.

**Expensive**, *a.* treulfawr, costfawr, costus; drud, prid; afradlawn, afradus, treulgar; hael.

**Expensiveness**, *s.* treulfawredd, costfawredd, costusrwydd, mawrgost, mawrdraul, drudwch; treulgarwch, treulgaredd, afradlonedd, afradlonrwydd, afradusrwydd, afrad.

**Experience**, *s.* (Ll. *experientia*) profiad, ymbrawf, prawf, praw, hirbrawf; ymarfer, cynnefindra, ymarferiaeth; cyfarwyddyd, cyfarwyddawd, hyfedredd, gwybodaeth; praith; prawf-wybodaeth.

Daily experience — profiad beunyddiol, profiad sathredig, anghreifftiau beunyddiol, engraffau beunyddiol.

Of no experience—dibrofiad, anmhrofiadol, dibrawf, anmhrofedig, diymarfer, anghynnefin, anghyfarwydd, anhyfedr, diwybod, anwybodus, annysgedig.

Want of experience—diffyg profiad, diffyg ymarfer, anmhrofiad, anymarfer, anghynnefindra, anmhrawf, anghyfarwyddyd, anhyfedredd, anfedredd, annysg, anwybod, anwybodaeth.

To have experience of=*Experience, v. a.*

Known by experience=*Experienced.*

I know that by experience—mi a ẁn hyny drwy brofiad.

I have learned by experience—da y gẁn; yr wyf wedi dysgu drwy brofiad.

If a man desire much experience — os chwennych neb gael sicrwydd gwybodaeth lawer (*Doeth.* viii. 8).

A man of experience—dyn à ẁyr lawer; gwr à ẁyr lawer; dyn o brofiad; gwr a phrofiad ganddo.

Much experience is the crown of old men —coron henafgwyr yw gwybod llawer (*Eccles.* xxv. 6).

He that hath much experience will declare wisdom—yr hwn a gafodd brawf o lawer o bethau a ddengys synwyr (*Eccles.* xxxiv. 9).

He that hath no experience knoweth little—ychydig a ẁyr yr hwn ni phrofwyd (*Eccles.* xxxiv. 10).

**Experience**, *v. a.* profi, ymbrofi â; bod wedi ymarfer *neu* ymgynnefino â; bod yn profi; cael wrth brofi; deall; teimlo; clywed; profi wrth arferu, goddef, *neu* fwynhau; gwybod drwy brofiad.

**Experienced**, *a.* profedig; à brofwyd; gwybodedig drwy brofiad; à wybüwyd *neu* à wyddys drwy brofiad; wedi ei brofi; gwybodus *neu* hyfedr drwy brofiad; gwybodus *neu* hyfedr drwy ymarfer; à ẁyr lawer; yn gwybod llawer; hyfedr, hyfedrus, gwybodus, medrus, cyfarwydd.

**Experiencer**, *s.* argeisiedydd, profwr, profydd, profiedydd, ymbrofwr; un à wnel ymbrofion.

**Experiment**, *s.* (Ll. *experimentum*) ymbrawf, prawf, profiad, praw, prawiad, ymbrofiad, argeisiad, cynnyg, cais, ymgais, osiad, osbrawf.

Crucial experiment — prawf penderfynol, ymbrawf terfynol; prawf à benderfyno y pwnc y naill ffordd neu y llall ar unwaith.

**Experiment**, *v.* ymbrofi, profi; gwneuthur prawf, ymbrawf, *neu* ymgais; osio, ymgeisio, ymgynnyg, dargeisio; gwneuthur cais; gwybod drwy brawf; cael drwy brofi; rhoi ar brawf.

**Experimental**, } *a.* profiadol, ymbrofiadol;
**Experimentative**, } à gafwyd allan drwy brofiad; à ddysgwyd drwy brofiad; sefydledig ar brawf *neu* brofiad; seiliedig ar brawf *neu* brofiad; à seiliwyd ar ymbrawf; à wyddys drwy brofiad; profedig; ymarferol.

Experimental philosophy — athroniaeth brofiadol, athroniaeth ymarferol; athroniaeth seiliedig ar brofiad *neu* ymbrawf.

**Experimentalist**, } *s.* argeisiedydd, profwr,
**Experimenter**, } profydd, profiedydd, ym-
**Experimentist**, } brofwr; un à wnel ymbrofion.

**Experimentally**, *ad.* yn brofiadol, &c.; trwy brawf, trwy brofiad; ar brawf, ar brofiad.

To speak experimentally—dywedyd ar ei brofiad *neu* ei wybodaeth ei hun; dywedyd drwy brofiad; llefaru oddi ar brofiad.

**Experimentative**, *a.*=*Experimental.*

**Expert**, *a.* (Ll. *expertus*) cyfarwydd, hyfedr, celfydd, medrus, hyddysg, hwylus, cywrain, cywraint, cynnil, campus, penigamp, trylew, deheu, deheuig, hylaw, dichwith, hylwybr, hyffordd, parod, tra pharod, cyflym, trwyadl; profedig, cydnabyddus, cynnefin, gwybodus.

Expert in—cyfarwydd â, hyfedr mewn, &c.

To make expert — gwneuthur yn gyfarwydd, &c.; cyfarwyddo, dysgu, addysgu.

Expert in war—yn medru rhyfel; gwedi ei ddysgu i ryfela; gwedi ei ddysgu i ryfel; hyfedr mewn rhyfel; hyfedr ar ryfela.

**Expert**, *s.* un cyfarwydd, &c.; hyfedrydd, medrydd, celfyddwr, cyfarwydd: *pl.* hyddysgiaid, medrusiaid, &c.

**Expertness**, *s.* hyfedredd, medredd, medrusrwydd, medrusedd, medr, medrusdod, medrusder, deheurwydd, deheuder, hylawrwydd, trylewder, cywreinder, cywreindeb, cywreinrwydd, dichwithrwydd, dichwithder, medraeth, cyfarwyddyd, celfyddyd, cynnildeb; llwybreiddrwydd, hylwybredd, hwylusder, hwylusdod, hwylusrwydd; parodrwydd, esgudrwydd, cyflymdra.

To acquire expertness in a thing, } cael
To attain to expertness in a thing, } cymmedr ar beth.

**Expetible**,† *a.* (Ll. *expetibilis*) dymunadwy; gwiwgais, dymunol.

**Expiable**, *a.* (Ll. *expiabilis*) dyhuddadwy, cymmodadwy, dadolychadwy; maddeuadwy; à ellir gwneuthur iawn *neu* gymmod drosto; diwygiadwy; dileadwy; à ellir ei ddiwygio; à ellir gwneuthur cymmod drosto a'i ddileu.

**Expiate**, *v. a.* (Ll. *expio*) dyhuddo, dadolychu; gwneuthur cymmod *neu* iawn dros; cymmodi dros; gwneuthur iawn dros *neu* am gamwedd; dyhuddo âg aberth; diwygio bai *neu* bechod; glanhau pechod âg iawn *neu* aberth; iawnu, unioni, prido, pridio, dyfwyno; diwygio.

To expiate an injury—unioni cam, iawnu cam, diwygio sarhad; talu am y niwed à wnaeth un.

**Expiation**, *s.* (Ll. *expiatio*) cymmod, iawn, dad-

olwch, penyd, dyfwyn, dyfwyni, dywyni, daffar; dadolychiad, dyhuddiad, dyhuddiant, pridiant, pridiad, unionad, iawnad, diwygiad, ymlanhad, ymddiheurad; aberth; cymrodedd, boddlonrwydd.

**Expiator**, *s.* dyhuddwr, dyhuddydd, dadolychwr, dyhuddai, cymmodwr, pridiwr; un à ddyhuddo.

**Expiatory**, *a.* dyhuddol, dadolychol, iawnol, dyhuddedigol, cymmodol, cymrodeddol, cymmodroddol, pridiannol, pridiadol, pridiol, penydiol; diwygus, diwygiol, diwygiadus, diwygiedigol, diwyg-; diheurol; perthynol i lanhad oddi wrth bechod.

Expiatory sacrifice — aberth dyhuddol, aberth iawnol, diwyg-aberth.

**Expilation**, *s.* (Ll. *expilatio*) anrheithiad, anrheithiant, ysbeiliad; diffaethiad tir; anrhaith, difrod; lladrad.

**Expirable**, *a.* trengadwy, darfodadwy.

**Expirant**, *s.* (o *expire*) trengydd, trengwr; un yn darfod am dano.

**Expiration**, *s.* (Ll. *expiratio*) chwythiad *neu* anadliad allan; allanadliad; yr anadl ddiweddaf; tranc, trancedigaeth, marwolaeth; ymadawiad â'r byd *neu* â'r ysbryd; anadliad, tarthiad, tarthiant, mygdarthiad, anweddiad, ageriad, anwyddiad; anadl, tarth, ager, anwedd, mygdarth, tawch; gyrferth; diwedd, terfyn, pen, dyben, paid, ymbaid; diweddiad, terfyniad, dybeniad, peidiad, peidiant, cload, dybendod.

At the expiration of the year—yn niwedd y flwyddyn; yn mhen y flwyddyn; ar ddiwedd y flwyddyn.

At the expiration of ten days—yn mhen deg diwrnod; yn mhen deng niwrnod.

**Expire**, *v.* (Ll. *expiro*) anadlu allan, chwythu allan; trengu, marw; darfod am dano; ymadael â'r byd; ymadael â'r ysbryd; rhoi i fyny yr ysbryd; darfod, diweddu, dybenu, peidio; myned ar ddim; myned i'r dim; tarthu, mygdarthu, anweddu, ageru, agerddu, tarthain, terthu, terthain, anadlu, alanu, allanadlu.

The day expires—mae y dydd yn darfod; mae y dydd yn trengu; mae y dydd ar dranc.

The time is expired—darfu yr amser; deryw yr amser; mae yr amser wedi myned heibio; mae yr amser wedi darfod.

When these days are expired—pan ddarfyddo y dyddiau hyn; pan ddarfo y dyddiau hyn; pan ddarffo y dyddiau hyn.

The days were not expired—ni chyflawnasid y dyddiau eto; ni ddaethai yr amser eto.

After the year was expired—gwedi pen y flwyddyn; gwedi gorphen y flwyddyn; gwedi darfod o'r flwyddyn.

When thy days be expired—pan gyflawner dy ddyddiau di.

When the year was expired—yn mhen y flwyddyn; pan ddarfu y flwyddyn.

After two years fully expired—gwedi dwy flynedd lawn (1 *Mac.* i. 29).

**Expiring**, *a.* trengol, ar drengu, wrth drengu, yn marw, ar farw, ar dranc, wrth farw.

**Explain**, *v.* (Ll. *explano*) egluro, eglurhau, amlygu, esbonio, deongli, deongl, deonglyd: dangos, dattod, agoryd, egori, ysblana.

**Explainable**, *a.* (Ll. *explanabilis*) egluradwy, amlygadwy, esboniadwy.

**Explainer**, *s.* eglurwr, eglurydd, egluriedydd, esboniwr, esboniedydd, egluriadur, deonglydd, deonglwr, amlygwr, eglurhawr.

**Explanation**, *s.* (Ll. *explanatio*) eglurhad, egluriad, eglurad, esboniad, deongliad: deonglawd, deongl, amlygiad, agoriad; cymmod, cydfod.

**Explanatoriness**, *s.* egluroldeb, egluriadoldeb, eglurhaoldeb, eglurhaolrwydd, amlygiadoldeb, esboniadoldeb.

**Explanatory**, *a.* eglurhaol, egluriadol, eglurol, egluradol, amlygiadol, esboniadol, esboniol, agoriadol; yn cynnwys eglurhad.

**Expletion**, *s.* (Ll. *expletio*) cyflawniad, cyflenwad, adgyflenwad, cwblhad.

**Expletive**, *a.* (Ll. *expletivus;* Ff. *explétif*) cyflenwol, cyflawnol, cyflawniadol, adgyflenwol, adchwanegol; à roddir i lanw; à fo yn cyflenwi.

Expletive particle—banyn llanw, banyn cyflenwol, geiryn llanw, gair llanw.

**Expletive**, *s.* gair llanw, gair cyflenwol, cyflanw, caflawn-air, gair tragor: *pl.* cyflawnaid, cyflenwolion, geiriau llanw.

**Expletory**, *a.* cyflenwol, cyflenwadol, cyflawnol, cyflawniadol.

**Explicable**, *a.* (Ll. *explicabilis*) egluradwy, esboniadwy, deongliadwy, amlygadwy, agoradwy, dattodadwy; à ellir ei egluro; y geilir cyfrif am dano; dirnadwy.

**Explicate**, *v. a.* (Ll. *explico*) dadblygu, disblygu; dattod, dadrysu, dad-ddyrysu, dadlenu; egluro, eglurhau, amlygu, esbonio, deongli, agor.

**Explication**, *s.* (Ll. *explicatio*) dadblygiad, disblygiad; dattodiad, dadrysiad, dad-ddyrysiad; egluriad, eglurhad, eglurad, esboniad, deongliad, amlygiad, agoriad.

**Explicative**, } *a.* eglurhaol, egluriadol, eglurol,
**Explicatory**, } amlygiadol, amlygol, esboniadol, esboniol, deongliadol, agoriadol; dadblygol, disblygol, dadlenol.

**Explicator**, *s.* (Ll.) eglurydd, eglurwr, egluriedydd, egluriadur, eglurhäwr, esboniwr, esboniedydd, amlygwr, amlygydd, amlygiedydd, deonglwr; dadblygwr, dadblygydd, disblygwr, dadlenwr, dad-ddyryswr.

**Explicit**, *a.* (Ll. *explicitus*) eglur, amlwg, goleu; pendant, penodol, hysbysol; dïos, dilys, anamwys, honaid; gwir; claer, agored, digel, dihoced, rhydd; noeth, dïorchudd; dadblygedig, dadblyg, ar led.

**Explicit**,† *s.* diwedd, terfyn, dyben.

**Explicitly**, *ad.* yn eglur, &c.; mewn geiriau eglur; mewn geiriau pendant.

**Explicitness**, *s.* eglurder, eglurdeb, egluredd, amlygder, amlygedd, goleuder; pendantrwydd, penodolrwydd, penodoldeb, hysbysoldeb; dilysrwydd, anamwysedd; claerder; cleuder; honeidrwydd.

**Explode**, *v.* (Ll. *explodo*) ffrwydro, ysgortio, trwydo, truddo, iorni, beilio; hwtio, wfftio; difrïo, goganu, bychanu, cablu, anghanmawl; gwrthod yn ddirmygus *neu* yn ddiystyrllyd; taflu ymaith *neu* fwrw heibio yn ddirmygus; gyru allan drwy si a dwrdd; gyru allan drwy ddirmyg ac anmharch; dryllio, ymddryllio, tori, ymdori.

**Exploded**, *p. p.* ffrwydredig, &c.; gwrthodedig; wedi myned allan o arfer; wedi ei fwrw *neu* ei yru allan o arfer; wedi myned mewn anarfer.

**Exploder**, *s.* ffrwydrwr, ffrwydrydd, ysgortiwr, trwydwr; hwtiwr, wfftiwr; bychanwr, goganwr, dirmygwr.

**Exploit**, *s.* (Ff.) gorchest, gwrolgamp, rhagorgamp, gwiwgamp, dewisgamp, camp, gorug; gweithred orchestol, fawrglod, glodfawr, wiwgof, foneddigaidd, fawrydig, *neu* ardderchog; gwrolwaith, gorchestwaith; anturwaith, antur; peth mawr aruthrol; gorchestedd.

Exploits — gorchestion; gweithredoedd gorchestol, gweithredoedd, gorugiau.

A doer of exploits—gorchestwr, campwr, anturiwr, gwneuthurwr gorchestion, rhagorgampwr.

To perform an exploit — gorchestu; gwneuthur gorchest, &c.

Heroic exploit—gwrolgamp, gwronwaith, gwronawd, gwrolwaith, gorchest arwrol, gwrial.

**Exploit**,† *v. a.* gwneuthur, cyflawnu, gorchestu.

**Explorate**, *v. a.* (Ll. *exploro*)=*Explore.*

**Exploration**, *s.* (Ll. *exploratio*) fforiad, ysbeiorad, chwiliad, chwilfa, manylgais, ymofyniad, peithiad, ysbeithiad, ysbeiant, ysbeiawd, ysbeiad, ysbïad, peithiant, peithawd, selltiad, sylwy; meinholiad, holiad, manwl chwiliad; profiad, prawf.

**Explorator**, *s.* (Ll.) fforiwr, fforiedydd, ysbeior, ysbeithiwr, peithiwr, ysbeiennwr, selltwr, syllwr, selwr, peithor, chwiliwr, chwiliedydd, dyfal ymofynwr, manylgeisiwr, meinholwr; chwilior.

**Exploratory**, *a.* fforiol, fforiadol, ysbeiorol, ysbeithiol, peithiol, peithiannol, peithiannus, peithiadol, peithorol; chwiliadol, ymofynol, holiadol, profol.

**Explore**, *v. a.* (Ll. *exploro*) fforio, ysbeio, ysbeiori, ysbeithio, peithio, peithori, selltu, selu, ysbeienna; chwilio, craff chwilio, dyfal chwilio, chwilota, chwilena, ymofyn, holi, meinholi, profi, osio; gwneuthur prawf ar; cael allan drwy fanwl chwiliad *neu* ddyfal ymgais; canfod drwy ddyfal ymgais *neu* fanwl chwiliad.

**Explorement**, *s.* fforiad, ysbeiorad, peithiad, ysbeithiad; chwiliad, holiad, ymchwil, ymchwiliad.

**Explorer**, *s.* fforiwr, fforiedydd, ysbeior, peithiwr, peithor, ysbeithiwr, selltwr, ysbeiwr, ysbeiennwr, ysbeiedydd, syllwr, selwr, selydd; chwiliwr, chwiliedydd, dyfal ymofynwr, manylgeisiwr, holwr, meinholwr; profwr.

**Explosion**, *s.* (Ll. *explosio*) ffrwyd, ffrwydrad, ysgortiad, ysgort, trwydiad, truddad, iornad, ergyd; gyriad allan drwy si a dadwrdd; trwst, twrdd, twrf, swn, *neu* ruad ergyd o ddryll; trwyd, trudd, iorn, ffrwch, wff, rhuthr; ymddrylliad disymmwth.

**Explosive**, *a.* ffrwydrol, ysgortiol, trwydol, truddol, trystiol, ymddrylliol, ffrychiol; à bair ffrwydrad.

**Expoliation**, *s.* (Ll. *expoliatio*) ysbeiliad, anrheithiad, ysglyfaethiad.

**Expolish**,† *v. a.* (Ll. *expolio*)=*Polish.*

**Exponent**, *s.* (Ll. *exponens*) mynegai, mynegor, mynegydd; mynegrif.

**Exponential**, *a.* mynegeiol, mynagol, mynegol, mynegorol, mynegrifol, dangosol.

**Ex-pope**, *s.* allbab, esbab; pab dïorseddog, pab dïorseddedig, pab diswyddedig.

**Export**, *v. a.* (Ll. *exporto*) anfon allan; allfori, allborthi, allgludo, trawgludo, trosglwyddo allan, trosglwyddo, trosfori, mordrosi; anfon allan o'r wlad i'w werthu.

**Export**, *s.* allforiad, allgludiad, trawgludiad; allborthiad; allnwydd, allglud, trawglud; nwydd à anfoner i orwlad.

Exports and imports—allforion a dadforion; allgludion ac atgludion; trawgludion ac atgludion; yr hyn a anfonir allan, a'r hyn a ddygir i mewn; y maint à anfonir allan, a'r maint à ddygir i mewn; allgludiad ac atgludiad.

Export-trade—masnach allforol, trafnid trosforol, trafnid allforion; masnach mewn nwyddau à anfonir allan.

**Exportable**, *a.* allforadwy, allgludadwy, allborthadwy; à ellir ei anfon allan.

**Exportation**, *s.* (Ll. *exportatio*) allforiad, allgludiad, trawgludiad, trosglwyddiad allan, anfoniad allan, allborthiad, trosforiad, mordrosiad; anfoniad i orwlad i'w werthu.

**Exporter**, *s.* allgludwr, allgludydd, allforiwr, anfonwr allan, anfonydd allan, allborthwr; gwerthwr dros fôr.

**Exposal**,† *s.* (o *expose*)=*Exposure.*

**Expose**, *v. a.* (Ff. *exposer*; Ll. *expono, expositum*) dynoethi, amlygu, arnoethi, noethi, dïorchuddio, digelu, annirgelu; dadlenu, dilenu; rhoi mewn golwg; rhoi mewn goleuni; dwyn i'r goleu, i'r goleuni, i'r golwg, *neu* i'r amlwg; gwneuthur yn amlwg; gwneyd yn amlwg i bawb; dangos yn ngŵydd pawb; dangos, dadguddio, dadenhuddio, dadencuddio, dihuddo, cyhoeddi; dangos ar gyhoedd; egori, agor; gwneuthur yn agored; ffedu, dysbelio, hoeddi, hoethi; darostwng, gwneuthur yn ddarostyngedig; tynu *neu* ddwyn peth ar; gwneuthur un yn wrthrych peth; gosod, rhoddi, gwneuthur; peryglu, arberyglu; gwaradwyddo; bwrw ar ddamwaen; cynnyg.

To expose to danger—peryglu, arberyglu, pydio; rhoi *neu* osod mewn perygl; dwyn *neu* arwain i berygl.

To expose one's self to danger—ymberyglu, ymbydio; gosod ei hun mewn perygl; peryglu ei hunan.

To expose one's self to laughter — peri chwerthin am ei ben ei hun; peri chwerthin am ei ben; gwneuthur ei hun yn watwargerdd; gwneuthur ei hun yn watwargyff; gwneuthur ei hun yn gyff gwawd; gwneuthur ei hun yn wrthrych gwawd; gosod ei hun yn gyff cler.

To expose to sale—gosod ar werth; rhoddi ar werth; cynnyg ar werth.

To expose to shame—dwyn cywilydd *neu* warth ar; cywilyddio, gwaradwyddo, gwarthruddo; gwneuthur *neu* beri yn gywilyddus.

To expose to reproach—gwneuthur *neu* osod yn waradwydd; gwneuthur *neu* osod yn warth; gwneuthur *neu* osod yn warthrudd.

To expose to view—rhoi *neu* osod ger bron; rhoi *neu* osod yn ngŵydd pawb; rhoi *neu* osod ger bron pawb; dangos ar gy-

hoedd; dwyn i'r amlwg, i'r goleuni, i'r goleu, *neu* i'r golwg.
To expose one—diarebu un; dynoethi un.
To expose a child—rhoi, gosod, *neu* fwrw plentyn allan mewn perygl; gadael plentyn i ddamwaen; bwrw plentyn ar ddamwaen; gadael plentyn; gadael plentyn mewn perygl darfod am dano; hoeddi plentyn.
From all dangers to which he may be exposed—rhag pob peryglon y dichon efe fod yn eu hergyd; rhag pob peryglon y dichyn efe fod o fewn eu hergyd.

Expose, *s.* (Ff.) eglurhad, egluriad, amlygiad, agoriad; adroddiad ffeithiau a rhesymau er eglurhad.

Exposed, *p. p.* dynoethedig, &c.; noeth, amlwg, agored, egored, arnoeth, dïorchudd, dysbeliog, hoedd, hoeddus, cyhoeddus, llwm, bledd, noethlwm.
An exposed child—plentyn â fwrier allan tàn berygl darfod am dano; plentyn dynoethedig, &c.; plentyn gadael; plentyn â fwriwyd ar ddamwaen.

Exposedness, *s.* noethedigrwydd, dynoethrwydd, amlygedigrwydd, noethni, dynoethni, dynoethedd, arnoethedd, agoredrwydd, egoredigrwydd.

Exposer, *s.* dynoethwr, dynoethydd, noethwr, dïorchuddiwr, dadguddiwr, &c.

Exposition, *s.* (Ll. *expositio*) eglurhad, egluriad, eglurad, esboniad, amlygiad, deongliad, deonglawd, deongl, agoriad, egoriad; lladmeriaeth; dynoethiad, dïorchuddiad, dangosiad, arddangosiad, cyhoeddiad, hoeddiad, dadguddiad, dadencuddiad, dadenhuddiad, dadleniad; dygiad i'r goleuni; gwneuthuriad yn gyhoedd; sefyllfa, safle; bwriad allan.
Exposition of a child—bwriad plentyn allan mewn perygl; gadawiad plentyn; bwriad plentyn ar ddamwaen.

Expositive, Expository, *a.* eglurhaol, egluriadol, eglurol, amlygol, esboniadol, esboniol, agoriadol.

Expositor, *s.* (Ll.) eglurydd, eglurwr, egluriadur, egluriedydd, eglurhäwr, esboniwr, esboniedydd; deonglwr, deonglydd, lladmer, lladmerydd; eglurhad.
Family expositor—esboniwr teuluaidd; egluriadur teuluol; esboniadur teulu.

Expostulate, *v. n.* (Ll. *expostulo*) ymliwied, ymliw, ymliwio, cyfymliw; ymresymu, ymddadleu, ymddadlu, rhesymu.

Expostulation, *s.* (Ll. *expostulatio*) ymliwiad, ymliw, cyfymliw, cyfymliwiad; ymresymiad, rhesymiad, ymddadliad; cyfymliw am beth à wneler; achwyn, ymachwyn, ymachwyniad.

Expostulator, *s.* ymliwiedydd, ymliwydd, ymliwiwr, ymachwynwr; ymresymwr, ymresymydd.

Expostulatory, *a.* ymliwol, ymliwiol, ymliwaidd, cyfymliwol, ymachwynol, achwynol; ymresymol, dadleuol.

Exposure, *s.* (o *expose*) dynoethiad, noethiad, arnoethiad, amlygiad, dïorchuddiad, dadguddiad, digeliad; rhoddiad *neu* osodiad yn yr amlwg; rhoddiad *neu* osodiad yn ngolwg pawb; gwneuthuriad yn agored *neu* ddarostyngedig; bwriad allan mewn perygl; darostyngiad i berygl; hoeddiad, hoeddawd, hoethawd, arberygliad, perygliad; gosodiad yn noeth *neu* agored; cyflead; sefyllfa, safle; sefyllfa agored; cyflwr dïorchudd; noethni, noethder; bod yn agored.
To have a southern exposure—gwynebu ar y deheu; bod â'i wyneb ar y de.

Expound, *v. a.* (Ll. *expono*) egluro, eglurhau, esbonio, amlygu, agor, egori, agori, agoryd, dattod, deongli, deongl, deonglyd, lladmeru; dirnad, dirnadu; hysbysu *neu* ddangos arwyddocâd; gosod allan ddeall *neu* ystyr; mynegu; chwilio.

Expounder, *s.* esboniwr, eglurwr, eglurydd, egluriedydd, deonglwr, amlygwr.

Ex-president, *s.* diweddar lywydd; un à fu lywydd; llywydd heb fod yn ei swydd.

Express, *v. a.* (Ll. *expressum*, o *exprimo*; Ysp. *expresar*) mynegu, adrodd, dadgan, traethu, treithu, amlygu, hysbysu, ysbysu, dywedyd, gweyd, gwedyd, dweyd, goedyd, llafaru, llefaru, yngan; arddangos, dangos, gosod allan; darlunio, arlunio, paentio, delweddu; dynodi, nodi, arwyddo, arwyddocäu; enwi; gwasgu, gwryfio, gwasgu allan; tynu allan.
To express one's mind—dywedyd ei feddwl; dangos ei feddwl; mynegu ei ofeg; traethu ei feddwl; amlygu ei feddwl.
To express one's self—dywedyd, gwedyd, gweyd, dweyd, llefaru, llafaru, traethu; amlygu ei hun; dywedyd, dangos, dadgan *neu* draethu ei feddwl; amlygu ei feddwl; gosod ei feddwl allan; hysbysu ei feddwl.
I cannot express it in words—nis gallaf mo'i gynnwys mewn geiriau; nis gallaf mo'i amgyffred mewn geiriau; nis gallaf mo'i drosglwyddo mewn geiriau; nis gallaf ei draethu mewn geiriau.

Express, *a.* (Ll. *expressus*) eglur, amlwg, goleu; pendant, hysbysol, hysbys, ysbys, ysbysol; gwir, dïos, dilys, dïau, dïammheu, sicr; croew; anamwys; neilltuol, penodol, penodedig; cywir, trwyadl.
Express train—cludres frys, brys gludres, brysgludres, cludres gyflymred, cludres fuanred, brysgenadres.
The express image of his person—gwir lun ei berson ef (*Heb.* i. 3).
They made an express image of a king—gwnaethant wir ddelw brenin; hwy a wnaethant hynod ddelw brenin (*Doeth.* xiv. 17).

Express, *s.* brysgenad, brysiadur, cenad gyflymred, cenad; brysgenadwri, brysneges, brysgenadaeth, cenadwri.

Expressed, *p. p.* mynegedig, adroddedig, traethedig, dadganedig, hysbysedig; gwasgedig, gwryfiedig; à wasgwyd allan.
Expressed oils—olewon gwasgedig, gwasgolewon.

Expressible, *a.* mynegadwy, traethadwy, treithadwy, adroddadwy, dadganadwy, hydraeth, hydraith, llefadwy; à ellir ei fynegu; darluniadwy, hylun; à ellir ei ddarlunio; gwasgadwy, gwryfiadwy.

Expression, *s.* (Ll. *expressio*) mynegiad, mynegiant, traethiad, treithiad, adroddiad, dadganiad, amlygiad, dywediad, gwediad; gair, ymadrodd; dull ymadrodd, ffurf ymadrodd; traith, mynag; geiriad, llafariad, llefariad; llafar, llafarddawn, lleferydd, goddeg, parabl, eb; ebiaith; dangosiad, arddangosiad; arddangosiad bywiog; dar-

**luniad**, dyluniad; gwasgiad, gwryfiad, gwasg, ymwasg.

Ominous expression—gair rhamant, ymadrodd rhamantus, gair argoeliog.

Obscene expression—serthair, gair serth, ymadrodd serthus, ymadrodd serth, gair budr, sertheb.

Expression of the eye—lleferydd y llygad.

Malignant expression—gair athryfar, ymadrodd dryganianol, gair dryganianus.

**Expressionless**, *a.* difynag, difynegiad; heb fynegiad, &c.

**Expressive**, *a.* mynegol, mynegiadol, mynegiannus, mynegiannol, treithol, traethol, amlygol, amlygiadol; cryf, cryfeiriog, dwys, grymus, cynnwysfawr, pwysig, pwysfawr, dwys-eiriog, dwys-eiriedig; darluniadol, darluniol; arddangosol, dangosol; hyrym, nerthol, nerthfawr, nerthog; ystyrbell, ystyrfawr, ystyrlawn.

**Expressively**, *ad.* yn fynegol, &c.; yn llawn; yn ddwys; yn eglur, yn amlwg, yn oleu.

**Expressiveness**, *s.* mynegoldeb, traetholdeb, traetholrwydd, amlygolrwydd; grym, grymusrwydd, hyrymedd, nerthfawredd, pwysigrwydd, dwysder; lleferydd; grym mynegol; grym i arddangos.

**Expressly**, *ad.* yn eglur, yn amlwg, yn oleu; yn bendant, yn benodol, yn hysbys, yn groew, yn ddwys; mewn geiriau eglur.

Expressly named—â enwyd wrth ei enw; gwedi ei enwi wrth ei enw; hysbysedig wrth *neu* erbyn ei enw; gwedi ei hysbysu wrth *neu* erbyn ei enw.

**Expressness**, *s.* eglurdeb, eglurder, amlygder; pendantrwydd, penodoldeb, penodolrwydd, hysbysdod.

**Expressure**, *s.* mynegiad, mynegiant, mynegiaeth, traethiad, dadganiad, adroddiad, amlygiad, dywediad; ymadrodd, gair; lleferydd, llafarddawn, goddeg; arddangosiad; nod, argraff, ol; gwasgiad.

**Exprobrate**, *v. a.* (Ll. *exprobro*) edliw i, edliwied i, edliwio i, lliwied i, cyfedliw i, lliwio i, cyfedliwio i, cyfliwo i, cyfliwio i, dannod, dannod i; ymliwied âg, ymliw âg; wfftio; beio, senu, bwrw bai ar; collfarnu.

He exprobrated their stupidity — efe a ddannododd *neu* a edliwiodd iddynt eu hurtrwydd.

**Exprobration**, *s.* (Ll. *exprobratio*) edliwiad, edliwiant, lliwiant, edliw, dannod, dannodiad, dannodiaeth.

**Exprobrative**, *a.* edliwiol, edliwiannol, dannodol, cyfedliwiol, ymedliwiol, cyfymliwiol, lliwiannol.

**Expropriate**, *v. a.* (Ll. *ex* a *proprius*) arallu, trosi; dadbriodoli, annaerodi, anmherchenogi, dadberchenogi; rhoi hawl i fyny.

**Expropriation**, *s.* aralliad, trosiad; dadbriodoliad, annaerodiad, anmherchenogiad, dadberchenogiad; rhoddiad hawl i fyny.

**Expugn**, *v. a.* (Ll. *expugno*) gorchfygu, goresgyn, goresgynu, gorthrechu, gorfod, gorfod ar, trechu; cael gorfod ar; cael y maes ar; ennill drwy gyrch; ennill drwy ddewredd a nerth arfau; cymmeryd drwy gyrch; ymlid allan.

**Expugnable**, *a.* gorchfygadwy, goresgynadwy, trechadwy, gorthrechadwy, ennilladwy; â ellir ei ennill; hawdd ei ennill.

**Expugnation**, *s.* (Ll. *expugnatio*) gorchfygiad, goresgyniad, goresgyn, gorthrechiad, trechiad, buddugoliaeth, goruchafiaeth; ennilliad *neu* gymmeriad drwy gyrch; ennilliad drwy ddewredd a nerth arfau.

**Expugner**, *s.* gorchfygwr, gorchfygydd, goresgynwr, gorthrechwr, darostyngwr, cywarsangydd.

**Expulse**, *v. a.* (Ff. *expulser;* Ll. *expulsus*, o *expello*) gyru allan, bwrw allan, taflu allan, gwthio allan, ffwyro, tarfu, cythu, cothi, esbelio, ysbelio, yffio, ymlid allan; deol.

**Expulsion**, *s.* (Ll. *expulsio*) gyriad, bwriad, tafliad, *neu* wthiad allan; gyriad, bwriad, tafliad, *neu* wthiad ymaith; ymlidiad allan *neu* ymaith; ymlidiad, esbeliad, ysbeliad, ysbel, ffwyrad, tarfiad, cythiad, cothiad, yffiad, ffwyr.

**Expulsive**, *a.* à yro allan; à yro ymaith; gyriadol, ymlidiol, ysbeliadol, ffwyrol, tarfol, tarfus, cythol, cothol, yffiol; o rinwedd i yru allan; â ynddo *neu* â chanddo rinwedd i yru allan; â ddichon yru allan *neu* ymaith; â eill yru allan *neu* ymaith.

**Expunction**, *s.* (Ll. *expunctio*) dilead, difodiad; croesiad allan, crafiad ymaith.

**Expunge**, *v. a.* (Ll. *expungo*) dilëu, difodi, diddymu; croesi allan, tynu allan, crafu ymaith; dïoli, dadolio, dadlythyru; rhwbio ymaith; bwrw allan, bwrw ymaith; dystrywio, dinystro.

**Expurgate**, *v. a.* (Ll. *expuro*) puro, glanhau, coethi, pureiddio, puriannu, puredigo, dyburo, pureiddio, carthu, ysgarthu, dysgarthu, ysgoethi.

**Expurgation**, *s.* (Ll. *expurgatio*) purad, puredigaeth, glanhad, purawd, puriant, pureiddiad, dyburad, coethiad, carthiad, ysgarthiad, dysgarthiad; arllwysiad, ymarllwysiad.

**Expurgator**, *s.* (Ll.) purwr, puriedydd, purydd, puriannwr, dyburwr, glanhäwr, puror, coethwr, coethiedydd, ysgarthydd.

**Expurgatorious**, } *a.* purol, puredigol, purian-
**Expurgatory**, } nol, puriannus, pureiddiol, glanhaol, coethol, coethedigol, dyburol, puredigaethol, pureiddiedigol, coetheiddiol, ysgarthol, carthol, carthedigol, glanweithiol; o rinwedd i lanhau *neu* garthu; âg ynddo *neu* â chanddo rinwedd i garthu *neu* lanhau.

Expurgatory index, } y gofres waharddedig; y gofres
Index expurgatory, } warddedig; ysgarthres, carthres.

**Expurge**,† *v. a.* (Ll. *expurgo*) puro, glanhau, carthu, ysgothi.

**Exquire**,† *v. a.* (Ll. *exquiro*) chwilio; ymofyn am, ymofyn i; chwilio allan.

**Exquisite**, *a.* (Ll. *exquisitus*) rhagorol, godidog, odiaeth, od, tragorol, tra rhagorol, ardderchog, dewisol, detholedig, etholedig, dethol, ethol, gorddethol, dichlyn, hynod, dewisedig; manwl, manol, dillyn, destlus, llednais, nais, cynnil, cywrain, cywraint, cywreinwych, celfydd, cywir, cywair, cyflawn, perffaith, trylwyr, perffeithgwbl, cyfrben, cyfrgwbl; eithaf, dygn, llym, dwys; â deimlir yn ddwys; bywiog.

Exquisite pain—dygn boen, poen ddygn, eithaf poen, poen i'r eithaf.

A person of an exquisite wit — dyn tra ffraethlym ei synwyr.

There is an exquisite subtilty—y mae cyf-

rwysdra diwyd (*Eccles.* xix. 25).
**Exquisite,** *s.* coegyn, ysgoegyn, ysgogyn, mursyn, coegwr.
**Exquisitely,** *ad.* yn rhagorol, &c.; hyd eithaf celfyddyd.
Nothing exquisitely—dim yn rhagorach na'r cyffredin; nid dim rhagorach na'r cyffredin.
**Exquisiteness,** *s.* rhagoroldeb, rhagorolrwydd, tragoroldeb, godidogrwydd; manyldeb, manylrwydd, manylder, cywreinrwydd, neisrwydd, destlusedd, destlusrwydd, dillynder, dichlynrwydd, dichlynedd, perffeithrwydd; dygnedd, llymder, llymdra, dwysder, eithafedd.
**Exquisitive,†** *a.* chwilfrydig, chwilgar, ymchwilgar, cywrain.
**Exsanguinity,** *s.* (Ll. *exsanguis*) diwaedogrwydd, anwaedogrwydd, anwaededd, diwaedrwydd.
**Exsanguious,** } *a.* (Ll. *exsanguis; o ex* a *san-*
**Exsanguineous,** } *guis*, gwaed) diwaed, heb
**Exsanguinous,** } waed, anwaedog; heb waed coch, digochwaed.
**Exscind,** *v. a.* (Ll. *exscindo*) tori ymaith, tori ffwrdd.
**Exscribe,†** *v. a.* (Ll. *exscribo*) adysgrifenu, adysgrifo, cyfysgrifo.
**Exscript,†** *s.* (Ll. *exscriptum*) adysgrif, adysgrifen, cyfysgrif, cysgrif.
**Exsection,** *s.* (Ll. *exsectio*) toriad ymaith, toriad ffwrdd, toriad allan, trychiad.
**Exsert,** } *a.* (Ll. *exsero, exertus*) yn sefyll
**Exserted,** } allan; prwysol, prwysiadol, ysgythol, tyddfol.
**Exsertile,** *a.* prwysadwy, ysgythadwy; à ellir ei wthio allan.
**Exsiccant,** *a.* (Ll. *exsiccans*) sychol, dysychol, sychiannol, sychiadol, tarnol, sychedigol; yn sychu; dyhysbyddol.
**Exsiccate,** *v. a.* (Ll. *exsicco, exicco*) sychu, dysychu, sychiannu, sychiadu, tarnu; gwneuthur yn sych; sychu i fyny.
**Exsiccation,** *s.* sychiad, sychiant, dysychiad, dysychiant, tarniad; tarthiad.
**Exsiccative,** *a.* sychol, sychiannol, dysychol, sychiadol, sychedigol, tarnol; à dueddo i sychu.
**Exspuition,** *s.* (Ll. *expuitio*) poeriad, poeriant, poerad, haliwiad.
**Exstipulate,** *a.* (Ll. *ex* a *stipula*) heb isddail, anuisddeiliog.
**Exsuccous,** *a.* (Ll. *exsuccus*) disug, disudd, ansugog, dinodd, disugn, sych.
**Exsuction,** *s.* (Ll. *exsugo*) sugnad, sugniad, essugniad, sugnad allan.
**Exsudation,** *s.* (Ll. *exudo*) chwysiad, dychwysiad, chwysiad allan; meriad, deigyniad.
**Exsude,** *v.* (Ll. *exudo*) chwysu, dychwysu; deigynu, meru, dyhidlo, tarddu; llifo yn chwys.
**Exsufflation,** *s.* (Ll. *ex* a *sufflo*) eschwythiad, tanchwythiad; chwythiad oddi tanodd.
**Exsuffolate,** } † *a.* (It. *suffolar*, yn ol *Johnson;*
**Exsufflicate,** } *sufolare ?*) dirmygus, tremygus.
**Exsuscitate,** *v. a.* (Ll. *exsuscito*) deffröi, deffro, dihuno; cyffröi, cynhyrfu.
**Exsuscitation,†** *s.* deffroad, dihunad; cyffroad, cynhyrfiad.
**Extance,†** *s.* (Ll. *extans*) hanfod allanol.
**Extancy,** *s.* (Ll. *extans, exstans*) uchgodiad; derchafiaeth uwch ereill; codiad, derchiad, derchawd; rhanau yn codi uwch y lleill.
**Extant,** *a.* (Ll. *exstans, extans*) yn bod, mewn bod, yn hanfod, yn hanfodi, mewn hanfod, ar gael, ar glawr, i'w gael; hanfodedig, hanfodol; presenfodol, yn gorsefyll; yn sefyll allan, yn sefyll uwch law.
To be extant—bod, hanfod, hanfodi, bodoli; aros; bod yn bod; bod mewn bod; bod yn hanfod; bod ar gael; bod ar glawr; bod i'w weled heddyw; bod yn aros hyd heddyw.
**Extasy,** *s.* (Gr. *ecstasis*)=*Ecstasy.*
**Extatic,** *a.*=*Ecstatic, Ecstatical.*
**Extemporal,** } *a.* { *Extemporaneous.*
**Extemporanean,** } { *Extemporary.*
**Extemporaneous,** } *a.* (Ll. *extemporaneus*, o *ex*
**Extemporary,** } a *tempus*) difyfyr, diragfyfyr, dïefrydol, dïefryd, rhygomiol; disyfyd, disymmwth, dïannod, dïattreg; à wneir, a gyfansoddir, *neu* à draethir heb ragfyfyrdod, heb ei ragfyfyrio; heb ei ystyried yn mlaen llaw.
**Extemporaneously,** } *ad.* yn ddifyfyr, &c.; heb
**Extemporarily,** } ragfyfyr, heb ragfyfyrdod, heb fyfyrdod; fel y del ar ei dafod; fel y del i'w feddwl.
**Extemporaneousness,** } *s.* difyfyredd, diragfy-
**Extemporiness,** } fyredd, dïefrydedd, diragfyfyrdod, anfyfyrioldeb, rhygomioldeb.
**Extempore,** *ad.* (Ll.) yn ddifyfyr, yn ddiragfyfyr, yn ddïefrydol; heb ragfyfyrdod, heb fyfyrdod, heb ragfeddwl; yn ddisyfyd, yn ddisymmwth, yn ddïattreg, yn ddïaros, yn ddïannod; yn y màn; allan o law; fel y del ar ei dafod; fel y del i'w feddwl.
To speak extempore — llafaru *neu* ymadroddi yn ddifyfyr, &c.; rhygomio; dïefrydebu, difyfyrebu, difrydebu.
Extempore preaching—pregethu difyfyr, pregethu diragfyfyr, pregethu rhygomiol.
**Extemporize,** *v. n.* llefaru yn ddifyfyr; ymadroddi yn ddiragfyfyr; rhygomio; diefrydebu, difyfyrebu, difrydebu; dywedyd yr hyn a ddel gyntaf i'w feddwl; dywedyd yr hyn à ddel gyntaf ar ei dafod.
**Extemporizer,** *s.* rhygomiwr, rhygomiedydd, llefarwr difyfyr, llafarydd diragfyfyr, difyfyrebwr.
**Extend,** *v.* (Ll. *extendo;* Ff. *étendre*) estyn, ystyn, estynu, ystynu, estyn allan; ymestyn, ymystyn; hwyhau, parhau, cyrhaedd, cyrhaeddyd, cyrhaeddu; eangu, ehengu, helaethu, togi, angu, darestyn, lledu, taenu, arledu, llydanu, lledaenu, rhythu, agor, egori; mwyhau; gohirio; rhoddi, rhoi, ystofi; cyrhaedd hyd.
To extend itself—ymestyn, ymystyn; ymledu, ymdaenu, ymledaenu, ymrythu, ymagor; ymgyrhaedd, ymgyrhaeddyd.
To extend over — gorestyn, gorestynu, estyn dros.
To extend to—cyrhaedd i, cyrhaedd at, cyrhaedd hyd at; myned hyd at.
And hath extended mercy unto me—ac a barodd i mi drugaredd (*Esra* vii. 28).
My goodness extendeth not to thee— fy na nid yw ddim i ti (*Salm* xvi. 2).
**Extendant,** *a.* taen, taenedig (mewnherodraeth).
**Extended,** *p.p.* estynedig, &c.; estyniog, ystyniog.

**Extender,** *s.* estynwr, estynydd, ystynwr, ystynydd, eangwr, lledwr, helaethwr.
**Extendible,** } *a.* estynadwy, ystynadwy; eang-
**Extensible,** } adwy, helaethadwy; â ellir ei estyn; estynol, ystynol, hyled.
**Extendlessness,**† *s.* estyniad diderfyn.
**Extensibility,** } *s.* y cyflwr *neu* yr ansawdd o
**Extensibleness,** } fod yn estynadwy; hylededd, estynedd, hyestynedd, estynoldeb, ystynolrwydd.
**Extensile,** *a.* estynadwy, eangadwy, helaethadwy, lledadwy.
**Extension,** *s.* (Ll. *extensio*) estyniad, ystyniad, estynedigaeth; eangiad, helaethiad, llediad, taeniad, arlediad, lledaeniad, llydaniad; ymestyniad, ymystyniad, ymlediad, ymrythiad, ymeangiad; cyrhaedd, amgyrhaedd.
**Extentional,**† *a.* estynfawr.
**Extensive,** *a.* (Ll. *extensivus*) helaeth, eang, ehelaeth, llydan, estynol, ystynol; mawr, maith; angdde, ang, angol; cyrhaeddfawr, cyrhaeddbell, amgyrhaeddol; yn cyrhaedd yn mhell; estynadwy, hyled.
¶Very extensive—dirfaith, mawrfaith, tra maith, maith iawn.
**Extensiveness,** *s.* helaethrwydd, helaethder, helaethdra, eangder, eangrwydd, ehelaethrwydd, ehelaethder, estynoldeb, ystynolrwydd, llydander, llydanrwydd, llydanedd, meithder, meithdra, meithrwydd, meithni, amgyrhaedd, amgyrhaeddiad, cyrhaedd, cyrhaeddiad, ymlediad. [estynol.
**Extensor,** *s.* (Ll.) estynor, englyweth, cyhyr
**Extent,** *s.* (Ll. *extentus*) helaethrwydd, helaethder, helaethdra, eangder, eangrwydd, ehelaethrwydd, ehelaethder, cyrhaeddiad, cyrhaedd, amgyrhaedd, amgyrhaeddiad, meithder, meithdra, maint, angder; hyd a lled; hyd; estyn, ystyn, gafael, gafaeliad, gorestyn, estyniad.
Of great extent=*Extensive.*
Of small extent—cyfyng, cul, aneang, anhelaeth, cyrhaeddfyr; heb gyrhaedd yn mhell; bychan ei derfynau; bychan.
The extent of a country—cyrhaedd gwlad, amgyrhaedd gwlad; terfynau gwlad; helaethrwydd gwlad.
A large extent of ground—gwlad o dir; cyfran helaeth o dir.
This is beyond the extent of his capacity—y mae hwn uwch mesur ei ddeall ef; y mae hwn tu hwnt i gyrhaedd ei ddeall ef; mae hwn allan o'i ddeall ef.
An extent of land for debt—gafaeliad tir am ddyled.
Extent fee—gobr estyn.
**Extent,** *a.* estynedig, ystynedig, estyniog.
**Extenuate,** *v. a.* (Ll. *extenuo*) lleihau, ysgafnhau, bychanu, eiddilo; teneuhau, teneuo, culhau; esgusodi; gwneuthur yn llai.
**Extenuation,** *s.* (Ll. *extenuatio*) lleihad, lleiad, ysgafnhad, eiddilad, eiddiliad, bychaniad; toliad, teneuad, teneuhad, culhad; esgusodiad; eiddileb.
**Extenuatory,** *a.* lleihaol, ysgafnhaol; teneuol, teneuhaol; esgusedigol, esgusodedigol; â leihao fai.
**Exterior,** *a.* (Ll.) allanol, allan, oddi allan, o'r tu allan, nesaf allan, ermaes, y tu maes; tramor, pellenig.
The exterior form—y wedd oddi allan; y ffurf allanol.
The exterior court—y cyntedd nesaf allan.
The exterior relations of a kingdom—perthynasau tramor teyrnas; cyssylltiadau allanol teyrnas; perthynasau *neu* gyssylltiadau teyrnas â gwledydd ereill; amsudiau teyrnas.
The exterior part of the temple was finely gilt—y deml o'r tu allan a oreurasid yn hoewych; goreurasid y tu allan i'r deml yn hoewych.
**Exterior,** *s.* y tu allan; yr wyneb allan, y gwyneb allanol, y tu maes, yr ymddangosiad allanol; ymddangosiad.
**Exteriority,** *s.* allanoldeb, allanolrwydd; arwyneb, arwynebedd, gwyneb, wyneb allan.
**Exteriorly,** *ad.* oddi allan, y tu allan, o'r tu allan; yn allanol; maes, allan.
**Exteriors,** *s. pl.* allanolion, allanion; y rhanau oddi allan; y pethau oddi allan; pethau *neu* ranau allanol.
**Exterminate,** *v. a.* (Ll. *extermino*) diwreiddio, dadwreiddio; llwyr ddinystro, llwyr ddifa, llwyr ddyfetha, llwyr ddilëu; tynu o'r gwraidd; gyru ymaith, gyru allan, bwrw allan, tori ymaith, deol, alltudio; gyru dros y terfyn; gyru ar herw; cymmeryd ymaith, ymeithu.
**Extermination,** *s.* (Ll. *exterminatio*) diwreiddiad, dadwreiddiad; llwyr ddinystrad, llwyr ddyfethiad, llwyr ddifa, llwyr ddilead; tyniad o'r gwraidd; gyriad allan, gyriad ymaith, bwriad allan; toriad ymaith; cymmeriad ymaith; dystrywiad, dilead, dyfethiad, dinystrad, dinystr; deoliad.
**Exterminator,** *s.* (Ll.) diwreiddiwr, dadwreiddiwr; dyfethwr, dinystrydd, dystrywiwr, llwyr ddinystrwr, llwyr ddyfethydd.
**Exterminatory,** *a.* diwreiddiol, dadwreiddiol; difaol, dinystriol, dystrywiol, llwyr ddifaol.
**Extermine,**† *v. a.*=*Exterminate.*
**External,** } *a.* (Ll. *externus*) allanol, allan,
**Extern,** } oddi allan, nesaf allan, o'r tu allan, ermaes, o'r tu maes, y tu maes; tramor, pellenig.
**Externality,** *s.* allanoldeb, allanolrwydd; canfyddiad allanol.
**Externally,** *ad.* oddi allan, o'r tu allan, o'r tu maes, oddi maes, o faes, yn allanol; mewn ymddangosiad, yn ymddangosiadol; i'r olwg.
**Externals,** *s. pl.* allanolion, allanion; y rhanau oddi allan; y pethau oddi allan; peth *neu* ranau allanol; y wedd oddi allan.
**Exterraneous,** *a.* (Ll. *exterraneus*) tramor, allfro, allfroawl, pellenig, allwlad, arallwlad; o wlad arall.
**Extersion,** *s.* (Ll. *extersio*) sychiad, rhwbiad, rhathiad; dilead; sychiad *neu* rwbiad ymaith.
**Extil,** *v. n.* (Ll. *extillo*) dyferu, dafnu, meru, dystyllio, defnynu, deigynu, dosi, dyferu allan, defnynu allan.
**Extillation,** *s.* dyferiad, defnyniad, dafniad, defnïad, dystylliad, dyhidliad, deigyniad, meriad, dosiad, dyferiad allan.
**Extimulate,**† *v. a.* (Ll. *extimulo*)=*Stimulate.*
**Extimulation,**† *s.*=*Stimulation.*
**Extinct,** *a.* (Ll. *extinctus*) diffoddedig, diffodd; gwedi ei ddiffodd; gwedi diffodd; â ddiffoddwyd; gwedi marw, gwedi trengu; gwedi darfod am dano; diflanedig, diflan, difanedig; wedi diflanu, wedi darfod, wedi pallu, wedi difanu, difflanedig; wedi myned ar ddi-

fancoll; wedi myned ar ddim *neu* yn ddiddym; wedi myned ar ddifant; wedi ymadaw â'r byd; diddymedig, dileuedig, dile, dirymedig, dirym; allanfodol; nad yw mwyach ar gael.

**Extinct**, *v. a.* diffoddi, diffodd; taro allan; dystrywio, dinystrio, dyfetha, difa.

**Extinction**, *s.* (Ll. *extinctio*) diffoddiad, diffoddiant, diffodd; diffoddedigaeth; dyfethiad, dilead, diddymiad, dinystriad, dystrywiad; dinystr, dystryw; diflant, diflaniad; terfyniad, diweddiad, dybeniad; tranc, difant, diflant.

**Extinguish**, *v. a.* (Ll. *extinguo*) diffoddi, diffodd; taro allan; cyfarsengu, cadw tanodd; mogi, mygu; dilëu, diddymu, llwyr ddifa; cadw yn guddiedig; cadw rhag tori allan yn fflam *neu* ffagl; cysgodi, caddugo, tywyllu, cymylu; dybenu, diweddu. [adwy.

That cannot be extinguished—anniffodd-

**Extinguishable**, *a.* diffoddadwy; â ellir ei ddiffoddi.

**Extinguisher**, *s.* diffoddwr, diffoddydd; diffoddyr, diffoddiadyr.

Extinguisher moss — cwfl-fwsogl, cwfl-fwswn.

**Extinguishment**, *s.* diffoddiad, diffoddiant; diffoddedigaeth; mogiad, mygiad; dilead, diddymiad, dyfethiad, difa, dinystriad, dystrywiad; dybeniad, diweddiad, terfyniad.

**Extirp**,† *v. a.* (Ll. *extirpo*)=*Extirpate*.

**Extirpable**, *a.* diwreiddiadwy, dadwreiddiadwy.

**Extirpate**, *v. a.* (Ll. *extirpo*) diwreiddio, dadwreiddio; tynu o'r gwraidd; llwyr ddifa, llwyr ddyfetha, dinystro, dystrywio, llwyr ddinystro; tori ymaith, tori ffwrdd, symmud; aballu.

**Extirpation**, *s.* (Ll. *extirpatio*) diwreiddiad, dadwreiddiad; tyniad o'r gwraidd; llwyr ddyfethiad, llwyr ddifa, llwyr ddifaad, llwyr ddyfethiad, dinystr, dystryw, dilead; toriad ymaith, toriad i ffwrdd, trychiad.

**Extirpator**, *s.* (Ll.) diwreiddiwr, dadwreiddiwr; dinystrydd, dyfethwr.

**Extol**, *v. a.* (Ll. *extollo*) dyrchafu, derchafu, mawrygu, mawrhau, moli, moliannu, clodfori, mawlhau, arfoliannu, darfoliannu, darfoli, dathlu, arwyrain, canmawl, dyrchu, derchu, codi, arddwyre, arddyrchafu.

**Extolled**, *p. p.* dyrchafedig, &c.; clodfawr, clodforus, dathlog.

**Extoller**, *s.* dyrchafydd, derchafwr, mawrygwr, mawrygydd, moliannydd, clodforwr, clodforydd, canmolwr, canmolydd, dyrchafydd clod, darfolwr.

**Extorsive**, *a.* (Ll. *extorqueo*) treisiol, cribddeiliol, cribddeilus, cribddeiliog, cribddeiliaidd, cymhellol.

**Extorsively**, *ad.* yn dreisiol, &c.; trwy drais, trwy gribddail, yn dreisgar.

**Extort**, *v.* (Ll. *extortus*, o *extorqueo*) gwasgu, gorthrymu, cribddeilio; mynu; gwasgu, gwryfio, *neu* nyddu allan; tynu *neu* fynu allan o anfodd; tynu peth o anfodd *neu* drwy drais; dwyn o anfodd; nyddu allan o anfodd; mynu gàn un drwy drais *neu* gymhell; mynu allan o un drwy drais *neu* gymhell; angheri, edwica.

To extort upon—cribddeilio; mynu mwy nag â ddylai gàn un; mynu mwy na'r hyn sy ddyledus gàn un.

He extorted the truth from her—efe a wasgodd, a nyddodd, a dynodd, *neu* a fynodd y gwir allan o honi.

They extorted money from him—hwy a dynasant arian oddi wrtho; hwy a fynasant arian ganddo.

To extort a kindness from one—mynu cymmwynas gàn un.

**Extorter**, *s.*=*Extortioner*.

**Extortion**, *s.* cribddail; cribddeiliad, cribddeiliawd, cribddeiliodraeth, treisiad, treisiant; trais, dirdrais, dirdra, gorddwy, gormes, gormail, gorthrwm, gorthrech, gorthrymgais; myniad *neu* ofyniad mwy na'r hyn fo yn gyfiawn ddyledus; camdal, camdreth, trathal; trawsedd; twyll.

**Extortionary**, **Extortionate**, **Extortionous**, *a.* cribddeiliol, cribddeiliog, cribddeilus, cribddeiliaidd, treisiol, gormesol, gorthrymol, gorthrymus, gormeilus, gwasgol.

**Extortioner**, *s.* cribddeiliwr, gorthrymwr, gorthrymydd, treisiwr, treisiad, (*pl.* treisiaid), gormeswr, gormeiliwr, ceisiad, (*pl.* ceisiaid); anrheithiwr, ysbeiliwr, ysbeilydd, ysgyflwr; edwicwr.

**Extortious**, *a.* (o *extort*) cribddeiliaidd, cribddeiliol, cribddeilus, gorthrymus, gormesol, treisiol, anghyfiawn.

**Extra**, (Ll.) rhagddawd, yn dynodi *tra*, *rhy*, *tros ben*, *tros*, *tu hwnt*, *mwy na*, *ystra*, *gor-*.

Extra pay—trathal, rhydal, tâl ystra, tâl dros ben.

**Extra-axillar**, **Extra-axillary**, *a.* tracheseilol, rhygeseilol.

**Extract**, *v. a.* (Ll. *extractus*, o *extraho*) tynu; tynu allan, sugno allan, gwasgu allan, gwryfio allan, tynu o; pigo allan; eddygu, deodi, erthynu; goddilio, godderu; crynöi, dethol; tynu o'r gwraidd; cymmeryd o; adysgrifo.

To extract a tooth—tynu dant.

To extract the root of a number—chwilio, tynu, treiglo, dwyn, olrhain, *neu* fynu allan wreiddyn rhifedi; deodi *neu* eddygu gwreiddyn rhif; erthynu sawdd rhif.

Well-extracted—o waed da; o waedogaeth dda; o waedoliaeth dda; da ei waed; da ei ach; diledach, diledryw; boneddig; o rieni addwyn *neu* gymmeradwy; yn dyfod o deulu da; yn hanu o dylwyth da; o uchel achau.

**Extract**, *s.* deawd, eddygawd, erthynawd, ethyniad; peth â dynwyd allan; alltra, elltaeth, sylwedd; dewisran, detholran, rhan, darn, rhaneb, dyfyniad; crynodeb, crynoad; †bonedd: *pl.* eddygion, deodion, ethynion, erthynion, erthynolion, pigion, dewision, detholion, dyfynion.

**Extraction**, *s.* (Ll. *extractio*) tyniad, tyniad allan, dygiad allan, eddygiad, deodiad, erthyniad, ethyniad, deodaeth, eddygaeth; gwelygordd, gwehelyth, ach, gwaedoliaeth, gwaedogaeth, bonedd, cyff, llinach, ystlynedd, gwaed, achwaed, gwreiddyn, disgyniad; y cyff *neu* y llwyth y del un o hano.

Extraction of the cube root—trysoddiad; tyniad, eddygiad, deodiad, *neu* erthyniad trysawdd; tyniad *neu* chwiliad allan y gwreiddyn trysawdd.

Mean, low, *or* base extraction—lledach, lledryw.

Of a noble extraction—uchelryw, dyled-

ogryw, diledach, diledryw, pendefigryw, pendefigaidd, pendefigol; boneddig cynnwynol; pendefigol o waed; o waed pendefigaidd; gwedi hanu o bendefigion; o uchel achau; uchel ei achau; pendefigol ei wehelyth; uchel ei waed; uchelwaed.

**Extractive**, *a.* tynadwy, eddygadwy, ethynadwy, erthynadwy; à ellir ei dynu allan.

**Extractive**, *s.* ethynsawd, eddygnur, eddygwy.

**Extractor**, *s.* tynwr, tynwr allan, tyniedydd.
Extractor (in midwifery) — tyniedydd, tyniadyr.

**Extradictionary**,† *a.* (Ll. *extra* a *dictio*) ystrageiriol; cynnwysedig nid mewn geiriau ond mewn sylweddolion.

**Extradition**, *s.* (Ff.) ystraddodiad; rhoddiad yn ol; rhoddiad i fyny; rhoddiad carcharor i fyny i'r llywodraeth y bo efe yn ddeiliad o honi.

**Extrados**, *s.* (Ll. *extra* a *dorsum*) ystrachyrfen, ystrachomell: *pl.* ystrachyrfau, ystrachomau.

**Extrafoliaceous**, *a.* (Ll. *extra* a *folium*) ystradeiliog, allanddeiliog.

**Extrageneous**, *a.* (Ll. *extra* a *genus*) arallryw, allryw, allrywiol, arallrywiog, ystrarywiol; perthynol i ryw arall.

**Extrajudicial**, *a.* (*extra* a *judicial*) allan o reol, chwŷl, *neu* drefn cyfraith; yn erbyn cyfraith; anghyfreithiol, anghyfreithlawn, ystrachyfreithiol; à wnaed allan o lys cyfraith; afreolaidd, anfarn.

**Extrajudicially**, *ad.* allan o reol cyfraith; yn erbyn cyfraith; yn anghyfreithiol.

**Extralimitary**, *a.* (*extra* a *limit*) tros y terfynau, tros y terfyn; ystratherfynol; oddi allan i derfynau.

**Extramission**, *s.* (Ll. *extra* a *missio*) anfoniad allan, danfoniad allan, bwriad allan, yffiad.

**Extramundane**, *a.* (Ll. *extra* a *mundus*) trabydol, ystrabydol; oddi allan i derfynau y byd; o'r tu allan i derfynau y byd; goruwch y byd; o faes i'r byd; uchfydol.

**Extraneous**, *a.* (Ll. *extraneus*) dyeithr, estron, estronol, estronaidd, arallaidd, allfro, arallfro, allwlad, arallwlad, tramor, allfroawl, allwladol; allanol; oddi allan, oddi maes; anmherthynasol, anmherthynol, anmhriodol; arall.

**Extraofficial**, *a.* traswyddol, traswyddogol, ystraswyddol; oddi allan i derfynau swydd.

**Extraordinaries**, *s. pl.* (Ll. *extraordinarius*) anghyffredinion, anghyffredinolion, anarferolion; pethau anghyffredin, anarferol, *neu* anghynnefin.

**Extraordinarily**, } *ad.* yn anghyffredin, yn an-
**Extraordinary**, } arferol, &c.; tra-, iawn, tros ben; yn anferth, yn anfeidrol.
The sun was extraordinarily red—yr oedd yr haul yn goch anarferol *neu* anghyffredin; yr oedd yr haul yn gochach nag arferol; yr oedd yr haul yn gochach nag y mae yn arfer.
He was extraordinary rich—yr oedd efe yn gyfoethog anghyffredin, &c.; yr oedd efe yn gyfoethog dros ben; yr oedd efe yn gyfoethog anfeidrol.
She was extraordinary ugly—yr oedd hi yn hagr anferth; yr oedd hi yn hagr dros ben.
The season was extraordinary cold—yr oedd y tymmor yn oer iawn *neu* yn dra oer; yr oedd y tymmor yn oer anarferol.

**Extraordinariness**, *s.* anghyffredinrwydd, anarferoldeb, anarferolrwydd, anghynnefinrwydd, hynodrwydd.

**Extraordinary**, *a.* (Ll. *extraordinarius*) anghyffredin, anarferol, anghynnefin, annefodol; hynod, hynodol, rhyfedd, rhyfeddol; godidog, ardderchog, rhagorol, odiaeth, od, dros ben; heb ei fath; digyffelyb; da dros ben; anfynych, odid, ododog; gwrthwyneb i'r drefn arferedig; gwrthwyneb i'r dull arferedig; anghytun â'r drefn *neu* â'r dull arferedig; mwy, gwell, amgen, *neu* amgenach na chyffredin; mwy, gwell, amgen, *neu* amgenach nag arferol; penodol, nodedig, neilltuol.

**Extraparochial**, *a.* (*extra* a *parochial*) anmhlwyfol; oddi allan i blwyf; o'r tu allan i blwyf; heb fod yn rhan o blwyf; o'r tu allan i derfynau plwyf; o faes i blwyf; diblwyf, diblwyfol.
An extraparochial place—lle anmhlwyfol, anmhlwyf, lle anmhlwyf; lle à ysgarwyd oddi wrth ei iawn blwyf.
Extraparochial land—tir anmhlwyfol, tir anmhlwyf; anmhlwyf; tir à ysgarwyd *neu* à wahanwyd oddi wrth ei iawn blwyf.

**Extraphysical**, *a.* uchanianol, goranianol, arddansoddol, goruchanianol, goruchanian.

**Extraprofessional**, *a.* ystragalwadol, ystraphroffesol; heb fod yn perthyn i alwad *neu* alwedigaeth un; chwanegol i alwedigaeth; angalwadol.

**Extraprovincial**, *a.* annhaleithiol, trathaleithiol; o'r tu allan i dalaeth; heb fod yn yr un dalaeth; heb fod o dàn yr un archesgob.

**Extraregular**, *a.* afreolaidd; na chynnwysir o fewn rheol *neu* reolau.

**Extraterritorial**, *a.* annhiriogaethol, trathiriogaethol; o'r tu allan i diriogaeth; oddi allan i derfynau tiriogaeth.

**Extratropical**, *a.* estrofanol, elltrofaol, trathrofanol; tu allan i'r trofanau; oddi allan i'r trofanau; tu hwnt i'r trofanau.

**Extraught**,† *p. p.* (o *extract*) tynedig.

**Extravagance**, } *s.* (Ll. *extra* a *vagans*) rhysedd,
**Extravagancy**, } gormodedd; afradlonedd, afradlonrwydd, afradlondeb, afrad, afradlonder, afradiad, gwastraff, rhydraul, oferdraul, gwastraffedd, gwastraffiad, difrod; afresymoldeb, anrhesymoldeb, afresymolrwydd, anrhesymolrwydd, ynfydrwydd, chwidredd, ffoledd; anllywodraeth, aflywodraeth; afreolaeth, afreoledd, afreolusrwydd; anghymmesrwydd, anghymmesuredd, anghymmedroldeb; gormodiaeth, gormoddiaeth, gormod, gormodd, gormodoldeb; gwylltineb, gwylltedd, gwylltrwydd; mynediad dros y terfynau; gwib, crwydr, *neu* wylltrediad y meddyliau; dirfawredd; eithaf, eithafedd; ymleferydd.
Extravagance of love — trachariad, traserch, rhyserch, rhygariad, trahoffder; cariad gormodol *neu* afresymol; gormod cariad.

**Extravagant**, *a.* (Ll. *extra* a *vagans*) gormodol; afresymol, anrhesymol, direswm; anghymmedrol, anghymmesur, anghymmesurol, anghymmes; afradlawn, afradus, afradwy, treulfawr, treulgar, helfawr, gwastraffus, oferdreulgar, difrodus, difrodol, gwastraffol, wttresgar; afreolaidd, afreolus, aflywodraethus, anllywodraethus, didrefn; gwyllt,

gwibiog, crwydrol; chwidr, ffol, ynfyd, lledechwyrth; gormod.

**Extravagant**, *s.* afradlawn, un afradlawn, un afradus; un direol, un afreolaidd, &c.

Extravagant without means—hael byrllawiog.

**Extravagantness**, } *s.* = { *Extravagance.*
**Extravagation**, } *s.* = { *Extravagancy.*

**Extravagants**, *s. pl.* Afreolion, Afreoligion =rhyw lythyrau gosodol neu osodiadau o eiddo y papau.

**Extravaganza**, *s.* (It. *estravaganza*) peth afreolaidd.

**Extravagate**,† *v. n.* (Ll. *extra* a *vago*) crwydro dros y terfynau; ymleferydd, ynfydu.

**Extravasate**, *v. a.* (Ll. *extra* a *vas*) ystralestru, dadlestru; gollwng allan o'r llestri priodol; gollwng o'r priod lestri.

**Extravasated**, *a.* ystralestredig, dadlestredig; gwedi ei ollwng allan o'i lestr priodol; oddi allan i'w lestri priod; o'r tuallan i'w lestri priodol.

**Extravasation**, *s.* ystralestriad, dadlestriad; gollyngiad allan o'i lestri priodol; tywalltiad, tywalltiad allan, gollyngiad allan.

**Extravascular**, *a.* ystralestrol, dadlestraidd; allan o'r llestri priodol; oddi allan i'r priodol lestri.

**Extravenate**, *a.* (Ll. *extra* a *vena*) à ollyngwyd o'r gwythenau.

**Extraversion**, *s.* (Ll. *extra* a *versio*) tafliad allan, bwriad allan, tafliad i maes, troad allan.

**Extreat**,† *s.*=*Extraction.*

**Extreme**, *a.* (Ll. *extremus*) eithaf, eithafig, eithafol; pellaf; diweddaf, olaf; mwyaf; nesaf allan, mwyaf allanol; dirfawr, rhyfawr, tramawr, tra mawr, mawr iawn, mawr dros ben; rhy-, tra-, gor-, al-; dygnaf, tostaf; dygn, dwys, trwm, trymaf; aruthrol.

Extreme unction — eneiniad diweddaf, angenan, angenad, goreneiniad.

To administer extreme unction—gweinyddu yr eneiniad diweddaf; gweinyddu angenad *neu* angenan; dodi olew; angenadu, angenanu.

Extreme right is extreme wrong—eithaf cyfraith yw eithaf camwedd.

To be in extreme pain—bod mewn poen ddygn; bod mewn dygn boen; bod mewn dirfawr boen; bod yn y ddygn boen; bod mewn poen i'r eithaf.

Extreme tortures — creulondeb aruthrol (2 *Mac.* vii. 42).

Extreme aged—cleiriach (*Eccles.* xlii. 8).

**Extreme**, *s.* eithaf, eithafed, eithafedd, pellafed, cwr eithaf, pen eithaf, eithafnod, pwnc eithaf, eithafradd; cwr, pen, dyben, rhy, tra, ffai; pellder: *pl.* eithafion, eithafon, eithafoedd, pellafion, pellafoedd.

At the extreme—ar yr eithaf; ar y fân dromaf, uchaf, *neu* eithaf; yn y fân eithaf, uchaf, *neu* dromaf.

Extremes seldom hold long—po tynaf y llinyn, cyntaf y tyr; po tynaf fo'r llinyn, cyntaf y tyr.

Run not out of one extreme into another —na ddos o un rhy i'r llall; na red o un rhy i'r llall; na red o un eithaf i'r llall.

Always in extremes—naill ai mêl ynte baw yn wastadol; naill ai rhy felus ynte rhy chwerw yn wastadol; yn wastadol mewn eithafon; mewn eithafoedd byth a hefyd; naill ai rhydraws ai rhydruan yn wastadol.

**Extremeless**, *a.* dïeithafon, dïeithaf, aneithafol, anfeidrol, diderfyn, annherfynol.

**Extremely**, *ad.* yn eithaf, &c.; tra, tra-, gor-, al; yn dra, iawn, yn ddirfawr, dros ben; yn fawr dros ben; yn fawr iawn; yn dra mawr; yn anferth, yn aruthr, yn anfeidrol; i'r eithaf; i'r radd eithaf.

Extremely difficult—anhawdd iawn, anhawdd dros ben, tra anhawdd, tra chaled; anhawdd i'r eithaf; eithaf anhawdd.

Extremely miserable—truenus iawn, &c.; dygn druenus, dirfawr ofidus.

**Extremity**, *s.* (Ll. *extremitas*) eithaf, eithafed, eithafedd, pellafed, blaen, dyflaen, cwr eithaf, pen eithaf, pen pellaf, terfyn, terfyn eithaf, eithafnod; tra, godr; ymyl; cyfyngder, cyfyngdra, gwasgfa, dirdra, dygnedd, caledi, ing, ingder, cyni, enbydrwydd, perygl, pyd, cyfyng-gynghor, ffaig; y cyfyngder mwyaf, eithaf cyfyngder.

In great extremity—mewn dirfawr galedi; mewn cyfyngder dirfawr.

Extremity of sickness—dirdra dolur.

Extremity of the season, } dirfawr erwindeb yr
Extremity of the weather, } hin; anhynawsedd yr hin; tragerwindeb y tywydd.

Extremity of law—eithaf cyfraith; y gas gyfraith; llymder y gyfraith; eithaf llymder y gyfraith.

To use one with the utmost extremity—trin un yn ol eithaf cyfraith; trin un yn ol eithaf toster y gyfraith; trin un yn llymdost ac anhynaws.

For the extremity of—gàn faint y; rhag maint y; gàn ddirdra y; gàn ddirboen y.

**Extricable**, *a.* (Ll. *extrico*) rhyddadwy; à ellir ei ryddhau.

**Extricate**, *v. a.* (Ll. *extrico*) rhyddhau, dadrwystro, dirwystro, dad-ddyrysu, dadrysu, diddyrysu, dinidro, dadrwymo, dirwydo, dadfaglu; tynu yn rhydd; anfon allan; dadblygu.

**Extrication**, *s.* rhyddhad, dadrwystrad, dirwystrad, dad-ddyrysiad, dadrysiad, dinidrad, dirwydiad, dadfagliad, dirwymiad; tyniad yn rhydd; anfoniad allan; dadblygiad.

**Extrinsic**, } *a.* (Ll. *extrinsicus*) allanol;
**Extrinsical**, } oddi allan; o'r tu allan; nid o hono ei hun; anmhriodol; à fo oddi allan.

**Extrinsically**, *ad.* oddi allan; o'r tu allan; oddi maes; o'r tu maes; yn allanol.

**Extrorsal**, } *a.* (Ll. *extrorsum*) tuag allan; yn
**Extrorse**, } troi oddiwrth; elltroawl, ystroawl.

**Extruct**,† *v. a.* (Ll. *extruo*, *extructum*) adeiladu, adeilo, cyfadeilo, ffurfio.

**Extruction**,† *s.* adeilad.

**Extructive**, *a.* adeiladol, cyfadeilol, adeiladaidd, cyfluniol.

**Extructor**,† *s.* (Ll.) adeiladwr, adeiladydd, adeilwr; lluniwr, ffurfiwr, dyfeisydd.

**Extrude**, *v. a.* (Ll. *extrudo*) gwthio, gyru, bwrw, *neu* daflu allan; yffio, ffwyro, ysbelio. tarfu, erychu; gyru ymaith, gyru ffwrdd; gwasgu allan; deol.

**Extrusion**, *s.* gwthiad, gyriad, bwriad, *neu* dafliad allan; yffiad, ffwyrad, ysbeliad.

tarfiad, erychiad; deoliad; gyriad ymaith, gwthiad i ffwrdd.

**Extuberance,** } **Extuberancy,** } *s.*(Ll. *extuberans*) chwydd, gorthwf, hwrwg, oddf, oddfyn, cnwc, twddf, crwmp, gorthwf.

**Extuberant,** *a.* chwyddedig, gorthyfol, oddfog, tyddfog, cnyciog.

**Extuberate,**† *v. n.* (Ll. *extubero*) chwyddo; codi yn gnwc.

**Extumescence,** *s.* (Ll. *extumescens*) chwydd, ymchwydd, chwyddiad allan.

**Exuberance,** } **Exuberancy,** } *s.* (Ll. *exuberans*, o *exubero*) arddigonedd, gorllawndid, gorlawndid, gorllawnedd, helaethrwydd, digonedd, llawndid, rhylawndid, rhylawnder, rhylawnedd, trallawnder; llawnder, cyflawnder, amlder, haflug, haflugrwydd, edrysedd, gormodedd, rhysedd; gordyfiant, brasdyfiant, gordwf, hydyfiant, ireiddiant.

**Exuberant,** *a.* llawn, rhylawn, gorlawn, gorllawn, trallawn, gormodd, gormod, gormodol; helaethlawn, gorhelaeth, tra helaeth, haflugol, helaeth, cyflawn, toreithiog, toreithus, ffrwythlawn, brwys, ffaeth, ffaethus, ffrwm, dibrin; gordyfol, brasdyfol, rhonc; goludog, cyfoethog; dros ben digon; yn llenwi, yn llifo, yn llifeirio, *neu* yn rhedeg drosodd.

**Exuberate,** *v. n.* (Ll. *exubero*) bod yn rhylawn, &c.; haflugo, heidio; bod yn dryfrith; bod yn aml; llifo *neu* lifeirio drosodd.

**Exuccous,** *a.*=*Exsuccous.*

**Exudation,** *s.* (Ll. *exudo*) chwysiad, dychwysiad, chwysiad allan; meriad, deigyniad.

**Exude,** *v.* (Ll. *exudo*) chwysu, dychwysu; deigynu, meru, dyhidlo, tarddu; llifo yn chwys.

**Exulcerate,** *v.* (Ll. *exulcero*) gwelïo, llynori, peri gori, peri madru, madru; peri yn gornwyd; crawnu; myned yn weli crawnllyd; ysbelwi, llygru, peri ysbelwi, digroeni; llidio, digio, blino, cystuddio; ysu, difa.

**Exulceration,** *s.* (Ll. *exulceratio*) gwelïad, llynoriad, goriad; pariad gôr, pariad madredd; pariad cornwydydd; madriad, crawniad, gori, goriad; myned yn gornwyd *neu* weli; ysbelwad, llygriad, llwgr; llidiad, digiad, chwerwad; ysiad.

**Exulceratory,** *a.* gwelïadol, llynoriadol, goriadol; à dueddo i beri gwelïau.

**Exult,** *v. n.* (Ll. *exulto*) llamu, llemain, *neu* neidio gàn lawenydd; llamu, llemain, *neu* neidiaw o lawenydd; gorfoleddu, llawenychu, *neu* lawenhau yn fawr; llawenychu gàn lawenydd mawr dros ben; ymorfoleddu, ymlawenychu, ymloni; ymogoneddu, ymfawrygu; arfoleddu, llawenhau, llawenu, llawenychu, gorfoleddu.

**Exultance,** } **Exultancy,** } † *s.*=*Exultation.*

**Exultant,** *a.* yn llamu gàn lawenydd; yn llemain o lawenydd; gorfoleddus, gorfoleddol, llawenychol.

**Exultation,** *s.* llamiad, llam, neidiad, naid, *neu* grychnaid gàn lawenydd; llawenydd mawr, mawr lawenychiad, gorfoledd, llawenydd, gorlawenydd, elwch, dywenydd, arfoledd, gorawen, gorhoen, ymorfoleddiad; ymffrost, bocsach.

**Exundate,**† *v. a.* (Ll. *exundo*) gorlifo.

**Exundation,** *s.* (Ll. *exundatio*) gorlif, gorlifiad, gorlifiant, gorddylifiad, llifeiriant, llif, llifad drosodd; gorlawnder.

**Exungulate,** *v. a.* (Ll. *ex* ac *ungula*) tori ewinedd; tori ymaith ranau afreidiol; ysgythru.

**Exuperable,** *a.* (Ll. *exuperabilis*) gorchfygadwy, trechadwy.

**Exuperance,** *s.* gorbwys, traphwys, gorfantol; gorfantais.

**Exuperant,** *a.* gorchfygol, trechol, gorbwysol, traphwysol.

**Exuperate,**† *v. a.* (Ll. *exupero*) rhagori ar, rhagori, trechu, gorchfygu, gorfod, gorbwyso, traphwyso, gorfantoli, prwysgo.

**Exuperation,** *s.* (Ll. *exuperatio*) rhagoriad, trechiad, gorchfygiad, gorbwysad, traphwysad, gorfantoliad, prwysgad.

**Exurgent,**† *a.* (Ll. *exurgens*) cyfodol.

**Exustion,** *s.* (Ll. *exustio*) trylosgiad, llwyrlosgiad, llosgiad.

**Exuviable,** *a.* (o *exuviæ*) ysteliadwy, dïosgadwy; à ellir ei ddïosg; à ellir ei fwrw.

**Exuviæ,** *s. pl.* (Ll.) ystelion, dïosgion, milweisgion; dïosgranau; ystelgrwyn; milweddillion=crwyn nadroedd a'r cyffelyb wedi eu bwrw: hefyd, gweddillion milod à geir yn y ddaiar.

**Eyas,** *s.* (Ff. *niais*) cyw hebog, cyw gwalch, hebog diblu; hebog newydd ei gymmeryd o'r nyth.

**Eyas,**† *a.* diblu, dibluf, anmhlufog.

**Eyas-musket,** *s.* corwalch dibluf, curyll diblu.

**Eye,** *s.* (S. *eag*, *eah*; Is. *oog*; Al. *auge*) llygad; golwg, trem; crai, rhwyll, meilyn, magl; blaguryn.

- Crook and eye—bach a llygad; bach a dolen; crwcyn a meilyn; bach a derbyniad.
- Eye of a needle—crai nodwydd, crai nydwydd; crai nodwydd ddur.
- Apple of the eye, } Ball of the eye, } canwyll y llygad, canwyll llygad, mablygad, clöyn; llewych y llygad.
- The two eyes—y ddau lygad; y ddwy olwg; y ddwy drem.
- A little eye—llygedyn, llygaden; llygad bychan.
- Orbit of the eye—pwll y llygad, pwll llygad.
- The eye of the light—llygad y goleuni, llygad goleuni.
- Evil eye—llygad mall, llygad drwg.
- Piercing eye—llygad teryll, llygad treiddiol, llygad treiddgar; golwg deryll.
- Very piercing eyes—llygaid tra theryll.
- By the eye—wrth yr olwg; wrth y llygad.
- Rolling eyes—llygaid gwibiog, llygaid amwibiog, llygaid cyflymdro, llygaid hydreigl.
- Eye of a plant—llygad planigyn; blaguryn.
- To turn the eyes about wildly—serfanu llygaid.
- The roving of the eye—llygadwib, gwib llygad.
- Having a roving eye—llygadwib, llygadwibiol, llygadwibiog.
- Pink eye—llygad gogauad; llygad bach gogauad; coeglygad, llygedyn.
- Goggle eye, } Goggling-eye, } Out-strutting eye, } llygad gwibiog, llygad hydreigl, llygad ansafadwy; llygad llo, llygad buwch, bulygad; llygad à saif allan yn mhell, megys pe bai yn barod i neidio allan o'i dwll.

Fierce eye, } llygad tanbaid, llygad tan-
Fiery eye, } beidiol, llygad tra theryll, llygad tratheryll.
Leering eye—llygad cilgam, llygad cilwenus, llygad cilwenog; llygad anllad; llygad gafr, llygad yr afr.
Quick eye, } llygad craff, llygad
Sharp-sighted eye, } craffus, llygad llym, llygad cyflym; llygad teryll; llygad eryr, llygad hebog, llygad barcud.
Having a quick eye—llygadfain, llygadgraff, llygadlym.
Wall-eye—llygad brith, llygad gorwyn, llygad brithwyn, llygad blawrwyn.
A wanton sheep's eye—llygad gwamal, llygad trythyll; llygad myharan.
Pope's eye—cneuen y forddwyd, cnewullyn y forddwyd, llygad y Pab.
Full of eyes—llygeidiog, llawn llygaid.
Having a sore eye, } llygadglaf.
Having sore eyes, }
Having a merry *or* engaging eye—llygadlon.
Glance of the eye, } cipolwg; tafliad llyg-
Cast of the eye, } ad, tarawiad llygad; trem, cipdrem, tremyn, tremynt, lledolwg; golwg, golygiad.
To have a cast with the eyes—bod yn llygattraws; bod yn llygadgam; bod yn llygad-ŵyr; bod â llygad-wyrni arno; bod â llygattrawsi arno; bod yn drawsdrem.
To have an eye on, } golygu; dàl *neu* gadw
To have an eye to, } ei olwg ar; edrych *neu* ddysgwyl ar; bwrw golwg ar; bod â'i lygad ar; bod â'i lygaid ar; bod â'i olwg ar; llygadu ar; cadw golwg ar; syllu *neu* dremio ar; craffu â golwg ar; taflu llygad ar; taflu golwg ar; gwylio ar, gwylied ar, synied ar, synio ar, dàl sylw ar; ystyried, ystyrio; llygadrythu ar.
He had an eye to his own glory in all these things—yr oedd efe yn golygu ei ogoniant ei hun yn y pethau hyn oll; yr oedd efe â'i olwg ar ei ogoniant ei hun yn yr holl bethau hyn.
I have an eye to what you do—yr wyf fi yn gofalu am â wneloch; yr wyf fi yn gwylio ar â wneloch; yr wyf yn dàl sylw ar â wneloch; y mae fy llygad arnoch; mae fy ngolwg arnoch.
To have a watchful eye upon—golygu yn ofalus; gwarchod yn wyliadwrus; bod â'i lygad yn wyliadwrus ar, &c.
To cast an eye upon—bwrw *neu* daflu golwg ar; taflu llygad ar; taflu ei lygad ar; dàl *neu* gadw golwg ar; edrych ar; bwrw ei olwg ar; syllu ar; craffu â golwg ar; cadw llygad ar; cadw golwg ar; llygadu; llygadu ar.
To cast a sheep's eye—edrych yn ŵyr, ar osgo, *neu* â chipolwg; edrych â chil y llygad; taflu llygad myharan; cildremu.
To look upon one with an evil eye—edrych ar un â drwg lygad; edrych ar un â llygad mall; cenfigenu *neu* wynfydu wrth un.
In one's own eyes—yn ei olwg ei hun; yn ei dyb ei hun.
With tears in his eyes—â'r dagrau yn ei lygaid; â dagrau yn ei lygaid; â'r dwr ar ei ddeurudd; tàn wylo, gyda dagrau.
The master's eye makes the horse fat—golwg y perchen yw cynnydd y da.
As is good in your eyes—fel y gweloch yn dda (*Gen.* xix. 8); fel y byddo da yn eich golwg.
Pheasant's eye—llygad y goediar.
Eye, *v.* llygadu, llygadu ar, golygu, golygu ar, tremio, tremu, tremio ar, edrych, edrych ar, syllu, syllu ar, gwylio, gwylio ar, sylwi, sylwi ar; dàl *neu* gadw golwg ar; bwrw neu daflu golwg ar; bod â'i lygad, â'i lygaid, neu â'i olwg ar; craffu â golwg ar; taflu llygad ar; taflu trem ar; dàl sylw ar; synied ar, synio ar; ystyried, ystyrio; llygadrythu; ymddangos, bod yn ymddangos.
Eye, *s.* nythaid, nythlwyth, nythal, deoraid, haid, haig.
An eye of pheasants—nythaid o goedieir.
Eye-attracting, *a.* llygattynol, yn llygattynu; yn tynu sylw.
Eyeball, *s.* canwyll llygad, canwyll y llygad, mablygad, clöyn.
Eyebeam, *s.* cipolwg, llygadgip; tafliad llygad; tarawiad llygad; trem, cipdrem, tremyn, tremynt.
Eyebolt, *s.* llygadfollt.
Eyebright, *s.* (*eye* a *bright*) effros, golyglys, gloewlys, goleudrem, llysiau effros.
Eye-brightening, *s.* goleudremiad, tremglaeriad.
Eyebrow, *s.* (*eye* a *brow*) ael, ael y llygad, ael llygad, ellael, cylmael: *pl.* aeliau.
Having great *or* large eyebrows—aelfawr, aeliog.
Hanging eyebrows—aeliau cibog, aeliau trymion, aeliau cuchiog, aeliau crog.
Having hanging eyebrows — aeldrwm; cuchiog, cibog, aelgrog.
Eyed, *a.* (o *eye*) llygeidiog, llygad-: arferedig mewn cyfansoddiad.
Blue-eyed—llygadlas.
Black-eyed—llygad du, llygat-ddu, llygeid-ddu, llygeitddu; du ei lygad.
Red-eyed—llygadgoch.
Grey-eyed—llygadlwyd.
Wall-eyed—llygadfrith.
Goggle-eyed—llygadfawr, llygadog, llygadrwth, (*f.* llygadroth); â llygad llo iddo.
Pink-eyed—llygadfach, llygeidfach, coeglygeidiog; â llygaid bychain gogauad iddo.
Squint-eyed—llygadgam, llygattraws, llygadgroes, llygad-ŵyr; â llygattrawsi *neu* llygadwyrni arno; llygadgall.
Blear-eyed—llygadlaith, llygad-wlyb, llygadgoch, cilgoch ei lygad; cibddall, coegddall, llygadbwl; â phall ar ei drem.
Hollow-eyed—llygadronca, llygadronc; â llygaid rhonca iddo.
Blink-eyed—llygadgam, cam, llygadwan, camlygad, ysmiglygeidiog.
Wide-eyed—llygadrwth, (*f.* llygadroth); llydan ei lygaid.
One-eyed—unllygeidiog; llygadgoll; cam.
Full-eyed—llygadlawn; â'i lygaid ar dor y croen; â'i lygaid ar dòn y croen.
Keen-eyed—llygadgraff, llygadlym, llygadfain; craff ei lygad; craffus ei olwg; craff ei olygon.
Moon-eyed—cibddall, coegddall, llygad-

bwl; â chanddo lygaid lleuadglaf; lloerlygeidiog, llygadloerig.
Ox-eyed—bulygeidiog, bulygad, buolwg, budremiog, budrem, ychlygeidiog, buchlygeidiog; llygadferth, llygadfyg; teryll.
Ox-eyed Juno—Iuno fulygad, Iuno fuolwg, Iono ychlygad, &c.; Iuno drem deryll, Iono lygaid teryll, Iuno lygadferth; Iuno lygad eidion.

**Eyedrop**, *s.* (*eye* a *drop*) deigryn, dyferyn.

**Eyeglance**, *s.* cipolwg, llygadgip; tafliad y llygad; tarawiad y llygad; trem, tremyn, tremynt, tremiad.

**Eyeglass**, *s.* llygadwydr, llygadwydryn, llygatddrych; ysbeithell.

**Eye-glutting**,† *s.* gwledda y llygaid.

**Eyelash**, *s.* (*eye* a *lash*) geilflew, blew yr amrantau, blew amrant, amrantflew.

**Eyeless**, *a.* dilygad, dilygaid, heb lygaid; dall.

**Eyelet**, *s.* (Ff. *œillet*) olp, twll olpai, twll orpai.
Eyelet-hole—twll olpai, olp, twll orpai.

**Eyeliad**, *s.* (Ff. *œillade*) cipolwg, llygadgip; tafliad llygad; tarawiad llygad; cipdrem, trem, tremyn, tremynt, tremiad.

**Eyelid**, *s.* (*eye* a *lid*) amrant, amrant llygaid, gail, clawr llygad, caead llygad, clawr y llygad, cauad y llygad.

**Eye-offending**, *a.* yn tramgwyddo y llygad.

**Eye-pleasing**, *a.* yn boddhau y llygad; llygadfoddhaol.

**Eyer**, *s.* (o *eye*) llygadwr, edrychwr, edrychydd, syllwr, tremiwr.

**Eyesalve**, *s.* (*eye* a *salve*) eli llygaid, llygeli.

**Eye-servant**, *s.* llygadwas, llygad-wasanaethwr, golygwas, llygad-weinidog.

**Eye-service**, *s.* llygad-wasanaeth, golwg-wasanaeth, llygadweinid, llygadweiniant.

**Eyeshot**, *s.* golwg, golygfa; cyrhaedd yr olwg; cyrhaedd y llygad; ergyd y llygad.

**Eyesight**, *s.* golwg, golygawd; llewych, llewyrch, lleufer, lleuer, *neu* drem y llygaid; llygaid; gweled; sylw.
If my eyesight fail me not—onid yw fy llygaid yn fy nhwyllo; od *neu* os ydwyf yn canfod yn dda; onid wyf fi yn camweled.
According to my cleanness in his eyesight—yn ol fy nglendid o flaen ei lygaid ef.

**Eyesore**, *s.* (*eye* a *sore*) dolur llygaid; casbeth; peth blin, cas, *neu* anhyfryd i'r olwg.

**Eyesplice**, *s.* (*eye* a *splice*) llygadbleth, ysblyg pen rhaff, ysblygdorch.

**Eye-spotted**, *a.* llygadfanog.

**Eyestone**, *s.* (*eye* a *stone*) llygadfaen.

**Eyestring**, *s.* llygadlin, llinyn y llygad, gewyn y llygad.

**Eyetooth**, *s.* dant llygad, llygad-ddant, llygatddant; ysgythr-ddant, dant ysgythrog, ciddant.

**Eyewink**, *s.* amrantiad, ysmig, ysmiciad, tarawiad llygad; amnaid, awgrym.

**Eye-witness**, *s.* llygattyst, golygdyst, tyst golwg, gwybyddiad.

**Eyot**, *s.* (S. *ig*) ynysig, ynysan, ynys fechan.

**Eyre**, *s.* (hen Ff. o'r Ll. *ire*) cylchdaith; cylchlys, teithlys; llys barnwyr teithiol.
Justices in eyre—barnwyr cylchdeithiol, ymdeithiol, teithiol, *neu* amdeithiog; ynad cylchdeithiol, ynad teithiol, cylchynad.

**Eyry**, } **Eyrie**, } *s.* (C. *eryr*; Corn. *er*) nyth ysglyfadar, ysglyfadarnyth; nythle adar ysglyfaethus; nythaid, nythlwyth, haid.

# F.



**Faba,** *s.* (Ll.) ffäen, ponar; ffa, y ffa.

**Fabaceous,** *a.* (Ll. *fabaceus*) ffäaidd, ffaol, ponaraidd.

**Fabian,** *a.* (oddi wrth Q. *Fabius* Maximus) gohiriog, addoediog, hwyrfrydig, oedgar, cyngydiol, afrys, dyhair, dyheiriol, gochelgar; yn gochelyd brwydr (fel y gwnai Cwintus Ffabius Macsimus).

**Fable,** *s.* (Ff.; Ll. *fabula*) chwedl; ffugchwedl, ffughanes, ffugwers, ffuglith, ffugeb, dychwedl, rhith-hanes, chwedl wneuthur; alleg, dameg, dychymyg; geudeb, ffug, gau, ffalsedd, celwydd.
  Old wives' fables, } chwedlau gwrach-
  Old women's fables, } ïaidd, gwrachïaidd chwedlau.
  Cunningly devised fables—chwedlau cyfrwys.

**Fable,** *v.* ffugio, chwedlu, chwedla, chwedleua, chwedleuo, ffugchwedlu, ffuglithio; dyfeisio, dychymygu; dywedyd *neu* adrodd chwedlau; dychymygu chwedlau *neu* gelwyddau; dywedyd celwydd; chwalu chwedlau.

**Fabled,** *a.* chwedlog, ffugiol, ffug-; ffugiedig, chwedledig.

**Fabler,** *s.* chwedlydd, chwedlwr, ffugiwr, ffughanesydd; adroddwr *neu* adroddydd chwedlau; ysgrifenwr, dychymygwr, dyfeisiwr, lluniwr, *neu* gyfansoddwr chwedlau.

**Fabling,** *s.* chwedliad, ffughanesiad, ffugiad; gwneuthuriad chwedlau.

**Fabric,** *s.* (Ll. *fabrica*) adail, adeilad, adeiladaeth, adeildy, adeilwaith; gwneuthuriad, cyfansoddiad, lluniad; gwe, cydwe; des.
  The fabrics of the East—gweoedd y Dwyrain.

**Fabric,** *v. a.* adeiladu, adeilo; gwneuthur, llunio, ffurfio, dyfeisio, cyfadeilio, cyflunio, cyfansoddi.

**Fabricate,** *v. a.* (Ll. *fabrico*) adeiladu, adeilo, cyfadeilio; gwneuthur, gwneyd, llunio, cyflunio, cyfansoddi, cydosod, ffurfeiddio, saernïo; dyfeisio, dychymygu, dychymyg, ffugio, ffuglunio; bathu.

**Fabrication,** *s.* (Ll. *fabricatio*) adeiladiad, adeiladaeth; gwneuthuriad, lluniad, ffurfiad, cyfluniad, cyfansoddiad, cyfadeilad, saernïad, eiliawd, eiliant, goberiad; ffugiad, ffugluniad, dyfeisiad; ffugysgrifiad; ffug, ffalsedd, celwydd.

**Fabricator,** *s.* (Ll.) adeiladwr, adeiladydd, adeilwr; gwneuthurwr, lluniwr, cyfluniwr, ffurfiwr, dyfeisiwr, dyfeisydd.

**Fabrile,**† *a.* (Ll. *fabrilis*) llawgelfyddol, crefftol; perthynol i lawgelfyddyd.

**Fabulist,** *s.* (o'r Ll. *fabula*) chwedlydd, chwedlwr, chwedlor, ffughanesydd, ffugchwedlwr, ffugiwr; ysgrifenwr, cyfansoddwr, dyfeisiwr, *neu* ddychymygwr chwedlau; cyfansoddydd, ysgrifenydd, *neu* ddyfeisydd chwedlau; damegwr, damegydd.

**Fabulize,** *v. a.* (Ll. *fabulo*) chwedlu, ffugchwedlu, ffughanesu; dyfeisio, cyfansoddi, ysgrifenu, *neu* adrodd chwedlau.

**Fabulosity,** } *s.* (Ll. *fabulositas*) chwedlog-
**Fabulousness,** } rwydd, chwedlgarwch, chwedleugarwch, ffuglithgarwch; geudeb, ffugiolrwydd, ffugioldeb, ffugedd, geuogrwydd; llawnder o chwedlau; annïeurwydd.

**Fabulous,** *a.* (Ll. *fabulosus*) ffuglawn, chwedlog, ffugiol, ffug-, chwedlaidd, dychymygol celwyddog, ffals, gau, geuog; annïau, annilys; ffuglithiol; llawn chwedlau; llawn celwydd.
  A fabulous book—ffuglyfr, llyfr ffugion, llyfr chwedlau, llyfr ffuglawn.
  A fabulous tale — chwedl dychymyg, chwedl ddychymygol, ffugchwedl.
  Fabulous times—amseroedd ffuglawn, &c.; amseroedd am ba rai y ffugier llawer o chwedlau; amseroedd chwedlau, amseroedd ffugion.

**Fabulously,** *ad.* ar wedd chwedl; ar wedd chwedl wneuthur; yn ffugiol, &c.

**Faburden,** *s.* (*fa*, sill arferedig mewn peroriaeth, a *burden*) gwrthbwyntal, gwrthalawiad.

**Façade,** *s.* (Ff.) gwyneb, wyneb, gwyneb adeilad, tàl adail, adeilwyneb, adeilweb, rhagwedd, gwynebwel, baranwel, baran.

**Face,** *s.* (Ff.; Ll. *facies*) gwyneb, wyneb, gwynebpryd; ffriw, gwep, gweb, gwepa, gwepia, trem, gwedd, golwg; arwyneb, arwynebedd; bleddychfa, baran, baranedd; edrych, edrychiad, drych; haerllugrwydd.
  Face to face—gwyneb yn wyneb; wyneb yn wyneb; yn wyneb yn wyneb; llygad yn llygad; lygad yn llygad; yn ngŵydd, ger bron, rhag bron, o flaen wyneb, cyferbyn, gyferbyn, cyfwyneb, gerwyneb, gerwydd, cyfaran, cydwyneb, cydwynebol, cynddrychol, cynnrychol, taldal, daldal, ar gyfer, tu blaen; cyferbyn âg un.
  A pretty little face—gwynebyn, wynebyn.
  The face of the earth—gwyneb y ddaiar, wyneb y llawr, tudwedd, tudwed, gledd, gwerydwedd.
  The face of affairs—yr olwg ar bethau; gwedd, ansawdd, *neu* wyneb pethau.
  Shame of face — gwynebwarth, wynebwarth, cywilydd wyneb.
  Wry face—gwyneb cam, cas, sur, *neu* hagr; cam-wyneb.
  To make a wry face—wynebgamu, gwynebgamu; mingamu, troi ei fin; gwneuthur wyneb cas; gwepio.

What wry faces the rogue makes!—y fath wynebau cas â wna y diffaethwr!
Having a wry face—gwynebgam, wynebgam; mingam.
To make faces—gwynebgamu, wynebgamu; mingamu, troi ei fin; gwneuthur wynebau cas; gwneuthur lluniau cas; gwepio; gwneuthur gwep, gwneyd gwepau.
To look one in the face—gwynebu; edrych yn wyneb un; sefyll yn wyneb un; syllu *neu* graffu ar un; edrych ar un yn ei wyneb; syllu yn wyneb un.
Before their faces—o flaen eu gwyneb, &c.; a hwy yn bresennol; a hwythau yn wyddfodol; yn eu gwyddfod.
To set a good face on a matter—rhoddi *neu* ddodi y gwyneb goreu allan; gosod y gwyneb goreu allan; gwneuthur y goreu o'r gwaethaf; celu *neu* ddirgelu gofid y galon; rhoi wyneb llawen ar galon athrist; edrych yn llon a siriol tra byddo y galon yn ofidus.
I must put a good face on it—mae yn rhaid i mi roi *neu* wisgo y gwyneb goreu allan.
It is good to set a good face on a bad matter—da yw ymgaloni mewn caledi.
To accept one's face—derbyn wyneb.
He has a face of brass—y mae ganddo *neu* iddo wyneb pres; mae iddo *neu* ganddo wyneb o bres; mae ganddo *neu* iddo wyneb digywilydd.
To put on a brazen face, To put on a bold face, } caledu ei wyneb; myned yn wynebgaled, yn ddigywilydd, yn haerllug, yn dalgryf, yn wynebsyth, *neu* yn eofn; gwisgo haerllugrwydd; ymwisgo â digywilydd-dra; taflu cywilydd *neu* orchwyledd i'w ol; sathru cywilyddgarwch dàn draed; gwisgo talgryfder; ymhyfhau.
Having two faces—deuwynebog, deuwyneb, deudal; âg iddo *neu* â chanddo ddau wyneb; rhagrithiol, twyllodrus, hocedus, ffuantus.
He put on the face of religion—efe a gymmerth arno agwedd *neu* rith crefydd.
The face of my affairs has undergone a great change of late—bu cyfnewidiad nid bychan ar fy helynt i yn ddiweddar.
To one's face—yn wyneb un; yn ngwyneb un; yn nannedd un; yn ei wyneb; yn ei ddannedd.

Face, *v.* gwynebu, wynebu; gwrthwynebu; gwynebu ar; troi yr wyneb; rhagrithio; edrych.
To face down, To face out, } taeru, haeru, hòni; taeru ar, haeru ar, hòni ar; gorchfygu drwy daeredd, haerllugrwydd, *neu* wynebgaledwch; mynu y goreu ar un drwy daeredd, haerllugrwydd, *neu* wynebgaledwch; gwadu yn haerllug; ymhaerllugo yn erbyn; gwrthwynebu yn hyf *neu* haerllug.
He persisted in facing down the truth—efe a ddaliodd yn haerllug ar ei wad yn erbyn y gwirionedd; efe a barhaodd yn haerllug yn gwadu y gwirionedd.
To face about—troi yr wyneb; troi ei wyneb; troi i wynebu y gelyn; chwyldròi.

Facecloth, *s.* (*face* a *cloth*) llian wyneb.

Faced, *p. p.* gwynebedig; âg iddo wyneb; gwedi ei wynebu; â wynebwyd; gwynebog, wynebog.
Bold-faced—talgryf, haerllug, digywilydd, talog, hyfwyneb, hywyneb, hyweb; âg iddo *neu* â chanddo wyneb digywilydd; wynebgaled, wynebsyth.
Double-faced—deuwynebog, deuwyneb, deudal; âg iddo *neu* â chanddo ddau wyneb; rhagrithiol, twyllodrus, hocedus, ffuantus.
A two faced fellow—rhagrithiwr; un deuwynebog.
Fair-faced—âg iddo *neu* â chanddo wyneb teg; âg iddi *neu* â chanddi wyneb teg; tegwynebog, wynebol; teg o bryd; teg ei bryd; teg ei phryd; teg ei gwedd; tegwedd, tegweddog, tegwel, prydweddol.
Full-faced—gwyneblawn, wyneblawn; âg iddo *neu* â chanddo wyneb llawn; gwynebdew.
Plump-faced—wyneblyfn, wynebdew; â chanddo *neu* âg iddo wyneb llyfnwedd; wyneblawn.
Pale-faced—gwyneblas, wyneblwyd, piglas, piglwyd, wyneb-welw.
Shame-faced—cywilyddgar, gŵyl, llednais, gwylaidd, yswil, gwyleddog.
Ugly-faced—hagr, hyll, anferth; â chanddo *neu* âg iddo wyneb hagr; wynebfrwnt, (*f.* wynebfront), hagrwedd, hagrwynebog; hagr ei wyneb.

Faceless, *a.* diwyneb, heb wyneb, anwynebog.

Facepainter, *s.* (*face* a *painter*) ardebydd, ardebwr, ardebydd gwynebau, arluniwr wynebau, paentiwr gwynebau, ardebluniwr.

Facepainting, *s.* ardebiaeth, arliwiad gwynebau, paentio ardebau, ardebluniaeth.

Facepiece, *s.* blaenddarn.

Facet, Facette, } *s.* (Ff. *facette;* Ysp. *faceta*) gwynebyn, gwyneban, gwyneb bychan: *pl.* gwynebos, gwepionos.

Facete,† *a.* (Ll. *facetus*) llawen, cellweirus, digrif, ysmala.

Faceteness,† *s.* digrifwch, arabedd, ysmaldod.

Facetiæ, *s.* (Ll.) digrifion, digrifolion, difyrion, dyddanion, ysmaldodion, arabion, ysgrifenadau digrif.

Facetious, *a.* (Ll. *facetus;* Ff. *facétieux*) digrif, digriflon, ysmala, difyr, difyrus, cellweirus, digrifol, digriflawn, arabeddus, arab, arabol, cellweirgar, afieithus, geirllon, lloneiriog, llawen, llon, hoenus, gorhoenus, llonwych, chwarëus, arain, digriflan, dysmal.

Facetiousness, *s.* digrifwch, ysmaldod, arabedd, digrifedd, digrifder, digrifoldeb, difyrwch, afieithusrwydd, digriflonder, araboldeb, ysmalder, ysmalrwydd, ysmalwch, cellweirgarwch, cellweirusrwydd, cellwair, ysmalhäwch, afiaeth, arabeddiaeth, ffraethdeb, ffraethder, cymmŵedd, arabder, llonwychder, llonder.

Facia, *s.* (Ll. *fascia*)=*Fascia.*

Facial, *a.* (o'r Ll. *facies*) gwynebol, wynebol, gwynebaidd; perthynol i'r wyneb.
Facial angle—ongl yr wyneb, elin yr wyneb; ongl wynebol, ongl wynebaidd.

Facies, *s.* (Ll.) gwyneb, wyneb; gwedd, golwg, trem, nodwedd allanol, golwg gyffredin; rhagwedd, cynfaran.

Facile, *a.* (Ff.; Ll. *facilis*) hawdd, rhwydd,

hyrwydd, esmwyth ; hydyn, hydrin, hynaws, hygyrch, hyfodd, hyfoes ; hyblyg, ystwyth ; hylaw, deheu, deheuig, trylew, hyfedr.

**Facileness**, *s.* hawddineb, rhwyddineb, rhwydd-yd, rhwydd-deb, hawsder, hawsdra ; hy-rwydd-der, esmwythder ; hydynedd, hynaws-edd ; hyblygedd, ystwythder, meddalwch, meddaledd ; hawddineb i gymmeryd ei ddar-bwyllo.

**Facilitate**, *v. a.* (Ff. *faciliter*, o'r Ll. *facilitas*) rhwyddhau, hyrwyddo, rhwyddo, rhwyddoli, rhwyddynu, rhwyddino, rhwyddiannu, cyf-rwyddo, hylwybro, hwyluso, hwylusu, hawdd-hau, hawshau, hoddio, dyhoddio ; peri yn hawdd *neu* yn haws i'w wneuthur ; cynnorth-wyo yn mlaen ; esmwytho.

**Facilitation**, *s.* rhwyddhad, rhwyddad, rhwydd-iad, hyrwyddiad, rhwyddiant, cyfrwyddawd, rhwyddyniad, hylwybrad, hwylusiad, hodd-iad, dyhoddiad.

**Facility**, *s.* (Ll. *facilitas ;* Ff. *facilité*) rhwydd-ineb, hawddineb, hawsder, hawsdra, haws-edd, hyrwyddineb, hyrwyddedd, hwylusdod, hwylusder, hwylusdra, hwylusrwydd, rhwydd-yndod, rhwydd-deb, rhwyddyd, rhwyddyn-edd, rhyddineb, hoddineb, rhwyddiant, es-mwythedd; hyfedredd, medredd, medrus-rwydd, deheuder, deheurwydd ; hyblygedd, meddalwch, meddaledd, hydynedd, hydyn-rwydd ; hynawsedd, hygyrchedd, mwynder, mynogaeth, cyweithasrwydd.

**Facilities**, *s. pl.* hawsderau, cyfleusderau, hwyl-usderau, manteision, rhwyddolion.

**Facing**, *p.* yn gwynebu, yn wynebu, yn wynebu ar ; ar gyfer, ar gyferyd, yn gyferbyn, cyfer-byn â, yn nghyfer, â'i wyneb ar, cyfaran, cyferydig, cyfarfan, argywydd ; yn troi yr wyneb.

**Facing**, *s.* gwynebiad, wynebiad ; gwyneb-waith, wynebwaith ; gwyneb.

**Facinorous**, *a.* (Ll. *facinus*) ysgeler, diried, diriaid, adwythig, echrydus, echrys, echrys-lawn, drwg, anfad, dryglawn, dyhir, dybryd.

**Facinorousness**, *s.* ysgelerder, ysgelerdod, ys-gelerdra, ysgeleredd, echryslonedd, dybryd-edd, anfadrwydd, echryslonrwydd, mawr-ddrygedd.

**Facsimile**, *s.* (Ll. *facio* a *similis*) cyfluneb, cyf-lun, gwir gyflun, tebyglun, tryddulleb, try-debed, gwir efelwch ; gwir debygrwydd ; teb-ysgrif, cysgrif.

**Fact**, *s.* (Ll. *factum*) ffaith, gweithred, gwaith, gwirionedd, gwir ; yr hyn a wnaed ; gober.

In fact—mewn gwirionedd.

In the very fact—yn y weithred ; ar y weithred ; yn nghorff y weithred.

Matter of fact—ffaith, gwirionedd.

This is fact, / This is matter of fact, } mae hyn yn wir diddadl ; gwir-ionedd diddadl ydyw hyn ; ffaith yw hyn ; mae hyn yn ffaith.

This is the fact—dyma y gwir ; dyma y gwirionedd ; dyma fel y mae y peth yn bod ; dyma fel y mae y peth yn sefyll ; fel hyn y mae y peth yn bod *neu* yn sefyll ; fel hyn y mae y mater yn bod *neu* yn sefyll ; dyma y ffaith ; y ffaith yw hyn ; hyn yw y ffaith ; dyma fel y mae y peth yn bod mewn gwirionedd.

The matter of fact is this—y gwir yw hyn ; y gwirionedd yw hyn ; y gwir fater yw hyn ; y ffaith yw hyn.

Facts are stubborn things—anhydyn, an-hyblyg, ystyfnig, *neu* wrthnysig yw ffeithiau ; ffeithiau sy bethau anhyblyg, pethau anhydyn yw ffeithiau.

**Faction**, *s.* (Ff. ; Ll. *factio*) plaid, ymblaid, terfysgblaid ; plaid mewn gwladwriaeth, llywodblaid ; gwrthblaid, cydwriaeth, cyd-rawd ; ymbleidiad, ymraniad, terfysg, anghydfod, annysgymmod, cythrwfl, cyffro, cynhen.

A private faction — cydfrad, cydfwriad, plaid ddirgel *neu* gyfrinachol.

To go into factions—ymbleidio, ymranu ; myned yn bleidiau.

One of Simon's faction—un o'r rhai oedd ent gymmeradwy gàn Simon (2 *Mac.* iv. 3).

**Factionary**, / **Factioner**, } *s.* ymbleidiwr, gwr plaid, gwr pleidiol, pleidiwr, pleid-ddyn, gwr untuog.

**Factionist**, *s.* pleidgarwr, pleidiwr, pleidydd, ymranwr, ymbleidiwr, carwr ymraniad, ter-fysgwr.

**Factious**, *a.* (Ll. *factiosus ;* Ff. *factieux*) pleid-iog, pleidgar, pleidiol, ymbleidgar, ymbleid-iog ; gwrthbleidiog, gwrthbleidgar ; parod i ymbleidio ; terfysgus, terfysglyd, cynhenllyd, cynhenus, ymrafaelgar.

**Factiousness**, *s.* pleidgarwch, pleidiogrwydd, ymbleidgarwch, ymbleidiogrwydd, pleidio-rwydd, pleidwriaeth ; gwrthbleidiogrwydd, terfysglydrwydd, terfysgusrwydd, ymrafael-garwch ; tuedd i ymbleidio *neu* ymranu.

**Factitious**, *a.* (Ll. *factitius*) gwneuthurol, gwneuthuredig ; celfyddydol, celfyddol, cel-fyddydaidd ; â wneler drwy gelfyddyd ; â wnaed *neu* â wneler wrth ddychymyg.

Factitious stones—ceryg gwneuthur, ceryg gwneuthuredig, &c. ; ceryg â wnaed drwy gelfyddyd.

**Factive**, *a.* (Ll. *facto*) gwneuthurol, yn gwneuthur ; yn gallu gwneuthur.

**Factor**, *s.* (Ll.) gorchwylydd, gorchwyliwr, rhyngfaelydd, rhyngfaelwr, rhyngfaelier, trosfaelwr, rhyngfaelor, trosfasnachwr, tros-weinydd, rhyngfasnachydd, dirprwywr, gor-uchwyliwr masnachol, negeswr masnachol ; trinwr, trinydd, *neu* olygydd gorchwylion masnachwyr ; marchnadwr, marchnatwr, marchnatäwr, *neu* farchnadydd dros arall ; prynwr a gwerthwr dros arall ; negeswr, negesydd ; gweithredydd, gwneuthurydd, goberwr, goberydd ; tannorth, dirprwy.

**Factorage**, *s.* prwydal, dirprwydal, maeldal, goberdal, negesdal, prwydaliaeth ; tâl rhyng-fasnachwr, tâl trosfasnachydd.

**Factorial**, *a.* gweithfaol, goberfaol, llofweith-faol ; perthynol i weithfa.

**Factorship**, *s.* trosfaeleriaeth, rhyngfaelor-iaeth, trosfaelyddiaeth ; gwaith *neu* swydd rhyngfaelydd ; gorchwylyddiaeth, goberydd-iaeth ; gweithfa.

**Factory**, *s.* gweithfa, gweithdy, llaw-weithfa, llofweithfa, llaw-weithdy, goberfa, gweithle ; masnachfa, negesfa, gorchwylfa, marchnad-fa, trosfasnachfa, trosnegesfa ; anneddfa, anneddle, *neu* annedd-dy rhyngfaelwyr ; cymdeithas rhyngfaelorion, y corff rhyngfas-nachol, y rhyngfasnachwyr ; tannorthas.

**Factotum**, *s.* (Ll.) gwas pob gwaith, gwesyn pob gwaith, gwas pob peth ; ollweithiwr, ollffeithydd, ollffeithiwr.

.cture, *s.* (Ff.) gwneuthuriad, goberiad, ffurfiad.

.culæ, *s. pl.* (Ll.) claerfanau ; ysmotiau claer ar wyneb yr haul.

.culty, *s.* (Ll. *facultas ;* Ff. *faculté*) gallu, galluedd, medr, medredd, dawn, arddawn, teithi, atheithi, celfyddyd, cyfarwyddyd, deheurwydd, medrusrwydd, galluogrwydd, gall, pabl, grym, nerth, gallu naturiol, gallu hanfodol; cynneddf, camp, athrylith; rhyddfraint, trwydded, rhyddid, braint, rhagorfraint, cenad ; rhwyddyd, dawnedd, abledd, rhinwedd, effeithioldeb, cyferddawn, effaith ; galwad, galwedigaeth ; cymdeithas, brodoriaeth; entrawiaeth, yr athrawon, yr entrawon ; y gymdeithas feddygol, y côr meddygol, y meddygon; meddygwaith; gwyddodaeth; gallu i wneuthur peth.

The faculty of doctors—y côr meddygol, y gymdeithas feddygol.

The gentlemen of the faculty—gwŷr y gelfyddyd ; y meddygon.

Natural faculties — cynneddfau naturiol, synwyrau naturiol, doniau naturiol, cynneddfau anianol, cynneddfau.

The faculties of the soul—cynneddfau yr enaid, galluoedd yr enaid, nerthoedd yr enaid, swydd-gynneddfau yr enaid.

Mental faculty, } cynneddf feddyliol,
Faculty of the mind, } cynneddf meddwl, gallu meddyliol, gallu menwydus, gallu y meddwl, ysbwyll, llafanad.

Faculty of speech—llafar, arlafar ; y gallu i lafaru ; teithi llafar, teithi ymadrodd.

Memorative faculty—y cof, cof.

He has the faculty of telling a story entertainingly—efe a fedr adrodd chwedl yn ddifyr, yn ddifyrus, *neu* yn ddigrif; mae ganddo ddawn i adrodd chwedl yn ddifyr.

He has the faculty of doing it—efe a fedr y ffordd arno ; efe a ŵyr y ffordd arno.

Profound faculty—dwfn babl, dwfn deithi, gallu dwys.

**Facund,** } *a.* (Ll. *facundus*) hyawdl,
**Facundious,** } ffraeth, parablus, ymadroddus, arain, arodrydd, hylafar, geiriog.

**Facundity,** *s.* (Ll. *facunditas*) hyawdledd, ffraethineb, ffraethder, ffraethedd, hyodledd, areinrwydd, arugledd, rhugliaith, rhugledd ymadrodd, parabledd.

**Faddle,** *v. n.* ofera, simera, gogusa, ymdeganu, gofregu, pencawna, gwersa, chwareu ; diffrwytho yr amser, oferdreulio yr amser ; gwagedda, ofersiarad.

Fiddle-faddle—ffiloreg, oferedd, oferwaith, gofregedd, oferdod, simer, coegwaith, coegsimer, coegbeth, oferbeth ; ffrilion, simerion, coegbethau, gwaelbethau; coegsiarad, oferglep, ofersiarad, oferchwedl, coegchwedl, siaradach, ffregod, baldordd.

Fiddle-faddle—coegweithgar, coeg brysur, coeg drafferthus, coeg ffwdanus, ofer, oferwag, coeg, gwag, gorwag, disylwedd, diddefnydd, ffiloregaidd, simerol, gofregol, gofregus, dibwys, diwerth, ffiloregaidd ; ffwdanus yn nghylch dim.

**Fade,**† *a.* (Ff.) gwân, egwan, eiddil, llesg.

**Fade,** *v.* (Ff.) edwi, edwino, gwywo, dihoeni, diflanu, difanu, dedwino ; dadfeilio, adfeilio; colli ei liw ; dysmythu, darfod, methu ; myned ar ddim ; myned ar ddiflant ; trycio.

Apt to fade—diflan, difan, edwin, dedwin, edw, edwinol, dedwinol, diflanus, diflanol, hyfeth ; parod i ddiflanu ; chwannog i edwi.

**Faded,** *p. p.* edwedig, &c.; edwin, edw, edwinol, dedwin, dedwinol, diflan, difan, gwyw.

**Fadeless,** *a.* anniflan, anniflanus, anniflanol, anedwin, anedwinol, annifan, annifanol, anwyw, anwywol, anhyfeth ; anniflanedig, diddiflanedig.

**Fadge,** *v. n.* (S. *fægen, gefegen ;* Al. *fügen*) gweddu, sutio, cydweddu, cyngweddu, cytuno, cyfladd, cyttaro, cyfateb ; llwyddo.

**Fading,** *a.* diflan, diflanol, diflanus, difan, edwin, edwinol, dedwin, dedwinol, edw, difanol, difflan, difflanol, gwyw, diflanedig, difanedig, difflanedig; yn diflanu, &c.; hyfeth.

Never-fading — anniflanol, anniflanus, anniflan, anedwin, anedwinol, annifan, annifanol, anwyw, anwywol, anhyfeth ; anniflanedig, diddiflanedig ; anniflanadwy.

**Fading,** *s.* edwad, edwinad, dedwinad, diflaniad, gwywad, dihoeniad; gwywder, methiant, methineb, darfodiant, edwedd, edwaint.

**Fadingness,** *s.* edwaint, edwedd, dedwinedd, edwindeb, edwinoldeb, dedwindeb, dedwinoldeb, diflanoldeb, diflanusrwydd, diflanrwydd, diflant, difflant, gwywder, methiant.

**Fady,** *a.* (o *fade*) diflan, diflanol, edwin, dedwin, gwyw ; adfeiliog, dadfeiliog ; yn colli ei liw ; nychlyd, edwinllyd.

**Fæcal,** *a.* (Ll. *fæces*) gwaddodol, gwaddodlyd, gwaddodog, fflesog ; ysgarthol, ysgarthog, ysgarthlyd, ystlomol, esgothionol.

**Fæces,** *s. pl.* (Ll.) ysgarthion, esgarthion, ysgothion, carthion, eulon, ystlom, tom ; gwaddod, gwaddodion, gwaelodion, ffles, llorion, rhytion.

**Fæcula,** *s.* (Ll.) paill, pain, fflurbaill ; tyflas, glasddefnydd, glesni dail ; peillud, syth.

**Faery,** *a.* (o *fair*) perthynol i'r tylwyth teg.

**Faffel,**† *v. n.* (o'r sain) ffeigio, cecian ; bod âg attal dywedyd arno.

**Fag,** *v. a.* (Ll. *fatigo*) curo, baeddu, dulio, pwyo, ymladd ; blino, llesghau, diffygio, cystegu, cystogi, lluddedu, trycio ; peri gwneyd caledwaith, caledweithio ; gorthrinio.

**Fag,** *v. n.* (Ysg. *faik*) bod yn flinedig ; blino, diffygio, lluddedu, cystegu, cystogi; gweithio yn galed ; ymdrafferthu, ymboeni ; gweithio nes diffygio.

**Fag,**† *s.* cystog, cystegwr, cystogwr, cystogydd, gwas i bawb ; caledweithiwr, llafurwas, caethwas.

**Fagend,** *s.* (*fag* ac *end*) gobed brethyn ; pen yr eddi ; y pen eithaf *neu* olaf ; eithaf, eithafedd ; godre, diwedd, terfyn ; y peth gwaethaf ; y rhan waelaf *neu* waethaf.

The fagend of the week—diwedd yr wythnos.

The fagend of a letter—godre llythyr, diwedd llythyr, pen eithaf llythyr, gobed llythyr.

**Fagging,** *s.* curiad, baeddiad, duliad ; caledwaith, cystegwaith, cwst, gorthrin, gorthriniad.

**Fagot,** } *s.* (Ff. *fagot;* C. *ffagod;* Gr. *phacellos*)
**Faggot,** } ffagod, ffagoden, cidysen, cedysen, ffasg, ffasgell, ffasgen ; swp *neu* ysgub o friwwydd ; swp, sypyn, *neu* ysgub o fanwydd : *pl.* ffagodau, cidys, cedys, ffasgau.

Fagot band—rhwymyn, rhwym, gwasg-rwym, *neu* wden ffagodau.

**Fagot,** } *v. a.* ffagodi, ffasgu, ffasgellu, cidysu,
**Faggot,** } cedysu, cidysio; rhwymo *neu* wneuthur yn ffagodau.

To fagot one—rhwymo un draed a dwylaw; clymu pedair aelod un; clymu pedair bagl un; clymu un draed a mwnwgl.

**Fagoting,** } *s.* ffagodiad, ffasgiad, cidysiad;
**Faggoting,** } rhwymad brigau coed.

**Fagus,** *s.* (Ll.) ffawydd, coed ffawydd.

**Fahlerz,** }
**Fahlore,** } *s.*(Al. *fahlerz*)gellfwn,llwydfwn copr, llwydgopr.
**Fahlorz,** }

**Fahlunite,** *s.* delidfaen Ffahlun yn Sweden.

**Fahrenheit,** *s.* (Gabriel Daniel *Fahrenheit*) gwresfynag Ffahrenheit, gwresfesurydd Ffahrenheit.

**Faience,** *s.* (o *Faenza* yn Romagna) meinbriddion Ffaensa; arfelbriddion; priddlestri teg â lluniau *neu* arfelion arnynt.

**Fail,** *v.* (Ff. *faillir;* Ll. *fallo*) methu, ffaelu, ffaelio, pallu, aballu; myned ar aball; diffygio, llaesu, ymlaesu, llesghau, ymollwng; darfod; darfod am dano; llewygu, llesmeirio; adfeilio, dadfeilio, syrthio, cwympo, *neu* orwedd dàn bwn; colli ei ergyd; colli ei amcan; methu cael ei effaith; methu cyrhaedd ei amcan; gadael, ymadael â; trycio, diflanu, difanu, edwi; somi; gadael allan; gadael heb ei gyflawnu; camwneuthur; esgeuluso; tori; colli; gwallygio; pylu, tywyllu; dyfod yn fyr o; bod yn ol am; gyru ar aball.

He failed in the way—blinodd, diffygiodd, methodd, *neu* ffaelodd ar y ffordd.

Fail not to come — na phalled genyt ddyfod; nac esgeulusa ddyfod.

Because they failed to confess their sins—am wallygiaw o honynt gyfaddef eu pechodau.

Their heart had failed—digalonasent.

Their heart failed them—digalonasant.

He failed in this point—efe a ballodd yn y pwnc hwn.

My heart failed me—fy nghalon a ddiffygiodd; diffygiodd *neu* pallodd fy nghalon.

He will not fail thee, nor forsake thee—ni'th edy, ac ni'th wrthyd; nid ymedy efe â thi, ac ni'th wrthyd.

The waters shall fail from the sea—y dyfroedd a ballant *neu* a ddarfyddant o'r môr.

He failed in his promise—efe a dorodd ei air *neu* ei addewid; ni safodd efe wrth ei air *neu* ei addewid.

Let no man's heart fail—na lyfrhäed calon neb.

That never fails — diball, difeth, dibaid, diddarfod; na phalla byth.

She is a treasure that never faileth—diball drysor yw hi.

Men's hearts failing them for fear—a dynion yn llewygu gàn ofn.

They partly fainted, their heart failing them—hwy weithian a lewygent gàn ball calon.

I failed in my duty, } bum yn ol am fy
I failed of my duty, } nyledswydd.

To fail one's expectation—twyllo dysgwyliad un.

I failed of my expectation—ofer fu fy nys-gwyliad.

How am I failed in my expectation!—mòr ofer, mòr wag, *neu* mòr orwag fu fy ngobaith! [i mi

The time would fail me—yr amser a ballai

There shall not fail thee a man—ni phalla i ti wr.

To fail (as a tradesman)—tori, methu, ffaelu.

To cause to fail—gyru ar aball; peri methu, pallu, diffygio, *neu* ffaelu.

To fail in one's judgment—camsynied, camsynio, camgymmeryd, camdybied; cyfeiliorni mewn barn; methu mewn barn.

Oppression, theft, and perjury, have caused all good qualities to fail—y mae trais, lledrad, ac anudon, wedi gyru ar aball bob cynneddfau da.

They shall fail together—cydballant.

If money fail—os darfu yr arian (*Gen.* xlvii. 16).

The light thereof faileth—y mae diffyg ar hwn (*Eccles.* xvii. 31).

Eyes that fail—llygaid palledig (*Bar.* ii. 18); llygadball.

To make the poor of the land to fail—i ddifa tlodion y tir (*Am.* viii. 4).

When ye fail—pan fo eisieu arnoch (*Luc* xvi. 9).

Those that failed in patience—y rhai a adawsent amynedd (*Eccles.* xvii. 24).

The fruits of his understanding fail not—ffrwythau ei ddeall ef sy sicr (*Eccles.* xxxvii. 23).

For their victuals fail them—oblegid i'w lluniaeth hwynt ddarfod (*Iudeth* xi. 12).

Their vessels of water failed all the inhabitants of Bethulia—pallodd eu llestri dyfroedd gàn holl drigolion Bethulia (*Iudeth* vii. 20).

**Fail,** *s.* meth, ffael, pall, aball, ameth, diffyg, palldod, gwall, coll; bai, nam, anaf; methiant, gwendid; eisieu, byrdra, colled, angen.

Without fail—yn ddifeth, yn ddiball, yn ddiffael; yn ddibaid.

**Failance,**† *s.*=*Failing, Failure.*

**Failing,** } *s.* (o *fail*) methiad, ffaeliad, palliad,
**Failure,** } palliant, aballiad, amethiad, methiant, diffygiad, colliad; meth, pall, aball, ffael, diffyg, gwall, coll, methineb, ffaeledd, palldod, gwendid; adfeiliad, dadfeiliad, llaesiad, ymlaesiad, ymollyngiad, llacâd, peidiad; toriad; bai, breuolaeth, anmherffeithrwydd, dynol freuolaeth; darfodiant, darfodedigaeth; gwacthygiad; gwallusder, gwallusrwydd, pallusrwydd; syrthiad, cwymp.

The best have their failings — nid yw y goreu heb eu bai; nid oes neb heb ei fai; nid difai neb a aned; y mae gwehilion i'r gwenith.

Failing of the spirits—llesgedd ysbrydoedd, llesgedd ysbryd, ymollyngiad ysbryd, gwendid ysbryd; llewyg, llesmar, llesmair.

Failing of an undertaking, } aflwyddiant
Failure of an undertaking, } gorchwyl *neu* amcan; mall-ffynniant gorchwyl *neu* amcan; anhyciant gorchwyl; afrwydd-deb gorchwyl *neu* amcan; pall gorchwyl.

**Failure** of a person in business—toriad, methiad, *neu* fethiant masnachwr.
**Failure** in judgment—camsyniad, camgymmeriad, camgymmeriaeth, camdybiad; ffaeliad, ffael, cyfeiliornad, *neu* gamsyniad mewn barn.
**Never**-failing—diball, difeth, dibaid, diddarfod, diffael.
**Complete** failure—llwyr ball, llwyrball, llwyrwall, llwyr fethiad, &c.
**Human** failings—ffaeleddau dynion, gwendidau dynol, dynol freuolaeth.
**Failing** of eyes—darfodedigaeth llygaid (*Deut*. xxviii. 65); pall golwg, pall golygon, ffaeledd llygaid, llygadball.

**[F]ain**, *a*. (S. *fagen*, *fægen*) llawen, hyfryd; [b]oddlawn, ewyllysgar, gwyllysgar, chwannog, [a]wyddus; dymunol, da; â fo â gorfod arno wneuthur peth; â fo yn gorfod arno wneuthur peth; â fo yn rhaid iddo wneuthur peth.
To be fain—bod yn llawen *neu* hyfryd, &c.; gorfod ar, gorfod i; bod yn rhaid.
I was fain to do this—gorfu arnaf wneuthur hyn; bu raid imi wneuthur hyn; yr oedd yn hyfryd genyf wneuthur hyn.
They were fain to speak the truth—gorfu arnynt ddywedyd y gwir.
We were fain to dig wells—gorfu ini gloddio pydewau; gorfu arnom gloddio pydewau; bu yn rhaid ini gloddio ffynnonau.
We were fain to depart—bu raid ini ymadael; bu yn rhaid ini ymadael.
My lips shall be fain—fy ngwefusau a fyddant hyfryd.
That they were fain to disperse themselves, every man to his own place—oni thynasent hwy ymaith bob un i'w le ei hun (1 *Mac*. vi. 54).

**[F]ain**, *ad*. yn llawen, yn hyfryd; yn foddlawn, yn fodlon, yn ewyllysgar, yn wyllysgar, yn chwannog, yn awyddus; yn ddymunol, yn dda; yn dra boddlawn; yn foddlawn iawn; o lwyr fryd calon; o lwyr ewyllys calon; yn dra chwannog; da.
I would fain, / Fain would I, } da fyddai genyf; byddai yn dda genyf; byddai dda genyf; byddai da genyf; mi a chwennychwn; chwennychwn, ewyllysiwn, gwyllysiwn, dymunwn, mynwn; byddai hyfryd genyf; hyfryd fyddai genyf.
I would fain know why—da fyddai genyf wybod pam; hoffwn wybod pa ham.
If I would ever so fain—er cymmaint y chwennychwn; pa gymmaint bynag y chwennychwn; er chwannoced bynag fyddwn; pa mòr chwannog bynag fyddwn; er chwannoced y byddwn; pa mòr awyddus bynag y byddwn.
He would fain have filled his belly with the husks—efe a chwennychai lenwi ei fol â'r cibau.
He would fain flee out of his hand—gàn ffoi efe a fynai ffoi allan o'i law ef (*Iob* xxvii. 22).

**Fain**,† *v. n*. chwennychu, chwennych, awyddu, dymuno.

**Faint**, *a*. (Gw. *faine*; Ff. *fantant*, *faner*) gwàn, egwan, gwanaidd, llesg, diffygiol, methedig, gwanllyd, llegach, culwan, gwecry, lluddedig, llwrf, (*f*. llorf), llwrf, llaes, llac, llibin, llipa, digalon, llesgenaidd, blin, blinedig, musgrell, gwanllyd, eiddil, marwaidd, marw, digalon, dïarial, llyferthin, llegus, palledig, llesgaidd, nychlyd, edwin, gwachul; gwywlyd, gwyw; aneglur, anghlaer, pwl, tywyll; anghroew; anmherffaith; llewygus, llewygaidd, llewygol; parod i lewygu; gofidus.
Faint blue—golas, lledlas, gwynlas, glaswyn, glaswelw, glas gwàn, glas gwanaidd, glas gwywlyd.
To grow faint—llesgu, llesghau, llaesu, dyddfu, edwi, gwanhau, gwanychu; myned yn wàn, &c.
To grow faint from hunger—dyddfu o newyn; dyddfu gàn newyn; llewygu gàn newyn; llewygu o newyn.
To make faint—llesghau, gwanhau, gwanychu, llyfrhau, llyrfhau; gwneuthur yn wàn *neu* yn llesg, &c.
Faint heart never won fair lady — y dewr bïau'r byd; i'r dewr yr ä'r da; nid oes i'r annewr ond annawn; hap Duw, ddewryn.
My heart is faint in me—fy nghalon sydd yn gofidio ynof (*Ier*. viii. 18).

**Faint**, *v*. llewygu, llesmeirio, masu, gloesygu; syrthio mewn llewyg *neu* lesmar; myned mewn llewyg *neu* lesmar; llesghau, llesgu, diffygio, ymlaesu, ymollwng, gwanhau, gwanychu, llaesu, yslacio, llacio; myned yn llesg, &c.; bod yn wàn, &c.; llyfrhau, llyrfhau, digaloni; edwi, nychu, dihoeni, edwino, dedwino, diflanu, adfeilio, dyddfu, gwelwi, pallu, methu, blino.
To faint away—llewygu, llesmeirio, masu, llymhuno, gloesygu; syrthio mewn llewyg, llesmar, *neu* lesmair; myned mewn llewyg *neu* lesmar.
He fainted away — fe syrthiodd arno lewyg; syrthiodd arno lesmair; syrthiodd llewyg arno.
To faint for hunger, / To faint by reason of hunger, } dyddfu gàn newyn; dyddfu o newyn; llewygu gàn newyn; llewygu o newyn.
All the trees of the field fainted for her—yr ydoedd ar holl goed y maes lesmair am dani.
Let not your hearts faint—na lyfrhäed eich calonau; na lesghäed eich calonau; na feddalhäed eich calonau; na fyddwch egwan eich calon.
He is faint—y mae yn diffygio, &c.
The young men faint for thirst—y meibion ieuainc a ddiffoddant gàn syched; y meibion ieuainc a ddiffoddant o syched; y gwŷr ieuainc a ballant gàn syched.
Lest your hearts faint—rhag llyfrhau eich calonau.

**Fainthearted**, *a*. gwangalon, digalon, llwfr, llwrf, llesg, annewr, anwrol, meddalgalon, gwangalonus, dïarial; anfilwraidd; gwàn ei galon.
Be not fainthearted—na fydd egwan dy galon; na lyfrhäed dy galon; na feddalhäed dy galon; na lesghäed dy galon; na fydd wangalon, &c.

**Faintheartedness**, *s*. gwangalondid, digalondid, gwendid calon, anghalondid, digalonrwydd, gwangalonrwydd, digysbrydedd, llyfrder,

llyfrdra, llyrfder, annewredd, anwrol-deb.

**Fainting**, *s.* llewygiad, llesmeiriad, gloesygiad, masiad; llewyg, llesmair, llesmar, mas, gloesni, gloes; llesghad, gwanhad, gwanychiad, &c.

Fainting fit—llewyg, llesmair, llesmar, gloes, mas, llymhun, llewygfa.

To recover from a fainting fit—dadlewygu, dadlesmeirio, dadfasu, dadebru, dadlymhuno.

**Faintish,** } *a.* gwanaidd, gwanllyd, egwanaidd,
**Fainty,** } lledwan, gowan, llymhunig, llesgaidd, &c.

**Faintishness**, *s.* gwaneiddrwydd, llesgeiddrwydd, egwaneiddrwydd, egwander, lledwendid, gowendid.

**Faintling**,† *a.* llwfr, digalon, llibin.

**Faintness**, *s.* gwendid, llesgedd, llesgrwydd, llesgarwch, egwander, egwanaeth; nych, nychlydrwydd, methiant, methineb, dihoenedd; llaesder, llaesedd, llacrwydd; lludded, blinedd, blinder; diogi, musgrelli; llyfrder, llyfrdra, llyrfdra, llibindod, llibinrwydd; gwywder, gwywlydrwydd, gwelwedd; llewyg, llesmair, llesmar, mas, llymhun.

I will send a faintness into their hearts—dygaf lesgedd ar eu calonau.

She fell down for faintness—syrthiodd gàn wendid *neu* lesgedd; hi a syrthiodd yn ei llewyg.

**Faints**, *s. pl.* gwaddod, gwaddodion, gwaelodion, llorion; dystyllwaddod, gwaddodred; anmhuredd à erys ar ol dystyllio; gwirod gwàn, ffleswirod.

**Fair**, *a.* (S. *fæger*; Sw. *fager*) teg, glân, glandeg, prydferth, prydweddol, prydus, hardd, hardd-deg, cain, telaid, eirian, glwys, mirain, mir, tlws, (*f.* tlos), clws, (*f.* clos), berth, telediw, deiniol, dain, addien, gwymp, (*f.* gwemp), cyfrdelaid, tèl, eirioes, pefr, iesin, gloew, arbrydus, galawnt; ter, goleu, goleudeg, araul, digwmwl, anghymylog, claer; gwỳn, (*f.* gwèn), gwyndeg; glân gloew; cyfiawn, uniawn, union, gonest, clau, didwyll, dihoced; cyfartal, cymhwys; hwylus, hylwydd, llwyddiannus, da; mwynaidd, mwyn, mwyndeg, hynaws; agored; tegwedd.

Fair weather—tywydd teg, hin deg, hindda; hinon, tegwch.

Fair water—dwfr glân; dwr glân gloew.

Fair hair—gwallt teg; gwallt goleu, gwallt goleuliw; gwallt melyn.

Fair woman—benyw deg, menyw lân, dyn wèn, bun wèn; gwèn ei phryd; teg ei phryd; dynes landeg.

The fair maid—y ddyn wèn, y ddyn lân, gwenddyn, gwenlodes, gwenlances; gwèn ei phryd; y wyryf deg, y rhian deg, y forwyn deg, y wyryf wèn, y degwedd.

Fair sex—rhyw deg, y rhyw deg, y rhywogaeth hawddgar, y rhywogaeth deg, yr ystlen deg; y rhyw fenywaidd; benywod.

Fair man—dyn glân; dyn teg ei bryd; gwỳn ei bryd; teg ei bryd; dyn gwỳn.

Fair play—chware teg, chwareu teg.

Fair wind—gwynt hwylus, gwynt hylwydd, gwynt teg.

Fair hand—llaw deg; llaw eglur; llaw ddarllenadwy; llawysgrifen deg.

Fair words — geiriau teg; gweniaith . geiriau mwyndeg, llathreiriau.

Fair speech—ymadrodd teg; ymadr..ll gwenieithaidd, ymadrodd gwenieit..., gweniaith; parabl teg, rhywiogia..., geiriau teg, tegeiriau, parabl rhywiog.

Fair means—tiriondeb, tirionder, tir..-wch, hynawsedd.

By fair means—trwy deg.

Fair tongue—tafod teg, tafod gwenie...-us; tafod ymadroddus, parablus, ... bereiddfwyn.

Fair to see, } teg yr olwg; g...
Fair in appearance, } yr olwg; hard... wedd; hardd o wedd; teg ei bryd; teg ei wedd; hardd ei bryd; teg o bry... teg o wedd; ceinwedd, tegwedd, pry... weddol, prydus, prydferth, golygus.

Delicately fair, } meindeg, meinwe...
Delicate and fair, } mwyndeg.

Tolerably fair—gweddol deg, syrn de... swrn deg, tegaidd, crỳn deg, tràn deg.

Amiably fair—anwylgain, anwyldeg.

Outwardly fair—ellwedd.

The fair one—yr ellwen, y degwedd; ... un deg, y ddyn deg, y ddyn wèn, y dd... lân, y fun deg, y wenddyn, y wenlod... y wèn ei phryd; y deg ei phryd; y d... ei gwedd; y deg ei deurydd; y rhian de... yr eneth deg; yr elen; gwèn, benyw.

My fair one—fy mhrydferth; fy nhe... wedd, &c.

The fairest lady in the land—y decaf yn ... dyrfa lle del; y rhian decaf yn y wlad.

The delicate fair one—y ddyn fanol; y feinir deg, &c.

Fair complexion—lliw teg, gwyndeg, glandeg, *neu* hardd-deg; gwedd deg, gwed... landeg; tegwedd, tegwel; lliw y li...; lliw yr eira; lliw yr eiry; lliw y man..d lliw y blodau; deuliw y blodau; deun... yr eiry; eiliw yr eiry; lliw hoew ... Mair; hoen blodau haf; hoen ewyn llỳn.

Of a fair appearance—tegwedd, tegwel, teg ei wedd; hardd ei wedd.

Fair-fronted — gwyndal, (*f.* gwendal), wynebwyn, (*f.* wynebwen).

The fair-fronted Indeg—Indeg wendal.

Very fair—teg iawn, tratheg, &c.; elgain, argain, gorwyn, (*f.* gorwen), arwymp, athelaid, gordelaid, teg dros ben.

Fair land—tir gâl, tir agored, tir ial, tir teg.

Fair spot—manyn teg, mangre deg, rhandir deg, gâl; ysmotyn teg.

To make fair—teghau, tecäu, tegychu, prydferthu, harddu, gwympu, tegu; gwneuthur yn deg, &c.

Not fair—annheg, &c.; didlws, diddel, dideg; hyll, salw, hagr.

As fair—mòr deg; cyn deced, càn deced; teced; cymhryd.

To be in a fair way to—bod yn *neu* ar yr iawn ffordd i; bod yn *neu* ar y ffordd uniawn i; bod yn *neu* ar y ffordd gymhwys i.

He stands as fair to succeed as any man—y mae efe cyn debyced a neb i lwyddo; y mae efe mòr debyg a neb i lwyddo; y mae mòr debygol i lwyddo a neb.

To make a fair show—ymdecäu; gwneuth...

ur ymddangosiad teg; ymddangos yn deg.
Fair words butter no parsnips—ni lenwir cylla gwag â geiriau teg; ni wna geiriau teg hau y tir.
A fair face is half a portion—mae wyneb teg yn hanner gwaddol; mae tegwch gwedd yn hanner gwaddol; mae gwedd yn hanner gwaddol.
The fair havens—y porthladdoedd prydferth.
Good words and fair speeches—ymadrodd teg a gweniaith; geiriau mwyn ac ymadroddion teg.
The maid is fair and wise—y mae hi yn llances lân synwyrol.
Fair-conditioned—da ei gynneddfau; da ei foesau; da ei foes; moesog, moesgar, moesol, moddus, moddgar; da ei gyflwr; gwych ei helynt; da ei wedd.
Thy fair jewels—offer dy harddwch (*Esec.* xvi. 17).
Fair, Fairly, } *ad.* yn deg, yn lân, yn landeg, &c.; trwy deg.
To bid fair, To promise fair, To stand fair, } bod gàn un gynnyg teg; bod i un gynnyg teg; bod yn debygol i gael *neu* gyrhaedd; bod yn debygol i ddyfod i; bod yn debyg i ddyfod o hyd i; bod yn sefyll yn deg; ymddangos yn deg *neu* yn dda; bod yn debyg *neu* debygol; addaw yn deg.
To bid fair for a thing—bod gàn un gynnyg teg am beth; cynnyg yn deg am beth.
Fairly and softly—yn araf deg, yn arafdeg, gàn bwyll.
Fair and softly goes far—gàn bwyll a gyrhaedd yn mhell; gàn bwyll a gerdd yn mhell.
To act fair, To deal fairly, } gwneuthur tegwch; ymddwyn yn deg *neu* ddidwyll; gwneuthur gonestrwydd; gwneuthur yr hyn a fyddo teg.
I shall be very fair with you—mi a wnaf â chwi eithaf tegwch; mi wnaf â chwi bobpeth a fyddo teg; ymddygaf yn eithaf teg tuag atoch.
To speak fair—dywedyd yn deg; gorllyfnu, sidanu; gwenieitho, truthio, trutheinio, glafru; bod yn fwyn ei ymadrodd; bod yn degwedog; bod yn ymadrodd-fwyn.
To keep fair with one—cadw heddwch *neu* degwch âg un; bod yn heddychol, yn heddychlawn, *neu* yn ddïamryson âg un; ymgadw ar delerau da *neu* deg âg un.
Fair and square—tegwch, gonestrwydd; trafodiaeth uniawn *neu* deg.
Fair, *s.* meinwen, meinir, meingan, benyw deg, menyw deg, benyw lân, dyn wèn, dynes lân, bun deg, dyn deg, un deg, un lân, tegwedd, tegwen, ellwen, elen, gwenddyn, gwenfun, gwèn, gwenlodes, gwenrian; gwèn ei phryd; teg ei phryd; teg ei gwedd; teg ei deurudd; teg ei hellwedd; dynes hardd; benyw, bun, rhian; y rhyw deg; ysgywen;† tegwch.
Fair, *s.* (Ff. *foire;* Ll. *forum, feriæ;* Ysp. *feria*) ffair; uchel farchnad, prif farchnad.
Fair-day—dydd ffair.
The fair-day—dydd y ffair.
On the very fair-day—ar gorff dydd y ffair; yn nghorff dydd y ffair.
You are come a day after the fair—chwi a ddaethoch yn rhy ddiweddar *neu* yn rhy hwyr; daethoch y dydd ar ol y ffair; daethoch dranoeth y ffair.
Fair-haired, *a.* tegwallt; â gwallt teg, goleu, *neu* oleuliw ganddo.
Fair-hand, *a.* teg ei ymddangosiad; teg ei wedd; llawdeg, teglaw.
Fairhood, *s.* tegwch, tegedd, tegrwydd, glendid, prydferthwch, harddwch, ceinder, mireinder.
Fairies, *s. pl.* (o *fairy*) y tylwyth teg, gwyllon, ellyllon, elffod, gwagysbrydion, anysbrydion, gwreigedd anwyl, plant y gwreigedd anwyl.
Fairing, *s.* (o *fair*, ffair) ffeiryn, rhan o'r ffair, rhodd o ffair.
Fairly, *ad.*=*Fair, Fairly.*
Fairness, *s.* (o *fair*) tegwch, glendid, prydferthwch, harddwch, glandegwch, tegedd, tegrwydd, tegaint, prydusrwydd, prydweddoldeb, tegder, tegid, ceinder, ceindeb, glwysder, glwysedd, mireinder, mireinedd, mireindra, mireindod, mireindeb, mireinwch, mireinrwydd, telediwrwydd, teleidrwydd, berthedd, berthineb, berthyd, deiniolder, gwympedd, tlysder, tlysni, clysni; gwynder, gwyndra; claerder, claerineb, purdeb, puredd, purineb; gloewedd, gloewder; uniondeb, unionder, unionedd, cleuder, gonestrwydd, iawnder, didueddrwydd.
Fair-seeming, *a.* tegwel, tegwelog, tegrithiol, teg-ymddangosol; yn ymddangos yn deg; teg yr olwg.
Fair-spoken, *a.* geirdeg, geirber, geirfwyn, llafardeg, mwynair; ymadrodd-fwyn, parablber; ymadroddus, parablus; gwenieithus, gwenieithol; hynaws, mwyn, hyfwyn, mwynaidd, cyweithasol, mwynlan; ymddangosiadus.
Fairy, *s.* (o *fair;* cymharer y C. tylwyth *teg;* Al. *fee;* Ff. *fée*) un o'r tylwyth teg; ellyll, gwyll, elff, gwion, ellyllyn, gwagysbryd, anysbryd, gwydion, coblyn; gwylles, ellylles, ellyllen, gwyllen, chwimpleian, chwimleian, miren, mires, gwydien, tegen; swynes, swynwraig: *pl.* y tylwyth teg, bendith eu mamau, elod, gwydiaid, gwreigedd anwyl, plant y gwreigedd anwyl.
Fairy, *a.* perthynol i'r tylwyth teg; ellyllig, elffin, elffain, elffig, gwionig, gwionain.
Fairy of the mine—coblyn y mwnglawdd, coblyn y gloddfa.
Fairy ground—trefa y tylwyth teg.
Fairy circle, Fairy ring } cylch y tylwyth teg.
Fairy hillocks—twmpathau y tylwyth teg, twynau y tylwyth teg.
Fairy sparks—ellylldan, gwylldan, malldan, llewyrn, gwyll-wreichion, gwreichion y tylwyth teg, tân llwynog.
Fairy land—gwlad y tylwyth teg, ellyllwg, mireinwg, gwionwg.
Fairy queen—breuines y tylwyth teg, brenines yr elod.
Fairy money—arian y tylwyth teg, gwyllarian.
Fairyland, *s.* gwlad y tylwyth teg, ellyllwg, mireinwg, gwionwg.
Fairylike, *a.* mâl y tylwyth teg; ellyllaidd, gwyllaidd, elffaidd, coblynaidd.
Fairystone, *s.* gwyllfaen, miresfaen, maen y tylwyth teg.
Faith, *s.* (Ll. *fides;* Ff. *foi*) ffydd; coel, cred,

crediniaeth, coeledd, credEDD; hyder, ymddiried, goglud; ffyddlondeb, ffyddlonder, cywirdeb; llawgair.

The right faith—yr iawn ffydd, yr iawn gred, yr uniawn ffydd, iawngred, uniongred, uniondyb, uniongrededd, iawngrededd.

Of the right faith—uniongred, iawngred, iawnffyddiog, iawnffyddiol; à fo o'r iawn ffydd; uniawn ei ffydd.

Wrong faith—geuffydd, geugred, camgred, camffydd, geulith, geugrefydd, gau grefydd, gau ffydd, geugrediniaeth, camgoel, camgrefydd.

Of a wrong faith—geuffyddiog, geuffyddiol, camffyddiog, geulithiog, geulithiol, geugrefyddol.

Weak faith—ffydd wàn, gwanffydd.

Of weak faith—gwanffyddiog, gwanffyddiol, gwanffydd, gwangred; gwàn ei ffydd; gwàn ei gred.

The catholic faith—y ffydd gyffredinol, y ffydd gydolig, y ffydd gatholig, y ffydd gydollig, y ffydd gytholig.

The Christian faith—y ffydd Gristionogol, y ffydd Gristianogol.

On my faith—myn fy ffydd; myn ym ffydd; ar fy llawgair.

One's faith solemnly given — llawgair, briduw.

To plight one's faith, } rhoddi briduw ar
To engage one's faith, } un; rhoddi cred ar un; rhoddi ei gred i un ar gyflawnu ei addewid; addaw i un ei lawgair; rhoi ei gred i un; ymgredu âg un; ymffyddio, ymgreirio, ymdyngu.

To have faith in—credu yn, credu mewn; bod gàn un ffydd *neu* gred yn; hyderu ar; rhoi hyder ar; ymddiried yn; gobeithio yn; rhoi goglud ar; rhoi coel ar; rhoi pwys ar.

To violate one's faith—tori ei air, ei addewid, *neu* ei lawgair; tori ei ffydd.

The finisher of our faith — perffeithydd ein ffydd; ein credofydd.

Evangelical faith—ffydd efengylaidd, ffydd yr efengyl.

Without faith or law—heb na ffydd na rhaith.

A brother in the faith — brawd ffydd, ffyddfrawd, brawd crefyddol, brawd crefydd, brawd unffydd.

**Faith-breach**, *s.* tor ffydd, anffyddlondeb, anffyddlonder, tor addewid, ffalsedd, brad.

**Faithed**,† *a.* cywir, gonest, ffyddiog.

**Faithful**, *a.* ffyddlawn; ffyddiog, ffyddiol; cywir, didwyll; ymddiriedus; à aller coel arno; à ellir coel arno; diwair; gwir.

The faithful—y ffyddloniaid; cywiriaid; credinwyr, crediniaid.

One of the faithful—un o'r ffyddloniaid; credadyn.

Most faithful—ffyddlonaf, mwyaf ffyddlawn; ymddiried-gwbl.

It is a faithful saying—gwir yw y gair.

The three faithful clans — y tri theulu diwair; y tri diwair deulu; y tri theulu ffyddlawn.

**Faithfully**, *ad.* yn ffyddlawn, &c.; ar ei lawgair.

**Faithfulness**, *s.* ffyddlondeb, ffyddlonder, ffyddlonrwydd; cywirdeb, cywiredd, gonestrwydd, cleuder, purdeb, gwirionedd, geirwedd; diweirdeb.

**Faithless**, *a.* diffydd, digred, anffyddiog, a[...] ffyddiol; anffyddlawn, ffals, anghyw[...] twyllodrus, anymddiriedus, hocedus, an[...] gau; digoel, anghrediniol, anghred[...] anghredin; bradwrus, bradog, bradwra[...] à doro ei air; à doro ei addewid; anhaw[...] ganddo gredu.

To become faithless—anffyddio; myn[...] yn ddiffydd, &c.

Be not faithless, but believing—na fy[...] anghredadyn, ond credadyn.

**Faithlessness**, *s.* anffyddiaeth, anghre[...] anghrediniaeth, anghrededd, anghred[...] iaeth, anffyddiogrwydd, anffydd, anffyd[...] rwydd, diffyddiaeth; anffyddlondeb, anffyd[...] londer, anffyddlonrwydd, anghywirdeb; tw[...] trwy ymddiried; brad, bradwriaeth, bra[...] ych, hoced, twyll, ffalsedd; anonestrwydd[...]

**Faitor**,† *s.* (Norm. o'r Ll. *factor*) drygwei[...] redwr, dyhiryn, bawddyn: *pl.* bawach.

**Fake**, *s.* (Ysg. *faik*; Sw. *vika*) rhaffrwy, rha[...] dro, torch.

**Fakir**, } *s.* (Ar.) Ffacir, Ffacir, monach I[...]
**Faquir**, } diaidd.

**Falcade**, *s.* (Ll. *falx*) crymnaid.

**Falcate**, *a.* (Ll. *falcatus*, o *falx*) crymanai[...] crymain, crwca, cam; ar lun cryman [...] bladyr; cyrnig.

**Falcate**, *s.* crymanblyg, crymblyg.

**Falcation**, *s.* (Ll. *falx*, *falcis*) crymedd, camed[...] crymaint, crwcanedd, crymaniad, cemi, cam[...] ni, camder, crymeinedd.

**Falchion**, *s.* (Ff. *fauchon*; Ll. *falx*) crym[...] gledd, crymgleddyf, camgleddeu, camfid[...] pladyrgledd, cleddyf byr cam; cleddyf.

**Falciform**, *a.* (Ll. *falx* a *forma*) crymanaid[...] crwca, crwm; ar lun cryman.

**Falcon**, *s.* (Ll. *falco*; Ff. *faucon*; It. *falcon*[...]) hebog, gwalch; yr hebog; gwyddwalch.

Peregrine falcon—cammin, hebog dramo[...] hebog tramor.

Grey falcon—hebog, gwalch.

Yellow-legged falcon—cudyll, cudyll coch[...] cudyll y gwynt, cudyll coesfelyn, cei[...] lly goch, ceinlly goch.

Crested falcon—hebog gopog, hebog co[...] og.

Falcon gentil—hebog lwydwen, heb[...] llwydwyn, hebog penddu.

**Falconer**, *s.* (Ff. *fauconnier*) hebogydd, hebo[...] wr, gwalchydd, gwalchwr, gweilchydd.

Chief falconer—penhebogydd, penhebo[...] wr.

The office of the chief falconer—penhe[...] ogyddiaeth.

**Falconet**, *s.* (Ff. *falconette*) hebogwn=math [...] gyflegr bychan.

**Falconidæ**, *s. pl.* hebogolion, heboglwyth, he[...] ogryw.

**Falconry**, *s.* (Ff. *fauconnerie*) hebogyddiaet[...] gwalchyddiaeth, gwalchwriaeth, gweilchyd[...] iaeth, hebogwriaeth.

**Faldage**, *s.* (S. *fald*, *falde*; Ll. gyfreithio[...] *faldagium*; C. *ffald*) ceilfraint; hawl i f[...] arthu *neu* geilio.

**Faldfee**, *s.* (S *ffald* a *fee*) ffaldobr, ceilda[...] tâl ceilfraint, toll ceilfraint.

**Falding**,† *s.* math o nwydd bras.

**Faldistory**, *s.* (S. *fald* a *stow*) gorsedd esgo[...] gorseddfainc esgob.

ldstool, *s.* (*fald* neu *fold* a *stool*) cader gor-ni, ystol goroni; yr ystol y penlinia bren-oedd Lloegr arni wrth eu coroni; gorsedd sgob, ceilfainc, bugeilfainc; deisfainc, eisgader, ymbilfainc; cader hyblyg, breich-gader, cader ddwyfraich; osggader; pall.

lernian, *s.* gwin Ffalernus (yn yr Ital).

ll, *v.* (S. *feallen;* Al. *fallen;* Is. *vallen*) cwympo, syrthio, gostwng, gostyngu; dy-gwydd, dygwyddo; cwyddo, tramgwyddo, codymu, trachwyddo, llithro; myned i lawr; ymddattod, adfeilio, edwi; llyfrhau, llyrf-hau, llesghau, llaesu, llacäu, llacio, yslacio, methu, pallu, ymollwng, ymfwrw, digaloni; treio, cilio, lleihau; disgyn; tawelu, gostegu, ymdawelu, llinaru, lliniaru, iselu; myned; ymarllwys, aberu; dyfod; darfod; bwrw.

To fall asleep—syrthio yn nghwsg; myned yn nghwsg; syrthio i gwsg; syrthio i gysgu; huno, cysgu.

To fall aboard of — syrthio ar draws; taraw wrth long arall.

To fall astern—syrthio yn ol; symmud yn ol; cael o'r llong ei gyru yn ol; aros yn ol.

To fall asunder—ymwahanu, ymddattod, ymollwng; syrthiaw oddi wrth eu gil-ydd.

To fall away—syrthio ymaith, cwympo ymaith; syrthiaw oddi wrth; culhau, curio, teneuo; dedwino, edwino, edwi, dihoeni, gwywo, darfod; gwrthgilio, ffyddwadu, cefnu; cilio, tynu, *neu* ym-lithro ymaith; ymadaw â'i ben; ymad-ael â'i ben.

To fall away from one's oath—halogi *neu* dori ei lw.

To fall back—syrthio yn ol; cwympo yn ol; cilio yn ol; gwrthgilio; encilio, cilio.

To fall calm—tawelu, ymdawelu, gostegu; myned yn dawel; dyfod yn dawel; ym-lonyddu, ymddystewi.

To fall down—syrthio *neu* gwympo i lawr; cwympo; syrthio.

To fall down flat—cwympo *neu* syrthio i lawr yn swrth; syrthio yn ei amgrain; syrthiaw o'i hyd gyhyd; syrthio yn ei hyd gyhyd; ymgrymu; ymostwng; suddo; nofio *neu* hwylio i waered.

To fall down together—cydsyrthio, cyd-gwympo; syrthio *neu* gwympo yn nghyd; syrthio i lawr yn nghyd.

To fall down headlong, }
To fall down with the head foremost, } cwympo *neu* syrthio bendramwnwgl; syrthio *neu* gwympo yn llwrw ei ben; cwympo *neu* syrthio yn wysg ei ben; syrthio dibyn dobyn; syrthio yn ddï-ymattal.

To fall down the river—nofio, hwylio, *neu* fyned i waered; myned tua'r aber; myned i lawr ar hyd yr afon.

To fall down with violence, }
To fall down headlong, } rhaiadru.

To fall foul—syrthio am ben; syrthio ar draws; ymosod, ymruthro, rhuthro; gwneuthur cyrch.

To fall from—syrthiaw oddi wrth; cwymp-aw oddi wrth; syrthio *neu* gwympo ymaith oddi wrth; ymadael oddi wrth; ymadaw â; gwrthgilio; ciliaw oddi wrth.

To fall from one's word—tori ei air; tori ei addewid; syrthiaw oddi wrth ei air.

To fall in—syrthio i mewn; cwympo i mewn; cydsynio, cytuno, cydfyned, cyd-weled, cyfladd, cyttaro, cydgordio; cyf-arfod; dyfod yn agos; darganfod.

To fall in hand with a thing—myned yn nghylch rhyw orchwyl; myned yn nghyd â rhyw orchwyl; ymosod ar beth; cymmeryd gorchwyl yn *neu* mewn llaw; cychwyn i waith; cwympo at beth.

To fall in love with—cwympo, syrthio, *neu* fyned mewn cariad â; bwrw *neu* roddi ei serch ar; serchu, hoffi.

To fall in one's way—bod ar ffordd un; dyfod ar ffordd un; bod ar law un; dyfod ar law un; syrthio yn ffordd un.

To fall in price, }
To fall in value, } cwympo, gostwng, *neu* syrthio mewn pris; myned yn iselbris, yn ddibris, *neu* yn ddïystyr; myned yn ddiwerth.

To fall in with—cyfarfod â, gorddiwes, goddiwes, cyfredeg â, ymgyfredeg â, ymgyhydreg â; dyfod gogyfuwch â; dyfod yn nghyd â; taraw wrth; cytuno â, cydsynio â.

To fall in with criminal measures—cyd-synio *neu* gytuno â drwg fesurau *neu* arferion; bod o blaid *neu* yn mhlaid drwg arferion; bod *neu* ymroddi yn beiriant i ddwyn drwg ddychymygion yn mlaen *neu* i ben; bod â llaw mewn camrwysg; bod gàn un law mewn cam-rwysg; ymgyssylltu, ymuno, *neu* ym-wasgu â thraws arferion *neu* draws lyw-odraeth; bod i *neu* gàn un ran, cyfran, *neu* law yn nrwg lywodraeth gwlad; bod yn borth *neu* yn gefn i ormes-lywodr-aeth *neu* fall arferion mewn gwladwr-iaeth.

To fall in one's gift—dyfod, cwympo, *neu* syrthio ar law un; dyfod i law, i ddwy-law, i rodd, *neu* i roddiad un.

To fall into—syrthio i, cwympo i; aberu i, ymarllwys i, ymarlloesi i, aberu yn, ym-arllwys yn, ymarlloesi yn; syrthio i mewn, syrthio yn, cwympo yn.

To fall into the hand of—syrthio *neu* gwympo yn llaw; cwympo *neu* syrthio i law.

To fall lower—syrthio *neu* gwympo yn is; disgyn yn is.

To fall off—syrthio *neu* gwympo ymaith; ciliaw oddi wrth; osgöi *neu* ogwyddaw oddi wrth; cilio, encilio, gwrthgilio; methu, gwaethygu, gwaelu; lleihau; gadael, gadaw, ymadael; ymwahanu, ymddydoli; syrthio, cwympo; dyfod i lawr; myned yn fwy diwerth; crisbilio.

To fall off a bargain—ciliaw oddi wrth gyt-undeb *neu* ammod.

To fall off (as scales, &c.) — crisbilio, syrthio ymaith.

To fall often—mynych gwympo, mynych syrthio, dygwympo, ymddygwympo.

To fall on—syrthio ar, cwympo ar; cydio â, ymgydio â; myned yn nghyd â; myned yn nghylch; dechreu ar; ymosod ar; rhuthro ar; dwyn cyrch ar; dyfod ar warthaf; cwympo ar warthaf; disgyn ar; gwneuthur rhuthr *neu* gyrch

ar; dyfod am ben; dygwyddo ar; dyfod ar.

To fall on first—cydio yn gyntaf; dechreu; gwneuthur y cynosod.

To fall out—cwympo allan, syrthio allan, cwympo i maes; ymryson, amryson, ymrafaelio, cynhenu, ymdynu; dechreu ymryson *neu* ymrafael; digio, llidio, sori; ymddarfodi; trin; dygwyddo, dygwydd, damweinio, damwaen, hapio, bod; troi allan.

To fall out *or* from—syrthiaw o, syrthio allan o.

To fall over—syrthio dros; syrthio drosodd; myned drosodd; gwrthgilio; pleidgilio; troi, cyfnewid; newid ochr; newid ei blaid; gwrthryfelu.

To fall short of—syrthio yn fyr o; dyfod yn fyr o; methu cyrhaedd; methu â chyrhaedd; bod yn ol o; bod yn fyr o; pallu, diffygio.

To fall sick—clefychu, clafychu; myned yn glaf; taro yn glaf; syrthio yn glaf.

To fall to—syrthio i, cwympo i, syrthio at, cwympo at; myned i, myned at; cwympo ar, syrthio ar; dechreu, dechreu ar; ymosod ar; cydio â; myned yn nghyd â; myned yn nghylch; ymgydio â; cilio at; ymröi at, ymroddi at.

To fall to one — dyfod, disgyn, syrthio, cwympo, dygwyddo, dygwydd, *neu* fyned i un; dyfod i ran un.

To fall to abusing each other—myned *neu* daraw i ymdaeru; myned *neu* daraw i ymddifrïo; syrthio i ymgecru.

To fall to work—ymosod ar waith; taro at waith; cwympo at waith, &c.

To fall together by the ears—myned benben; myned yn nghyd ben a chlustiau; myned wrth y pen a'r clustiau; myned ben yn nghad; myned ben yn erfid; ymdynu, ymryson, ceintachu, ymgiprysu.

To fall under—dyfod dàn, dyfod o dàn; dyfod o fewn; syrthio dàn; bod dàn; syrthio *neu* ddyfod oddi tàn; dyfod o fewn terfynau; bod yn ddarostyngedig i.

To fall under a burden—syrthio, cwympo, *neu* ddiffygio dàn bwn; syrthio tàn lwyth.

To fall *or* knock under—cyfaddef ei fai; cyfaddef ei gamsyniad.

To fall under consideration—syrthio *neu* ddyfod dàn ystyriaeth; dyfod *neu* syrthio i'w ystyried.

To fall under one's view—dygwyddo yn ngolwg un; dygwydd o flaen llygaid un.

To fall upon=*To fall on:* cynnyg, ceisio.

To fall the voice—gostwng y llais.

To fall a sacrifice — syrthio yn aberth; myned yn aberth; cael ei aberthu.

If I fall a sacrifice to popular faction—os myfi a aberthir i ymblaid y werin; os aberthir fi i'r ymblaid boblogaidd; os myfi a dorir ymaith er dyhuddiant y werin ymbleidgar; os myfi a ddïenyddir er dyhuddiant y werin ymbleidgar.

To fall into laughter—dechreu chwerthin; myned i chwerthin; taraw i chwerthin.

The Danube falls into the Euxine—ymarllwys y Donwy i'r Môr Du; disgyna y Donaw i'r Môr Eucsin; mae y Donwy yn syrthio *neu* yn rhedeg i'r Môr Du; abera y Donaw yn y Môr Du.

If it should ever fall in my way to do y[ou] a kindness—os byth y daw ar fy lla[w] wneuthur i chwi gymmwynas.

We fell in with the enemy—cyfarfuom â'r gelynion; tarawsom wrth y gelynion; ni a gyfarfuom â'r gelyn.

He fell in with them—efe a darawodd gy[da] hwynt; efe a gymmerodd eu plaid hwy[nt]; cytunodd â hwynt.

We fell in with two privateers—daeth[om] ar ddwy herwlong; tarawsom wrth ddwy herwlong; dywanasom ar ddwy herwlong; daethom am ben dwy wiblong; daethom ar draws dwy wiblong; dygwyddasom ar ddwy herwlong.

We fell in with Cyprus—ni a ddaethom [i] Cyprus; tarawsom wrth Cyprus.

He fell in with wicked measures—cydsyniodd â drwg fesurau; cydsyniodd â drwg lywodraeth.

The first living that falls in my gift—y[r] eglwys gyntaf à ddel i'm rhoddiad i; y fywoliaeth gyntaf à fyddo ar fy rhoddiad i; yr eglwys gyntaf à fyddo yn fy rhoddiad i; y fywoliaeth gyntaf à syrthia i'm llaw i; y fywoliaeth gyntaf à syrthio yn fy rhodd i.

He fell into the snare — syrthiodd i'r fagl.

Ready to fall—ar syrthio, ar gwympo; serfyll, simsan, simpl, simplaidd; lledbai; ar ogwydd; ar ei ogwydd; adfeiliedig, hygwymp, hygwydd; hadl; tramgwyddus; parod i syrthio, &c.

To be ready to fall—bod ar syrthio; bod ar gwympo; bod ar ei ogwydd; bod ar ei ddibyn; simplo; adfeilio; penhwntian, pentwyno; bod yn simsan *neu* simpl; bod yn barod i syrthio.

To let fall—goddef, gadaw, *neu* ollwng i syrthio; goddef, gadael, *neu* ollwng i gwympo; gollwng.

To let fall one's suit—cilio yn ei gwyn, gadaw ei hawl; gadaw y maes.

To fall foul upon one—rhoi tafod drwg i un; rhoddi drwg dafod i un; difrïo un, enllibio un; rhoi siarad cas i un.

To fall behindhand in the world—myned *neu* redeg yn ol llaw yn y byd; bod ar ol llaw yn y byd; bod yn ol llaw â'r byd; myned *neu* redeg mewn dyled; myned *neu* redeg i ddyled; syrthio i dlodi; myned yn dlawd; tlodi.

To make one fall—peri *neu* wneuthur i un syrthio; gwneuthur i un gwympo *neu* dramgwyddo.

To fall lambs—bwrw ŵyn.

Fall back, fall edge—deued â ddel; doed â ddelo; dygwydded â ddygwyddo.

He fell very sick—aeth yn glaf iawn; aeth yn drymglaf; hi a aeth yn drwm arno; syrthiodd yn glaf iawn.

This falls to my share—y mae hyn yn dyfod i'm rhan i; y mae hyn yn dygwydd i mi; mae hyn yn dygwyddo i'm rhan i.

Give me the portion of goods that falleth unto me—dyro i mi y rhan à ddygwydd o'r da.

This land shall fall unto you for inherit-

ance—y tir hwn a syrth i chwi yn etifeddiaeth.
He fell on his knees—syrthiodd ar ei liniau; penliniodd; dygwyddwys ar ei liniau.
See that ye fall not out by the way—nac ymrysonwch ar y ffordd.
Lest mischief fall upon thee—rhag disgyn *neu* ddyfod echrys ar dy warthaf.
He will fall to his master—efe a syrth at ei feistr; efe a dery gyda'i feistr.
Saul thought to make David fall by the hand of the Philistines—yr oedd Saul yn meddwl peri lladd Dafydd trwy law y Philistiaid (1 *Sam.* xviii. 25).
The father and the sons together shall fall upon them—fel y tramgwyddo wrthynt y tadau a'r meibion yn nghyd (*Jer.* vi. 21).

**Fall,** *s.* cwymp, codwm, syrth, cwympad, cwympiad, syrthiad, syrthiant, llithrad, gostyngiad; disgyniad, disgynfa; cwydd, tramgwydd, cwympawd; dygwydd, dygwyddiad, cwyddiad, cwyddedigaeth; syrthfa, cwympedigaeth; dymchweliad, dinystr, dystryw, adfail; tranc; llethr, llechwedd, gwaered; rhaiadr; cnwd, caen, caenen; diffwys; methiant, methineb; hydref, mesyryd.
The fall—y cwymp, y codwm; cwymp Adda.
The fall of man—cwymp dyn, syrthiad dyn, cwympad dyn, syrth dyn.
After the fall—gwedi y cwymp; ar ol y cwymp; gwedi syrth.
The fall of the leaf—cwymp, syrthiad, *neu* gwympad y dail; hydref, mesyryd, clfed, dyhewydd.
A fall of rain—cawod o wlaw; cafod o wlaw; cawad o wlaw; gwlaw.
A great fall of rain—llawer o wlaw; llaweroedd o wlaw; rhyferthwy o wlaw; gwlybin, gwlybhin, gwlybaniaeth mawr; diffwys o wlaw: *pl.* gwlawogydd, gwlawoedd.
A fall of snow—caenen o eira; cawod o eira.
A heavy fall of snow—cnwd o eira; cawod drom o eira; cafod dew o eiry; trwch o eira.
A fall of dew—caenen o wlith, gwlithgaen.
A slight fall—gogwymp, gosyrth, lledsyrth, lledgwymp, cwymp bychan.
To get a fall—cael cwymp; cwympo, syrthio.
To give one a fall—rhoi cwymp *neu* godwm i un; taflu un i lawr; diwadnu un, disodli un, cwympo un.
The fall of a current into any larger body of water—aber.
The falls of the Niagara—rhaiadr y Niagara; cwymp y Niagara; syrthfa y Niagara; rheieidr *neu* raiadrau y Niagara.
The fall of a stag—amgrain carw.

**Fallacious,** *a.* (Ff. *fallacieux;* Ll. *fallax*) twyllodrus, ffugiol, gau, lledrithiog, lledrithiol, twyllgar, dichellgar, geuol, geuog, geuain, ffals, twylledigol, twylladol, hocedus; pallus, gwag, gorwag, coeg, annilys.
Fallacious argument—geuddadl, twylleb, twyllreswm, geureswm, rheswm gau.

**Fallaciously,** *ad.* yn dwyllodrus, &c.; trwy dwyll, trwy ddichell; mewn rhith, mewn lliw, mewn dichell, mewn twyll.

**Falla'ciousness,** *s.* twyllodrusrwydd, twyllodrusedd, ffugioldeb, ffugiolder, ffugiolrwydd, geuedd, geuogrwydd, geuoldeb, geudeb, ffalsedd, twyllgarwch, lledrithioldeb, hocedusrwydd; somiant, somedigaeth, twyll.

**Fallacy,** *s.* (Ll. *fallacia*) twyll, twyllofaint, geudeb, geuedd, hoced, lledrith, lledrithiogrwydd, ffalsedd, ffalsder, ffalstedd, twyllgarwch, hudoliaeth, dichellgarwch, dichell, geuawd, som, somedigaeth, somiant, siom, ystryw, hud; anwiredd; camsyniad, camgymmeriad; geuddadl, geureswm, twyllreswm, rheswm gau, cyfrwysddadl, twyllddadl.
To put a fallacy upon one—twyllo un, somi un; twyllo un trwy hud a lledrith; bwrw hud ar un; bwrw hud ar lygaid un; twyllo *neu* somi un trwy rith rheswm.

**Fallen,** *a.* (o *fall*) syrthiedig, cwympedig, cwympiedig, syrth, dygwyddedig, disgynedig.
They found Saul fallen in mount Gilboa—cawsant Saul yn farw yn mynydd Gilboa.

**Fallency,**† *s.* (Ll. *fallens*) camsyniad.

**Faller,** *s.* syrthiwr, cwympwr, syrthiedydd, cwympiedydd, disgynwr.

**Fallibility,** *s.* (It. *fallibilità*) hyballedd, hyfethrwydd, hyffaeledd, ffaeledigrwydd, ffaeledigaeth, hydwylledd, hyhudrwydd, hysomrwydd, hysomedd, somedigolrwydd; dichonolrwydd camsynied; anmherffeithrwydd, gwendid, pallder; ansicrwydd, annilysrwydd.

**Fallible,** *a.* (It. *fallibile;* o'r Ll. *fallo*) hyball, hyfeth, ffaeladwy, methadwy, hysom, hysiom, hydwyll, hyhud; agored i'w dwyllo; agored i fethu *neu* i gamsynied; somedigol; ffaeledig, methedig; palladwy, aballus; llyth; à eill gamsynied *neu* gamgymmeryd; à ddichon gamsynied *neu* gamgymmeryd; darostyngedig i gamsyniad *neu* gyfeiliornad.

**Falling,** *s.* (o *fall*) syrthiad, cwympad, cwympiad, syrthiant, disgyniad, codymiad; cwymp; dygwyddiad, cwyddiad.
Falling away, } Falling off, } syrthiad ymaith, syrthiad i ffwrdd, cwympiad ymaith; ymadawiad, gwrthgiliad, gwrthgwymp.
Falling down—syrthiad *neu* gwympad i lawr; llithrad, tramgwydd; cwymp hyd lawr; ymgrymiad; ymgreiniad.
A great falling down of earth—daiardor; cwymp mawr o ddaiar.
Falling in—syrthiad *neu* gwympad i mewn; pantiad, ceuad.
Falling out — cwympad allan; ymrafael, amrafael, ymryson, anghydfod, cynhen, annysgymmod, cyfrdan, ymgiprys.
Falling of waters—rhaiadr, dyfrgwymp, cwymp dyfroedd.

**Falling,** *p.* yn cwympo, yn syrthio, gàn syrthio, dàn syrthio, &c.; syrthiol, syrth, syrthiannus, disgynol, cwyddol; ar syrthio, ar gwympo, &c.
To keep from falling—cadw rhag syrthio; cadw yn ddigwymp.
Falling diverse ways, } Falling diversely, } amrygwydd, amrygwymp.

**Falling-moulds,** *s. pl.* syrthfoldiau, moldiau syrth.

**Falling-sickness,** *s.* masglwyf, haint dygwydd, clwyf dygwydd, llesmeirglwyf, haint Tegla, clwyf Tegla, y gloesion llewyg, y gloesion mawr, y gloesion bwrw, y clefyd bendigaid, gwialen Crist, dirloesion.

**Falling-star,** *s.* seren syrth, seren syrthiol, lluchseren : *pl.* lluchser.

**Falling-stone,** *s.* maen syrth, syrthfaen ; awyrfaen, goruchionfaen, llewyrnfaen.

**Falling-style,** *s.* syrthbost.

**Fallow,** *a.* (S. *falewe, falu, fealo ;* Is. *vaal ;* Al. *falb, fahl ;* Ll. *fulvus*) braenar, hyddliw, braenarliw, melyngoch, gwelwgoch, lledgoch, coch ; braenaraidd ; anhauedig ; anarddedig ; anniwylledig.

Fallow ground—tir braenar, braenardir, braenar, adwydd.

Break up your fallow ground—braenarwch i chwi fraenar.

Fallow field—cae braenar, maes braenar.

Fallow crop—cnwd braenar.

To lie fallow—gorwedd yn fraenar.

To lay fallow—troi yn fraenar ; rhoi i orwedd yn fraenar ; rhoi i orphwys yn fraenar.

Fallow land dunged by turning in cattle—braenardail, braendail.

**Fallow,** *s.* braenar, cynwydd, adwydd, tir braenar, braenardir ; tir newydd aredig.

Summer fallow—braenar haf.

Green fallow—braenar glas.

Second fallow—adfraenar.

To plough a fallow—braenaru.

To second plough a fallow—adfraenaru.

**Fallow,** *v. a.* braenaru ; tori yn fraenar ; tori braenar ; aredig.

**Fallow,†** *v. n.* edwi, gwywo, melynu.

**Fallow-deer,** *s.* hydd, danas, danys, llwdn hydd, bwch danas, bwch danys ; hyddes, gafr ddanas, gafr ddân, ewig lwyd : *pl.* hyddod, bychod danys, geifr danas, geifr danys.

**Fallow-finch,** } *s.* y gynffonwen, tinwyn y cer-
**Fallow-chat,** } yg, (*f.* tinwen y ceryg).

**Fallowing,** *s.* braenariad.

**Fallowist,** *s.* braenarwr, braenarydd.

**Fallowness,** *s.* braenaredd ; diffrwythder, anffrwythlondeb.

**Falsary,†** *s.* (Ll. *falsarius*) ffugiwr, camdystiwr.

**False,** *a.* (S.; Ll. *falsus ;* Gw. *falsa*) gau, geuol, geuog, ffals, anwir, anwireddus, celwyddog, nid gwir, cam, geuain, traws ; twyllodrus, hocedus, twyllog, twyllfawr ; anghywir, anghyfiawn, anffyddlawn, ffalst ; ffug-, ffugiedig, ffuannol, coeg, cyfrithiol, rhagrithiol, rhith- ; bradog, bradus, bradol, bradwraidd, bradychus, bradwrus, bredychus.

False prophet — gau broffwyd, proffwyd gau, geu-broffwyd.

False brother — geu-frawd, gau frawd, brawd gau : *pl.* geu-frodyr, gau frodyr, brodyr gau.

False children—geublant, plant gau, gau blant.

False father—geudad, gau dad, tad gau.

False god—geudduw, duw gau, gau dduw.

False report—chwedl anwir, ffugiol, *neu* gelwyddog ; geuchwedl, gau chwedl, ffugchwedl, celwydd ; hanes anwir *neu* anghywir ; coeg chwedl, coegchwedl.

False accusation—camgyhuddiad, camgyhudded, traws gyhudded, traws gyhuddiad, camachwyn, camachwyniad.

False judgment—camfarn, geufarn, camfrawd, methfrawd, barn anghywir.

False opinion—camdyb, geudyb, camdybiant, camdybiaeth, geufarn ; tyb amryfus *neu* gyfeiliornus.

False accent — camacen, camacan, camacen, acan anghywir.

False worship—gau addoliad, gau addoliant, geuaddoliad, geuaddoliaeth, addoliad gau, addoliant ffugiol.

False swearing — anudon ; anudoniaeth, anudonedd ; anudonair.

False oath—geulw, geudwng, anudon, anudonair, twng anudon, llw anudon ; haloglw.

False reasoning — geuddadl, coegddadl ; geuddadliad, gau ddadliad, gau resymiad.

False reason, } geubwyll, gau bwyll, rhes-
False sense, } wm gau.

False belief—geugred, camgred, geugrediniaeth, gaugrediniaeth, camgrediniaeth, camgoel, geuffydd, geulith.

False religion—gau grefydd, geugrefydd.

False appearance—geurith, lledrith, geuwedd, gau ymddangosiad, ymddangosiad gau, coeg ymddangosiad.

False glass—geuddrych ; drych anghywir, gau, *neu* dwyllodrus.

False measure—mesur anghywir, anghyfiawn, *neu* anghymhwys ; camfesur, mesur gau.

False rhyme—twyllodl, twyllawdl, geuodl, gau gyfodl.

False metre, } mydr anghywir, mydr
False verse, } anghysson, gwers anghywir, gwers anghysson, camfydr, mydr gwallus.

False orthography—camlythyriad, camlythyreg, camlythyraeth, camorgraff, camarddygraff, camlythyreniad.

False pretences—esgusodion ffugiol, gau, dychymygol, *neu* gelwyddog ; coeg esgusodion, ffug-esgusodion.

False balance—clorianau anghywir.

False witness—tyst gau, tyst celwyddog, tyst anghywir, gau dyst, geu-dyst ; gau dystiolaeth, camdystiolaeth, cam dystiolaeth.

Thou shalt not bear false witness—na chamdystiolaetha ; na ddwg gamdystiolaeth.

False imprisonment—camgarchariad, carchariad ar gam.

False knave—dyhiryn cyfrwysddrwg ; dyhiryn dichellgar.

False trick—hoced, dichell, chwired, cast bradwr.

False dealer—twyll-fasnachwr, hocedydd, hocedwr, twyllwr, somwr, bradwr, geuwr, twyll i'w gyfaill, twyll i'w gydymaith, dyn anffyddlawn, dyn bradwrus, dyn twyllodrus, dyn deuwynebog ; â chwareuo y ffon ddwybig ; â fedro chwareu y ffon ddwybig ; ffugiwr, ffuantwr ; masnachwr twyllodrus.

False fire—gwalldan.

False attic—coeg nenawr, coegloffft, ffugnenawr, ffuglofft.

**False** roof—coegnen, nenawr, croglofft, coeglofft.
**False** station—ffug-orsaf, gorsaf ffugiol; gorsaf na welir yn y cynllun (wrth gyfarchwylio).
**False** cadence — ffug-ddisgynsain, gau leddfeb, ffug-leddfeb.
**False** conception—pel y famog, llo lleuad; camdyb, &c.
**False** brome-grass—geuborwellt, geubawrwellt, gau borwellt.
**My** words shall not be false—nid celwydd fydd fy ymadroddion (*Iob* xxxvi. 4).
**False** to one's trust—bradog, bradwrus, bradwraidd, bradychus, bredychus, anghywir, anffyddlawn; anffyddlawn i'w ymddiried.
**False** dreams—breuddwydion ofer (*Sech.* x. 2).
**False** divination — dewiniaeth gwagedd (*Esec.* xxi. 23).
**False,** } **Falsely,** } *ad.* yn ffugiol, &c.; mewn modd gau; yn gyfeiliornus; mewn camsyniad.
**To** swear false, } **To** swear falsely, } tyngu anudon; geudyngu, gau dyngu.
**That** swear falsely, } **False** swearer, } anudonwr, geudyngwr, un geulw, un geudwng, anudonog.
**To** play false—bod yn fradwrus; chwareu y bradwr; ymddwyn yn fradus; tori ei air; tori ei addewid; camchwareu.
**To** deal falsely — gwneuthur ffalsedd; gwneuthur yn dwyllodrus, &c.; twyllo.
**To** accuse falsely—camgyhuddo, camachwyn ar; cyhuddo ar gam; beio ar.
False,† *v. a.* ffalsu, ffugio, geuo.
False-faced, *a.* rhagrithiol, lledrithiog, rhagrithiog, geurithiog, geuwynebog, geuweddog, ffugiol.
Falsehearted, } Falseheart, } *a.* twyllodrus ei galon; twyllgalon; rhagrithiol; dichellgar, ystrywgar, hocedus; anffyddlawn; anghywir; bradwrus, bradog, bradwraidd; coeg, gwag.
Falseheartedness, *s.* twyll-galonedd; rhagrith, rhagrithioldeb; anffyddlondeb, anghywirdeb; ffalsedd; bradwriaeth, bradwch, bradoldeb; brad.
Falsehood, *s.* (*false* a *hood*) geudeb, ffalsedd, geuedd, anwiredd, anwirionedd, gau, anwir, celwydd, ffug, ffalsder, twyll, twyllofaint, twyllodrusedd, geuogrwydd, geuoldeb; ffugiant, geurith, geuwedd, hudwaith; brad, bradwriaeth, anffyddlondeb, anghywirdeb; camwedd.
**That** speaks falsehood—geirffug, minffug, celwyddog, geu-lafar; à draetho ffalsedd.
**Full** of falsehood—geuog, ffugiog, geuain; llawn anwiredd a chelwydd; llawn dichell a thwyll; ffuglawn, dichellgar, twyllfawr, twyllodrus, hocedus, cyfrwysddrwg.
**Words** of falsehood—geiriau gau, gau eiriau, geiriau ffug, geiriau ffalsedd.
**Thou** tellest a great falsehood — dywedi gelwydd yn dy ddannedd.
**Their** deceit is falsehood—twyllodrus yw eu dichell hwynt (*Salm* cxix. 118).
Falseness, *s.* geuogrwydd, geuoldeb, ffugioldeb, anwiredd, anwirionedd, geudeb, geuedd, ffalsedd, ffalsder, celwydd; anffyddlondeb, anffyddlonder, anghywirdeb; bradwriaeth, brad, bradwch, bradusrwydd; twyllodrusedd, hocedusrwydd, deuwynebrwydd, deuwynebedd, anonestrwydd, twyll, hoced.
Falser, *s.* twyllwr, twyllydd, geuwr, geuadur, twyllawdr, twyllodur, twyllor, hocedydd, ffugiwr.
Falsetto, *s.* (It.) ffuglais.
Falsifiable, *a.* (o *falsify*) ffugiadwy, ffalsadwy; à ellir ei ffugio, &c.; à ellir ei ffugio yn ddichellgar; à ellir ei lygru drwy gymmysgu a chyfnewid; gwrthbrofadwy, disbrofadwy; à ellir ei brofi yn gelwydd.
Falsification, *s.* (Ff. o *falsifier*) ffugiad, ffalsiad, ffugiant, geuawd, llygriad; gosodiad y naill beth yn ddichellgar yn lle y llall; gwrthbrofiad, disbrofiad, dadbrofiad; profiad yn gelwydd; anwiriad.
Falsificator, } Falsifier, } *s.* ffugiwr, ffuantwr; llygrwr, llygrydd, diwynwr; gau gymmysgwr; geufathwr; geueiriwr, geuodwr, celwyddwr, celwyddog, dyfeisiwr celwydd; gwrthbrofwr, disbrofwr, dadbrofwr; à lygro *neu* à wyro y gwirionedd.
Falsify, *v.* (Ff. *falsifier;* o *false*) ffugio, ffalsu, ffuantu, ffuannu, lledrithio, anwirio, anghywiro, geuo; dynwared, rhithio, geurithio; celwyddu, celwyddo, dywedyd celwydd; geufathu; llygru; dynwared er twyllo; dodi, gosod, *neu* roddi geubeth yn lle y gwirbeth; rhoddi y gau yn lle y gwir; gosod peth ffugiol yn lle yr iawn beth; llygru drwy gymmysg; gwrthbrofi, disbrofi, dadbrofi, dibrofi; profi *neu* wneuthur yn gelwydd; gwyro barn, daliad, amcan, meddwl, *neu* ystyr; gwyrdröi, gau gyweirio; gwyraw oddi wrth y gwirionedd; anghyfiawnu; tori.
To falsify one's word—tori ei air; tori ei addewid; gwyraw oddi wrth ei air; gwyraw oddi wrth ei addewid; bod yn waeth na'i air.
To falsify a report—profi chwedl yn gelwyddog *neu* yn gelwydd; gwneuthur chwedl yn gelwydd *neu* yn gelwyddog; ffalsu, gwrthbrofi, disbrofi, *neu* ddadbrofi chwedl.
To falsify a trust—bod yn anffyddlawn *neu* fradwrus yn yr hyn a roddwyd i un dàn ymddiried; tori *neu* fradychu ymddiried; bod yn euog o dwyll drwy ymddiried.
To falsify coin—geufathu, gau fathu, bathu arian drwg, ffugio arian bath.
Falsity, *s.* (Ll. *falsitas*) ffalsedd, geudeb, geuedd, gau, anwiredd, anwirionedd, celwydd, ffug, ffalsder, geuogrwydd, geuoldeb, geuawd.
Falter, *v. n.* (Ysp. *faltar*) bod âg attal dywedyd arno; dywedyd âg attal arno; bod â bloesgni arno; bod âg attal arno; cecian, ffeigebu; petruso; dywedyd yn afrugl ac anhyfedr; tramgwyddo wrth ddywedyd; attal dywedyd; bloesgi; yrthio; methu, aflwyddo, pallu, ffaelu; dyrysu yn ei chwedl; dyrysu yn ei ateb; ymwrthddywedyd; telgyngu; tori.
He falters in his speech—y mae attal dywedyd arno; y mae ffeigeb arno; y mae yn cecian; mae efe yn siarad yn yrth.
To falter in one's legs—telgyngu; tramgwyddo wrth gerdded; honcian, honcio, honco, hwntian, tripio; bod â'i liniau

yn pallu; bod â'i liniau yn plygu dano; bod â'i liniau yn curo yn nghyd.

To falter in one's design—methu cael ei amcan; methu cyrhaedd ei amcan; methu *neu* ffaelu ar y ffordd.

To falter (as threshers)—coeg ddyrnu; taro coeg ergydion.

**Falter,**† *v. a.* gogryn, gogrynu, gwegrynu, nithio.

**Faltering,** *s.* gwendid, llesgedd, eiddilwch, eiddiledd; attal dywedyd, rhwystr tafod, ceciad, ffeigebiad, diffyg; bloesgni, bloesgi, yrthwch.

**Faltering,** *p.* yn tramgwyddo yn ei eiriau; gàn *neu* dàn dramgwyddo yn ei eiriau; yn tramgwyddo yn ei gerddediad; dàn *neu* gàn dramgwyddo yn ei gerdded; tramgwyddus, ffeigebus, petrusog; afrugl, afrwydd.

**Falteringly,** *ad.* tàn attal wrth ddywedyd; âg attal dywedyd arno; dàn gecian; dàn delgyngu; dàn dramgwyddo; yn afrugl, yn afrwydd; gydag anhawsder *neu* wendid.

**Fama Clamosa,** *s.* (Ll.) gwarthrudd cyhoedd, anghlod cyhoeddus; chwedl rugl, son rhugl; y chwedl ar led.

**Famble,**† *v. n.* (D. *famler*) cecian, ffeigebu; bod âg attal dywedyd arno.

**Fame,** *s.* (Ff.; Ll., Ysp., ac It. *fama*; Gr. *phama, phêmê*) son, y son, gair, y gair, chwedl, y chwedl; clod, gair da, geirda, bri, enw, parch, enwogrwydd, son mawr, gair mawr, enw mawr; mawrson, molawd, clodforedd, mawl, anrhydedd, clodiaeth, urddas, urdduniant, cymmeriad, cymmyredd, cymmyred, arglod; y son am un; y gair am un; newydd.

Good fame—gair da, enw da, geirda, son da; clod, moliant, mawl, bri, parch, cymmeriad; gair mawr.

Of good fame—â gair da iddo; â gair mawr iddo; âg enw mawr iddo; â son da am dano; â chlod iddo; clodfawr.

Ill fame—gair drwg, anair, drygair, enw drwg, son drwg, anghlod, achlod, anfri, gair bach.

Of ill fame—â gair drwg iddo; âg enw drwg iddo; âg anair *neu* ddrygair iddo; â son drwg am dano; â son cas am dano.

A house of ill fame—ty drwg.

Of no great fame—heb fawr son am dano; heb nemawr o son am dano.

Winged fame—son adeiniog.

Worthy of fame—gwiwglod, clodwiw, haeddglod; teilwng o glod.

Universal fame—clod cyffredinol, llwyrglod.

Fame and honour—clod ac anrhydedd, clod ac edmyg, clod a bri.

To seek after fame—clodymgeisio, clodymgais, clodgeisio; ymgeisio â chlod; ymgais â chlod; ceisio *neu* argeisio clod; chwilio *neu* ymofyn am glod.

Fame-seeking—clodgeisiol, clodymgais, clodymgeisiol; clodgar, clodgyrch, ceisglod; yn ceisio clod; yn ymgais am glod.

Ambitious after fame—clodymgais, clodgeisiol, clodymgeisiol; awyddus am glod.

Monuments of fame—argofion clod, cofarwyddion clod, cofadeiliau enwogrwydd.

A person of literary fame—gwr hynod am ddysg a gwybodaeth; dyn â gair mawr iddo am ddysg a gwybodaeth; gwr âg iddo enw mawr mewn llenoriaeth; gwr mawr ei glod llenorol; un mawr ei glod llenyddol; gwr enwog yn y byd dysgedig.

Fame outlives wealth—hwy clod no golud; hwy pery clod no golud.

His fame shall never die, His fame shall live for ever, } ei glod a bery byth; ei enw a bery byth; bydd son am dano tra byddo byd yn fyd; bydd son am dano tra byddo y byd yn bod.

I will get them praise and fame—mi a'u gosodaf yn glodfawr ac yn enwog (*Seph.* iii. 19).

They spread abroad his fame in all that country—hwy a'i clodforasant ef trwy yr holl wlad hòno (*Mat.* ix. 31).

**Fame,** *v. a.* gwneuthur yn glodfawr; clodfori, enwogi, brio; rhoi gair da i; adrodd, mynegu; traethu chwedl; rhoi y son allan.

**Famed,** *a.* enwog, clodfawr, hyglod, clodforus, clodlawn, clodfan, clodforeddus, clodforedig, clodleu; clodwiw, gwiwglod; â son mawr am dano; â gair mawr iddo; â gair da iddo; âg enw mawr iddo; mawr ei glod; dathl, dathledig, hyson, hynod.

Far-famed—clodbell, pellglod; pell ei glod; â son am dano yn mhell ac yn agos; â'i glod drwy y gwledydd; helaeth ei glod; hyglod, clodfawr.

**Fame-giving,** *a.* clodrodd, clodroddus, clodrydd, clodroddawg; yn rhoddi clod.

**Fameless,** *a.* diglod, anhyglod, anghlodfawr, heb glod.

**Familiar,** *a.* (Ll. *familiaris*; Ff. *familier*) teuluaidd, teuluol; cartrefol, cartrefaidd; cyfeillaidd, cyfeillgar, cyfeilliol; cyfrinachol, cydnabyddus; cynnefin, cynnefinol, arferol, arferedig, cydnabodus, adnabodus, adnabyddus, cyffredin, rhugl, sathredig; hysbys i bawb; y sydd yn ngenau pawb; o'r un ty a'r un tylwyth; cyttyol, cyttyaidd, cytteuluol, cytteuluaidd; cyfnesafol, cydymeithiol, cyfathrachol; caruaidd, caredig, hynaws; rhydd ei ymddygiad at un megys pe bai o'r un teulu; rhydd, diddefod, rhwydd, hawdd; dirwystr, annyrys, ymadrodd-fwyn, geirfwyn, geirdeg; mwyn ei ymadrodd; hawdd ymddyddau âg ef; diaddurn, anhhlws; amlwg, eglur; hawdd ei ddeall; hawdd i'w ddeall; hyddeall; mynych, aml; hy, hyf; rhy gyfeillgar, rhy gynnefin.

Familiar spirit—ysbryd dewiniaeth; angel coelgrefydd; elfod cyfeillgar, cyfrinfall.

Familiar spirits—duwiau y teulu, tydduwiau, teuludduwiau; ysbrydion dewiniaeth.

That have familiar spirits, That deal with familiar spirits, That consult with familiar spirits, } dewiniaid, swynyddion, swynwyr, consurwyr, chwiliogion: *sing.* dewin, &c.: *f.* dewines, chwilioges.

Familiar friend—cyfaill, cydgyfaill, cyfeillfrawd, câr, carwr, cydgar, cyfaill monwesol, cyfathrachwr, cydnabod, cyfaill cyfrinachol.

To be familiar with—bod yn gyfeillgar â *neu* âg; bod mewn cyfeillgarwch â *neu* âg; bod mewn cyfeillach â *neu* âg; ymgyfeillachu â *neu* âg; ymgyfeillio â *neu*

**Fastigium**, *s.* (Ll.) trum, crib, cop, copa, cob, cwnwg, blaen, dyflaen, top, cribyn, cefnen.

**Fasting**, *s.* (o *fast*) ymprydiad; ympryd, cythlwng, dirwest.
  Fasting-day—dydd ympryd, gŵyl ympryd.

**Fasting**, *p.* yn ymprydio; ymprydiol; ar gythlwng, dàn ymprydio; heb fwyd.

**Fastness**, *s.* (o *fast;* S. *fæstenesse*) sadrwydd, sicrwydd, sicrhâwch, sedrwydd, syfnedd, diogelwch, diogelrwydd, diysgogrwydd, disiglrwydd, sefydlogrwydd, sicrhad; cadernid, amddiffynfa, ymddiffynfa, caerfa, caer, cadarnle, cadarnfa, cadarnfan, diogelfa, noddfa, castell, lle cadarn, lle anhygyrch, cilfa, llechfa; † tynder, tyndra.

**Fastuous**, *a.* (Ll. *fastuosus*) trahâus, balch, cymhenfalch, ffroenuchel, sarhâus, diystyrllyd, dirmygol, tremygol, ysgornllyd.

**Fat**, *a.* (S. *fæt, fett;* Al. *fett*) tew, bras; pwyntus, cnodig; da ei wedd; tirf; cyfoethog, toreithiog; ffrwythlawn; ireidlyd, seimlyd, blonegog, mehinog, mehinawr; gwerog; cestog, corffog, rhemmythog; pesgedig, pasgedig, pesg; tewfag.
  Fat wether—mollt bras, myharan tew.
  Fat meat—cig bras, cig tew, cig gwŷn.
  As fat as a pig — cyn dewed a phasghwch; càn dewed a mochyn; mor dew a thwrch.
  Fat benefice—bywoliaeth fras, gyfoethog, *neu* doreithiog.
  Fat pastures—porfëydd breision: *sing.* porfa fras.
  Fat soil—tir bras, tir ffrwythlawn, gweryd brwys.
  Fat beasts—pasgedigion; anifeiliaid tewion *neu* freision.
  To make fat—pesgu, tewhau, tewychu, brashau, pwyntio; gwneuthur yn dew, &c.
  To grow fat — tewhau, brashau, pesgu, pwyntio, tewychu; tirfhau; myned yn fras; myned yn dew; myned yn dda ei ddiwyg; cymmeryd ei faeth yn dda; myned yn fag tew.
  Fat paunches make lean pates—boly mawr a bair synwyr bychan.
  He is fat-fed—mae e'n fag tew.
  Tendency to become fat—pasgnawd.

**Fat**, *s.* brasder, blawn; tewder, tewedd; bloneg, mehin; gwer; cig bras, cig gwŷn; tawdd, (*pl.* toddion).
  Ox fat—brasder eidion; gwer.
  Sheep's fat, / Mutton suet, } gwer manllwyn, gwer defaid; brasder defaid.
  Hog's lard — bloneg, bloneg mochyn; mehin.
  Fat of birds—brasder adar, bloneg adar.
  Human fat—bloneg dyn, bloneg dynol.
  Leaf of fat—blonegen, mehinen, blonegyn.
  Fat in trees—bloneg pren, gwyning.
  Fat of a pot—brasder crochan.
  The fat of the belly—y weren fol, gweren y bol, gweren y boly, y weren.
  Fat that drops from meat in roasting—tawdd; saim, iraid: *pl.* toddion, cigferion.
  Abounding with fat—brasderog; blonegog, mehinog, mehinawr; llawn brasder, llawn mehin, llawn bloneg; gwerog.

**Fat**, *v.* tewhau, tewychu, pesgu, pwyntio, brashau; gwneuthur yn dew, &c.; myned yn dew, &c.; myned yn dda ei ddiwyg; cymmeryd ei faeth yn dda; myned yn fag tew; ymbesgu, ymdewychu.

**Fat**, / **Vat**, } *s.* (S. *fæt, fat, fet;* Is. *vat*) cerwyn, twnel; llachdwm; gwasggafn, brecigafn, cafn breci; crynog; llad.
  The fats shall overflow with wine and oil—y gwin newydd a'r olew a â dros y llestri (*Joel* ii. 24).

**Fatal**, *a.* (Ll. *fatalis*) angeuol, marwol, dinystriol, dinystrol, adwythig, niweidiol; tyngedfenol, tyngedol, tyngedfenus, tyngedfenol; yn dyfod o dyngedfen; yn deilliaw o dyngedfen; angenrhaid, anochel, anocheladwy; angenrheidiol, rheidiol, anesgorol, dir; trychinebus, echryslawn, enbyd, peryglus; drygdyngedol, drygddamweiniol; à baro angeu, dystryw, *neu* adwyth.

**Fatalism**, *s.* (o *fatal*) tyngedfenaeth, tyngedyddiaeth, tyngedfenyddiaeth, daliad tyngedfenol; daliad rhan=barn neu athrawiaeth y rhai a ddaliant fod damweiniau bywyd yn hollol dàn lywodraeth tyngedfen; daliad bod rhaid i bob peth fod megys ag y mae, yn gystal y drwg a'r da.

**Fatalist**, *s.* tyngedfenydd, tyngedfenwr; tynged-goeliwr, tynged-gredydd, coelgredydd, coelgrediniwr; un à gred mewn tyngedfen anochel.

**Fatality**, *s.* (Ff. *fatalité*, o *fate*) tyngedfenoldeb, tyngedfenolrwydd, tyngedolrwydd, tyngedoldeb, tyngedfenusrwydd; anochelrwydd, anocheledd, angenrheidrwydd, rheidrwydd, angenrheidrwydd anorfod, tuedd anorfod; angeuoldeb; angeuolrwydd, marwoldeb, marwolrwydd, dinystrolrwydd, adwythigrwydd, peryglusrwydd; tyngedraith; arfaeth tynged; dryglam, drygdynged, anffawd, anffawd, aflwydd, trychineb, drwg ddamwain; rhagluniaeth.

**Fatally**, *ad.* yn angeuol, &c.; yn angenrhaid, anochel; yn dyfod o dyngedfen; yn ol arfaeth tyngedfen; mewn angeu.

**Fatalness**, *s.* angenrheidrwydd anochel, rheidrwydd anorfod, tyngedfenoldeb, tyngedfenolrwydd.

**Fat-brained**, *a.* pendew, penbwl, penbylaidd, synwyrbwl, penwan, penblydd.

**Fate**, *s.* (Ll. *fatum*) tynged, tyngedfen, tesni, coelcwydd, cyraith, dyrraith, rhaid, gorddedn, angenrheidrwydd ffawd; anorfod, rhan, marwolaeth, angeu, tranc, trancedigaeth, dystryw, dinystr, adwyth, drwg ddamwain, aflwydd, anffawd, dryglam; rhagluniaeth.
  The Fates—y Tyngedion, y Tyngedesau, y Tyngedfenau=y tair chwaer, Clotho, Lachesis, ac Atropos, merched Nos ac Ebred, à reolent dyngedfen dyn, fel y tybiai yr hen Genedloedd ofergoelus gynt.
  Divine fate—tynged ddwyfol, rhagluniaeth Duw, arfaeth Duw, arfaeth ddwyfol.
  Of the same fate—undynged, undyngedfen; o'r un dynged.

**Fated**, *a.* arfaethedig, amcanedig, tyngedog, tyngedfenog, tyngedfenedig, gordden, cyreithiog, dyrreithiog; à luniaethwyd gàn dynged; à ddel i ben yn ol tynged *neu* arfaeth.
  Ill-fated—anffodiog, anffodus, aflwyddiannus, trwstan, trwch, annedwydd, trychinebus, anhyffawd, anhapus.

**Fateful,** *a.* tyngedlawn, arfaethlawn, tyngedfawr, cyreithlawn, dyrreithlawn; angeuol, marwol; â bair effeithiau marwol.

**Fatefulness,** *s.* tyngedlondeb, tyngedlonedd, arfaethlondeb, tyngedforedd, cyreithlondeb, dyrreithlondeb, angeuoldeb, tyngedlonrwydd.

**Father,** *s.* (S. *fæder, feder;* Al. *vater;* Is. *vader;* Sw. a D. *fader;* Gr. *patêr;* Ll. *pater;* Ysp. ac It. *padre*) tad; tadws.
- Father in law—chwegrwn, tad yn nghyfraith.
- Step-father—llysdad, tad gwŷn.
- Foster-father — tad maeth, tadmaeth, maethdad, maethiedydd.
- Grand-father—taid, hendad, tad cu.
- Great grand-father—hendaid, gorhendad, hendad cu, hen dad cu.
- Great great grand-father — gorhendaid, tad yr hendaid.
- Fore-father — cyndad, hendad, taid, hendaid, hynaif, hynaf, hynafiad: *pl.* cyndadau, tadau, teidiau, hendadau, hendeidiau, hen deidiau, hynafiaid, rhieni.
- God-father—tad bedydd, alltraw, alltad.
- Chief father—ucheldad, trawdad, pentad.
- Father of a family—pen teulu, penteulu.
- Father's family, side, connexion, *or* kindred—tadwys, cenedl y tad, tylwyth y tad.
- Fathers of the church—tad yr eglwys.
- Apostolic fathers — y tadau apostolig, y tadau apostolaidd = Clement o Rufain, Barnabas, Hermas, Ignatius, a Polycarp.
- Primitive fathers—y prif dadau, y tadau cyntefig, tadau y brif eglwys, tadau y gynfam eglwys=tadau y tri chanrif cyntaf.
- Adoptive father—tad mabwysol, tad mabwysiadol.
- Natural father—tad gordderch.
- Putative father—tad cysswyn, tad cyfrifedig, tad tybiedig, tad tybiedigol, tad tybygedigol, tad cyfrifedigol.
- To be like one's father—tebygu i'w dad; bod fel ei dad; bod yn wir fab ei dad.
- Thou art thy father's own son—gwir fab dy dad ydwyt; mab dy dad yn llwyr ydwyt.
- Like father, like son—mâl y bo y dyn y bydd ei lwdn.

**Father,** *v. a.* tadu, tadogi; mabwyso, mabwysio, mabwysiadu; arddelw, arddelwi, arddel, cymmeryd arno, cymmeryd yn eiddo; rhoi hawl ar; ymarddelw o beth.
- To father on *or* upon one—tadu, tadogi, bwrw, gosod, rhoddi, *neu* dadlu ar un; cyfrif i un; rhoi i un.

**Fatherhood,** *s.* tadogaeth, tadoliaeth, tadaeth, tadoldeb, tadusrwydd, tadusedd.

**Fatherland,** *s.* gwlad tadau un; gwlad genedigaeth un; gwlad enedigol un; tattir, tadwlad, teidwlad; gwlad enedigol tadau *neu* hynafiaid un.
- My fatherland — gwlad fy nhadau; fy nhattir.
- My mother-tongue and fatherland—iaith fy mam a gwlad fy nhadau; fy mamiaith a'm tattir.

**Fatherlasher,** *s.* (*father* a *lasher*) tadlachior, tadlachiwr=math o bysg.

**Fatherless,** *a.* amddifad o dad, ymddifad o dad, didad; amddifad, ymddifad.



**Fatherlessness,** *s.* amddifadrwydd o dad, didadrwydd; amddifadrwydd, ymddifadrwydd, amddifedi, ymddifedi.

**Fatherliness,** *s.* tadoldeb, tadolrwydd, tadusrwydd, tadusedd, tadeiddrwydd, tadusder.

**Fatherly,** *a.* (*father* a *like*) tadol, tadaidd, tadus, tadolaidd, tadogaidd, tadwy; fel tad; tebyg i dad; gofalus, tyner.

**Fatherly,** *ad.* yn dadol, yn dadaidd, &c.; fel tad, megys tad.

**Fathership,** *s.* tadaeth, tadoliaeth, tadogaeth, tadoldeb, tadwys.

**Fathom,** *s.* (S. *fæthem;* Is. *vadem;* Al. *faden*) gwrhyd, chwech troedfedd, dwylath; cyrhaedd, cyrhaeddyd, amgyrhaedd, traidd, treiddiad, dyfnder, amgyffred.

**Fathom,** *v. a.* gwrhydu, gwrhydio; amgyrhaedd, amgyrhaeddyd, cyrhaedd; amgylchu â breichiau estynedig; plymio; plymio *neu* fesur dyfnder; profi dyfnder; mesur â gwrhyd; treiddio i; treiddio i mewn i; chwilio allan; cael allan wrth chwilio; cael gwaelod; cyrhaedd y gwaelod; deall, dirnad, dirnadu, amgyffred, treiddio; meistroli; beisio, gwaelodi.

**Fathomer,** *s.* gwrhydwr; plymiwr; treiddiwr, dirnadwr; amgyrhaeddwr.

**Fathomless,** *a.* diwaelod, heb waelod; anoddyn; annhlymiadwy; anamgyffred, anghyrhaedd, anorddiwes, anoddiwes; anhydraidd, annirnadwy, anghyffred, anghyffredol, anghyffredadwy, annhreiddiadwy; dwfn.

**Fatidical,** *a.* (Ll. *fatidicus*) proffwydol, rhagfynegol, daroganol, dewinol; â ddewino *neu* â ddangoso bethau i ddyfod; tyngedfynegol.

**Fatiferous,** *a.* (Ll. *fatifer*) angeuol, marwol, dinystriol; â ddyco angeu *neu* ddystryw.

**Fatigable,** *a.* (Ll. *fatigo*) blinadwy, hyflin, lluddedadwy; hawdd ei flino; â ellir ei luddedu.

**Fatigate,** *v. a.* (Ll. *fatigo*) blino, lluddedu, lluddedigo, diffygio; gwneuthur yn flin *neu* yn lluddedig; peri lludded, blinedd, *neu* flinder ar; llesghau.

**Fatigate,** *a.* (Ll. *fatigatus*) blin, lluddedig, blinedig, blinderus, wedi blino, llyferthin, llyferthus, llyferthog, merthedig.

**Fatigue,** *s.* (Ff. o'r Ll. *fatigo*) lludded, blinder, blinedd, llyferth, llyferthedd, llyferthrwydd, llyferthusrwydd, llyferthineb, llyferthiant, llesgedd, lluddedigaeth, lluddedigrwydd; llafur, trafferth.

**Fatigue,** *v. a.* blino, lluddedu, lluddedigo, diffygio; peri blinedd, blinder, *neu* lludded ar; gwneuthur yn flin *neu* yn lluddedig; llyferthu, llyferthuso, merthu; gwneuthur yn llyferthin, yn llyferthus, *neu* yn llyferthog; llesghau; trallodi.
- Over-fatigued — gorflinedig, gorflin, gorluddedig, tralluddedig, trablin.

**Fatiloloquist,** *s.* (Ll. *fatum* a *loquor*) darllenwr tesni, darllenydd tesni, tesniwr, daroganwr, brudiwr, dewin, chwiliog, tyngedfynegwr; â ddewino *neu* â ddywedo dyngedfen.

**Fatiscence,** *s.* (Ll. *fatisco*) ymagoriad, ymegoriad, egoriad, agoriad, agorad, ageniad, gageniad, agendod, agenogrwydd; ag.

**Fatkidneyed,** *a.* (*fat* a *kidney*) arendew, arenfras; tew, bras, blonegog, cestog.

**Fatling,** *s.* (o *fat*) llwdn pasgedig, llwdn pesgedig, anifail bras, anifel tew: *pl.* pasgedigion, pesgedigion.

**Fatner,** } *s.* (o *fatten*) tewychydd, tewychwr,
**Fattener,** } tewhäwr, brashäwr, pasgiadur, pasgadur, pesgydd, pesgwr; ffrwythlonydd.
**Fatness,** *s.* brasder, tewder, tewdra, tewedd, tewychedd, tewdwr; cnodigrwydd; ffrwythlondeb.
**Fatted,** *p. p.* pasgedig, pesgedig; à besgwyd; wedi ei besgu; à dewhäwyd; tew, bras, cnodig; tewfag, magod, pasg-.
Fatted beasts — pasgedigion, pesgedigion, anifeiliaid breision, llydnod tew.
Fatted calf—llo pasgedig.
Fatted hog, } pasglwch, mochyn pasg-
Fatted swine, } edig, mochyn tew.
Fatted pig—pasgdwrch, pasgfochyn, mochyn tew, mochyn pasgedig.
Fatted kid—myn pasgedig, myn tew, myn magod.
Fatted lamb—pasgoen, pesgoen, oen pasgedig, oen pesgedig, oen tew.
Fatted ox—ych pasgedig.
**Fatten,** *v.* (o *fat*) tewhau, tewychu, pesgu, pwyntio, brashau; gwneuthur yn dew *neu* fras; myned yn dew *neu* fras; ymbesgu, ymdewychu; myned yn dda ei ddiwyg; cymmeryd ei faeth yn dda; myned yn fag tew; cyfoethi, ffrwythloni; llenwi, llanw.
To put up to fatten—rhoi yn mhasg; rhoi yn y ffronc.
To be fattening—bod yn mhasg; bod yn tewhau; bod yn pesgu; bod yn y ffronc.
Fattening place—pasgle, pasgfa, pasgell, ffronc, lle i besgu, lle pesgus.
**Fattener,** } *s.*= { *Fatner.*
**Fatner,** } { *Fattener.*
**Fattening,** *s.* (o *fatten*) tewhad, tewychiad, pesgiad, pasgiad, pwyntiad, pasg.
**Fattiness,** *s.* (o *fatty*) tewder, tewdra, tewedd, brasder, brasedd, teweiddrwydd, braseiddrwydd, ireidlydrwydd, seimlydrwydd, bloneggogrwydd.
**Fattish,** *a.* (o *fat*) brasaidd, tewaidd, ireidlyd, seimlyd, bloneggaidd, blonaidd, gofras, lledfras.
**Fatty,** *a.* (o *fat*) bras, tew, brasaidd, tewaidd, ireidlyd, seimlyd, blonaidd, blonegog, blonegaidd.
**Fatuity,** *s.* (Ll. *fatuitas;* Ff. *fatuité*) ynfydrwydd, ffolineb, ffoledd, anghallineb, penwendid, gwendid synwyr, hurtrwydd, hurtedd, penbyledd, pendewedd, penfasder, penfasedd, cuallдra, delffeiddrwydd.
**Fatuous,** *a.* (Ll. *fatuus*) penwan, pendew, synwyrbwl, disynwyr, penbwl, penbylaidd, penfas, penfeddal, penffol, cuall, penblydd, lledfeddod, hurt, syn, syfrdan, dwl, (*f.* dòl), hurth, pensyfrdan, ffol, anghall, annoeth, ynfyd, delffaidd.
**Fatwitted,** *a.* pendew, penbwl, penbylaidd, penfeddal, penwan, synwyrbwl, disynwyr; hwyrdrwm, trymhyrddig, trwm.
**Faucet,** *s.* (Ff. *fausset*) dwsel, twsel.
A small faucet — twselig, dwselig, twsel bychan.
Tap and faucet—ysbigod a dwsel.
**Fauchion,** *s.*=*Falchion.*
**Faufel,** *s.* (San.) ffrwyth math o balmwydd.
**Faugh,** *in.* pw! twt! wfft! ffei! hach! och!
**Faulcon,** *s.*=*Falcon.*
**Fault,** *s.* (Ff. *faute;* Ysp. *falta*) bai; trosedd, camwedd, cam, argywedd, cwl, cwyl, nam, anaf, ffael, efrad, caredd, camweithred; gwall, amryfusedd, camsyniad, cyfeiliornad; pechod; toriad; dyryswch; dislead gwanaf *neu* haen.
To commit a fault—gwneuthur bai; gwneuthur ar fai; troseddu, pechu; bod yn euog o fai; gwneuthur ar gam; gwneuthur gwall.
To find fault—beio, achwyn, cwyno, bwrw bai.
To find fault with—beio, beio ar; bwrw bai ar; achwyn ar.
To be at fault (in hunting)—colli y ffwyl; bod wedi colli y ffwyl; cam-olrhain; camddylyn yr ol; colli yr ol; crwydraw oddi ar yr ol.
Without fault—difai, difeius; heb fai arno; dinam, dïanaf.
Full of faults — llawn beiau; llawn o feiau; beiog.
I find in him no fault at all—nid wyf fi yn cael dim bai arno; nid wyf fi yn cael dim achos ynddo ef; gwr digaredd yr wyf fi yn ei gael ef.
A great fault—bai mawr, mawr wall, mawrwall.
**Fault,**† *v. n.* methu, ffaelu; bod ar fai.
**Fault,** *v. a.* cyhuddaw o fai; cyhuddo, achwyn ar, cwyno ar; beio ar, bwrw bai ar.
**Faulter,** *s.* troseddwr, camweddwr; gwneuthurwr ar fai; un beius.
**Faulter,** *v. n.*=*Falter.*
**Fault-finder,** *s.* beiadur, beiedydd, beiadur, chwiliwr beiau.
**Faultful,** *a.* llawn beiau; llawn o feiau; pechodlawn.
**Faultily,** *ad.* yn feius, &c.; ar fai, ar gam; yn anaddas.
**Faultiness,** *s.* beiusrwydd, beiusder, beioldeb, cylusrwydd; drygedd, caredd, drygioni, dryganian; diffyg, gwall, nam; gwydusrwydd, cwliogaeth, camweddogrwydd, troseddoldeb; trosedd.
**Faultless,** *a.* difai, difeius, digwl, digaredd, dinam, dïanaf, dïargyhoedd, dïeuog, anhygwl, gwirion, addwyn, diwyg, diddrwg, addien, dïen, diwall, perffaith, diddiffyg; glân oddi wrth bechod.
**Faultlessness,** *s.* difeiusrwydd, difeiusder, digylusrwydd.
**Faulty,** *a.* beius, cylus, ar fai, ar y bai, camgylus, gwallus, gwallog, diffygiol, hygwl, cwliog, gwydus; euog o fai; amryfus, cyfeiliornus; anmherffaith; â diffyg ynddo; â meth ynddo; anafus; i'w feio; à bai arno; o le, allan o le; drwg; cam; ceryddus, camweddog, camweddus.
**Faun,** } *s.* (Ll. *faunus*) Gwyddan, Eleinon,
**Faunus,** } Gwyddelon, Coedior: *pl. t.* Eleinod =duw y coedydd, yn mhlith yr hen Rufeiniaid.
**Fauna,** *s.* (o *faun*) milodas=holl filod rhyw wlad neu ardal neilltuol.
British Fauna—Milodas Brydeinig, Milodas Prydain; holl filod Prydain.
**Faunist,** *s.* anianydd, hanesydd anianyddol, milodaswr.
**Faunic,** *a.* (o *faun*) gwyddanig, eleinig; gwladaidd, gwyllt, iang.
**Fausen,** *s.* (?) math o lyswen fawr.
**Faussebraye,** } *s.* (Ff.) ffalsfre, geufre, ysgor-
**Faussebraie,** } fre.
**Fautor,** *s.* (Ll.) noddwr, modur, achleswr,

achlesydd, cefnogwr, pleidiwr, gwyllysiwr da.

**Fautress**, *s.* noddes, modures, noddwraig, cefnoges, pleides, pleidwraig.

**Faux**, *pl.* Fauces, *s.* (Ll.) llwnc, llyncfa, ceg, cegfa.

**Favillous**, *a.* (Ll. *favilla*) lludŵaidd, lludwaidd, lludwol, lludŵol, lludlyd; tebyg i ludw.

**Favose**, *a.* (Ll. *favosus*) crwybraidd, cwybraidd, melgornaidd, melgellaidd; tebyg i grwybr; tebyg i ddil mêl.

**Favosites**, *s. pl.* (Ll. *favus*) crwybrolion, cwybrolion=math o lysfilod cloddilig, cyffredin yn haenau Gwentaidd Norwy a Chymru.

**Favour,** } *s.* (Ll. *favor;* Ff. *faveur;* Gw.
**Favor,** } *fabhar*) hoffedd, hoffder, caredigrwydd, llad, mwynas, ffafr, ewyllys da, gwyllys da, madwyllys, tuedd, serch, cariad, hawddgarwch, addfwynder, trugaredd, daioni, tiriondeb, hynawsedd, rhad, mad, rhadferthwch, rhadforedd, rhadlonedd, rhadlonrwydd, bodd, boddlonrwydd, cymmwynas, tro da, twrn da, ced, madober; nawdd, nodded, ymgeledd, amgeledd, amddiffyn; plaid, tu, gogwydd; pryd, gwedd, pryd a gwedd, gosgedd yr wyneb, gwedd yr wyneb, wynebpryd, drych wyneb; mantais, budd, ennill; rhodd, anrheg; arwyddyn; ysnoden rodd.

In favour of—tros, dros, o blaid, o du; yn bleidiol i; i.

In favour with one—mewn parch, bri, cyfrif, *neu* gymmeriad gydag un; hoff gàn un; da gàn un.

You are much in his favour, } hoff
You are in great favour with him, } ganddo ef chwi; da ganddo ef chwychwi; yr ydych chwi mewn mawr gymmeriad gydag ef; yr ych chwi mewn parch mawr gydag ef; yr ydych chwi yn fawr eich parch gydag ef.

A favour worn—cyflwyn, rhodd, *neu* anrheg à wisger yn arwydd cariad ac ewyllys da un; arwyddyn serch, arwyddyn hoffedd, anrheg hoffder; anrheg à wisgir.

Wedding favour—arwyddyn priodas, ced priodas.

The favour of the countenance—pryd, gwedd, pryd a gwedd; gosgedd, elwig, *neu* wedd yr wyneb; prydwedd; wynebpryd, drych wyneb.

Thine eye desireth favour and beauty—pryd a thegwch a chwennych dy lygad.

Sweetness of favour—hoffedd, hyfrydwch, hawddgarwch, serchusrwydd, *neu* delediwrwydd wynebpryd.

By your favour — gyda'ch cenad; trwy eich cenad.

To confer a favour on one—gwneuthur cymmwynas i un; gwneuthur mwynas i un; rhoi ced i un; gwneyd tro da i un; gwneuthur twrn da i un; gwneuthur ffafr i un; gwneuthur caredigrwydd i un.

He conferred numberless favours upon us—efe a'n llwythodd *neu* a'n cynnysgaethodd âg aml gymmwynasau.

To court favour—cynffonloni; ymorol am ewyllys da.

To curry favour with one—cynffonloni ar un; ymerlyn am fodd un; ceisio ymlusgo i ffafr *neu* gyfeillach un; ceisio ymlithro i ffafr *neu* gyfeillach un; ymbil, ymbilio, *neu* ymgeisio âg wyneb un; ymrwbio wrth un.

Under favour of the night—tàn fantais y nos; a'r nos yn fanteisiol iddo.

The rich among the people shall entreat thy favour—cyfoethogion y bobl a ymbiliant â'th wyneb.

He grew in favour with him, } efe a aeth
He was in favour with him, } yn dda ganddo.

Because thou hast a favour unto them—am iti eu hoffi hwynt.

A good man sheweth favour—gwr da sy gymmwynasgar.

Thou orderest us with great favour—trwy lawer o arbed yr wyt ti yn ein llywodraethu (*Doeth.* xii. 18).

**Favour,** } *v. a.* hoffi, parchu, perchi, gorpherchi,
**Favor,** } ffafrio, lladu, lladfori, dangos hoffder, amlygu hoffedd; ewyllysio yn dda i; dwyn ewyllys da i; pleidio, cefnogi, calonogi, cymhorth, cymhorthi, cynnorthwyo, noddi, achlesu, amgeleddu; cymmwynasu, mwynasu, gwneuthur cymmwynas i; pleidio gydag; dywedyd yn mhlaid; dywedyd o blaid; rhoi ei air yn mhlaid; ystlysu at, tueddu at; bod yn dda gàn un am; bod yn raslawn i; bod yn dyner, yn hynaws, yn dirion, *neu* yn drugarog wrth; trugarhau wrth, tosturio wrth; dangos gwyllys da i; arbed, eiriach; tebygu, cynhebu, tebygoli; bod yn debyg *neu* gynhebyg i; esmwythäu, esmwytho, rhwyddhau, hwyluso; gofalu am; cynnal, llochi.

To favour one with a thing—bod mòr fwyn a rhoddi peth i un; bod cyn fwyned a rhoi peth i un; ceniadu, caniatäu, caniadu, ceniatäu; bod cystal a rhoddi peth i un; teilyngu o un roi peth; anrhegu *neu* gynnysgaethu un â pheth.

He favours you in the face—y mae efe yn debyg i chwi yn ei wyneb.

By this I know that thou favourest me—wrth hyn y gŵn hoffi o honot fi.

The lords favour thee not—nid wyt ti wrth fodd y tywysogion (1 *Sam.* xxix. 6).

**Favourable,** } *a.* (Ll. *favorabilis;* Ff. *favorable*)
**Favorable,** } tirion, hynaws, tyner, rhadlawn, trugarog, tosturiol, hawddgar, hygar, da, lladol, erladol, lladforol, mwyn, boddlawn, cyweithasol, cyweithas, cyfeillaidd, cyfeillgar; da ei wyllys; cymmwynasol, mwynasol, ffafriol, cynnorthwyol, pleidiol, tueddol; cyfleus, manteisiol, buddiol, cyfaddas; prydlawn; tyner ei farn; llinarol; cyffrwyol; †pryd-weddol.

Favourable opportunity—oedfa gyfaddas, odfa gyfaddas, oedfa brydlawn, odfa brydlawn, amser cyfaddas; cyfle, adeg.

Favourable wind—gwynt hwylus, hwylwynt, hwyluswynt, gwynt manteisiol.

Be favourable to them—bydd dirion, hynaws, *neu* dyner wrthynt; bydd dda *neu* raslawn iddynt.

Be favourable to thy people—ystyria wrth dy bobl; bydd dyner wrth dy bobl, &c.

He puts the most favourable construction upon every thing—gesyd *neu* rhydd yr ystyr goreu ar bob peth; gesyd *neu* rhydd yr ystyr hawddgaraf ar bob peth; rhydd y lliw goreu ar bob peth; rhydd y cystrawiad goreu ar *neu* i bob peth; y mae

efe yn barod i gymmeryd pob peth yn ei ystyr goreu *neu* hawddgaraf.

Favourableness, } *s.* tiriondeb, tirionder, tir-
Favorableness, } ioni, hynawsedd, hynawsder, tynerwch, rhadlonedd, hawddgarwch, hygarwch, caredigrwydd; cyfleusdra, cyfleusder, cyfleusrwydd, cyfaddasrwydd, addasrwydd, hwylusdod, mantais, buddioldeb, tueddoldeb, ffafrioldeb.

Favoured, } *a.* hoff, anwyl, gorhoff, cu, anwylgu,
Favored, } caredig, hoffedig, parchedig, cymmeradwy, ffafredig; mewn cyfrif, bri, parch, cymmeriad, *neu* urddas; prydweddol; gwedi ei hoffi, &c.

Favoured by nature—cynnysgaethedig âg aml ddoniau naturiol.

Well-favoured—prydweddol, prydus, prydweddus, prydweddog; teg, glân, *neu* dda yr olwg; glân *neu* deg o bryd; glân *neu* deg ei bryd; golygus, gosgeddig, hardd, prydferth, cain, tlws, telediw, glwys, wynebol; yn edrych yn dda; da yr olwg arno.

Ill-favoured—anferth, anolygus, dybryd, gwrthun, anhardd, anmhrydweddol, anmhrydus, hagr, anwymp, anosgeddig; drwg yr olwg; hyll, drwg ei wedd; cul, truan, teneu, salw; yn edrych yn ddrwg; drwg yr olwg arno; hagrwedd.

Well-favouredly—yn brydweddol, &c.; â golwg dda arno; yn dda y wedd arno; yn dda yr olwg arno.

Ill-favouredly—yn anolygus, &c.; â golwg ddrwg arno; yn ddrwg y wedd arno; yn ddrwg yr olwg arno.

Hail, thou that art highly favoured—henffych well, yr hon a gefaist ras (*Luc* i. 28); hanfych well, y radgaredig.

Favouredness, } *s.* hoffedigrwydd, anwyldeb;
Favoredness, } rhagoriaeth, blaenoriaeth.

Well-favouredness—prydusrwydd, tegwch pryd, prydferthwch, glendid, harddwch.

Ill-favouredness—anferthwch, anolygusrwydd, dybrydedd, gwrthuni, anharddwch, hagrwch, hagredd.

Favourer, } *s.* hoffwr, hoffydd, noddwr, achles-
Favorer, } wr, cefnogwr, modur, amgeleddwr, ewyllysiwr da, parchwr, gorpherchwr, ffafriwr, pleidiwr, cynneilydd; â ddygo ewyllys da; â bleidio gydag un; madwyllysiwr, madwyllysydd; hwyluswr.

Favouress, } *s.* noddes, modures, noddoges, cefn-
Favoress, } oges, noddwraig, pleidwraig, achlesyddes, cynneilyddes, ffafres; â ddygo ewyllys da.

Favourite, } *s.* (Ff. *favorite*) hoffddyn, anwylyd,
Favorite, } anwylyn, anwyliad, hoffyn, dewisddyn, anwylddyn, mynwesddyn, ffafryn; un hoff gàn un; gwr hoff; un mewn parch, cymmeriad, *neu* ffafr neilltuol; un mewn mawrbarch, uchelbarch, *neu* ragorbarch gàn un; un anwyl garedig; cyfrinddyn; cibli; anwylbeth: *f.* anwyles, anwylen, hoffen, hoffwraig.

He is a court-favourite—y mae efe yn fawr ei gymmeriad yn y llys; mae efe yn fawr ei gymmeriad gyda'r brenin; y mae efe yn fawr ei gymmeriad yn llys y brenin; y mae efe yn un o anwyliaid y llys; hoffddyn y llys ydyw efe.

He is the king's great favourite—nid oes ond â ddyweto efe gyda'r brenin; y mae ei air ef yn air ar bawb gyda'r brenin.

Favouritism, } *s.* hoffddyniaeth, hoffyniaeth,
Favoritism, } anwylyniaeth, anwyly[illegible], hoffder o rywun neilltuol.

Favourless, } *a.* anffafriol, diffafr, dihoffder, an-
Favorless, } hoff, dilad; anmhleidiol, anhueddol; annhirion; anghefnogol, ada[illegible]

Fawn, *s.* (Ff. *faon*) elain, rhydain, rhydol, [illegible] ieuanc, hydd ieuanc, carw ieuanc, llwdn ewig.

Fawn, *v. n.* dwyn *neu* fwrw elain; dyfod ag elain; bwrw llwdn ewig; eleinio; alu llwdn ewig; alu elain.

Fawn, *v. n.* (S. *fogenian*) cynffonloni, cytyloni, truthio, gwenieithio, glafru, [illegible], ymoleuthio, capio, ymgapio, cynffoni, sigl[o] ei gynffon; lloddi, arfer geiriau teg, darfwyth[o].

Apt to fawn—truthgar, truthiol.

Aptness to fawn—truthgarwch.

Fawn, *s.* truth, gweniaith, glafr; cynffonloniad, cytysloniad, truthiad, ymoleuthiad, glafriad.

Fawner, *s.* truthiwr, truthan, truthiad, gwenieithwr, gwenieithydd, cynffonlonwr, capiwr, ymoleuthydd, glafrwr.

Fawning, *s.* truthiad, gwenieithad, ymoleuthiad, cynffonloniad, cytysloniad, capiad, ymgapiad, glafriad; truth digywilydd; truth, truthiaith, gweniaith, glafr.

Fawningly, *ad.* dàn gynffonloni, dan gapio, trwy druth, trwy weniaith, trwy sidanu.

Faxed,† *a.* (S. *feax*) gwalltog, blewog.

Fay, *s.* (Ff. *fée*) un o'r tylwyth teg; ellyll, gwyll, elff, gwion, ellyllyn, gwagysbryd, anysbryd: *f.* gwylles, ellylles, ellyllen, chwimpleian, chwimleian, gwyllen, miren, mires, gwydien, tegen.

Fay,† *s.* (Ff. *foi*) ffydd.

Fay, *v. n.* (S. *fægan*) sutio, cydweddu, cyngweddu, cyfateb, gweddu, cyfladd, cyttaro.

Fazzolet, *s.* (It.) llawfoled, neisiad, moled, cadach, cedaflen.

Feaberry, *s.* grwysen, eirinen Mair, eirinen perth eurddrain.

Feague, † *v. a.* (Al. *fegen*) curo, ffrewyllu, chwatio, gwialenodio.

Feal, *a.* (Ff.; Ll. *fidelis*) ffyddlawn, ufydd, gwarogol, gwriogol, gwriogaethol.

Fealty, *s.* (*o feal;* It. *fedeltà*) ffyddlondeb, ffyddlonder, cywirdeb, cywiredd; gwarogaeth, gwriogaeth, gwrogaeth; ffyddlondeb i arglwydd; teyrngarwch.

To swear fealty — tyngu ffyddlondeb; tyngu ar fod yn ffyddlawn *neu* gywir i'w arglwydd; ymrwymo drwy lw ar fod yn ffyddlawn i'w arglwydd.

To hold by fealty—dàl dàn wriogaeth; dàl tir dàn ammod ffyddlondeb i'w arglwydd.

Being under fealty to the lord—bod yn arglwydd-oddef.

Fear, *s.* (S. *færan, afæran;* Is. *vaaren;* Ll. *vereor*) ofn, arswyd, braw, dychryn, arynaig, orn, ofnid, hylldraw, argysswrw, argysswr, echryn, echryd, swyd, dygryd, dygryn, rhyn, achreth; pryder, gofal; unon, unofn.

For fear—rhag ofn; gàn ofn; rhag.

He quakes for fear—y mae efe yn crynu gàn ofn.

They cried for fear — gwaeddasant rhag ofn; gwaeddasant gàn ofn.

There is no fear of it—nid rhaid unon am dano; nid rhaid unofn am dano; nid oes unon am dano.

Great fear, } dychryn, dychryndod,
Quaking for fear, } echryn, echryd, ergryd, ysgryd, achreth, bredych, oerfraw.
To put in fear—ofni, peri ofni, ofnhau, ofnocäu; gyru *neu* beri ofn ar; rhoi braw yn; dychrynu, hylldrawu; brawychu.
To be in fear of—ofni; bod âg ofn arno; argyssyru, aryneigio, arswydo.
To stand in fear of—ofni, ofni rhag, crynu rhag, dychrynu rhag, arswydo.
To quake with fear, } crynu gân ofn; crynu
To shake with fear, } rhag ofn; dychrynu, dirgrynu, argrynu, ysgrydu, ysgrydian.
Without fear—dïofn, dïarswyd, diddychryn, difraw; hy, eofn; yn ddïofn, &c.
Slavish fear—ofn gwasaidd.
For fear that you should not know it—rhag nas gwypech.
What a fear was I in!—pa ofn oedd arnaf! pa faint o ofn oedd arnaf!

**Fear,** *v.* ofni; bod âg ofn arno; arswydo, dychrynu, aryneigio, argyssyru, ofnocäu; hylldrawu, brawychu; ofnogi, ofnuso, ofnhau; unon, unofn.
To fear beforehand—rhagofni; ofni cyn dyfod niwed; ofni yn mlaen llaw.
To fear exceedingly—ofni yn fawr; ofni yn ddirfawr; arswydo yn fawr; arswydo yn ddirfawr; tra ofni.
I fear he cannot be pacified—yr wyf yn ofni nas gellir ei ddyhuddo; mae arnaf ofn nas gellir ei ddyhuddo.
You need not fear—nid rhaid i chwi unon; nid rhaid i chwi unofn; nid rhaid i chwi ofni.
We need little fear—nid rhaid i ni fawr unon.
He that feareth God will pay due respect to man—à ofno Dduw a barcha ddyn.
To be feared, } ofnadwy; i'w
That ought to be feared, } ofni; i'w arswydo.

**Fear,**† *s.* (S. *fera, gefera*) cydymaith.

**Fearful,** *a.* (*fear* a *full*) ofnog, ofnus, brawychus, aryneigus, brawus, digalon, llwfr, aneofn, aneon; ofnadwy, arswydlawn, arswydus, arswydol, swydus, arswydfawr, swydlawn, swydol, dychrynllyd, erchyll, dychrynadwy; hybarch; i'w ofni.
Somewhat fearful—lled ofnog, lled ofnus, lled frawychus.

**Fearfulness,** *s.* ofnogrwydd, ofnusrwydd, ofnusedd, ofnedd, ofnid, brawychusrwydd, brawusrwydd, dychryndod, dychrynllydrwydd, arswydusrwydd, arswydoldeb, arswydlonedd, arswydfawredd, llyfrder, llyfrdra, aneonder; ofn, dychryn, arswyd, braw, swyd.

**Fearless,** *a.* (*fear* a *less*) dïofn, difraw, anofnog, anofnus, dïarswyd, dïargyssawr, diddychryn, dïorn, digryn; hy, hyf, dewr, calonog, gwrol, glew, eofn, eon, gwychr, dihafarch, dewrwych, drud.
The lion is the most fearless of wild beasts—dewraf gwylltfil llew.

**Fearlessness,** *s.* anofn, anofnogrwydd, anofnusrwydd, dïofnogrwydd, anarswyd, annychryn, annychryndod; dewrder, dewredd, eofnder, eonder, eondra, calonogrwydd, glewder, dewrwychedd, gwroldeb, calondid, pybyrwch, hyfdra; anmhryder.

**Fear-nought,** *s.* afrynaig, dimswyd=math o nwydd gwlanog tew.

**Feasibility,** } *s.* (o *feasible*) hywneledd, hyw-
**Feasibleness,** } neddrwydd, hyalledd, hyallucdd; hawsedd, hawsder, dichonrwydd, dichonolrwydd, dichonoldeb, dichoneiddrwydd, galluciddrwydd, galluedigrwydd; dichonolrwydd gwneuthur peth; ansawdd peth à ellir ei wneuthur; bod o beth yn wneuthuradwy *neu* alluadwy.
I do not question in the least the feasibility of the thing—nid wyf yn ammheu yn y mesur lleiaf nas gellir gwneuthur y peth; nid wyf yn ammheu yn y mesur lleiaf nad yw y peth yn wneuthuradwy.
Let us consider its feasibility—ystyriwn a ellir ei wneuthur; ystyriwn a ydyw yn wneuthuradwy *neu* ddichonadwy.

**Feasible,** *a.* (Ff. *faisable*; Ll. *facere*) hywnel, hywnedd, gwneuthuradwy; hyall, galladwy, galluadwy, dichonadwy; à ellir *neu* à aller ei wneuthur; dichonadwy i'w wneuthur; hawdd i'w wneuthur; hawdd; defnyddiadwy.
A thing may be possible, but not feasible—geill peth fod yn hyall heb fod yn hywnel; gellir gwneuthur peth, er na byddo hawdd ei wneuthur.

**Feasible,** *s.* peth hywnel, &c.: *pl.* hywnelion, hywneddion, hyallion.

**Feast,** *s.* (Ll. *festum*; Ff. *fête*; It. *festa*; Ysp. *fiesta*; Al. *fest*; Is. *feest*) gwledd; cyfeddach, banfacth, cyfedd, prain, cywledd, gwest, gwestfa, allwest, gwleddwch; gŵyl, cofwyl.
Commemoration feast—cofwyl, gŵyl goffa; cylchwyl; gŵyl mabsant.
Movable feasts—gwyliau symmudol.
Feast day—dydd gŵyl; dygwyl, gŵyl.
Solemn feast—gŵyl arbenig, uchelwyl, uchel ŵyl, prifwyl, prif ŵyl.
The feast of tabernacles—gŵyl y pebyll.
Love-feast—cariad-wledd.
Wedding feast—neithior, gwledd briodas.
Great feast—gwledd fawr, arbrain.
High feast—gorwledd.
To keep a feast, } cynnal gwledd, cadw
To hold a feast, } gwledd; cynnal cyfeddach; cadw gŵyl.
To furnish a feast—arlwyo gwledd, darmerthu gwledd, darparu gwledd.
A very splendid feast—gwledd dra gorwych, dra threulfawr, dra chostus, *neu* dra chostfawr; gwledd dywysogaidd.
Slender feast—adwledd.
The scraps of a feast—adwledd.
Smell-feast—bolerwr, bolerai; Ieuan lygad y bwyd.
Smell-feasts poets—beirdd ysbyddaid.
To hunt after feasts—gwleddoca.
Enough is as good as a feast—digon yw digon o ffigys; digon yw digon o fêl; digon yw digon o fendith ei fam; nid gwell rhwy na digon; mae digon cystal a rhagor.

**Feast,** *v.* gwledda, gwleddu, cywledda, preinio, gwesta; cyfeddach, cyfedd, gwleddychu, cyfeddwogi, wttresa, gloddesta, bolera; rhoi, arlwyo, *neu* wneuthur gwledd i; cynnal *neu* gadw gŵyl mabsant.
To feast one—gwledda un; rhoi, arlwyo, *neu* wneuthur gwledd i un; gwneuthur croesaw i un.

**Feaster,** *s.* gwleddwr, gwleddydd, preiniwr, cyfeddachwr, cyfeddwr, cynnaliwr gwledd; wttreswr.

Feastful, *a.* gwleddol, gwleddog, gwestfaol, preiniol, preiniog, cyfeddachol; llawen, gorhoenus, llonwych, gorawenus, difyr; treulfawr, costfawr, costus, helaethwych, rhydreulgar, wttresgar.

Feasting, *s.* gwleddiad, preiniad; gwledd, gwleddwch, cyfeddach, banfaeth, prain, croesaw; llawenydd.

Feastrite, *s.* (*feast* a *rite*) defod gwleddau, arfer gwleddoedd, preinddefod, preinarfer.

Feat, *s.* (Ff. *fait;* Ll. *factum*) camp, gorchest, rhagorgamp, gwrolwaith, gwrolgamp, gorchestwaith; gwronwaith, gwrhydri, rhagorwaith, dewisgamp, gwronawd; gweithred, arweithred, gorug, gober; tro, cast; gweithred glodfawr, fawrglod, orchestol, *neu* wiwgof.
  Manly feat—gwrolgamp.
  Youthful *or* juvenile feat—mabolgamp.
  Inferior feat—gogamp.
  Feats of activity—gwrolgampau; campwri; llamidyddiaeth, campau llamidyddol, campau gorchest.
  All feats of activity — y pedair camp ar ugain; pob campwri.
  To do feats of activity—gwneuthur gwrolgampau, gwneuthur campau gorchest, campio, gwneuthur gwrhydri, chwareu y llamidydd, arfer llamidyddiaeth.
  Feats of war, } Feats of arms, } rhyfel-gampau, gorchestion milwraidd, rhagorgampau milwraidd, gweithredoedd milwraidd, gorchestion arfau, cad-orchestion, campau rhyfel.
  Such a feat—y fath orchest.
  Wonderful in feats of war—yn rhyfedd yn nghyfarwyddyd rhyfel (*Iudeth* xi. 8).

Feat,† *a.* parod; cywrain, medrus; dillyn, [destlus.

Feat,† *v. a.* llunio, ffurfio.

Feateous,† *a.* dillyn, destlus; medrus, cywrain.

Feather, *s.* (S. *fether;* Al. *feder*) pluen, plufen, plufyn, plüyn; asgell, aden, adain: *pl.* plu, pluf, pluawr: rhyw, math; addurn.
  Feather bed—gwely plu, gwely pluf.
  Down-feathers — sidanblu, manblu, manbluf, plucan, draenblu.
  A little feather—plufenig, pluenig, asgellig.
  The feathers of an arrow—esgyll saeth.
  Quill-feather — plufen, pluen, asgell, bon asgell.
  A feather in one's cap—plufen yn nghap un; enw, senw, *neu* enwad er anrhydedd yn unig.
  Birds of a feather will flock together—adar o'r unlliw a dynant i'r unlle; adar o'r unlliw a hedant i'r unlle.
  To erect the feathers—castellu plu.
  To begin to have feathers—pluenu, plufenu; dechreu magu pluf; magu plu.
  To pluck off feathers—pluo, plufio, plufo, dibluo, diblufio.
  Plume of feathers—twff o bluf, cobyn o blu, siobyn o bluf, twff o blu, plufobyn, pludwff.
  Full of feathers—pluog, plufog, llawn plu.
  Without feathers=*Featherless.*
  Feather-footed — plubediog, pludroediog, pludroed, plufdroed; â phlu ar ei draed; asgelldroed; âg asgell ar ei draed.
  Fine feathers make fine birds—teg pob hardd.
  Feather-moss—plufwswn, plufwsogl, pluaidd fwswn, pluaidd fwsogl.

Feather, *v. a.* pluo, plufio, plufo; harddu *neu* addurno â phlu; pluenu, plufenu; dibluo, diblufio; addurno, gwychu, berthu, cyfoethogi, dyrchafu, balchïo; cocwyo, ceiliogi.
  To feather one's nest—pluo ei nyth; gwychu, berthu, *neu* addurno ei nyth; casglu cyfoeth.

Feather-boarding, *s.* plufyrddiad; byrddiad âg ymyl un astell yn myned dros ychydig o ymyl y llall.

Feather-driver, *s.* plufwr, plüwr, cyweiriwr plu, plufyrwr, plufyrydd, pludrinwr.

Feathered, *a.* pluog, plufog; asgellog, adeiniog, adenog; pluedig, plufedig; ehedol; manbluog.
  Feathered fowl—hediad, ehediad, aderyn asgellog, perchen adain, perchen aden.

Feather-edge, *s.* plufin, plufyl, plufymyl; min fel plufyn; min plu, ymyl pluf.
  Feather-edge boards, } Feather-edged boards, } estyll plufin, estyllod plufiniog, byrddau plufin; trum plufiniog.

Feather-edged, *a.* plufin, plufiniog, plufylog; â chanddo ymyl teneu fel plufyn.
  Feather-edged coping—trum plufin, crib blufin, trum plufiniog.

Featherfew, *s.* (llygriad o *feverfew*)=*Fever-few.*

Featherfoil, *s.* (*feather* a *foil*) gwythdudd y gors, pluddalen.

Feather-grass, *s.* plufwellt, pluwellt, plueiddwellt.

Featherings, *s. pl.* pluolion.

Featherless, *a.* diblu, dibluf, anmhluog, anmhlufog; moel, llwm, croenllwm, noethlwm.

Featherly, *a.* plufaidd, pluaidd, fel pluf.

Feather-seller, *s.* gwerthwr plu, gwerthydd pluf, plufwerthwr, pluwerthydd.

Feather-veined, *a.* plufwythenog, pluwythenog.

Feather-weight, *s.* pwys plufen, pwysi pluen, plubwys, plubwysi.

Feathery, *a.* pluog, plufog; pluaidd, plufaidd; plufol, pluol.

Featly, *ad.* (o *feat*) yn ddillyn, yn ddestlus, yn nais, yn dlws, yn bert, yn gryno, yn glws; yn hyfedr, yn fedrus, yn gywrain, yn ddeheu.

Featness, *s.* dillynedd, dillynder, destlusedd, destledd, tlysni, clysni, destlusrwydd, pertrwydd, pertedd; hyfedredd, medredd, cywreinrwydd, medrusrwydd, deheuigrwydd.

Featously, } Feateously, } † *ad.* yn glws, yn gliw, yn dlws, yn bert, yn ddillyn, yn ddestlus.

Feature, *s.* (Norm. *faiture;* Ll. *factura*) prydwedd, pryd, gwynebpryd, wynebpryd, wynebwedd, gwedd, agwedd, llunwedd, ffriw, minbryd; pryd, gwedd, gosgedd, dull, llun, *neu* ddrych yr wyneb; gweddnod, gweddnodiad; gwneuthuriad; amlinell, braslun, prif ranau; ffurf.
  The features—y prydweddau, y prydwedd, yr wynebpryd; lluniau y gwyneb.

Featured, *a.* prydweddog, prydweddol, prydus; â chanddo brydwedd, &c.; tebyg ei brydwedd.
  Well-featured—prydweddol, prydus, prydweddus, prydweddog; teg, glân, *neu* dda yr olwg; glân *neu* deg o bryd; golygus, gosgeddig, hardd, prydferth; da yr olwg arno; hardd ei bryd; hardd ei wedd; hardd ei brydwedd.
  Ill-featured—anmhrydweddol, anferth, anhardd, dybryd, gwrthun; hagr ei wedd; hagr ei bryd; hagr ei wyneb; hagr ei brydwedd; hagrwedd, hyll, anosgeddig.

**Featureless**, *a.* dibrydwedd, dibryd; heb brydweddau neilltuol.
**Feature**, *v. a.* prydweddu; tebygu, tebygoli.
**Feaze**, *v. a.* (Ff. *faisez*, yn *Johnson*) dadgyfrodeddu, dadffillio, dadnyddu; dattröi pen rhaff.
**Febricula**, *s.* (Ll.) godwymyn, twymynig, twymyn ysgafn.
**Febriculose**, *a.* (Ll. *febriculosus*) twymynigaidd, godwymynaidd; â thwymyn ysgafn arno.
**Febriculosity**, *s.* twymynigeiddrwydd, twymyneiddrwydd, crydeiddrwydd.
**Febrifacient**, *a.* (Ll. *febris* a *facio*) twymynbair, twymynbarol, crydbair, crydbar, crydbarol; yn peri twymyn.
**Febrifacient**, *s.* crydbair, twymynbair.
**Febrific**, *a.* (Ll. *febris* a *facio*) twymynig, twymynaidd, crydaidd, twymynol; crydbair, twymynbair; â bair dwymyn.
**Febrifugal**, } *a.* (Ll. *febris* a *fugo*) tarfgrydol,
**Febrifuge**, } crydffoawl; âg ynddo rinwedd i linaru *neu* wella twymyn; gwrthdwymynol, gwrthgrydol, anfwythol; da rhag twymyn.
**Febrifuge**, *s.* tarfgryd, crydgyffer; meddyginiaeth i linaru, i darfu, *neu* i wella cryd *neu* dwymyn.
**Febrile**, *a.* (Ff.; Ll. *febrilis*) twymynol, crydol, crydiol, twymynolaidd; perthynol i dwymyn.
**Febris**, *s.* (Ll.) twymyn, mwyth, cryd poeth, poethgryd, llucheden.
**February**, *s.* (Ll. *Februarius*; Ff. *Fevrier*) Chwefror, Chwefrol=yr ail fis.
**Februation**, *s.* (Ll. *februo*) puredigaeth, purad, coethiad.
**Fecal**, } *a.* (Ll. *fæces*) gwaddodol, gwaddodlyd,
**Fæcal**, } gwaddodog, gwaddog, fflesog; ysgarthol, ysgarthog, ysgarthlyd, ystlomol, esgothionol.
**Feces**, } *s. pl.* (Ll. *fæces*; Ff. *fèces*) ysgarth-
**Fæces**, } ion, esgarthion, ysgothion, carthion, eulon, ystlom, tom; gwaddod, gwaddodion, gwaelodion, ffles, llorion, rhytion.
**Fecial**, *a.* (Ll. *fecialis*) herodrawl, herodurol, herodyddol; perthynol i herodron; perthynol i gyhoeddi rhyfel; cadhoeddol; achwyddol.
Fecial law—herodraith, cyfraith herodrawl, cyfraith gadhoeddol.
**Fecit**, *s.* (Ll.=gwnaeth) gair â ddefnyddir i ddynodi awdur gwaith.
Canova fecit—gwaith Canova; Canova a'i gwnaeth; Canova a'i gorug.
**Fecula**, } *s.* (Ll. *faecula*) paill, pain, fflurbaill;
**Fæcula**, } tyflas, glasddefnydd, glesni dail; peillud, syth.
**Feculence**, } *s.* (Ll. *fæculentia*) gwaddodog-
**Feculency**, } rwydd, gwaddodlydrwydd, gwaddogrwydd, lleidiogrwydd, lleidlydedd, lleidlydrwydd, fflesogrwydd, annheredd, brynti, bryntni, budredd, anmhuredd, afloewder; gwaddod, gwaddodion, gwaelodion, ffles, llorion, rhytion; gwaddodiad, gwaelodiad.
**Feculent**, *a.* (Ll. *fæculentus*) gwaddodog, gwaddodlyd, gwaddodol, gwaddog, lleidiog, lleidlyd, fflesog, plwca, afloew, anmhur, annher, brwnt, llaceilyd, tew, trwbl.
**Feculum**, *s.* (o'r Ll. *fæces*) paill, pain, fflurbaill.
**Fecund**, *a.* (Ll. *fœcundus*) ffrwythlawn, ffrwythig, epiliog, epilgar, hiliog, ffaeth, brwys, toreithiog, cynnyrchiol.
**Fecundate**, *v. a.* ffrwythloni, ffaethu, ffrwythiannu, ffrwytholi, ffrwytho, brwyso; beichiogi; gwneuthur *neu* beri yn ffrwythlawn.
**Fecundation**, *s.* ffrwythloniad, ffrwythiad, ffrwythiant, ffaethiad, ffaethiant; beichiogiad; gwneuthuriad yn ffrwythlawn.
**Fecundify**, *v. a.* (Ll. *fœcundus* a *facio*)=*Fecundate.*
**Fecundity**, *s.* (Ll. *fœcunditas*) ffrwythlondeb, ffrwythlonder, ffrwythlonedd, ffaethder, ffrwythineb, ffrwythigrwydd, ffaethedd, ffaethineb, cnydforedd, amledd, amlder, toraeth, achrwysedd, ffaethiant, achrwys, brwysder, brwysedd.
**Fed**, *p. p.* (o *feed*) pasgedig, pesgedig, porthedig; porthiannus; pasg-; diwall.
Fat-fed—pasgedig, pesgedig, tewfag, magod, tew, pasg-.
Fat-fed beasts—pasgedigion, pesgedigion.
Full-fed—gwedi ei lawn besgu; wedi cael digon; wedi cael ei wala; wedi cael ei lonaid; llawn, diwall, digonol; cestlawn.
Easily fed—hybasg, hyborth; hawdd ei besgu *neu* borthi; hawdd i'w borthi *neu* besgu.
**Federal**, *a.* (Ll. *fœdus*) ammodol, cyfammodol; cynghreiriol, cydbleidiol, cydymrwymol, cysswynol, cywystlog; cyflywodol, cyflywyddol, cydlywyddol, cyfundodol.
Federal government—cyflywodraeth, cydlywodraeth, cyflywyddiaeth, cydlywyddiaeth, cyflywiaeth, llywodraeth gynghreiriol, llywodraeth gyfundodol, cywladoldeb, cydwladoldeb.
**Federal**, } *s.* cyfundodwr, cyfundodydd, cyf-
**Federalist**, } undodur, cyfundodiad, cyfunbleidiwr, cyfundebwr, cynghreirgarwr.
**Federalism**, *s.* cyfundodiaeth, cyfundoduriaeth, cyfunbleidiaeth; egwyddorion y cyfundodwyr yn America.
**Federalize**, *v.* cynghreirio, cyfundodi, cydbleidio, cysswyno.
**Federary**, } †*s.* cynghreiriwr, cynghreiriad, cyd-
**Fedary**, } blaid, cydgyfranog, cysswynwr.
**Federate**, *a.* (Ll. *fœderatus*) cynghreiriol; cyfammodol, ammodol, cydymrwymol, cydbleidiol, cysswynol; cyfunol, cyfunedig; mewn cynghrair; cyflywodol, cyfundodol.
**Federation**, *s.* (Ll. *fœderatio*) cynghreiriad, cydbleidiad, ymgynghreiriad, cysswyniad; cynghrair, cyfammod, ammod, cyfundas, cyfundod, cyfundodiant.
**Federative**, *a.* cynghreiriol, cynghreiriadol, cydbleidiol, cyfunol, unol; yn uno mewn cynghrair.
**Fedia**, *s.* (Ll. *fœdus*) gwylaeth yr oen, llysiau yr oen, dïadwyth.
**Fedity**,† *s.* (Ll. *fœditas*) baweiddrwydd, salwedd, gwaeledd, gwarthusrwydd.
**Fee**, *s.* (S. *feo*, *feoh*; Is. *vee*; Al. *vich*) gobr, gobrwy, gwobr, gwobrwy, dobrwy, dobr, amobr; tâl, cyflog; pwyth, tâl pwyth; maelobr; tâl arferol, dyled ddefodol.
Without fee or reward—heb na gwerth na gwobr.
Legal fee, } gobr cyfraith, gwobr cyfraith.
Law fee, }
Yearly fee—tâl blyneddol, cyflog blyneddol.
Excessive fee—trathal, tra thâl, rhydal.
Commutation fee—amobrwy.

Seizin fee—gobr estyn.
Protection fee—gobr gwarchadw.
Maiden fee—gobr merch; amobrwy.
Retaining fee—hurwobr, hurobrwy.
To give one a fee, } gobrwyo, gobri, *neu*
To fee one, } wobri un; rhoi gobr, tâl, *neu* gyflog i un; cyflogi.

Fee, *s.* (talfyriad o *feud* neu *fief;* Ysp. *fe*) gwriogaeth, gwarogaeth, gwrogaeth, ammodfael, telerfael, tirafael, gafael, gwriog-afael, gwarogfael, cynabodfael, tirafaeliaeth, tirddaliad.
Fee-simple, } tir hawlrydd, etifeddiaeth
Absolute fee, } hawlrydd, etifeddiaeth annibynol, tir etifeddol, hawl etifeddol, rhydd-afael=tir à ddeil dyn iddo ei hun ac i'w etifeddion dros byth.
Fee-simple (in the United States) — tir iol, tir rhydd, breinttir.
Fee-tail, } tir hawlrwym, tir am-
Fee conditional, } modrwym, etifeddiaeth ammodol, hawl ammodol=tir à fo dàn rwymiad penodol o ran yr etifeddion a'u meddiannant rhag llaw.
Fee-farm—tir cydnabod, tir amobr, tir rhydd-afael=tir neu diroedd à ddelir gàn un, ac à ddisgyn i'w etifeddion ar ei ol yn ddïodor, dàn ammod bod iddo ef a hwythau dalu rhyw ardreth benodol bob blwyddyn.
Held in fee-farm—à ddelir dàn wriogaeth; bod dàn ardreth flyneddol; bod dàn ryw gydnabyddiaeth benodol.
Tenant in fee—deiliad ammodfael: deiliad dàn wriogaeth; deiliad dàn warogaeth; deiliad gwriogaethol.
Tenant in fee-simple—deiliad hawlrydd, deiliad annibynol, deiliad tir hawlrydd.
To be in fee with one—bod ganddo un dàn wriogaeth *neu* rwymedigaeth.

Fee, *v. a.* gobrwyo, gwobrwyo, gwobri, gobri, dobri, dobrwyo, cyflogi, hurio; rhaghurio, rhagrwymo, rhagobri, rhagobrwyo; gobrwyo yn mlaen llaw; rhoi gwobr *neu* gyflog i; cadw mewn gwasanaeth; talu.

Feeble, *a.* (Ff. *foible;* Ysp. *feble*) gwàn, egwan, eiddil, llesg, gwanaidd, dinerth, dirym, gwanllyd, llesgar, nychlyd, llegach, llegus, llesgaidd, llyth, diffygiol, brydd; pwl; llesgenaidd, araf, arafaidd.
To make feeble — gwanhau, gwanychu, egwanu, dinerthu, annerthu, llesghau, eiddilo, dirymio, dirymu, llesgu; gwneuthur yn wàn, &c.
To grow feeble, } gwanhau, gwanychu, llesg-
To wax feeble, } hau, llesgu, eiddilo, ymwanhau, ymlesghau; myned yn wàn, &c.; ffynnu yn wàn, &c.

Feeble,† *v. a.* gwanhau, gwanychu.

Feeble-mindedness, *a.* gwàn ei feddwl; egwan ei feddwl; gwanfrydig, gwanfryd; anwastad *neu* anwadal ei feddwl; ansefydlog.
Comfort the feeble-minded—dyddenwch y gwàn eu meddwl.

Feeble-mindedness, *s.* gwendid meddwl, gwanfrydedd, gwanfrydigrwydd, egwanfrydedd.

Feebleness, *s.* gwendid, gwander, llesgedd, egwander, eiddilwch, gwandra, gwanwch, llesgrwydd, eiddiledd, eiddildra, annerth, annerthedd, methiant, llythiant, egwanaeth, llesgarwch, nychdod; pyledd, pylni; ansadrwydd.

Feebly, *ad.* yn wàn, yn egwan, &c.

Feed, *v.* (S. *fedan*; Is. *voeden;* D. *föder*) porthi, bwydo, bwyda; ebranu; ymborthi, bwyta. llewa, cymmeryd ymborth; pesgu, tewhau, tewychu, pwyntio; porfäu, pori, ymbawr, ymbori, ysbori, ysborio; rhoi lluniaeth a chynnaliaeth i; diwallu, gosymmeithio, gosmeithio, gosmaethu, gosymdeithio, ysborthi, maethu, magu, meithrin, cynnal; gwrygio, cynnyddu; cymmeryd ei faeth; myned yn dew; myned yn fag tew.
To feed one's self—ymborthi, ymbesgu; porthi ei hun.
To feed together—cydfwyta, cydymborthi, cydbori, cydymbori, cydymbawr; bwyta yn nghyd, &c.
To feed often — mynych fwyta, dybori, mynych bori, dyfwyta.
To feed on idle fancies—byw *neu* ymborthi ar ofergoel; byw *neu* ymborthi ar wynt: byw *neu* ymborthi ar wagedd; byw ar wag ddychymygion; ymddiried ar gysgodau; somi ei hun; ymsomi.
To feed horses—ebranu meirch; porthi ceffylau.

Feed, *s.* ymborth, bwyd, gogor, ebran, porthiant, porth, ysborth, ymbawr; porfa, porfel; pryd, dogn, cyfran.

Feed, *p. p.* (o *fee*) gwobredig, gobredig, gwobrwyedig, taledig, cyflogedig.

Feeder, *s.* porthydd, porthwr, ysborthwr, ysborthydd, ysborthiad, porthiannwr, porthiannydd; pasgadur, pasgiadur, pesgydd, pesgwr, porfelwr, porfawr; ymborthwr, ymborthydd, bwytäwr, bwytai; maethwr, maethydd, magwr, meithrinydd, annogwr; bugail.
A high *or* dainty feeder — dyn bolfras, bwytäwr bras, bwytäwr da; dyn moethus, dyn minfelus.

Feeding, *s.* ymborthiad, porthiad, ysborthiad, pesgiad, pasg; porfa fras, porfa, porfel; ymborth, bwyd.
To be fed in a stall—bod yn mhasg; bod yn tewhau; bod yn y ffronc; cael ei gorfwydo.
Feeding place — pasgle, pasgfa, pasgeil, ffronc, lle i besgu, lle pesgus.
Feeding for cattle—gogor, ymbawr, pawr, porfa, ymborth anifeiliaid, allwest.
Feeding for men — ymborth, porthiant, porth, lluniaeth, bwyd.
Feeding much, } bwytëig, gwancus,
Feeding greedily, } rhwth, glwth, ceulrwth, bolrwth, diwala.
Excessive feeding, } bwyteigrwydd, bwyta
Greedy feeding, } diwala, gwanc, rhythni,
Great feeding, } glythni, glythineb, glothineb, glythi, glythedd, bwyta mawr.
Feeding high—yn bwyta yn fras; yn byw yn fras; yn byw yn folfras; yn bwyta yn folfras.
High feeding—bolfrasrwydd, bolfrasedd, minflysigrwydd, wttres, gloddest.

Feed-pipe, *s.* diwallbib, pibell ddiwallu.

Feel, *v.* (S. *felan, fœlan;* Al. *fühlen;* Is. *voelen*) teimlo; ymdeimlo; clywed, ymglywed; synio; profi; swmpo; gwybod oddi wrth; cyffwrdd â.
To feel disposed—clywed ar ei galon; tueddu, gogwyddo; bod yn barod *neu* dueddol i; teimlo awydd; clywed awydd.

The military fever—y mwyth brith, brith y gwanwyn, y dwymyn filwraidd.
Spotted fever—y dwymyn fànog, y nodau.
A fever of one day's continuance only—twymyn undydd, cryd undydd, twymyn undyddiog, bradgyfarfod, twymyn ddïwrnod, dyddgryd.
Putrid fever — twymyn fraen, twymyn fraenol, twymyn bodr.
Nervous fever—twymyn nychlyd.
Inflammatory fever—twymyn boeth, cryd poeth, poethgryd, haint gwres, twymyn frydiol, twymyn dandde.
Scarlet fever — y dwymyn goch, eiriosglwyf, eiriosgryd.
Mixed fever — twymyn gymmysg, clefyd deuddull.
A fit of fever—llucheden; chwiw o dwymyn.

**Fever**, *v. a.* rhoi mewn twymyn; twymyno, mwytho.

**Fever-cooling**, *a.* twymyn-oerol; yn llinaru y cryd; mwyth-linarol.

**Feveret**,† *s.* twymynan, twymynig, crydan, godwymyn.

**Feverfew**, *s.* (S. *feferfuge;* Ll. *febris* a *fugo*) tormwyth, tarfgryd, wermod wèn, chwerwyn yr ardd, chwerwyn gwŷn, meddygyn menyw.
Corn feverfew, Scentless mayweed, } ffenigl y cwn.
Sea feverfew—tormwyth arfor.

**Feverish**, *a.* (o *fever*) twymynaidd, twymynol, twymynog; â thwymyn arno; â'r cryd arno; â'r mwyth arno; â thwymyn ysgafn arno; â rhyw dwymyn arno; â'r dwymyn arno; poeth, brydiol, brydiog; ansicr, anwastad, anwadal, gwamal; weithiau yn dwym ac weithiau yn oer.

**Feverishness**, *s.* twymyneiddrwydd, twymynoldeb, twymynogrwydd; bod â thwymyn ysgafn arno.

**Feverous**, *a.* twymynog, twymynol, twymynaidd; â thwymyn arno; à dueddo i beri twymyn; crydbair, cryd barol.

**Fever-root**, **Fever-wort**, } *s.* crydlys.

**Fever-sick**, *s.* (S. *fefer-seoc*) claf o dwymyn; crydglaf, twymyn-glaf, mwythglaf.

**Fever-sore**, *s.* crydlynor, mwythlynor.

**Fever-weakened**, *a.* twymynwan, crydwan; gwanychedig gàn gryd *neu* dwymyn.

**Fever-weed**, *s.* mwythlys=math o foglynon.

**Fevery**, *a.* twymynog, twymynaidd; claf o dwymyn, cryd, *neu* fwyth; â thwymyn arno.

**Few**, *a.* (S. *fea, feawa;* D. *föye;* Ll. *pauci*) ychydig; anaml; rhai; ychydig (o nifer); bychan (o nifer); ambell, ambell un; prin; bychydig; nid llawer.
Few—ychydig (os neb); nemawr, nemor; ond ychydig (os neb); prin neb; dim ond ychydig.
A few—ychydig (er nad llawer); rhai; rhyw ychydig.
There are few persons who would have acted as he did — nid oes nemawr o ddynion à ymddygasent fel yr ymddygodd efe; nid oes ond ychydig ddynion à ymddygasent fel yr ymddygodd efe; ychydig o ddynion à ymddygasent fel y gwnaeth efe; nid ymddygasai nemawr o ddynion fel y gwnaeth efe.
I know a few men who would have acted precisely as he did—adwaen ychydig o ddynion à ymddygasent yn hollol fel yr ymddygodd efe; gẁn am ychydig ddynion à ymddygasent yn hollol fel y gwnaeth efe.
Very few — ychydig iawn, anaml iawn, tra anaml, tra ychydig.
Not a few—nid ychydig; llawer, lluaws; aml.
In few words—ar fyr eiriau; mewn byr eiriau; ar ychydig eiriau; mewn ychydig eiriau.
A few days—ychydig ddyddiau; ychydig o ddyddiau; rhynawd o ddyddiau.
To grow few—myned yn ychydig, yn anaml, yn brin, *neu* yn deneu; ychydigo, prinhau, lleihau, treio.
To make few, To render few, } gwneuthur yn ychydig, yn anaml, yn brin, *neu* yn deneu; ychydigo, prinhau, lleihau; eiddilo nifer; peri yn ychydig, yn anaml, yn brin, *neu* yn ambell.
A few in number—ychydig o nifer.
I see a few of them—gwelaf ambell un o honynt; gwelaf ychydig o honynt.
Many women were with him, and a few men—yr oedd gydag ef wragedd lawer, a gwŷr rai; yr oedd gydag ef lawer o wragedd ac ychydig o wŷr.
There are but a few days since I saw him—nid oes nemawr o ddyddiau er pan welais ef.
That uses few words—anaml ei eiriau.
There were but few Christians at that time—bychodedd o Gristionogion oedd yr amser hwnw; nid oedd nemawr o Gristionogion y pryd hwnw; nid oedd ond ychydig Gristianogion ar hyny o amser.
Man that is born of woman is of few days—dyn à aned o wraig sy fyr o ddyddiau.
They are grown few—aethant yn anaml; aethant yn ychydig.
There are but a few of them—nid oes nemawr o honynt.
Fewer—llai, anamlach; llai (o nifer).
No fewer than—nid llai na.
Fewest—lleiaf, anamlaf; lleiaf (o nifer *neu* rifedi).

**Fewel**, *s.* (o'r Ff. *feu*) tanwydd, cynnud, tanwent, dylwyf, gosgymmon, tanborth.

**Fewel**, *v. a.* porthi tân; rhoi peth ar y tân.

**Fewness**, *s.* (o *few*) ychydigrwydd, ychydigder, ychydigdra, bychanrwydd nifer, bychander nifer, anamledd, anamlder, anamldra, prinder, bychydigrwydd, bychodedd, bychodrwydd.

**Fey**, *v. a.* (Is. *vegen;* Al. *fegen*) glanhau clais, dileidio clais, dileidio clawdd.

**Fiance**, *v. a.* (Ff. *fiancer*) dyweddïo.

**Fiat**, *s.* (Ll. *fio*) bydded; gorchymyn, arch, archiadeb.

**Fib**, *s.* (Ff. *fable;* Ll. *fabula;* Gw. *meabhra*) celwydd, celwyddan, celwydd bychan, anwiredd, gau, ffug, geudeb; coegchwedl.

**Fib**, *v. n.* celwyddu, dywedyd celwydd, dywedyd anwiredd; ffugio.

**Fibber**, *s.* celwyddwr, un celwyddog, un celwyddus, un geueiriog, un geuair; ffugiwr.

**Fibre**, *s.* (Ff.; Ll. *fibra*) llinionen, manedefyn, meinedefyn, meinedef, manedaf, edafedden, llined, llin, llinen, llinan, edef; gi; man-

**wreiddyn**: *pl.* llinion, manedafedd, meinedafedd, manwraidd, gwreiddiach.
  Fibrous matter—llined.
  Vegetable fibres — tyflinion, tyflinedion, llinedion tyfol, manedafedd tyflysol, manwraidd llysiau.
  Woody fibre — coedlin, coedlined, meinedaf coed.
**Fibreless**, *a.* heb fanedafedd, di linion, heb linion.
**Fibril**, *s.* (Ff. *fibrille*) llinionen, llinionyn, manedefyn bach: *pl.* llinionos.
**Fibrillæ**, *s. pl.* (Ll.) llinionos, llinionach.
**Fibrillose**, } *a.* llinionog, llinionol, meinedafeddog,
**Fibrillous**, } manedefol; perthynol i linion; gorchuddiedig gàn linion.
**Fibrin**, } *s.* (o *fibre*) llinednur, llinedain=math
**Fibrine**, } o ddefnydd fferyllol à geir mewn milod a thyfolion.
**Fibrinous**, *a.* (o *fibrin*) llinednuraidd, llinednurog; yn cynnwys llinednur.
**Fibrolite**, *s.* (Ll. *fibra*, a Gr. *lithos*) llinedfaen, glasith=math o ddelidfaen.
**Fibrous**, *a.* (o *fibre*; Ff. *fibreux*) llinaidd, llinedol, llinedaidd, manedafeddog, meinedafeddog, manwreiddiog; llawn manedafedd; llawn gwreiddiach.
  Fibrous root — gwreiddyn llinaidd *neu* fanedafeddog; llin-wreiddyn.
**Fibula**, *s.* (Ll.) gwäeg, balog, tytmwy, bwcl, ystraig; llorf, llorp, ysberygl, asgwrn y grimog; capfaen.
**Fibular**, *a.* (o *fibula*) llorfol, llorpol; perthynol i asgwrn y grimog.
  Fibular artery—rhedweli y grimog.
**Ficaria**, *s.* (Ll. *ficus*) milfyw, bronwys, bronwst, llysiau y bronau, llygad Ebrill, melyn y gwanwyn, gwenith y ddaiar, gwenith y gog, llygad dyniawed.
**Fickle**, *a.* (S. *ficol*; Sw. *vackla*) anwadal, gwamal, cyfnewidiol, newidiol, ansefydlog, oriog, ysgoewan, ysgoewain, ysgoew, ansafadwy, syfal, anhysaf, hydro, chwidr, chwidrog, nwythol, nwythig, ehud, ysgafn, ysmala, gofregus, mympwyol.
  A fickle person—gwamalddyn, ysgogyn, ysgoewyn, chwidryn; un anwadal, &c.
**Fickleness**, *s.* anwadalwch, anwadaledd, anwastadrwydd, gwamalder, gwamalrwydd, gwamaldod, gwamaledd, anwadalrwydd, syfaldod, oriogrwydd, gwamaliaeth, newidioldeb, ysmaldra, ysmalder, ansefydlogrwydd, nwythigrwydd, nwythusrwydd, chwidredd.
**Fickly**, *ad.* yn anwadal, &c.
**Fico**, *s.* (It.) cleciad bysedd ar un; clewtiad bysedd ar un; gofyn gwaethaf un; chware bysedd ar un.
  To give one the fico—clecian, crinellu, *neu* glewtian bysedd ar un; gofyn gwaethaf un; erchi i un wneuthur ei waethaf; rhoi hew *neu* her i un.
**Fictile**, *a.* (Ll. *fictilis*) celfluniol, celfluniedig, moldluniol; à luniwyd gàn gelfyddyd; celfyddydol, gwneuthurol; à wnaed gàn y crochenydd; priddorol, cregenol, priddin.
**Fiction**, *s.* (Ll. *fictio*) ffugiant, ffugiad, ffug, ffuant, ffugwaith, dychymyg; ffugeb, ffugwers, ffugchwedl, chwedl, chwedl ddychymyg, chwedl wneuthur; ffalsedd, geudeb, celwydd; anwiredd, anwir, gau; ffugddyfais: *pl.* ffugion.
**Fictionist**, *s.* ffugionydd, ffugionwr, ysgrifenydd ffugion, ysgrifenwr ffugebion.

**Fictious**, *a.* (Ll. *fictus*)=*Fictitious*.
**Fictitious**, *a.* (Ll. *fictitius*) ffugiol, ffugiedig, gau, geuol, dychymygol, dychymygedig; ffals, lledrithiog; ffug-, rhith-.
  Fictitious name—ffug-enw, enw ffugiol.
**Fictitiousness**, *s.* ffugioldeb, ffugiolrwydd, ffugiolder, ffugiedigrwydd, geuoldeb, ffalsedd.
**Fictive**,† *a.* (Ll. *fictus*) ffugiedig, ffugiol.
**Fictor**, *s.* (Ll.) delweddwr, delwedydd, delwadwr.
**Ficus**, *s.* (Ll.) ffigys, y ffigys.
**Fid**, *s.* (It. *fitta*) ysbodfar; dattodwaell, gwaell.
**Fiddle**, *s.* (Al. *fiedel*; Is. *vedel*; Ll. *fidicula*, *fides*) crwth, crythen, ffil.
**Fiddle**, *v.* crythorio, ffilorio, crythu, canu crwth, chwareu ar y crwth; ofera, simera, segura, diffrwytho, oferdreulio; gwneuthur rhyw oferbeth *neu* oferwaith; chwareu â pheth.
  To be fiddling up and down—ofer redeg yma a thraw; ofer redeg yma ac acw; ofer redeg i fyny ac i waered; ofer hela.
**Fiddle-faddle**, *s.* ffiloreg, oferedd, gofregedd, oferdod, coegwaith, oferwaith, coegbeth, oferbeth, coegsimer, simer; ffrilion, simerion, coegbethau, gwael bethau; oferglep, ofersiarad, coegsiarad, oferchwedl, coegchwedl, siaradach, baldordd, ffregod.
**Fiddle-faddle**, *a.* coegweithgar, coeg brysur, coeg drafferthus, coeg ffwdanus, gwag, gorwag, oferwag, coeg, diwerth, dibwys, ofer, disylwedd, diddefnydd, gofregol, gofregus, ffiloregaidd; ffwdanus yn nghylch dim.
**Fiddle-lipped**, *a.* crythweflog, crythwefusog.
**Fiddler**, *s.* crythor, crythwr, ffilor: *f.* crythores, ffilores.
**Fiddle-shaped**, *a.* crythaidd; ar lun crwth; crythluniog, crythffurfiog.
  Fiddle-shaped leaf — dalen grythaidd; dalen ar lun crwth.
**Fiddle-stick**, *s.* ffiloryn, bwa crwth, crythfwa.
  I value him not a fiddle-stick—ni rown erddo ffiloryn; ni rown erddo seren bren.
**Fiddle-string**, *s.* tant crwth, ffildant.
**Fiddle-wood**, *s.* crythwydd.
**Fiddling**, *s.* (o *fiddle*) crythoriad, ffiloriad, crythiad, caniad crwth, chwareu ar y crwth.
  A fiddling fellow — simerwr, simerwas, oferwas.
**Fidejussion**, *s.* (Ll. *fidejussio*) mechnïaeth, machnïaeth, mechni.
**Fidejussor**, *s.* (Ll.) mach, mechnïwr, mechnïydd, meichiai, (*pl.* meichiau), meichai, ymrwymwr.
**Fidelity**, *s.* (Ll. *fidelitas*; Ff. *fidélité*) ffyddlondeb, ffyddlonder, ffyddlonrwydd; cywirdeb, cywiredd, uniondeb, cleuder, gonestrwydd; geirwiredd, gwirionedd.
**Fidge**, } *v. n.* (cyfathrach, efallai, i *fickle*)
**Fidget**, } sygogi; coeg redeg, ofer hela; coeg redeg yma a thraw; coeg olrhain; ffwdanu; bod â rhyw iasau, nwythau, chwimiau, *neu* chwiwiau arno; bod yn aflonydd *neu* anesmwyth; rhagnythu.
**Fidget**, *s.* sygog, ffwdan; anorphwys, aflonyddwch, anesmwythder, ysgogiad afreolaidd; ias, nwyth, chwiw.
**Fidgety**, *a.* sygoglyd, aflonydd, anesmwyth, ffwdanllyd, dïorbaid; nwythus, od, chwimiog, tannog, oriog.
**Fiducial**, *a.* (o'r Ll. *fiducia*; Ff. *fiduciel*) hyderus, ymddiriedus, ymddiriedol, ymddiried-

lawn, ymddiriedgar; dïammheuol, dibetrus anmhetrusol, ffyddiadol; llawn o hyder; sicr, cadarn, dïysgog.

**Fiducially**, *ad.* yn hyderus, &c.; yn hydda, mewn hyder.

**Fiduciary**, *a.* (Ll. *fiduciarius;* Ff. *fiduciaire*) hyderus, ymddiriedus, ymddiriedol, ymddiriedlawn, ymddiriedgar; dïammheuol, dïammheu, dibetrus; cadarn, sicr, dïysgog; na ddylid ei ammheu; â ddelir tàn ymddiried.

**Fiduciary**, *s.* ymddiriedai, ymddiriedog, ymddiriedur, ymddiriedolwr; un â pheth dàn ymddiried ganddo; unigffyddiad, (*pl.* unigffyddiaid), anneddfiad, gwrthddeddfwr.

**Fie, Fy,** *in.* (Al. *pfui;* Gr. *pheu;* Ff. *fi*) ffei! ffi! hach! ffach! wfft! rhag cywilydd! ffwrdd! wb!

**Fief**, *s.* (Ff.) gafael, daliad, tirafael, tirddaliad; maenor wriogaethol, maenor ammodol; ammodfael, cydnabodfael, gwarogfael; gwriogaeth, gwrogaeth, gwarogaeth.

**Field**, *s.* (S. ac Al. *feld;* Is. *veld;* Sw. a D. *felt*) maes, cae; ceufaes; coedgae; caint, ble, mai; maesdir.

A small field — maesan, maes bychan, cae bach; claws, gower.

Common field—maes cyd, tir cyd, cydfaes, cyttir, maes cyffredin.

Plain field—maes gwastad, cae gwastad, gwastadfaes.

Field of battle—maes y gad, cadfaes, cadwent, cadlan, cadfa, cadfan, aerfan, aerfa, aerfle, caint, cadgae, aergae, tranial, maes, lladdfre, ymladdle, cadgaen, cadle, rhyfelfa.

Enclosed field—ceufaes, maes cauedig, midlan, maes cau, maes caead.

A field of corn—maes o yd, cae o yd, ydfaes, ydgae, maes yd, cae yd, cae llafur.

Field-battle—cad ar faes, brwydr orsafol; maes, cad; maesgad.

To keep the field—cadw y maes; cadw ei le; aros yn ei le; trigo mewn gwersyll; trigo yn y gwersyll; meia.

To quit the field—gadaw y maes; gadael y maes; colli y maes; cilio yn ol; ffoi, gwrthgilio, encilio; cilio yn ei gwyn.

To win the field—ennill y maes; cael y maes; myned â'r maes; cael yr oruchafiaeth; ennill y dydd; cael y goreu; myned â'r gamp; gorfod, gorchfygu, goresgyn.

To take the field—myned i'r maes; cymmeryd y maes; myned allan i ryfel; meia, meio.

To challenge one to the field—galw *neu* annog i'r maes; gwahodd *neu* herio i'r maes; galw allan i ymladd.

When that fatal field was fought—pan ymladdwyd y maes angeuol hwnw; pan fu y gad angeuol, ddinystriol, echryslawn, *neu* anffodiog hòno.

We remained masters of the field—cadwasom y maes; ennillasom y fuddugoliaeth.

When he perceived it must come to a field-battle — pan ddeallodd efe nas gellid gochel dyfod i gad ar faes.

Belonging to the field—maesol; perthynol i'r maes; yn perthyn i'r maes.

Beast of the field—anifel y maes, maesfil, bwystfil maes.

A field of ice—maes o ia.

Print-field—printfaes; sefydliad argraffu ar nwyddau.

Field (in herald)—maes, y maes, maes arfau, llawr arfau; maes arfien; y cyfandir.

**Field-basil**, *s.* breninllys gwyllt.

**Field-bed**, *s.* maes-wely, gwely maes.

**Field-book**, *s.* maeslyfr, llyfr maes, llyfr tirfesurwr=llyfr â ddefnyddir wrth gyfarwylio.

**Field-colours**, *s. pl.* maes-faneran, maes-lumanau, maes-liwiau.

**Field-duck**, *s.* maes-hwyad=math o wernias.

**Fielded**,† *a.* maesedig, maesog; yn y maes; gwersylledig.

**Fieldfare**, *s.* (*field*, a *fare*, o S. *faran*, myned) socan, socas, socas lwyd, socan lwyd, socan eira, caseg y ddryghin, aderyn yr eira.

**Field-madder**, *s.* gwreiddrudd gwyllt, gwreiddrudd y maes, cochwraidd y maes, maesgochwraidd.

Little field-madder, Blue Sherardia, } corwreiddrudd, Sherardia glas.

**Fieldmarshal**, *s.* maeslywydd, maesfiliad, pencadfiliad; aergun, cadgun, maesgadlyw=swyddog milwraidd uchaf yn Mhrydain.

**Field-mouse**, *s.* llyg, llygoden y maes, llygoden maes, maeslygoden, chwistlen, chwistl, pyoden, llygoden goch.

**Field-officer**, *s.* maesswyddog, maesraddog, swyddog maes, aerswyddog, rhyfelswyddog: swyddog milwraidd uwch law cadben.

**Field-piece**, *s.* maesddryll, maesgyflegr, cyflegr maes, cyflegr gwersyll, gŵn maes.

**Field-preacher**, *s.* maes-bregethwr, pregethwr maes; pregethwr yn yr awyr agored.

**Field-room**,† *s.* maesle; lle agored, maes agored.

**Field-sports**, *s. pl.* maes-ddifyrion, difyrion y maes, difyrwch y maes; helwriaeth.

**Field-staff**, *s.* maesffon, meiffon.

**Field-vole**, *s.* maeslygoden gota, llyg llostfyr, llyg y waen.

**Field-work**, *s.* maeswaith, gwaith maes, gwaith allan.

**Field-works**, *s. pl.* maesweithiau.

**Fieldy**,† *a.* (o *field*) maesog; agored fel maes.

**Fiend**, *s.* (S. *feond;* Al. *feind;* Is. *vyand*) gelyn; ellyll, cythraul, diawl, diafl, y fall, mallt, y ddera, yr andras, yr ysbryd drwg: *pl.* cethern.

Fiends of hell, Hellish fiends, } cethern uffern, cethern y gethern, ellyllon uffernol, cethern uffernol, teulu uffern, uffernolion, cythreuliaid.

**Fiendfraying**, *a.* (*fiend* a *fray*) â ddychryn ddiawl; ellylldarf.

**Fiendful**, *a.* mallt; llawn mallt; llawn o arferion drwg.

**Fiend-hearted**, *a.* mall-galon, mallt-galon; mallt ei galon; diawlaidd ei galon; â chanddo galon cythraul.

**Fiendish**, *a.* cethernol, cethernaidd, mallt, diawlaidd, ellyllaidd, cythreulaidd, uffernol, uffernaidd; dryganianus, maleisus.

**Fiendishness**, *s.* cethernoldeb, cetherneiddrwydd, malltrwydd, malltedd, uffernolrwydd, cythreuligrwydd; maleisusrwydd, dryganiaeth.

**Fiendlike**, *a.* cethernaidd, diawlaidd, cythreulig, ellyllaidd, uffernaidd, uffernol, malltaidd; fàl ellyll.

**Fierce,** *a.* (Ll. *ferus, ferox;* Ff. *fier;* It. *fiero, feroce*) ffyrnig, creulawn, dywal, ffroch, ffrochus, ffrowys, ffrowysol, ffrochwyllt, dywal, difiog, disgyfrith, lleddfer, gerwin, tryn, (*f.* tren), blwng, (*f.* blong), nawswyllt, gwylltnaws, angerddol, angerddus, tanbaid, greidiol, graid, ffrwys, terwyn, tern, cynddeiriog, gwyllt, gorwyllt, brywyllt, ffrowyllaidd, ffrowyllog, ffrom, tost, croch, awchus, digllawn, dig, llidus, llidiog, chwefrin, llym, gwrys, brochus, brochwyllt; dewr, drud, hy; mileinig, milain, ciaidd, bwystus, hyll, erchyll; taer; anfwyn.
To grow fierce—ffrochi, creuloni, ymgreuloni, brochi, ffyrnigo, ymffyrnigo, angerddu, erchyllu, ymlewhau; gwylltio, gorwylltio, brywylltio, blynghau, sarigo.
Fierce winds—gwyntoedd creulawn, gwyntoedd ffyrnig.
Fierce eyes—llygaid teryll.
The lion is not half so fierce as he is painted—nid cymmaint Bleddyn a'i drwst.
Fierce anger—llid digofaint, llid digofus, angerdd llid.
Of fierce countenance — wyneb-greulawn; wyneb-galed; ffyrnig ei wedd.
Mighty kings and fierce—breninoedd cryfion a chedyrn (1 *Esd.* ii. 27).
A fierce man of war — rhyfelwr ffrom (*Doeth.* xviii. 15).
Judas with his company gave a fierce assault—Iudas a'r rhai oedd gydag ef a ruthrasant yn awchus (2 *Mac.* xii. 15).
**Fiercely,** *ad.* yn ffyrnig, &c.; ar ruthr.
**Fierce-minded,** *a.* ffyrnig ei fryd, &c.; creulonfrydig, ffroch-frydig, dywalfrydig, trynfrydig; angerddol.
**Fierceness,** *s.* ffyrnigrwydd, ffyrnigder, ffyrnigdra, creulondeb, creulonder, creulonedd, creulonrwydd, creulondra, dywalder, dywaledd, ffrochusrwydd, ffrochwylltrwydd, ffroch, ffrwys, trynedd, tryn, tren, trent, gerwinder, gorwylltedd, cynddaredd, cynddeiriogrwydd, mileinrwydd, mileinigrwydd, angerddoldeb, angerddusrwydd, tanbeidrwydd, &c.; llid, amwyth, dig, digofaint, angerdd.
Fierceness of anger—angerdd llid, angerdd dig, llid digofaint, cynddaredd llid, llidiogrwydd digder.
Fierceness of fire—angerdd tân, ffyrnigrwydd tân, cadernid tân.
Fierceness of heat—tanbeidrwydd gwres, angerdd gwres.
**Fieri Facias,** *s.* (Ll.) adgaffaelwys.
**Fieriness,** *s.* (o *fiery*) tanllydrwydd, tanbeidrwydd; poethder, poethineb, poethni, poethdra, gwres, gwresogrwydd; llymder; poethni tymmer, hyddigrwydd, ffromder.
**Fiery,** *a.* (o *fire*) tanllyd, o dân, tanbaid, poeth, poethlyd, tanllachar, bywlosg, fflamboeth, poethnaws, greidiol, tanol; llachar, dysglaer; ffrowys, ffrowysol, ffrwys, terwyn, poethwyllt; ffrawdd; hyddig, llidiog, llidus; fel tân.
Fiery disposition—tymmer danllyd, tymmer danlled, tymmer boeth, tymmer boethwyllt; poethnaws, lluchfryd.
Fiery flame—fflam dân, fflam danllyd.
A fiery furnace—ffwrn danllyd.
A burning fiery furnace — ffwrn o dân poeth.
Fiery billows—gwenyg bywlosg, tônau tanllyd, tônau tân.
Fiery wrath—llachar fâr, digofaint tanllyd.
Fiery indignation—angerdd tân, tanllyd ddigofaint.
Fiery horses—meirch tanllyd.
Fiery stream—afon danllyd, afon danlled; ffrwd o dân.
Fiery vapours—agerdd tanllyd; tarthoedd tanllyd.
**Fife,** *s.* (Ff. *fifre;* Al. *pfeife*) cadbib, cadbibell; chwibanogl.
**Fife,** *v. n.* canu cadbib; chwareu ar y gadbib; chwibanogli.
**Fifer,** *s.* (o *fife*) cadbibydd, cadbibwr.
**Fifteen,** *a.* (S. *fiftyn*) pumtheg=15.
Fifteen times—pumtheg gwaith, pumthegwaith, pumthengwaith.
**Fifteen,** *s.* pumtheg.
**Fifteenth,** *a.* (S. *fiftyntha*) pumthegfed, degfed a phump.
**Fifteenth,** *s.* pumthegfed, y bumthegfed ran.
A fifteenth—pumthegfed ran, pumthegfed.
**Fifth,** *a.* (S. *fifta*) pummed.
**Fifth,** *s.* pummed, y pummed, y bummed, y bummed ran, pummedran.
Perfect fifth—pummed perffaith.
Fifth-Monarchy Men—Gwŷr y Bummed Unbenaeth, Gwŷr y Bummed Freniniaeth=plaid o benboethiaid â gododd yn Lloegr tua diwedd Moduriaeth Cromwel.
**Fifthly,** *ad.* yn bummed; yn y pummed lle.
**Fiftieth,** *a.* (S. *fifteogetha*, o *fif*, pump, a *teogetha*, deg) pumdegfed, degfed a deugain, hanner canfed; pumdegol.
**Fiftieth,** *s.* pumdegfed, y degfed a deugain, y ddegfed a deugain, y ddegfed ran a deugain, pumdegran.
**Fifty,** *a.* (S. *fiftig*, o *fif*, a Goth. *tig*) pumdeg=50, deg a deugain, hanner cant.
Fifty thousand—pumdegmil, hanner cân mil, hanner canmil, pumdeg mil.
Fifty times—dengwaith a deugain, hanner canwaith, pumdegwaith, pumdengwaith.
**Fifty,** *s.* pumdeg, deg a deugain, hanner cant.
By fifties—bob yn hanner cant; bob yn ddeg a deugain; yn bumdegau; wrth y degau a deugain; bob yn bumdeg.
**Fig,** *s.* (Ll. *ficus;* Ff. *figue;* Al. *feige*) ffigysen; ffigysbren: *pl.* ffigys.
A fig for him—baw iddo.
I do not care a fig for him—gwnaed ei waethaf; ni waeth gàn i am dano ffiloryn; nid wyf yn malio brwynen am dano.
I would not give a fig for it—ni rown erddo seren bren; ni rown erddo ffiloryn; nis rhoddwn bin o'm llawes am dano; ni rown fflöen am dano; nis rhown am dano fflöyn.
Not to care a fig for — bod heb ofalu gronyn am; bod yn gwbl ddibris am; bod heb falio brwynen am; bod heb falio blewyn am; dibrisio, dïystyru, bychanu, dirmygu.
Of a fig, / Like a fig, / Belonging to a fig, } ffigysol, ffigysaidd, ffigys-; perthynol i ffigys.
**Fig,** *v. a.* clecian, clewtian, *neu* grinellu bysedd ar un; gofyn gwaethaf un; rhoi hew i un; pupro.
**Fig-apple,** *s.* ffigys-afal.
**Figaro,** *s.* (Ll. *vagus*) gofregyr.

**Figary**, *s.* (Ll. *vagus*) gofreg, pranc, nwyth, nwyd, chwim, mympwy, asbri.

**Fig-gnat**, *s.* gwibedyn y ffigys.

**Fight**, *v.* (S. *feahtan, feohtan;* Al. *fechten*) ymladd, brwydro, ymdrechu, ymdrech, trin, ymdrin, ymarfodi, ymwrio, aerodi, cadu, catäu, brythu, belu, rhyfela, ymwanu, ymwan, ymbaffio, lluedda, llueddu, llüydda; llüyddu, ymladd yn erbyn; gwrthrynu, bicra, cittrachu, ymgatewrach.

I will fight with you, / I will fight you, } mi a ymladdaf â chwi.

To fight in battle, / To fight in war, } rhyfela, rhyfelu, ymladd, llüydda, ymgad, cittrachu; ymladd mewn brwydr; ymladd mewn rhyfel.

To fight with, / To fight against, } ymladd â; ymladd yn erbyn; ymwrio â; lluedda yn erbyn; rhyfela yn erbyn; rhyfelu â.

To fight fiercely—ymladd yn groch; ymladd yn ffyrnig.

To fight one's way through—ymladd ei ffordd drwodd; myned drwodd dàn ymladd; gwneuthur *neu* agor iddo ei hun ffordd trwy nerth arfau.

To fight with lances—ymladd â rhain; ymladd âg ysberi; rheinio, ymwan, ymwanu.

To fight with swords—ymladd â chleddyfau; ymgleddyfu, ymfidogi.

To fight with knives—ymladd â chyllyll; ymgyllellu.

To fight with bows and arrows—ymladd â bwau saeth; batelu.

To fight a duel—ymornestu, ymornest, ymladd ornest.

I have fought a good fight—mi a ymdrechais ymdrech deg.

Fight against them that fight against me—ymladd â'r rhai a ymladdant â mi.

Apt to fight, / Given to fighting, } ymladdgar, rhyfelgar, tringar.

Aptness to fight—ymladdgarwch, rhyfelgarwch, tringarwch.

**Fight**, *s.* ymladd, ymladdiad, brwydr, cad, trin, ymgyrch, ymladdfa, aer, ymdrech, breithell, ystrin, trafod, cadorfod, brythwch, cittrach, cysbwy, ymwan.

Land-fight—ymladd ar dir; ymladd ar y tir; cad ar dir; tirgad.

Sea-fight—ymladd ar fôr; ymladd ar y môr; cad ar fôr; morgad, morfrwydr.

A close fight—ymladd lawlaw.

It came to a fight—hi a aeth yn ymladd; hi a dyfodd yn ymladd.

Single fight—ymgysbwy, ornest, ymornest, cysbwy.

A flourish before a fight—ymladd gosteg; gosteg ymladd; gwyntiad arfau; prawf arfau; rhagymladd, blaengais, rhagbrawf ymladdwyr.

**Fighter**, *s.* ymladdwr, ymdrechwr, ymdrechydd, cysbwywr, brwydrwr, paffiwr, paffiedydd, rhyswr, ornestwr; rhyfelwr, cadwr.

**Fighting**, *a.* ymladdol, brwydrol; ymladdgar, tringar, rhyfelgar; addas i ryfel.

Given to fighting—ymladdgar, rhyfelgar, tringar.

Fighting field—maes rhyfel, maes cad, cadfaes, maes ymladd.

**Fighting**, *s.* ymladdiad, ymdrechiad, ymbaffiad, brwydriad; ymladd, ymryson, cynhen, ymrafael, amrafael, anghydfod, cyfrysedd, cywrysedd, ymgiprys.

**Fig-leaf**, *s.* (*fig* a *leaf*) dalen y ffigysbren, ffigysddalen; gorchudd teneu, ffigyslen.

**Fig-marigold**, *s.* rhuddos ffigysaidd, gold Mair ffigysaidd, ffigruddos.

**Figment**, *s.* (Ll. *figmentum*) ffug, ffugiant, ffugiad, dychymyg, dyfais, ffugddyfais, ffugwaith, ffugchwedl; celwydd, ffalsedd.

**Fig-pecker**, *s.* (Ll. *ficedula*) ffigysor, delor y ffigys.

**Figtree**, *s.* ffigysbren, ffigyswydden, ffigwydden.

**Figulate**, *a.* (Ll. *figulo*) à wnaed o briddgist, priddgistol, priddgistaidd, priddgleiog, priddlestrog; lluniedig, ffurfiedig.

**Figurability**, *s.* (o *figurable*) hylunedd, hylunder, hylundra, hylunrwydd.

**Figurable**, *a.* (o *figure*) hylun, lluniadwy, dulliadwy, hyddull; à ellir ei ddwyn i lun neu ffurf sefydlog.

**Figural**, *a.* darluniadol, darluniol, lluniadol dulliadol; ffugrol.

**Figurant**, *s.* (Ff.) dawnsiwr cyhoeddus, dawnsydd cyhoeddus, corelwr cyhoedd, dawnsiadur.

**Figurante**, *s.* (Ff.) dawnsyddes gyhoeddus, dawnsiadures, corelwes.

**Figurate**, / **Figurated**, } *a.* (Ll. *figuratus*) lluniog, dulliog, ffurfiog, arddulliog, dulliedig; ag iddo ffurf benodol; tebyg i beth penodol ei lun; ffugredig, ffugrog, rhifnodog; addurnedig â lluniau.

**Figuration**, *s.* (Ll. *figuratio*) lluniad, ffurfiad, dulliad, arddulliad, ardumiad, gwneuthuriad; ffugriad.

**Figurative**, *a.* (Ll. *figurativus;* Ff. *figuratif*) cysgodol; arddangosol; trawsfudol, allegol, arallegol, damegol, cyffelybiaethol, cyffelybol, ail-ystyriaethol, alleiriog, aralleiriog; ffugrol, ffugyrol, ffugraidd; arwyddluniol; troellymadroddol, troellieithol, troellieithog, trofegol, troellegol, troellog; arddulliog; llawn o droellymadrodd.

Figurative language, / Figurative speech, } troellymadrodd, troelliaith, troelleg; iaith drofegol, allegol, ffugrol, neu droellog, &c.

**Figuratively**, *ad.* yn gysgodol, &c.; trwy gysgod; mewn ystyr amgen na'r un llythyrenol a gwreiddiol; trwy ddull, trwy ffugr.

**Figurativeness**, *s.* cysgodolrwydd, cysgodoldeb, allegolrwydd, arallegoldeb, trawsfudoldeb, alleiriogrwydd, ffugroldeb; troellegolrwydd, troellogrwydd.

**Figure**, *s.* (Ff.; Ll. *figura*) llun, dull, ffurf, ffunud, arddull, ardum, darlun, arlun, dullwedd, gwedd, agwedd, gosgedd, delw, eilun, ystum, elwig; cysgod, rhith, cyffelybiaeth, alleg, aralleg, troelleg, trofeg, trofäeg, trofaeg, troelliaith, troellymadrodd, troell ymadrodd, troell, dullwedd ymadrodd; rhifnod, rhifeb, ffugr, ffugyr, ffugryn, ffugren; ymddangosiad, drych, cysgodlun, rhagarwydd, arwyddlun; darlun, darluniad, arddangosiad, *neu* ragddangosiad cysgodol; cyflun, cyttrem, cyttremiad; rhwysg, mawredd, hynodrwydd.

Figure of speech—troell ymadrodd, trofeg, trofaeg, addurn ymadrodd, dullwedd ymadrodd, troellair, ffugr ymadrodd.

Figure (in arithmetic)—rhifnod, rhifeb, ffugr, ffugyr, ffugren, ffugryn.

Figure (in astrology)—cyflun y planedau, cyttrem y planedau, tyelu y planedau.

To cut a great figure, } dwyn rhwysg
To make a great figure, } mawr; ymddangos yn wych; gwneuthur rhodres; tori cynllun gwych; torsythu; gwneuthur rhwysgawd; ymddwyn yn rhwysgfawr.

To make a ridiculous figure—ymddwyn, ymddangos, *neu* edrych yn gywilyddus; ymddwyn yn chwerthinus; edrych cyn ynfyted nes chwerthin o bawb am ei ben.

To make but a mean figure—ymddwyn, ymddangos, *neu* edrych yn wael; bod â drych gwael arno; bod yn wael ei ddrych; bod â golwg wael arno; edrych yn ddilun.

Of the same figure—un fath, unfath, unffunud, unwedd, cyflun, o'r un llun, o'r un fath.

**Figure**, *v.* (Ll. *figuro*) llunio, ffurfio, darlunio, arlunio, tynu llun, ystumio, ardumio, llunweddu, dullweddu, arfelu, darlinellu, delweddu, delwadu, amrywio, amryfalu, amrywioli; rhaglunio, rhagddullio, dullio; arddullio; rhagarwyddo, rhagddangos; dychymygu, tybio; rhifnodi, rhifebu, ffugro; cysgodlunio, arwyddlunio; cysgodi, troellegu, trofegu, troellymadroddi; dwyn rhwysg, rhwysgo, ymhynodi, hynodi ei hun.

**Figure-caster**, } †*s.* darllenwrtesni, serddewin,
**Figure-flinger**, } dewin.

**Figured**, *a.* lluniedig, ffurfiedig, &c.; lluniog, ffurfiog, llunweddog, ffugrog; addurnedig â lluniau; â lluniau arno; llunaddurnog; addurnedig.

Figured bass, } trysawd.
Figured base, }

Figured stone — delw faen, maen llun, maen delweddog.

Figured expressions — troellymadroddion, troellegau, ymadroddion trofegol; ymadroddion cyffelybiaethol, ffugrol, *neu* drawsfudol.

Well-figured—lluniaidd, ffurfaidd, gosgeddig, ystumiol, ystumgar.

**Figurehead**, *s.* pendduryn, ffluregluu; llun, saflun, *neu* addurn ar fflureg llong; torddwr.

**Figure-stone**, *s.* llunfaen, dullfaen, ffugyrfaen.

**Figurial**, *a.* dulliog, lluniog, lluniol, ffugrol.

**Figuring**, *s.* lluniad, ffurfiad, dulliad; ffugriad, rhifebiad.

**Figwort**, *s.* (*fig* a *wort*) gornerth, goreunerth, meddyges ddu, deilen ddu dda, llysiau y ffigys.

Water figwort, } gornerth y dwr, goreu-
Water betony, } nerth y dwfr, dannogen y dwr.

Knotty-rooted figwort — gornerth, goreunerth, meddyges dda, deilen ddu dda.

Yellow figwort—gornerth melyn.

**Filaceous**, *a.* (Ll. *filum*; Ff. *fil*) edefaidd, edafaidd, edafeddog, manedafeddog, meinedefaidd, manwreiddiol, llinionaidd.

**Filacer**, *s.* (Norm. *filicer*) teddiadur=swyddog yn y deflys.

**Filago**, *s.* (Ll. *filum*) edafeddog, yr edafeddog.

**Filament**, *s.* (Ll. *filamentum*) edefyn, manedefyn, meinedefyn, meinedef, meinedaf, edafedden, llinionen, llinionan, llinan, llinen, edef, llin; gi; manwythen; manwreiddyn: *pl.* llinion, manedafedd, meinedafedd, gïau, manwythenau, manwraidd.

**Filamentous**, *a.* edefaidd, manedefaidd, meinedafaidd, llinaidd, llinionaidd, manedafeddog, manwreiddiog, manwreiddiol, manwythenol.

**Filanders**, *s.* (Ff. *filandres*) edefwst, llinionwst =math o glefyd ar weilch.

**Filatory**, *s.* (o'r Ll. *filum*) edafyr, edafermig, edefiadyr, peiriant nyddu.

**Filature**, *s.* (Ll. *filum*) edafeddiad, edefiad; gwneuthuriad yn edafedd; cyngrodfa, cengliadyrfa, lle y cenglir sidan.

**Filbert**, *s.* (Ll. *avellana*; o *full beard*, yn ol *Junius* a *Skinner*; oddi wrth rywun â'i enw *Filbert* neu *Filibert*, yn ol tyb *Johnson*) cneuen y gerddi, cneuen hirgib, cneuen farfog, gardd-gneuen, cneuen Yspaen; cneuen.

**Filch**, *v. a.* (ansicr; cyttras â *pilfer*) chwiwladrata, chwiwledrata, chwiwio, chwiwian, chwiwbigo, goladrata, chwilena, chwilota, chwiliach, ysbeiliota, ysbeiliata, ysbeiliatan; lladrata yn nghil dwrn; ysgipio *neu* ysgylfio yn ddirgel; lladrata heb wybod, dàn gel, *neu* dàn llaw; lladrata mân bethau.

Apt to filch—chwiwladradaidd.

**Filcher**, *s.* chwiwleidr, chwiwleidryn, lleidryn, chwiwgi, goleidr, chwilgi, chwilotwr, chwilenwr, chwilenai, chwiwbigwr, chwiwiwr, lleidr: *f.* chwiwladrones: *pl.* chwiwladron.

**Filchingly**, *ad.* yn ddirgel fàl chwiwleidr; yn lladradaidd, yn chwiwladradaidd.

**File**, *s.* (Ll. *filum*) llinyn; rhes, rhestr, tedd, rheng, rhenc; cofres, cofrestr, rhol; llinynaid; croglinyn, edefyn.

File of soldiers—baranres; rhes, rhestr, *neu* renc o filwyr; rhes o lüyddwyr yn sefyll olynol; rhes o sawdwyr wedi eu trefnu y naill o'r tu cefn i'r llall o'r blaenaf hyd yr olaf.

To march by file, } myned yn llinyn;
To file into a march, } myned yn rhes *neu* yn rhenc; myned yn unrhenc y naill ar ol y llall; myned yn unres olynol; trodio yn llinyn olynol.

Armed files—baranresi arfog, rhesi arfog, peithi arfog.

Files of war—rhesi cad, rhesi rhyfel, teddi cad.

To set in file—gosod yn llinyn; rhestru o hyd; gosod yn rhesi o hyd.

Rank and file—milwr cyffredin, cyffredin filwr; milwyr cyffredin, cyffrediu filwyr; gradd milwyr cyffredin.

To march in rank and file—myned mewn byddin, yn fyddinedig, yn fyddinog, yn gattrefnedig, yn rhestredig, *neu* mewn trefn; cerdded, trodio, *neu* deithio yn fyddinoedd fel rhyfelwyr.

File for papers—papyras; llinyn papyrau, tennyn papyrau.

A file of papers — llinynaid o bapyrau; llinyn o bapyrau; edefynaid o bapyrau.

A file of pearls—llinynaid o leiniau; gleinres, glein-linyn; llinynaid o emau.

File of a discourse—llinyn ymadrodd, gwe ymadrodd; trefn ymadrodd.

Put these letters on the file—rhoddwch, dodwch, gosodwch, *neu* crogwch y llythyrau hyn ar y llinyn; llinynwch y llythyrau hyn; rhowch y llythyrau hyn ar yr edefyn.

**File**, *v.* llinynu; rhoi, rhoddi, gosod, dodi, *neu* grogi ar linyn; rhoi yn nghrog ar linyn; gosod ar dennyn; rhesu, rhestru; ymresu, ymrestru, ymrencio, ymlinynu; myned yn llinyn; myned yn rhes olynol; trodio *neu*

drodi yn llinyn; rhestru o hyd; arddangos, teddu; arddangos yn swyddol; arddangos erbyn prawf; trefnu a chefnysgrifo.

To file off—myned ymaith yn llinyn; trodi *neu* gychwyn yn llinyn; myned ymaith yn un rhenc ar ol eu gilydd; cychwyn *neu* drodio yn un rhes olynol.

To file up—llinynu; gosod, rhoi, rhoddi, dodi, *neu* grogi ar linyn; rhoi yn nghrog ar linyn; gosod ar dennyn.

To file a bill in chancery—teddu ysgrif canghellys; llinynu ysgrif unionder; arddangos ysgrif canghellys.

**File**, *s.* (S. *feol;* Al. *feile;* Is. *vyl;* Sw. a D. *fil*) durlif, llif ddur, rhygnen, rhygnen law.

A smooth file—durlif gaboli, llif gaboli.

File-dust—durlifion, llifion durlif, blawd durlif, llwch y ddurlif, llifion y ddurlif, llifion.

File-fish—rhygnenbysg; pysg â chroen garw arnynt â wasanaetha i lyfnhau.

**File**, *v. a.* durlifio, durlifo; llifio, llifo, llifannu, llifiannu, *neu* lyfnhau â durlif; tori â durlif; caboli, llyfnhau; †diwyno.

To file off *or* asunder—lladd â durlif; durlifio ymaith.

**File-cutter**, *s.* gof durlifau, durlifof.

**File-leader**, *s.* blaenor y rhestr; arweinydd y rhes; y milwr blaenaf mewn baranres.

**Filemot**, *s.* (Ff. *feuille morte*) lliw gwywddail, lliw dail edwin, lliw gwywedig, lliw adfeiliedig, edwinliw, llwydfelyn, melynlwyd.

**Filer**, *s.* (o *file*) durlifiwr, durlifwr, durlifydd, llifiwr â durlif.

**Filial**, *a.* (Ff. o'r Ll. *filius, filia*) mabaidd, mabol, mabolaidd; plentynol; gweddus i fab *neu* blentyn; fel yr eiddo mab.

Filial affection—serch mabaidd, cariad mabol; serch *neu* gariad mab tuag at ei rieni; serch *neu* gariad plentyn tuag at ei riaint.

**Filiate,** } **Affiliate,** } *v. a.* (o'r Ll. *filius;* Ff. *affilier*) mabwyso, mabwysio, mabwysiadu, maboli, mabgynnwyso.

**Filiation**, *s.* (o'r Ll. *filius*) mabdod, maboliaeth, mabogaeth, mabaeth; mabwys, mabwysiad, mabgynnwys.

**Filices**, *s. pl.* (Ll.) rhedyn.

**Filicoid**, *a.* (Ll. *filix*, a Gr. *eidos*) rhedynaidd; ar ddull rhedyn; tebyg i redyn.

**Filicoid**, *s.* rhedyneiddlys; planigyn tebyg i redyn.

**Filiform**, *a.* (Ll. *filum* a *forma*) edefaidd, edefynaidd, meinedefaidd; ar ddull edefyn; cyfref o'r brig i'r gwaelod; o'r un praffder drosto.

**Filigrane,** } **Filigree,** } *s.* (Ll. *filum* a *granum*) edafwaith, edafron; eurwe, arianwe; berthwe, eirionwe.

**Filigraned,** } **Filigreed,** } *a.* eurweog, arianweog; edafronog; berthweog.

**Filings**, *s. pl.* (o *file*) durlifion, blawd durlif, llifion durlif, llwch y ddurlif, llifion y ddurlif, llifion.

**Fill**, *v.* (S. *fyllan, gefillan;* Al. *füllen*) llenwi, llanw; cyflenwi, gorllenwi, gorlenwi, dylenwi, cyforio; gwneuthur yn llawn, yn gyflawn, *neu* yn orlawn; diwallu, digoni; cyflawnu; tynhau; ymlenwi; myned yn llawn; croni.

To fill again—adlenwi, adlanw, llenwi drachefn.

To fill too full—rhylenwi; llenwi yn rhy lawn.

To fill one's self—ymlenwi, ymlanw; ymddiwallu, ymddigoni; ymddyfoli, ymddyfolio.

To fill to the brim—cyforio; llenwi hyd yr ymyl; llanw hyd y ddau ymyl; llenwi hyd y gib; llanw hyd y byl; llanw hyd y byl top.

To fill with stuffing—sechu, secu, senga; llenwi dàn sang.

To fill up—llanw i fyny, llenwi i fyny, &c.; llenwi, llanw; myned yn llawn; croni; gwneuthur yn llawn.

To fill out—rhythu, ymrythu; llenwi allan; estyn allan.

To fill one's ears with words *or* noise—syfrdanu, byddaru, dwndro.

To fill with wrinkles—croen-grychu (*Job* xvi. 8).

The stretching out of his wings shall fill the breadth of thy land—estyniad ei adenydd ef fydd llonaid lled dy dir di (*Esa.* viii. 8).

**Fill**, *s.* llonaid; gwala, digon; cyflanw, cyflawnder.

To have one's fill—cael ei lonaid; cael digon; cael ei ddigon; cael ei wala; cael ei ddigoni; cael ei lawn ddigon; cael llonaid ei fol.

To give one his fill—rhoi i un ei lonaid, ei wala, *neu* ei ddigon; digoni un, diwallu un.

To take one's fill—cymmeryd ei lonaid, ei ddigon, *neu* ei wala; ymlenwi, ymddiwallu, ymddigoni.

Let us take our fill of love—moes i ni ymlenwi o gariad.

They had their fill of it—cawsant eu llonaid o hono; cawsant eu gwala o hono.

Ye shall eat your fill—cewch fwyta digon; cewch fwyta eich gwala.

Thou mayest eat grapes thy fill—bwyta o rawnwin dy wala (*Deut.* xxiii. 24).

Waters flowed out to your fill—y dwfr a ddylifodd i'ch diwallu chwi (2 *Esd.* i. 20); dyfroedd a ddylifasant i'ch diwallu chwi.

They had not water to drink their fill for one day—nid oedd ganddynt ddigon o ddwfr i'w yfed dros un diwrnod (*Judith* vii. 21).

**Fillagree**, *s.*=*Filigrane, Filigree.*

**Fille-de-chamber**, *s.* (Ff.) ystafellyddes, ystafelles, morwyn ystafell.

**Filled**, *p. p.* llenwedig, llanwedig, à lanwyd, gwedi ei lenwi, &c.; llawn, cyflawn, gorllawn, gorlawn, cyforiog, digonol, diwall; wedi cael ei wala, ei ddigon, *neu* ei lonaid.

Filled full—cyforiog; sechedig, secedig; tyn gàn lonaid.

**Filler**, *s.* (o *fill*) llenwydd, llenwedydd; à lanwo, à lenwo; diwallwr, diwallydd, diwellydd.

**Fillet**, *s.* (Ff. *filet;* Ll. *filum*) ysnoden, ffunen, penre, talaith, penrwym, penrwymyn, rhwymyn, rhwymyn gwallt, llinyn; eirionyn; cylch, colofrwy, addurnrwy, pillrwy, eirionrwy, addurn-gylch, eirion-gylch; rhimgylch; goforddwyd; ysnodyn; llwynau march.

A fillet of veal—ysnodyn o gig llo; goforddwyd llo; trolyn ysnodenog o gig llo.

**Fillet**, *v. a.* ysnodenu, ffunenu; rhwymo âg ysnoden, &c.; rhwymo, cyfrwymo; cylchu,

colofrwyo, pillrwyo, addurn-gylchu; rhimgylchu.
Fillibeg, Philibeg, s. (Gael. *filleadh-beg*) peisdwyg, berbais, clunbais, briganttwyg=gwisg yn cyrhaedd hyd y penliniau, arferedig yn Ucheldiroedd yr Alban yn lle llodrau.
Filling, s. (o *fill*) llenwad, cyflenwad, llanwad; cyflawniad; llanw; y bwrw, y dylif.
Fillip, v. a. (ffurfiedig, medd *Skinner*, o'r sain) rhoi cnipws, rhoi cnocell, cnocellu, cnipysu.
Fillip, s. cnipws, cnocell.
Filly, s. (C. *ffilog*) eboles, ffilog; ffiloges.
Film, s. (S.) pilen, pilionen, croenen, croenyn, caen, caenen, huchen, rhuchen, huch, rhuch, teneugroen.
Film, v. a. pilenu, croenenu, caenu, caenenu, hucho, huchenu, rhucho, rhuchenu; cuddio â philen.
Filminess, s. (o *filmy*) pilenogrwydd, pileneiddrwydd, croenenogrwydd, huchogrwydd, rhuchogrwydd.
Filmy, a. pilenog, pilenaidd, croenenog, croenenaidd, croenynaidd, huchenog, rhuchenog, rhuchog, huchog, pilenig.
Filmy fern—huch-redyn, rhedyn pilenog.
Filose, a. (Ll. *filum*) edefaidd, edafeiddiol, fel edef, ar wedd edaf.
Filter, s. (Ff. *filtre*) hidl, hidlydd, hidlyr, puredydd.
Filter, v. hidlo, glanhidlo; teru trwy hidlo; awgoethi, gwyburo, puro, teru.
Filter, s.=*Philter*.
Filth, s. (S. *fylth*) budredd, budreddi, brynti, bryntni, anmhuredd, llwgr, bewyd; peth aflan; baw, tom, biswail; carthion, ysgarthion, ysgubion, sothach, sorod, swrwd, llytrod; aflendid.
The filth of any thing washed—golchion.
The filth of the nose—llysnafedd, llyfi, ysmoneg.
The filth of sin—brynti pechod, halogrwydd pechod.
Filthily, ad. yn frwnt, yn fudr, &c.
Filthiness, s. (o *filthy*) budredd, budreddi, brynti, bryntni, llytrodedd, llytrodrwydd, anmhuredd, bawlydrwydd, baweiddrwydd, bewyd, tomlydrwydd; aflendid, halogrwydd, halogedigaeth, ffieidd-dra, anmhurdeb; mefl, serthedd, serthi.
Filthiness of communication—serthedd, serthfrynti; aflendid, anlladrwydd, anniweirdeb.
Filthiness of smell—drygsawr, drygsawrusrwydd, drewdod, drewsawr.
Filthy, a. (o *filth*) budr, brwnt, (*f.* bront), aflan, ffiaidd, ffieiddgas, bawlyd, budrog, swga, tomlyd, aflwys, diffaeth, serth; drewllyd, drewedig.
Filthy lucre—budrelw, budrelwant, budr elw.
To get filthy lucre—budrelwa.
Not given to filthy lucre—nid yn budrelw.
Filthy in speech—budr, brwnt, aflan, serth, cas, *neu* ddiffaeth ei ymadrodd; budr brwnt, aflan, serth, cas, *neu* ddiffaeth ei dafod; budreiriog, sertheiriog, serth.
Filthy in conversation—aflan *neu* frwnt ei fuchedd; anniwair, trythyll, anllad, diffaeth.
Filthy conversation—anniwair ymarweddiad, buchedd aflan.
Filthy communication—serthedd; serthair; ymadrodd brwnt *neu* aflan; budriaith, iaith fudr, iaith front.
Filthy scent *or* smell—drygsawr, sawr drwg, drygwynt, drewsawr, gwynt brwnt, gwynt cas, sawr drewllyd.
To make filthy—budrogi, budro, budrhau, budru, bryntäu, budreddu, diwyno, llytrodi, aflanhau.
Filtrate, v. a. (Ff. *filtrer;* Ysp. *filtrar*) hidlo, glanhidlo; teru trwy hidlo; awgoethi, gwyburo, puro, teru.
Filtration, s. hidlad, glanhidlad, gwyburad; purad dwfr, purad gwyon.
Fimble-hemp, s. (*female-hemp*) cywarch benyw.
Fimbria, s. (Ll.) eddi, sider, olbre, sitrach.
Fimbriate, a. (Ll. *fimbriatus*) siderog, eddïog, olbreog, sitrachog, eddïol, siderol, hemiol.
Fimbriate, v. a. sideru, eddïo, hemio, eirionynu.
Fimbriated, a. (Ll. *fimbriatus*) hemiog, rhimgylchog; âg iddo ymylgylch cul o liw gwahanol.
Fin, s. (S. *finn;* Is. *vin;* D. ac Al. *finne;* Ll. *pinna*) aden pysg, adain pysgodyn, adan pysg, asgell, asgell pysg, pysgaden, pysgadain.
Fin-footed runner—cyffylog y môr.
Fin, v. a. tori penci, rhanu cochgangen.
Finable, a. (o *fine*) dirwyadwy; â ellir ei ddirwyo; agored i ddirwy; dirwyol, camlyrus.
Final, a. (Ff. ac Ysp.; Ll. *finalis*) diweddaf, terfynol, olaf, dybenol, penderfynol; llwyr, eithaf; diweddol, diweddafol, cwblhaol.
Finale, s. (It.) diweddglwm, diweddglo; diweddal; diwedd.
Finality, s. terfynoldeb, terfynolrwydd, dybenoldeb, dybenolder, diweddoldeb, diweddolrwydd, diweddafoldeb.
Finally, ad. yn ddiweddaf, yn olaf; yn y diwedd, o'r diwedd; yn derfynol.
Finance, s. (Ff. a Norm.) daered, argyllid, cyllid, y cyllid, cyllid y deyrnas; trethyddiaeth, daerediaeth.
Finance and commerce—cyllid a thrafnid.
Finances, s. pl. daeredion, cyllidau, argyllidau, ardrethion, y cyllidau, y daeredion; y cyllid, y ddaered; cyllid y sylltty, cyllid y trysorlys, y cyllid breninol, cyllidau y deyrnas, trysor y deyrnas; eurgrawn.
Financial, a. daeredol, argyllidol, cyllidol; perthynol i gyllid y deyrnas; yn perthyn i'r daeredion cyhoeddus; cedofyddol; arianol.
Financially, ad. yn ddaeredol; gyda golwg ar y cyllidau; tuag at am y daeredion; mewn perthynas i drysor y deyrnas; yn arianol.
Financier, s. (Ff.) pendaeredwr, pendaeredydd, daeredydd, daeredwr, arddaeredwr, trysorydd, argyllidwr; daeredofydd, cyllidofydd; cedofydd; eurgronwr.
Finary, Finery, s. (o *fine, refine*) coethfa, coethffwrn, coethdy, ty coethi.
Finch, s. (S. *finc;* Al. *fink;* Is. *vink*) pinc, pincyn, pila, ysbincyn, telor.
Gold-headed finch—pila pen aur, peneuryn, pen eurin.
Green finch—y llinos werdd, pila gwyrdd, y gegid, llinosen werdd.
Blue finch—pila glas.
Small blue finch—pila glas bach.
Silk-cap finch—pila cap sidan, pincyn pen sidan.

Cold-finch—clochdar y mynydd.
Fallow-finch—y gynffonwen, tinwyn y ceryg, (*f.* tinwen y ceryg).

Find, *v. a.* (S. *findan;* Al. *finden*) cael, caffael; cael gafael ar; dyfod o hyd i; cael hyd i; cyffwrdd â, cyfarfod â; taro wrth; disgyn ar; cael allan; mynu; mynu gafael ar *neu* yn; cael cyfod ar; dâl, dala; deall, dirnad, dirnadu, amgyffred, synio, synied; gweled, canfod; profi, teimlo; gwybod; clywed; digelu; ceisio; medru ar; chwilio am.
To find out—cael, cael allan; cael gafael ar; chwilio allan; mynu *neu* gael gwybodaeth o; olrhain, olrheinio; dyfod i wybod; dyfod o hyd i; dyfeisio, dychymygu; goddiweddyd, gorddiwes; darganfod.
To find with—cynnal, digoni, *neu* ddiwallu â; cynnal *neu* gadw un mewn peth; rhoddi i un ei wala *neu* ei gyfraid o; gweini i un mewn peth; darparu i un.
To find in—darparu, cyflenwi, cynnal, cynysgaethu â, cyflenwi â, cyflawnu â; cynnal, digoni, cadw, *neu* ddiwallu mewn; cynnal, diwallu, *neu* ddigoni â; rhoddi i un ei ddigon, ei wala, *neu* ei gyfraid; gweini i un mewn peth.
To find one's self—bod, hanfod; cael ei hun; clywed ei hun; bydio, byw, cynnal, ymdaro, ymglywed; bod mewn hynt *neu* helynt.
How do you find yourself?—pa fodd yr ydych? pa sut yr ydych? sut yr ydych chwi? pa fodd yr ymdarëwch? pa fodd yr ydych yn ymdaro *neu* yn bydio? pa fyd y sydd arnoch? pa sut yr ych yn ymglywed? pa fodd yr ydych yn ymglywed? pa fyd? pa hynt? pa fodd yr ydych yn ymdeimlo? pa fodd yr ydych yn clywed eich hun?
I find myself indisposed—yr wyf yn clywed fy hun yn anhwylus *neu* yn ddihoen; yr wyf yn profi *neu* yn teimlo fy hun yn anhwylus; yr wyf yn ymglywed yn anhwylus.
I could find in my heart—mi a glywn ar fy nghalon; mi a allwn ar fy nghalon.
He could not find in his heart to quit—nid ymglywai âg ymadael; nid oedd yn ymglywed âg ymadael; ni chlywai ar ei galon ymadael.
To find fault with—beio ar, achwyn ar; bwrw bai ar; dwrdio.
I found it at last—mi a'i cefais o'r diwedd; daethym o hyd iddo o'r diwedd; tarawais wrtho o'r diwedd; cyffyrddais âg ef o'r diwedd.
He will ever find something to say—efe a fyn rywbeth fyth i'w ddywedyd; efe a ddychymyg rywbeth fyth i'w ddywedyd; ni fetha ganddo gael rhywbeth fyth i'w ddywedyd.
To find grace, } cael ffafr; cael mwynas;
To find favour, } bod yn gymmeradwy; ennill ewyllys da; ennill bodd; cael rhad.
To find an excuse—llunio esgus, cael esgus.
To find a bill—haeru cwyn, sefydlu cwyn; cael cwyn *neu* achwyn yn erbyn un; cymmeradwyo yr achwyn; cymmeradwyo y cwyn; cael ysgrif; cael gwir ysysgrif; cael y cyhuddiad yn gywir; cael cyhudded gywir.
To find one's place of abode—cael [illegible] ar un.
Past finding out—anolrheinadwy.
Fast bind, fast find—os diogel y [illegible] diogel y ceir.
Be sure your sin will find you out—[illegible] byddwch y goddiwedda eich pech[illegible]
He found out the truth—efe a [illegible] y gwirionedd; efe a fynodd allan y g[illegible]ionedd.
And when they could not find by what [illegible] they might bring him in—a [illegible] fedrent gael pa fodd y dygent ef i [illegible]
And could not find what they might [illegible]—ac ni fedrent gael beth â wnaent.

Finder, *s.* caffaeliwr, caffaelydd; dychym[illegible] dyfeisiwr; olrheiniwr; dadguddiwr.

Findfault, *s.* beiwr, senwr, cecryn, cec[illegible] cecrydd, ymgecrwr, un cipgar.

Findfaulting, *a.* hyfeiol, hyfarn, hyfai, [illegible] cyhuddgar, cipgar, cecrus.

Finding, *s.* caffaeliad, caffaeliant, caffawd; [illegible]odiad o hyd i beth; darganfyddiad, [illegible]guddiad, dadenhuddiad, dadencuddiad, [illegible]iad, canfyddiad; dedfryd, rheithfarn, [illegible]

Findings, *s. pl.* cêr crydd teithiol.

Findy,† *a.* (S. *findig;* D. *fyndig*) llawn, [illegible] sylweddol.

Fine, *a.* (Ff. a Sw. *fin;* Ysp., Port., [illegible] *fino;* Al. *fein;* Is. *fyn*) teg; main, [illegible] pur, ter, coeth, gloew, purlan, claer; [illegible] addfain, addfeinus; manwl, manol, cyw[illegible] cywraint, cynnil, celfydd, dichlyn; g[illegible] tlws, dillyn; destlus, dain, deiniol, [illegible] syw, del, clws, (*f.* clos), pefr, pry[illegible] cain, hardd, berth, telediw, gwymp, [illegible]eirig, pinc, hoew, taclus, ceinwych, g[illegible] harddwych, meinwych, lluniaidd, gosge[illegible] golygus, elgain, telaid, ceindlws, perc, pe[illegible] tlosgain, tlysgain, ceindlws, nais; llyfn, [illegible] caboledig, dilin, gwastad, miwail; disoth[illegible] disorod; manweaidd, manweddaidd, m[illegible] manwy, manwyaidd, meinus; rhagorol, [illegible]idog, ardderchog, ysblenydd; tlysg[illegible] coethwych; llym, edlym, iddas; cyf[illegible]ffel, ystrywgar; rhywiog; da.
The fine arts—y celfau teg; y celfau [illegible]iol; y celfyddydau breiniol; y celfyddydau teg; y celfyddydau dain.
Fine linen—llian main, lliain main, ll[illegible] teg, llian meinwe, llian manwea[illegible] llian meinllin, bliant.
A table-cloth of fine linen—lliain bw[illegible] fliant.
Fine cloth—brethyn teg, brethyn me[illegible]wych, brethyn dinesig, meinfrethyn.
Fine hair—gwallt teg, gwallt manwyai[illegible]
Fine sand—tywod mân.
Fine gold—aur coeth, aur dilin, aur co[illegible]edig, aur pur.
Fine brass—pres coeth.
Fine thread—edaf fain, edef fain; eda[illegible] main.
Fine flax—meinllin, llin teg, llin main.
Fine wool—gwlan teg, gwlan rhywiog.
Fine meal—blawd mân, blawd peill[illegible] blawd teg.
Fine flour—peillion; mân gàn, man-g[illegible], man-gant, manbaill; peillied, càn, p[illegible]
A fine boy—bachgen gwych, bachgen ti[illegible], bachgen pert, &c.
A fine woman—benyw deg, dynes we[illegible]

benyw hardd, dynes luniaidd, gwraig olygus.
**The** finest lady in the land—y decaf yn y dyrfa lle del; y rhian harddaf yn y wlad.
**A** fine man—dyn gwych.
**Fine** cattle—gwartheg teg.
**To** make fine—meinhau, meinuso, manhau; gwychu, twtneisio, harddu, pincio, hoewi, addurno, caboli; gwneuthur yn deg, &c.
**Somewhat** fine—go deg, lled deg, crỳn deg, tràn deg, pur deg, go fain, go fân, &c.
**Very** fine—teg iawn, &c.; tra theg, &c.; gorfain, gorwych; elgain, cyfrgain, cyweirwych, cyfrdelaid.
**These** are fine things to talk of—pethau difyr yw y rhai hyn i siarad am danynt; pethau digrif yw y rhai hyn i chwedleua am danynt; dyma bethau gwych i ymddyddan am danynt.
**I** have known very many fine things in that man—adwaenwn lawer o bethau *neu* gynneddfau tra godidog yn y gwr hwnw.
**A** person of a very fine wit—gwr tra thlws ei synwyr; gwr tra gwiwdlws ei synwyr; gwr gwych iawn ei synwyr; dyn tra ysblenydd ei arabedd.
**To** have a fine time of it—cael ei fyd wrth ei fodd; cael y byd wrth ei fodd; cael amser da o hani; bod heb swydd yn y byd ond chwareu a dylyn difyrwch; bod heb ddim i'w wneuthur ond chwareu ac ymddifyru; cael amser hafaidd.
**To** have a fine time for getting money—cael amser da i ennill arian; cael odfa deg i ennill arian.

**Fine**, *s.* (Ll. *finis; C. fin*, yn ol *Iunius*) dirwy, camgwl, camlwrw, fforffed; sarhad, sarhäed; arian blaenllaw.
**A** fine for an injury done to a person—sarhad, sarhäed.
**A** fine for an affront—gwynebwarth, wynebwarth, gwynebwerth.
**To** levy a fine—codi dirwy.
**In** fine (Ff. *enfin;* Ll. *in* a *finis*)—yn ddiweddaf, yn olaf; yn y diwedd; mewn gair; ar fyr, yn fyr; i derfynu, i ddiweddu, i ddybenu, i dalmu; i gau *neu* i gloi ar y cwbl; gwedi yr oll.

**Fine**, *v. a.* coethi, teru, puro, glanburo, dargoethi, gloewi, claeru, dïanmhuro, diwaddodi, diwaelodi; †teghau, addurno, pincio.
**Fine**, *v. a.* dirwyo, camgylu, camlyrio; rhoi dirwy ar; †talu dirwy.
**Fined**, *p. p.* coethedig, &c.; coeth, pur, ter, gloew; dirwyedig, camlyrus.
**Finedraw**, *v. a.* (*fine* a *draw*) tegwnio, neisbwytho, rhwygwnio, asbwytho, wynebwnio; gwnio mòr dlws fel nas gweler ol y rhwyg.
**Finedrawer**, *s.* tegwniwr, tegwniedydd, rhwygwniwr, asbwythwr, gwniwr teg, neisbwythwr.
**Finedrawing**, *s.* tegwniad, neisbwythad, asbwythad, rhwygwniad.
**Fine-fingered**, *a.* llawgywrain; cynnil, cywrain, manwl, tegweithiol; hyfedr ar waith teg.
**Fine-grained**, *a.* teglinaidd.
**Fineless**,† *a.* diddiwedd, diderfyn.
**Finely**, *ad.* yn deg, &c.
You are finely cheated—fe'ch twyllwyd yn deg, yn daclus, *neu* yn hyfedr.

**Fineness**, *s.* (o *fine; Ff. finesse;* It. *finezza*) tegrwydd, tegwch, tegedd, pertedd, tlysni, clysni, prydferthwch, gwychder, gwychedd, dillynder, dillynedd, destledd, destlusedd, harddwch, harddwychder, ceinwychder, ceinwychedd, gorwychder, pefredd, teleidrwydd, twtneisrwydd; meinder, meindra, meinedd, manwedd, manwyedd; bychander, bychanigrwydd, eiddiledd; manylder, manyldra, cynnilder, cynnilwch, cywreinrwydd; coethder, teredd, terineb, coethineb, purineb, purdeb, purder, gloewineb; ymddangosiad, rhwysg; ysblander; cyfrwysdra, ffelder; llyfnder; godidogrwydd, rhagoroldeb.
Fineness of thread—meinder edaf.
**Finer**, *s.* coethwr, coethydd, coethiedydd, purwr, puriedydd, terydd, terwr.
There shall come forth a vessel for the finer—daw i'r gof arian lestr (*Diar.* xxv. 4).
**Finery**, *s.* (o *fine*) gwychder, gwychedd, ceinder, ceinwychder, coegwychder; harddwisg, ceinwisg; harddwisgoedd, ceinwisgoedd, gwychderau, dillynion; coethfa, coethffwrn, coethdy, ty coethi.
Fineries — harddwisgoedd, dillynion, gwychderau.
**Finespoken**, *a.* (*fine* a *speak*) geirdeg, geirber, geirfwyn, llafardeg, mwynair; ymadroddfwyn, parablber; ymadroddus, parablus; gwenieithus, gwenieithol.
**Finespun**, *a.* (*fine* a *spin*) tegnyddedig; à dynwyd yn edef fain; main, mân, manwyaidd, manweaidd; cywreiniol, cywrain, manylaidd.
**Finesse**, *s.* (Ff.; It. *finezza*) ystryw, cyfrwysder, cyfrwysdra, cyfrwysdro, ystranc, dichell, dichelldro, arystryw, dychymyg ystrywgar; tro ystrywgar, destl, hyddestl, *neu* hyfedr; ymdro ystrywgar *neu* ddichellgar; dyfais.
**Finesse**, *v. n.* ystrywio, arystrywio; arfer cyfrwysder, &c.
**Finestill**, *v. a.* (*fine* a *still*) terddystyllu, terddystyllio, terferino = dystyllio gwirod o driagl, neu o ryw ddefnydd sugraidd cyffelyb.
**Finestiller**, *s.* terddystyllwr, terddystyllydd, terferinwr.
**Finestilling**, *s.* terddystylliad, terferinad.
**Fine-stuff**, *s.* tegblastr, plastr teg.
**Finew**,† *s.* (?) braenedd, braenllwydni, braenllwydedd, llwydni.
**Finewy**,† *a.* braenllwyd, braenllyd, braen.
**Finfish**, *s.* asgellbysg, adenbysg=math o forfil bach.
**Fin-footed**, *a.* cyfandroed, troedgyfan, asgelldroed, palfdroediog, adendroed = à fo â'i draed fel traed gŵydd, ac ereill o adar dwr.
**Finger**, *s.* (S., Al., Sw., a D.) bys; *pl.* bysedd.
Fore-finger — mynegfys, mynagfys, bys blaen, gorfys, rhagfys, bys yr uwd, uwdfys.
Middle finger—hirfys, canolfys, bys canol, bys perfedd.
Ring-finger—greinfys, bys y fodrwy, canfys, meddygfys, bys y gyfaredd.
Little finger—byrfys, bys bach; bysyn.
Finger-stall—bysle.
Finger's breadth — bysfedd, bysled, lled bys.
Four fingers' breadth — pedair bysfedd, pedwar bysled, lled pedwar bys, lled pedwarbys.

Three fingers thick—tribysig; trwch tribys.

At the fingers' end—ar ben ei fysedd; ar ben pob bys; ar flaen ei fysedd; yn rhugl, yn barod, yn hyfedr.

As much as can be held on a finger—bysaid.

A ring for the finger—byson; modrwy.

To snap the fingers — clecian y bysedd; crinellu y bysedd; clewtian y bysedd; gwringellu y bysedd.

My fingers itch—y mae fy nwylaw yn gwynegu *neu* yn gwyniasu; mae fy nyrnau yn gwynegu *neu* yn gwyniasu; mae ysfan ar fy mysedd; mae arnaf fawrchwant.

With a wet finger—yn hawdd, yn hawdd iawn, yn rhwydd, yn hyrwydd; wrth ychydig boen; heb boen yn y byd; heb lafur yn y byd; môr esmwyth a'r tes; cyn esmwythed a'r tes.

You too had a finger in the pie—yr oeddech chwithau â llaw yn y gorchwyl; yr oedd genych chwithau law yn y gorchwyl; yr oedd genych chwithau fys yn y bastai.

His fingers are lime-twigs—mae glud ar ei ddwylaw; nid oes dim â ymâd â'i ddwylaw; mae pob peth yn glynu wrth ei ddwylaw.

I will make him find his fingers—gwnaf *neu* paraf iddo dynu ei ddwylaw o'i asgre; paraf iddo dynu ei ddwylaw o'i lewys; gwnaf iddo dynu ei law o'i lawes.

I will make him feel my fingers—paraf iddo glywed pwys fy nwylaw; gwnaf ol fy nwylaw arno.

Why should one put his finger in the fire, when one can keep it out?—pa ham yr ymyrai un â pherygl yn ddiachos?

To be finger and glove with one—bod yn fawr ei gymmeriad gydag un; bod o gyfrinach *neu* ddirgel gynghor un; bod yn bobpeth gydag un.

She has a good finger—mae ganddi fys da; mae yn hyfedr ar chwareu â bysedd; mae hi yn hyfedr ar chwareu ar offer tannau; mae yn hyfedr ar dynu ar dannau. [en felen.

Ladies' fingers—plucen, plucan, meillion-

Finger, *v.* bysio, gofysio; teimlo â bys; bysdeimlo, godeimlo, teimlo; mynych deimlo, cnithio, ysgafn gyffwrdd, llaes gnithio; trafod, trin, ymyryd, ymyraeth, ymhela, ymdrafod â; chwiwio, chwiwian, chwiwbigo, chwiwladrata, goladrata, chwilota, chwilena, bachu, dyfachu, ysbeiliota; cymmeryd yn lladradaidd; rhoi ei fys ar; chwareu ar offer tannau; chwareu â bysedd; gwneuthur cynnilwaith; chwareu, maldodi, teganu.

Finger-board, *s.* bysfwrdd; bwrdd offeryn cerdd dannau.

Fingered, *a.* bysog, byseddog, bysiog; â bysedd iddo; â chanddo fysedd; gofysiedig, bysiedig, teimledig.

Light-fingered—llawysgafn; lladronaidd, lladronig, chwiwgar, chwiwladradaidd, anonest.

To be light-fingered—bod yn llawysgafn.

Finger-fern, *s.* duegredyn, bysredyn.

Finger-grass, *s.* byswellt.

Cock's-foot finger-grass—grugwellt, troed y ceiliog, dant y ci.

Smooth finger-grass—byswellt llyfn.

Fingering, *s.* (o *finger*) bysiad, gofysiad; godeimlad, cnithiad, ysgafn gyffyrddiad; buchwareuad; chwareuad ar offeryn cerdd â bysedd; cynnilwaith llaw, byswaith.

Finger-parted, *a.* bys-ranedig, bys-ranog.

Fingerpost, *s.* mynegbost, cyfeirbost.

Finger-shell, *s.* bysgragen.

Finger-stone, *s.* bysfaen.

Fingle-fangle, *s.* ffril, anober, ffiloreg.

Finial, *s.* (Ll. *finis*) gorphenwaith, topwaith, terfyniad addurnol pinygl.

Finical, *a.* (o *fine*) coegynaidd, (*f.* coegenaidd), coegfalch, coegwych, pinc, rhyddillyn, rhyddestl, rhy binc, rhy ddestlus, ysgoegynaidd, pefrynaidd, coegaidd, ysgoeg, mursynaidd, cymhen, cymhenffol, pinclyd, del, syw, mân, gorddillyn.

A finical fellow—coegyn, ysgoegyn, un coegfalch, un coegwych, pertyn, pefryn, coegwr, mursen o ddyn.

Finically, *ad.* yn goegynaidd.

Finicalness, *s.* coegyndod, ysgoegyndod, pincrwydd, pincedd, coegyneiddrwydd, rhyddillynedd, coegwychder, coegwychedd, coegni, coegedd, coegfalchder, gorddillynder, pefryneiddrwydd, delder.

Finikin, *a.* (o *fine*) manylwag; manwl mewn ffrilion; manwl, gorddillyn, coeg, cymhenffol; segur, ofer; swyddgar, rhydresgar, gwag-brysur.

A finikin fellow—coegyn.

A finikin lass—coegen.

Fining, *p.* yn coethi, &c.; coethol, purol, teriadol.

Fining pot — coethadyr, puradyr, coethlestr, coethbot, toddlestr.

Fining house—coethdy.

Finis, *s.* (Ll.) diwedd, terfyn, dyben, gorphen, pen.

Finish, *v. a.* (Ll. *finio;* Ff. *finir*) gorphen, dybenu, terfynu, diweddu, gorphenu, darfodi, penu, darfod â, talmu, tachweddu, daru; dwyn i ben, cwblhau, cyflawnu, perffeithio; cywreinio; rhoi y llaw ddiweddaf wrth.

It is finished—gorphenwyd, darfu, dybenwyd, &c.; deryw, goryw.

It has been finished—y mae wedi ei orphen; cafodd ei orphen; darodd.

Having finished—gwedi darfod, wedi darfod; gwedi gorphen, &c.

That is finished—hyny a ddarfu; hyny a dderyw; darfu hyny; deryw hyny.

I have finished my task—gorphenais fy ngorchwyl; yr wyf wedi gorphen fy ngorchwyl; darfum i â'm gorchwyl; darfu i mi â'm gorchwyl.

Finish, *s.* gorphen, diwedd, dyben, terfyn, pen, darfod, dybendod, gorphendod; cyflawniad, perffeithiad, cwblhad.

Finished, *a.* gorphenedig, &c.; cyflawn, perffeithlawn, trylwyr, perffaith, dygiadus, addysgwych, coethwych, deifniog, diwylledig, dawnwych.

A finished scholar—ysgolor tryddysg; ysgolhaig perffeithlawn, addysgwych, coethwych, deifniog, dygiadus, gorphenedig, medrus, cyflawn, *neu* drylwyr.

Not finished — anorphen, anorphenedig, anorphenol, annybenus, anghyflawn, anghwbl, anmherffaith, annherfynedig; heb ei orphen.

**inisher,** *s.* gorphenwr, dybenwr, diweddwr, terfynwr, cwblhäwr, cyflawnwr, perffeithiwr, perffeithydd.
The finisher of our faith—perffeithydd ein ffydd; ein credofydd.
**inishing,** *s.* gorpheniad, diweddiad, dybeniad, terfyniad, cwblhad, cyflawniad, perffeithiad, dybendod.
**inishing,** *a.* gorphenol, dybenus, diweddol, terfynol, dybenol; yn gorphen, &c.
The finishing stroke—y llaw ddiweddaf.
**'inite,** *a.* (Ll. *finitus*) terfynol, terfynedig, meidrol, dybenol; mesurol, mesuredig; penodol.
A finite number—nifer terfynol, nifer penodol, rhif terfynol.
**'initely,** *ad.* yn derfynol; dàn derfyn, dàn derfynau.
**'initeless,** *a.* annherfynol, diderfyn, anfeidrol, anfesuredig, anfesurol, didran.
**'initeness,** *s.* terfynoldeb, meidroldeb, meidrolrwydd, meidrolder, terfynolrwydd; terfyniad.
**Finitor,** *s.* (Ll.) gorwel, terfyngylch, llywel, terfynydd.
**Finitude,**† *s.* (o *finite*)=*Finiteness.*
**Finless,** *a.* (*fin* a *less*) dïaden, dïadain, dïasgell, anadeiniog, anasgellog, dïesgyll, heb bysgedyn.
Finless fish—pysg dïaden, pysg heb esgyll.
**Finlike,** *a.* (*fin* a *like*) adeinaidd, adeiniol; fel adain pysg; tebyg i adain pysg; ar lun aden *neu* asgell; pysgadeinaidd.
**Finned,** (*a.* o *fin*) asgellog, adeiniog, adenog.
**Finnikin,** *s.* colomen fyngog, colomen siobynog.
**Finny,** *a.* adeiniog, asgellog, adenog, pysgadeiniog; adeiniog fel pysg.
**Finochio,** *s.* (It. *finocchio*) math o ffenigl.
**Finscale,** *s.* (*fin* a *scale*) yr asgellgen=math o bysg dwr croew.
**Fintoed,** *a.* (*fin* a *toe*) cyfandroed, troedgyfan, asgelldroed, adendroed, asgellfysog, palfdroediog=à fo â'i draed fel traed adar dwr.
**Fiorin,** *s.* (It. *fiorino, fiore?*) maeswellt, meuswellt.
**Fiorite,** *s.* cramfaen.
**Fipple,**† *s.* (Ll. *fibula*) ystopell.
**Fir,** *s.* (Al. *föhre;* S. *furh-wudu;* D. *fyrretræe;* C. *pyr*) ffeinidwydd, ffynidwydd, pyrwydd, pyr, pygwydd, ffawwydd, sybwydd, pinwydd, pererinbren, pygbren, pinbren.
Fir-tree—ffeinidwydden, pyrwydden, &c.; pererinbren, pygbren, pinbren.
Scotch fir—pinwydd gwylltion, ffeinidwydd, ffynidwydd.
Fir club-moss — pyrfwsogl, pyrfwswn, ffeinid-fwsogl.
Silver fir—ffeinidwydd arianaidd, pyrwydd arian.
Fir-in-bond—coed à adeiledir mewn muriau; murgoed, murbrenau, muradeilgoed.
**Fire,** *s.* (S., D., a Sw. *fyr;* Al. *feuer;* Is. *vuur*) tân, ufel, engyl.
A great fire — goddaith, coelcerth, tân mawr, cynne, eirias, tanllwyth, eiriasdan.
Blazing fire—fflamdan, tân fflamllyd.
St. Anthony's fire—iddwf, tan iddwf, fflam iddwf.
Wild fire—tân gwyllt; tandde.
Greek fire—tân Groeg, tân Groegaidd; tân gwyllt.
Divination by fire—tanogan, tanddewiniaeth, fflamgoel, tân-goel.
The fire of love—tân, angerdd, gwres, *neu* boethder cariad.
To strike fire—taraw tân, lladd tân.
Fire-back—pentan, talpentan.
On fire—ar dân; yn llosgi, &c.; yn goelcerth, yn oddaith.
To set on fire, To set fire to, } tanio, tanu; gosod *neu* roi ar dân; rhoi tân yn *neu* mewn; goddeithio, cynneu, tanial, llosgi; gwneuthur i ffaglu; ennyn, ennynu, fflamio, tanfflamu; gosod *neu* wneuthur yn fflam.
To take fire—tanio, tanu; cymmeryd tân.
To be on fire—bod ar dân; llosgi gàn ddig *neu* lid; ymlosgi gàn ddig *neu* lid; bod yn ymlosgi gàn lid *neu* ddig.
Set on fire—à roddwyd ar dân, &c.; poeth, tanllyd, fflamboeth.
They that are set on fire—dynion poethion.
He is all on fire with desire—mae efe yn llosgi *neu* yn ymlosgi gàn awydd; y mae efe ar dân gàn awydd.
No smoke without some fire — ni bydd mwg oni bo tân; ni bydd mwg heb beth tân; lle bo tân y bydd mwg; lle bo mwg y bydd tân.
**Fire,** *v.* tanio, tanu; gosod, rhoi, *neu* ddodi ar dân; rhoi tân yn *neu* mewn; cynneu, goddeithio, tanial, llosgi, ennyn, ennynu, fflamio, tanfflamu, ffaglu, taniadu; ysoli, serio; gwneuthur i ffaglu; cymmeryd tân; saethu; gollwng dryll, gŵn, *neu* ergyd.
Fire at it — taniwch, tanwch, tenwch, saethwch, *neu* gollyngwch ato.
**Firearms,** *s. pl.* arfau tân, tân-eirf, tân-arfau.
**Fire-arrow,** *s.* tansaeth, saeth dân.
**Fireball,** *s.* llosbel, llosbelen, tanbel, tanbelen, pelen dân; goruchionen; pel *neu* belen o dân gwyllt.
**Firebare,** *s.* pigwn, tanfwdwl, coelcerth.
**Firebarrel,** *s.* tanfaril, baril dân, llosfaril.
**Firebavin,** *s.* tân-ffagod, tân-ffagoden, ffagoden dân.
**Fireblast,** *s.* deiflosg, tân-falldod, llosg=afiechyd mewn pensag.
**Fireboard,** *s.* tanfwrdd, clawr y simnai; cauad y sawell, clawr lle tân.
**Firebote,** *s.* tanwydd, tanraid; dogn o danwydd dyledus i'r deiliad oddi wrth ei arlwydd.
**Firebrand,** *s.* tewyn, pentewyn, etewyn, tewyn o dân; ffaglydd, ffaglwr, banffaglwr, fflemor, ffleimiad, terfysgwr.
**Firebrick,** *s.* tân-briddfaen, priddfaen tân, priddell dân.
**Firebrush,** *s.* tân-ysgubell, tân-wrychell, gwrychell dân, ysgubell aelwyd.
**Firebucket,** *s.* tân-gelwrn; celwrn i gario dwfr i danbeiriannau.
**Fireclad,** *a.* tanwisgedig; gwisgedig â thân; mewn gwisg o dân.
**Fireclay,** *s.* tân-glai, clai tân; clai à ddeil dân.
**Firecock,** *s.* tân-ddwsel, tân-dwsel; dwsel i ollwng dwfr er diffoddi tân.
**Fire-company,** *s.* tân-gymdeithas, tân-gymdeithwys, cymdeithas y tân, cymdeithwys diffodd tân.
**Firecross, Fiery cross,** } *s.* croes dân, croes danllyd.

Firedamp, *s.* tanchwa, tanfa, llosdarth, llosnwy, llosgnwy, llosgager, uldan.
Fire-dogs, *s. pl.* brigwn, gobed.
Firedrake, *s.* sarff danllyd, sarff danlled, draig; tanwydyn, awyrdan, goruchionen, malldan, llewyrn, tân llwynog.
Fire-dress, *s.* tanwisg; gwisg nad effeithia tân arni.
Fire-eater, *s.* tân-fwytäwr, bwytäwr tân; un à ymhona y geill fwyta tân.
Fire-engine, *s.* tanbeiriant, peiriant tân, ermig tân, tân-ermig.
Fire-escape, *s.* tanddïangfa, tanffwyrell, tan ddïanc; ermyg i gynnorthwyo dïanc o dy ar dân.
Fire-eyed, *a.* tanllygeidiog; â chanddo lygaid tanllachar.
Fireflair, *s.* tanrnien, tanrwchws.
Firefly, *s.* tân-gleren, ufelgleren, ufelglyryn, cleren dân; pryf y tân: *pl.* ufelgler, ufelglyr, cler tân, tân-gler, goleugler.
Firehook, *s.* tanfach, tanfechyn; bach mawr i dynu i lawr adeiladau ar dân.
Fire-irons, *s. pl.* heiyrn tân, tanheiyrn, celfi tân, tân-gelfi.
Firelock, *s.* gŵn, dryll, dryll saethu, gŵn saethu.
Fireman, *s.* tanwr, diffoddwr tân, tanddiffoddwr, tanddiffoddydd: *pl.* tanwyr, gwŷr y tân.
Firemaster, *s.* tanfeistr, arolygwr tanweithiau.
Firenew, *a.* newydd tanlliw, newydd tanlli, newydd danlliw, newydd grai; tanllachar, tanlliw.
Fire-office, *s.* tanswyddfa, tân-yswirfa, tân-ddiogelfa, tân-ddilysfa, swyddfa dân.
Fire-ordeal, *s.* prawf tanllyd, tanbrawf, prawf drwy dân, diheurbrawf trwy dân, holbrawf tanllyd.
Firepan, *s.* padell dân, tanbadell.
Fireplace, *s.* lle tân, lle y tân; aelwyd.
Fireplug, *s.* tywysel tân, tandywysel, tandwysel, ystopell dân.
Firepot, *s.* tanlestr, tanbot, ufelgib.
Fire-proof, *a.* anhydraidd i dân; â ddeil dân; anhylosg, anllosgadwy; didandraidd, annhandraidd; nas treiddia tân trwyddo.
Fire-quenching, *a.* tanddiffoddol; yn diffoddi tân.
Firer, *s.* tanwr, taniwr, tanydd, llosgwr, ffaglwr, banffaglwr, ffleimiad, fflemor; gosodwr ar dân.
Fire-rail, *s.* tanreilen, rheilen dân.
Firescreen, *s.* tanlen, tanffedon, tân-gysgodfa.
Fireship, *s.* tanlong, llong dân.
Fireshovel, *s.* rhaw dân, llwyar dân.
Fireside, *s.* aelwyd; pentan; cylch y tân: teulu.
Firespark, *s.* gwreichionen, tanen, gwraich, clin: *pl.* gwreichion.
Firestick, *s.* pren tân, tanbren, tewyn, tanwyddyn.
Firestone, *s.* tanfaen, careg dân; careg anhylosg.
Fireward, Firewarden, } *s.* tanwardan, tanwardain, tanwardydd, tanwarchodwr; swyddog â chanddo awdurdod i gyfarwyddo ereill i ddiffodd tân.
Fireweed, *s.* tanchwyn, tanlys = planigyn Americaidd.
Fire-winged, *a.* tanadeiniog, tanadenog, tanasgellog.
Firewood, *s.* tanwydd, coed tân, dylwyf, cynnud, tanwent, gosgymmon, briw-wydd.
To gather firewood—cynnuta, casglu tanwydd, cynnull cynnud, coeda, coeta.
Firework, *s.* tanwaith, ufelwaith, gwaith tân; tanddangosiad; ufelyddiaeth.
Fireworker, *s.* tanweithiwr, tanweithydd = swyddog y cadoffer, is na'r tanfeistr.
Fire-worship, *s.* tân-addoliad, tân-addoliant, tân-addoliaeth.
Fire-worshipper, *s.* tân-ddolwr, addolydd tân.
Firing, *s.* (o *fire*) taniad; gosodiad ar dân; taniad arfau, saethiant, ergydiad; tanwydd, cynnud, dylwyf, gosgymmon, tanwent; seriad, creithlosgiad.
Firing iron—tanhaiarn, haiarn serio.
Firk,† *v. a.* (Ll. *ferio*) curo, dulio, pwyo, ffrewyllu, chwipio, wabio.
Firkin, *s.* (Is. *vier;* D. *fire;* a'r terfyniad *kin*) ffircyn=pedwaredd ran baril, neu 7½ galwyn amherodrol: llestryn.
Firm, *a.* (Ll. *firmus;* Ff. *ferme*) cadarn, cryf, ffyrf, (*f.* fferf), fferdd, grymus, nerthol, caled, clwn, syfn, ffêr, dwys, durfing; sad, sefyll, sicr, sefydlog, hysaf, safadwy, disyfl, arsad, disyflyd, disigl, gwadal, diserfyll, diegryd, dïysgog, dïymmod, dïanwadal; dilys, diogel, dir; taclus, heini; mur.
To make firm—cadarnhau, cryfhau, ffyrfhau, diogelu, sadio, sicrhau; gwneuthur yn gadarn, &c.
Firm land—tir caled, tir cyfan, tir cyfan, tir sad.
Firm, *v. a.* cadarnhau, sefydlu, sadio, sicrhau, gwneuthur yn gadarn, &c.
Firm, *s.* enwad, enw, ffurfenw; enw cydfasnachwyr; cydfasnach; cydfasnachdy.
Firmament, *s.* (Ll. *firmamentum*) ffurfafen, wybr, wybren, gwybren, gwybr, ewybr, ewybren, awyrnen, entrych, entyrch, nwyfre, nwyfreant, yr awyr, y nen.
Firmamental, *a.* wybrenol, gwybrenol, gwybrol, wybrol, ffurfafenol, wybrenaidd, wybraidd, gwybraidd, ewybrenol; nefol, nefolaidd, nefol.
Firman, Firmaun, Ferman, } *s.* (gair Asiaidd) trwydded, trwyddyd, trwyddeb, teithdrwydded, teithlen, gynnwys, cenad, cenadeb, caniatâd; gorchymyn, arch, archiadeb; breintlythyr, braint; gorchymyn y Sultan.
Firm-footed, *a.* troedgadarn, troedffyrf; cadarn, sad, disyfl, *neu* ddisigl ei droed; anhylithr.
Firmitude, Firmity, } † *s.* (Ll. *firmitudo, firmitas*) cadernid, cadarnwch, sadrwydd, nerth.
Firmless, *a.* anghadarn, anffyrf, ansefydlog, anwadal, gwamal, ansad, disaf, serfyll.
Firmness, *s.* cadernid, cadarnwch, ffyrfder, grymusder; sadrwydd, anysgogrwydd, dïysgogrwydd, dïysgogedd, dïanwadalwch, sicrwydd, arsadrwydd, sefydlogrwydd, disigledd, gwadaledd, gwadalwch, dilysrwydd, diogelrwydd, diogelwch, syfnedd; fferder, durfingder, durfingdra, dwysder, clynder, clynedd.
Firrings, Furrings, } *s. pl.* (o *fur, v.;* Ff. *fourer*) distarnau, distleiniau; darnau o goed à hoelir ar ddistiau.
First, *a.* (S., Sw., a D. *förste*) cyntaf; blaenaf; prif, penaf; blaen; cyssefin; cyn-, cynt-, blaen-; unfed.
The first—y cyntaf, y blaenaf, y prif, y cyssefin, y goreu, y rhagoraf.
First martyr — cynferthyr, y merthyr cyntaf.

**First** son—cynfab.
**First** colour—cynlliw, gorliw.
**First** and last—blaenaf ac olaf; cyntaf a diweddaf; blaen ac ol.
**The** first and foremost—y penaf a'r blaenaf; y penaf a blaenaf.
**First** milk—cynllith, cynllaeth, cynlaeth, blaenion, blaenllaeth.
**First** cousin—cefnder, cefnderw.
**First** principle—cynegwyddor, cynddansawdd, cynansawdd, egwyddor gyssefin, dansawdd cyntaf.
**First** power—cynallu, cynall, gallu cyntaf.
**Of** the first age—o'r gynoes.
**In** the first place—yn y lle cyntaf; yn gyntaf dim; yn gyntaf oll; yn mlaenaf dim; yn mlaenaf oll; o flaen dim; yn benaf dim.

rst, *ad.* yn gyntaf, yn flaenaf, yn mlaenaf, yn benaf, cyntaf.
**First** of all—yn gyntaf oll; yn gyntaf dim; yn mlaenaf dim; yn mlaenaf oll; yn y lle cyntaf; o flaen dim; yn benaf dim.
**First** or last—rywbryd, ryw bryd; ryw bryd neu gilydd; ryw bryd neu ei gilydd; ar ryw bryd neu gilydd; yn gynnar neu yn ddiweddar.
**At first,** } ar y cyntaf; yn y dechreu;
**At the first,** } ar y dechreu; o'r cyntaf.
**First** and foremost—yn benaf a blaenaf; yn gyntaf dim; yn gyntaf oll; yn flaenaf dim; yn mlaenaf dim; yn flaenaf, yn mlaenaf.
**Go you first**—ewch chwi yn gyntaf *neu* yn mlaenaf.

First-begotten, } *a.* cyntaf-anedig, cynt-anedig,
First-begot, } cynenid, cyn-anedig, cyntaf genedledig; à fo cynblentyn; à fo cynfab; yr hynaf o blant.

First-born, *a.* cyntaf-anedig, cynt-anedig, cynanedig, cynenid; cyntaf-enid, hynaf-anedig, blaen-anedig; à fo cynblentyn; hynaf.
First-born son—cynfab, mab cyntaf-anedig.
First-born daughter — cynferch, merch gyntaf-anedig.
First-born child—cynblentyn.

First-born, *s.* cyntaf-anedig, cynt-anedig, cynanedig, hynaf-anedig, blaen-anedig; cynblentyn; cynfab; cynferch; y plentyn hynaf.
The birth of a first-born—cynesgor.
A woman in childbed of her first-born—gwraig gyn esgor; gwraig ar ei hetifeddwely.

First-coat, *s.* cynhaen, cyn-gaenen, y gaenen gyntaf.

First-created, *a.* cyntaf-greuedig, cynt-greuedig, cyn-greuedig; à grëwyd gyntaf.

First-crop, *s.* blaen-gnwd, cyn-gnwd, ycnwd cyntaf.

First-fruit, } *s.* blaenffrwyth, cynffrwyth,
First-fruits, } cynnwyn, blaengnwd.

Firstling, *a.* cyntaf-anedig, cynt-anedig, blaenanedig, cynenid; cyntaf-anedig (i *neu* o anifail); cyntaf (i anifail).
All the firstling males that come off thy herd—pob cyntaf-anedig yr hwn a enir o'th wartheg.

Firstling, *s.* cyntaf-anedig (i anifail); anifail cyntaf-anedig; cynteifiad, blaen-anedig, blaenafiad; cynepil, cynffrwyth, blaenffrwyth, cynddaill: *pl.* cyntaf-anedigion.

Firstly, *ad.* (o *first*) yn gyntaf, yn flaenaf, yn mlaenaf.

First-rate, *a.* arbenig, arbenigol, gorwiw, rhagorol, tragorol, penigamp; o'r maintioli mwyaf, cynfaint, cynfeintiol; o'r radd benaf *neu* uchelaf; prifraddol.
First-rate ship—llong o'r maintioli mwyaf; llong gynfaint, llong benafradd.
First-rate scholar—ysgoläig arbenig, ysgolor penigamp.

Firth, *s.*=*Frith.*

Fisc, *s.* (Ff.; Ll. *fiscus*) daeredfa, trysorlys, trysorfa, argyllidfa, pentrysorfa, trysorged, sylltty.

Fiscal, *a.* daeredol, argyllidol, cyllidol; yn berthynol i gyllid teyrnas *neu* dywysog; perthynol i ddaeredion; perthynol i drysorfa gwladwriaeth; arianol.

Fiscal, *s.* daered, cyllid, argyllid, arged, cyllid teyrnas, trysor teyrnas; trysorydd, trysorwr.
Fiscal (in Spain) — cyfreithiwr y goron, cyfreithiwr cyfiredinol; hysbysydd, mynegwr.

Fish, *s.* (S. *fisc*; Al. *fisch*; Is. *visch*; Ll. *piscis*) pysg; pysgodyn: *pl.* pysgod.
A fish—pysgodyn.
Fish (used collectively)—pysg.
Fishes—pysgod.
Small fish — mân bysg, manbysg, pysg mân, pysgodyn bychan.
Shell-fish — pysg cregyn, pysgod cregyn, cregynbysg, cragenbysg.
Sea fish—morbysg, pysg môr, morbysgod, pysgod y môr, pysgod dwr hallt, pysgod dwr heli.
Freshwater fish, } pysg dwr croew; pysg
River-fish, } afon, pysgod afon, afonbysg.
Sword-fish—cleddbysg.
Flat-fish—lleden, lledan, llythïen; pysg anghrwn, pysg llydan; pysgod anghrynion, pysgod llydain; llethbysg.
Dog-fish—penci, morgi, ci coeg.
Crab-fish—cranc, morgranc, cranc môr, crafanc.
Sand-fish—llymrïen, llymrïaden, *pl.* llymrïod, llymrïaid, pysgod bychain.
Needle-fish — mornodwydd, mornydwydd.
Fish-gills, } crogenau pysg, crogenau
Gills of fish, } pysgod, tagellau pysgod, tegyll pysg, crogenau pysgodyn.
Fish-scales—cen pysg, cen pysgod.
Fish-garth, } cored bysgota, gored bysgota,
Fish-wear, } cored, gored.
Fish-house, } pysgotty, gwerthdy pysg,
Fish-shop, } pysgwerthdy.
Fish-spawn—grawn pysg, pysgrawn, grawn pysgod, rhith pysgod, gronell, gronell pysg, sil pysgod.
Fish-day—dydd pysgod, dydd pysg, pysgoddydd.
Fish-meat—pysgodfwyd, pysgfwyd.
The science of fishes—pysgyddiaeth, pysgodeg, pysghanes, pysgofyddiaeth.
Fish and fowl—pysg ac adar; pysgod ac ednaint.
A draught of fishes—helfa, traill, *neu* dyn o bysgod.
I have other fish to fry—mae i mi beth arall i'w wneuthur.

Full of fish, } pysgodog, llawn pysgod,
Full of fishes, } llawn pysg, llawn o bysgod.

**Fish**, *v.* pysgota; dàl pysgod; hel, hela, *neu* hely pysgod; dàl, dala; genweirio: cadarnhau, sadio.
To fish with a rod and line—genweirio; pysgota â bach a genwair.
To fish with nets, } treillio; pysgota â
To fish with a net, } rhwyd *neu* rwydau.
To fish out—pysgota allan; chwilio *neu* fynu allan; mynu allan drwy chwilio.
To fish up—pysgota i fyny; dàl; tynu i fyny.
To fish a pond—tynu *neu* ddyhysbyddu pysgodlyn; pysgota llyn.
To fish the mast—sadio yr hwylbren; cryfhau *neu* gadarnhau yr hwylbren â darn o bren.

**Fish**, *s.* uchddyrwynydd, peiriant i godi angor; sadbren.

**Fishbasket**, *s.* cawell pysgota, basged bysgota, pysgfasged.

**Fished-beam**, *s.* sadlath; trawst syfnedig, sadiedig, cadarnedig, *neu* fferddedig.

**Fisher**, *s.* pysgotwr, pysgotydd.
King's fisher, } glas y dorlan, tinsigl y
King-fisher, } dwfr, pioden y dwfr.
Fisher town—tref bysgota, tref bysgodol, pysgottref, tref pysgotwyr; tref anneddedig gàn bysgodwyr.
Fisher-weasel—pysgwenci.

**Fisherboat**, *s.* cwch pysgota, bad pysgota, pysgodfad, pysgfad.

**Fisherling**, *s.* hucan y pysgod.

**Fisherman**, *s.* pysgotwr, pysgodwr, pysgotydd; llestr pysgota, pysgodfad, pysglong, pysgodlong.

**Fishery**, *s.* pysgodfa, pysgodle, pysgodfan; pysgodwriaeth, pysgotwriaeth, pysgota.

**Fishfag**, *s.* pysghellgre, cecren Porth Beli, cecren y pysgod.

**Fishful**, *a.* pysgodlawn, pysglawn, pysgodog; llawn pysgod, llawn pysg, llawn o bysgod.

**Fishgig**, } *s.* tawldryfer, ffondryfer, tryfer
**Fizgig**, } morwyr.

**Fish-hook**, *s.* bach pysgota.

**Fishify**, *v. a.* pysgeiddio, pysgodeiddio, troi yn bysg.

**Fish-glue**, *s.* pysglud.

**Fishing**, *s.* pysgota, pysgodwriaeth, pysgotwriaeth, helwriaeth pysgod; pysgodfa, pysgodle.
Fishing rod—genwair, gwialen bysgota, iaien bysgota, gwialen enwair.
Fishing line—llinyn pysgota, llinyn genwair, ffunen bysgota, llinyn middi, ffunen.
Fishing hook—bach pysgota.
Fishing place—pysgodfa, pysgodle.
Fishing town—tref bysgota, tref bysgodol, pysgottref, tref pysgodwyr; tref à breswylir gàn bysgodwyr.
Fishing frog — morlyffant, llyfanbysg, pysglyffant, y genweirydd, llyffant y môr.
Fishing eagle, } pysg-eryr, eryr y pysgod,
Fish hawk, } gwalch y weilgi, morerye, eryr y môr, eryr y dwfr.
I go a fishing—yr wyf yn myned i bysgota.

**Fishkettle**, *s.* pysg-gallor, callor pysgod, crochan pysgod; callor hir i ferwi pysg.

**Fishlike**, *a.* pysgaidd, pysgodaidd; tebyg i bysg.

**Fishmarket**, *s.* pysgodfa, marchnad pysgod, marchnad bysgod, marchnad y pysgod, pysgwerthfa, marchnadfa pysg.

**Fishmeal**, *s.* pysgodfwyd, pysgfwyd.

**Fishmonger**, *s.* pysgwerthwr, pysgwerthydd, gwerthwr pysgod.

**Fishpond**, *s.* pysgodlyn.

**Fishroom**, *s.* pysgle.

**Fishspear**, *s.* tryfer, tryfer bysgota.

**Fishwife**, } *s.* pysgodwraig, pysgwr...
**Fishwoman**, } gwerthwraig pysgod, pys...wres, pysgwerthyddes, pysgwerthes.

**Fishy**, *a.* pysgaidd, pysgodaidd, pysgol, pysgodol, pysgodig, pysgodog; â blas pysg ar...

**Fisk**,† *v. n.* ymredeg, rhedegfan, darymred.

**Fissicostate**, *a.* (Ll. *fissus* a *costatus*) hollteis..., hollteisenog, holltasenog.

**Fissile**, *a.* (Ll. *fissilis*) holltadwy, hyholl..., ollt, hyddellt, delltadwy; à ellir ei hollti.

**Fissility**, *s.* hyhollted, hyollted, hyddell..., hyholltrwydd.

**Fissiped**, *a.* (Ll. *fissus* a *pes*) troedhollt, troedholltog, hollttroediog, holltbediog, ...droediog.

**Fissiped**, *s.* troedhollt, troedollt; anifel â bysedd ei draed ar wahan.

**Fissipennæ**, *s. pl.* (Ll. *fissus* a *penna*) hollt...einion, holltadenogion.

**Fissirostres**, *s. pl.* (Ll. *fissus* a *rostrum*) holl...ylfiniaid, holltylfinogion, agylfiniaid.

**Fissure**, *s.* (Ff.; Ll. *fissura*) hollt, agen, gagen, rhigol, agoriad, egoriad, gorimyn, ag, ...

**Fissure**, *v. a.* hollti, agenu, gagenu, agu, ...egor, egori, gorimynu, rhigoli, holli, ...rhanu, parthu, tori; gwneuthur hollt, ...hollt.

**Fist**, *s.* (S. *fyst*; Al. *faust*; Is. *vuist*) dwrn.
A little fist—dyrnyn, dwrn bychan.
Stroke with the fist, } dyrnod, dyrnawd, ...
Blow with the fist, } dyrnodiau.
Fist to fist—dwrn tra dwrn.
To fight fist to fist—ymladd dwrn tra dwrn, ymddyrnodio.
Closed fist, } moelddwrn, dwrn moel, dwrn
Naked fist, } cau, dwrn cauad.
To beat with the fist — dyrnodio; curo, ffusto, *neu* bwyo â dwrn.

**Fist**, *v. a.* dyrnodio; curo, ffusto, *neu* bwyo â dwrn; ffusto, dyrnu.
Close-fisted—llawgauad, llawgaead, llawfyddag, llawgaled, cybyddlyd, cybydd..., crintach, crinwasaidd, anhael, anghaw..., cyrrith, cynnil, anllawgar.
He is a close-fisted wretch—cybydd anghaw... ydyw.
Club-fisted—dyrnfawr.

**Fisticuffs**, *s. pl.* (*fist* a *cuff*) dyrnodiau; ymladd â dyrnau, ymladdfa ddyrnol; dyrnodiad, paffiad, dyrnodiaeth.
To fight at fisticuffs, } ymddyrnodio, dyr...
To be at fisticuffs, } nodio, paffio, ymbaffio; ymladd â dyrnau.

**Fistinut**, *s.* math o gneuen ddwyreiniol.

**Fistuca**, *s.* (Ll.) gordd bolion, gor seilddar, gorddwyn.

**Fistula**, *s.* (Ll.) pibell, pib; piborglwyf, pibwst, piblif, piblynor, rhedlynor, pibglwyf.
Fistula lachrymalis—rhedlynor y llygad.

**Fistular**, } *a.* pibellaidd, pibellog; cau, ceuol;
**Fistulous**, } tyllog *neu* gau fel pibell.

**Fistulate**, *v. a.* pibellu, pibogi, ceuoli, ceuo; gwneuthur yn geuol fel pibell.

**Fistuliform**, *a.* (Ll. *fistula* a *form*) yn grwn

golofnau cerdd; pibellaidd, piboraidd; ar ddull pibell *neu* chwibol.

**Fistulous**, *a.* piborglwyfus, pibglwyfus, piblynoraidd, rhedlynoraidd, rhedlynorog, pibystog.

**Fit**, *s.* (C. *ffith*, yn ol y Dr. *Webster;* Fflemaeg, *vitt*, yn ol *Skinner;* o *fight*, yn ol *Iunius*) chwiw, llewyg, gloes, pang, ergyd, cyrch, ymgyrch, ergyrch, panc, cwrs, gwŷn, gwib, ias, siâs, ffith; tro; cylchias; hynt.

Fainting fit — llewyg, llesmar, llesmair, gloes, mas, llymhun, llewygfa.

To recover from a fainting fit—dadlewygu, dadlesmeirio, dadfasu, dadebru, dadlymhuno.

The fits—y llewygon, y gloesion llewyg, y gloesion mawr, dirloes, y masglwyf, yr haint dygwydd, y clwyf dygwydd, llesmeirglwyf, haint Tegla, clwyf Tegla, y clefyd bendigaid.

Love-fit — cariadloes, pang cariad, gloes cariad.

A fit of cold—chwiw o annwyd; pang, ergyd, cyrch, *neu* ias o annwyd.

A fit of ague, / Ague fit, — cyrch y cryd, chwiw y cryd, crynfa y cryd, achreth y cryd, echryndod.

A fit of the tooth-ache—ias o'r ddannodd; gloes o'r ddannodd; chwiw o'r ddeintwst.

A fit of scolding, / A scolding fit, — ias o ymdaeru *neu* ymleflef; chwiw o ymgecru *neu* ymdafodi; pang *neu* siâs o ymdaeru.

A drunken fit—pang o feddwdod; chwiw o frwysgedd.

A dead fit—marw lewyg, marw lesmar.

Sudden fit—gwib, pang, ias, siâs; ias pen; tro disymmwth.

For a fit—dros amser, dros dro, dros gwrs.

By fits—ar amseroedd, ar amserau, ar droion, ar chwiwiau, ar gyrsau, ar iasau, ar siasau, ar brydiau; ar ruthrau.

By fits and starts—ar bangau a rhuthrau; ar chwiwiau a rhuthrau.

**Fit**, *a.* (Fflemaeg, *vitten*, yn ol *Iunius;* Al. *pass*) addas, cyfaddas, cymhwys, cymmesur, iawnweddog, gweddus, gweddaidd, rhesymol, iawn, uniawn, gwiw, cyfladd, cyfladdol, cyfwlch, cymmedr, cymmedrol, addwyn, gweddol, priodol, teilwng; yn cyfladd, yn cyngweddu; fel y dylai fod; buddiol; sutiol, cydweddus, cyfweddus.

It is fit—mae yn addas, &c.; addas yw, &c.; e weddai, fe weddai, me weddai, e gyngweddai, e gynghanai, gweddai.

Fit time—amser cyfaddas, amser addas, egwyl.

Shoes fit for the feet—esgidiau cymhwys *neu* addas i'r traed.

Fit to be done—addas i'w wneuthur.

Fit for work—cymhwys i waith.

He is fit for anything—efe a wna y peth â fynoch; mae yn gymhwys i unpeth.

Not fit to be named—anaddas *neu* anweddus i'w enwi; ffiaidd i'w enwi.

More than is fit—mwy nag a weddai; mwy na gweddus; mwy nag y sydd addas.

As it is fit for him—fel y gweddai iddo; fel y mae yn weddus iddo.

It is not fit that he should live — nid cymhwys ei fod yn fyw; nid cymhwys iddo fyw.

To make fit—addasu, cyfaddasu, cymhwyso, cymmesuro, &c.; gwneyd yn addas, &c.

To make one's self fit—ymbarotöi, ymdaclu, ymaddasu; ymwregysu; gwneuthur ei hun yn barod,

Get all fit—parotöwch bob peth; darperwch bob peth; gwnewch *neu* mynwch bob peth yn barod.

They make their ships fit—parotoant eu llongau; taclant eu llongau.

**Fit**, *v.* addasu, cyfaddasu, cymhwyso, sutio, cymmesuro, cymmedroli, cydweddu, cymweddu, cyfweddu, cyngweddu, cyttaro, cyfateb, cymmathu; gwneuthur yn addas, &c.; parotöi, darparu, taclu, trecio; cyssylltu, cymharu; gwneuthur yn gyfwlch ac i gyfladd; bod yn addas; gweddu; eistedd; bod yn gyflun â.

Fit yourselves—ymbarotöwch, ymdaclwch, ymddarperwch; ymwregyswch; gwnewch eich hun yn barod.

To fit out—taclu, trecio, darparu, parotöi, arlwyo; trecio allan, taclu allan.

To fit up—taclu, cyweirio, trwsio, addurno, dodrefnu.

To fit out a fleet—taclu, trecio, parotöi, *neu* arlwyo llynges.

To fit up a house—taclu, trwsio, cyweirio, addurno, *neu* ddodrefnu ty.

To fit a garment—cymmedroli dilledyn, sutio dilledyn.

To fit one—bod yn gymhwys âg un; bod gydag un; talu y pwyth i un; talu adref i un; talu yr hen chwech i un.

To fit at all points—cyfrdaclu, cyfrdrecio; amarfogi, cwbl-arfogi; diwallu un â'i angenrheidiau; taclu yn gyfoll.

Fitted at all points — cyfrdacledig, cyfrdaclus; amarfog, cwbl-arfog.

To fit together—cydsutio, cydweddu, cyfu.

Ill fitting — anaddas, anghyfaddas, anaddwyn, anweddaidd, anweddus, anghymhwys, anghytun, anghyfun, ansutiol; heb gyfladd, heb gyttaro; yn eistedd yn wrthun *neu* anhardd.

As is fitting the story—megys y gweddai i'r ystori.

This does not fit my purpose—nid yw hyn yn ateb fy nyben i; nid yw hyn yn taro fy nhro i; nid yw hyn yn cyfladd â fy amcan.

**Fit**, *s.* (S. *fitt*) canig, cân, cywydd, ban.

**Fitch**, *s.* (Ll. *vicia;* It. *veccia;* Ff. *vesce*) gwyg, ffacbys, ffugbys, gwygbys, pys y llygod, llygbys, llygodbys.

**Fitche**, / **Fitched**, *a.* (Ff. *fiche*) pigog, blaenfain, pigfain.

Cross fiche—croes bigog.

**Fitchet**, / **Fitchew**, *s.* (C. *gwichyll*) gwichyll, gwichyn, gwichydd, ffwlbart.

**Fitful**, *a.* (o *fit*) chwiwiog, pangog, cylchiasog; llawn chwiwiau; hyntiog.

**Fitfully**, *ad.* ar amseroedd, ar amserau, am droion, ar chwiwiau, ar gyrsau; ar ruthrau; yn awr ac eilwaith.

**Fitment**,† *s.* addasiad; peth cyfaddas.

**Fitness**, *s.* addasrwydd, cyfaddasrwydd, cymhwysder, cymhwysdra, cyfaddasder, addasdeb, gweddusrwydd, gweddeidrwydd, cymmesurwydd, gwiwdeb, priodoldeb, priodolder, sutioldeb; parotoad, tacliad, addasiad, cymhwysiad.

**Fittable**, *a.* sutiol, cyfaddas, addas, cyflëus.
**Fitter**, *s.* addaswr, cyfaddaswr, addasydd, cymhwyswr, cymhwysydd, sutiwr; parotöwr, taclwr, treciwr.
**Fitting**, *a.* addas, cyfaddas, cymhwys, priodol.
**Fit-weed**, *s.* llewyglys.
**Fitz**, *s.* (Norm. *fites*, *fiuz*, *fiz*) mab, ab, ap: arferedig gan mwyaf yn nghyfansoddiad cyfenwau; megys *Fitzherbert*, *Fitz-Clarence*, *Carlovitz*, a'r cyffelyb.
  Fitzroy—Mab y Brenin.
**Five**, *a.* (S. *fif*; Is. *vyf*; Al. *fünf*) pum, pump.
  Five times—pum gwaith, pumwaith, pumgwaith, pumtro, pum tro.
  Five times as much—pum cymmaint, y pum cymmaint, cymmaint bumgwaith.
  Five years—pum mlynedd, pummlwydd, pum mlwydd.
  Five years old—pummlwydd oed, pum mlwydd oed; pump oed.
  Five years ago—pum mlynedd i heddyw; er ys pum mlynedd; pum mlynedd yn ol; pum mlynedd i'r awron.
  Five months old—pummis oed, pum mis oed.
  One that is five months old—pummisyriad; *pl.* pummisyriaid.
  Five thousand—pum mil, pummil.
  Five hundred thousand—pummwnt, pum canmil, pumcanmil, pumcant o filoedd.
  Five pounds weight — pum pwys, pumpwys.
  In five parts—yn bum rhan, yn bumran.
  Divided into five parts—pumranog, pumranol, pumran; rhanedig yn bum rhan; â ranwyd yn bumran.
  Five hundred—pum cant, pumcant.
  Five hundred times—pumcanwaith, pum canwaith.
  Five hundredth—pumcanfed, pum canfed.
  The five hundredth year — y bumcanfed flwyddyn; y bum canfed flwyddyn.
  Five colleagues in office—pumwyr *neu* bumwr unswydd.
  One that is over five men—pumwriad, pen ar bump.
  Five points—y pum pwnc=y pum prif bwnc dadleuol rhwng y Calfiniaid a'r Arminiaid.
**Five**, *s.* pump, pum-.
  By fives—yn bumpau, bob yn bump.
**Fivebar**, } *a.* pumbarog, pumbar; âg iddo
**Fivebarred**, } *neu* ganddo bum bàr.
  Fivebarred gate—porth pumbar.
**Fivecleft**, *a.* pumholltog, pumhollt.
**Fivefingered**, *a.* pumbys.
  Fivefingered grass—pumbys, pumdalen, pumnalen, dail pumbys.
**Fivefold**, *a.* pumplyg, pumdyblyg, pumplygol; pumtro; pum cymmaint; ar ei bummed.
**Fiveleaf**, *s.* pumdalen, pumnalen, pumbys.
**Fiveleaved**, *a.* pumdalenog, pumnalenog, pumdalen.
**Fivelobed**, *a.* pumllabedog, pumdeiliog.
**Fiveparted**, *a.* pumranog, pumran, pumranedig; â ranwyd yn bum rhan.
**Fives**, *s.* chware pel humog; chwareu pumpau.
**Fives**, } *s.* haint ar anifeiliod, tebyg i'r ysgyfein-
**Vives**, } wst; gosgyfeinwst.
**Fivetoothed**, *a.* pumdeintiog, pumdanneddog, pumdant, pumdaint.
**Fivevalved**, *a.* pumcaffellog, pumcloriog, pumcauadog, pumbalog.
**Fix**, *v.* (Ff. *fixer*; Ll. *fixus*, *figo*) sefydlu, sicrhau, sadio, gosod, gosodi, diogelu; rhoi, rhoddi, dodi, sodi; cyflëu; murio; penodi, penu; sefyll, aros, ymsefydlu, gorphwys; cyfeirio; syfnu, fferu, caledu; trywanu; taclu, trwsio; lluniaethu, bwriadu, llaw-fwriadu; planu.
  To fix a day—penodi, penu, gosod, lluniaethu, *neu* nodi dïwrnod.
  To be fixed, } ymsefydlu, aros, sefyll,
  To fix one's self, } gorphwys; aros, trigo, *neu* sefyll yn yr unfan; bod yn ddisigl, yn sicr, yn sad, *neu* yn ddïymmod; peidio â gwibio *neu* grwydro; peidio âg ymgynhyrfu.
  To fix a crime on a person—rhoi, gosod, bwrw, taflu, *neu* furio bai ar un; cyhuddo un o fai; profi un yn euog o fai.
  To fix on a subject—sefydlu ar destyn; dewis, dethol, *neu* bigo testyn; pigo allan destyn; cytuno ar destyn; ymafael *neu* ymaflyd â thestyn; rhoi allan destyn; gosod, rhoi, enwi, penodi, *neu* nodi testyn; dodi ar destyn; penderfynu ar destyn; hawio ar destyn.
  To fix on a resolution, } ymsefydlu mewn
  To fix upon a resolution, } bwriad; ymsefydlu mewn penderfyniad.
  To fix an ill report on one—rhoi drygair i un; dwyn anair ar un.
  To fix the eyes on—sefydlu y llygaid ar; cyfeirio y llygaid at; syllu ar, tremio ar.
  To fix the attention on—sefydlu bryd *neu* sylw ar; hoelio y meddwl wrth.
**Fixable**, *a.* sefydladwy, &c.
**Fixation**, *s.* (Ff.) sefydliad, sicrhad, sadiad, anysgogiad; sefydlogrwydd, disigledd, disiglrwydd, dïysgogrwydd, sadrwydd, dïanwadalwch, gwadaledd, gwadalrwydd, dïanwadaledd, dïanwadalrwydd; dwysogaeth.
**Fixed**, *a.* sefydlog, sefydledig, disigl, dïymmod, gwadal, syfn, safol, anysgogol, ffêr, muredig, sicr, sad, sedr, hysaf, digyffro, dïysgog, dïanwadal; gosodedig, &c.; mur.
  Fixed air—safawyr, awyr ffêr, awyr sefydlog; sur ulyfig, sur ulwin; sur awyrol.
  Fixed stars—ser sefydlog.
  Fixed oils—safolewon, olewon sefydlog.
  Cross fixed—croes sodedig.
**Fixedness**, *s.* sefydlogrwydd, dïysgogrwydd, disigledd; sadrwydd, sedrwydd, sicrwydd, sicredd, disiglrwydd, dïanwadalwch, dïanwadaledd, dïanwadalrwydd, gwadaledd, gwadalrwydd, anysgogrwydd; dwysogaeth, dwysder, sefydledigrwydd.
  Fixedness of mind—gwastadrwydd meddwl, gwastadrwydd bryd, dïysgogrwydd bryd, sefydlogrwydd meddwl, gwastadfrydedd.
**Fixidity**,† *s.* (Ff. *fixité*)=*Fixedness*.
**Fixity**, *s.* sefydlogrwydd, dïysgogrwydd, anysgogrwydd; anhedinedd, anhedinrwydd, anhedindeb, dwysogaeth, anwasgaredd; anhediniad, tynosodiad; cysylltedigrwydd.
**Fixture**, *s.* (o *fix*) sefydliad, cyflead, gosodiad, planiad; sadrwydd, sedrwydd, sefydlogrwydd, anysgogrwydd, dïysgogrwydd; sefydbeth, dodrefnyn arosol: *pl.* dodrefn arosol, dodrefn anghyffro, da anghyffro, anysgogion, sefydbethau, celfi sefydlog.

The fixture of the eye—tarawiad y llygad *neu* yr olwg; tremiad y llygad *neu* yr olwg.

**Fixure**, *s.* (o *fix*) sefydliad, cyflead, gosodiad; sefydlogrwydd, anysgogrwydd, dïysgogrwydd.

**Fizgig**, *s.* (*fish* a *gig*) tawldryfer, ffondryfer, tryfer morwyr; ffiloges, hoeden; tanwaith o bylor gwlyb.

**Fizz,** } **Fizzle,** } *v. n.* (o'r sain) chwithrwd, chwibanu, chwiban, sic; hwtio; ffleirio.

**Flabbiness**, *s.* (o *flabby*) llibinrwydd, llibindod, lliprynrwydd, llipryneiddrwydd, llibinder, llibindra, llibrwydd, lleiprogrwydd, lleiprwydd; meddalwch, meddaledd, masweddd, gwagsawrwydd, llacrwydd, llesgedd.

**Flabby**, *a.* (o'r C. yn ol *Webster;* Ll. *flaccidus*, yn ol *Johnson*) llibin, llipa, lliprynaidd, llib, llipryn, lleipr; masw, maswy, meddal, llac, llaes, llyth, (*f.* lleth), ystwyth, gwagsaw, tyner, mwyth, hyblyg, llipaidd, llibinaidd, lleigus, llag.

**Flabel**, *s.* (Ll. *flabellum*) gwyntyll, gwyntyllen.

**Flabelliform**, *a.* (Ll. *flabellum* a *forma*) gwyntyllaidd, ffedonaidd; ar ddull gwyntyll; ar lun gwyntyll rhianod.

**Flabile**, *a.* (Ll. *flabilis*) hychwyth.

**Flaccid**, *a.* (Ll. *flaccidus*) llipa, llibin, lliprynaidd, llipryn, llib, lleipr, gwyglyd, llyth, (*f.* lleth), llythol, llac, llaes, gwyw, gwywllyd, edwin, plydd, masw, gwagsaw, llipaidd, llibinaidd, nychlyd, gwygol, ymollyngol, lleigus.

**Flaccidness,** } **Flaccidity,** } *s.* llibinrwydd, llibindod, llibindra, llibinder, lliprinrwydd, lliprynrwydd, llipryneiddrwydd, llibrwydd, lleiprogrwydd, lleiprwydd, lleipredd, gwyglydrwydd, llythrwydd, llacrwydd, llaesder, llaesedd, llaesineb, llythiant, gwywllydrwydd.

**Flacker**, *v. n.* (Al. *flattern*) ymhedfan, hedfan.

**Flag**, *v.* (Ll. *flacceo;* C. *llacio*) llipäu, llesghau, llacäu, llacio, ymollwng, llaesu, ymlaesu, ysiacio, llibinio, llipryneiddio, diffygio, llegu, lleigio, lleipro, trycio, dihoeni, edwino, edwi, gwywo; bod yn llipa; crogi yn llipa *neu* yn llibin.

To flag the wings—llaesu yr esgyll; llipäu yr adenydd; gollwng yr esgyll *neu* yr adenydd am y traed; ymlaesu, ymollwng.

**Flag**, *s.* (C. *llech;* Gw. *llag;* Al. *flachstein*) llorlech, llech lorio, llechfaen, llech, llechen.

Flag-floor — llechlawr, llawr llechfaen, llawr llechloriog.

**Flag**, *v. a.* llechlorio, llorio â llechfain, llorio â llechi, palmantu â llechau, llechenu.

Flagged floor—llechlawr, llawr llechog.

**Flag**, *s.* (Al. *pflagge;* C. *llach*) gellhesg, gelyst, cammined y dwr; hesg, elestr: *sing.* gellhesgen, gelysten.

Sweet flag — gellhesg perarogl, gellhesg per.

Corn flag — gellhesg yr yd, yd-ellhesg; cleddyflys, cawen.

In the flags—yn mysg yr hesg (*Ecs.* ii. 3).

**Flag**, *s.* (D.; Al. *flagge;* Sw. *flagg*) lluman, baner, baniar, penwn, penon, pensel, eiddoed, arwyddai; arwyddlen.

Flag-staff — llumanbren, llumbren, llumwydden, coes baner, troedluman.

Flag-ship—llumanlong, llong y llyngesydd, llong y faner.

A small flag—llumenyn, baneryn, llumanig, baner fechan.

Flag-officer—llumanswyddog, llyngesydd, llyngeswr, llyngesor.

To strike the flag, } To lower the flag, } gostwng y faner; tynu y lluman i lawr; taro i lawr y faner; gollwng y faner i lawr; gostwng hwyliau; ymostwng, capio, ymblygu.

To hang out the white flag—hoflan y faner wèn; hofio y lluman gwyn; erfyn nawdd, crefu am nodded, ymbil am nawdd; cynnyg heddwch.

**Flag-broom**, *s.* ysgubell lechlawr, llech-ysgub.

**Flagelet,** } **Flageolet,** } *s.* (Ff. *flageolet*) chwibanell, perell; chwibanogl.

Double flagelet—chwibanell ddyblyg, adberell.

**Flagellant**, *s.* (Ll. *flagellans*) ymffrewyllydd, ymffrewylliwr, ymffrewyllwr, ffrewyllydd, ffiangellwr: *pl.* ymffrewylliaid, ymffrewyllwyr=plaid o benboethiaid â gyfododd yn yr Ital, tua 1260.

**Flagellate**, *v. a.* (Ll. *flagello*) ffrewyllio, ffrewyllu, ffiangellu, gwialenodio, chwistringo.

**Flagellation**, *s.* (Ll. *flagellatio*) ffrewylliad, ffiangelliad, gwialenodiad, chwistringiad.

**Flagelliform**, *a.* (Ll. *flagelliformis*) ffrewyllaidd, ffiangellaidd; ar lun ffrewyll; ar ddull *neu* ffurf ffiangell.

**Flagellum**, *s.* (Ll.) ffrewyll; llusg-flagur y winwydden.

**Flagginess**, *s.* (o *flaggy*) llibineiddrwydd, llipryneiddrwydd, llibindod, llibinrwydd, llesgrwydd, llaesder, llacrwydd, lleiprogrwydd, lleipredd, llipäedd, llythrwydd.

**Flaggy**, *a.* (o *flag*) llipa, llibin, llibinaidd, ymollyngol, lleiprog, llaes, llac, lleigus; egwan, llesg, diffrwyth, gwyw, dihoen, edwin, gwywllyd, gwàn, eiddil, llythol, llythaidd; diflas, merf, gwàn ei flas, egwan ei flas; âg adflas arno.

Flaggy taste—blas merf.

Flaggy apple—afal diflas, afal merf.

To grow flaggy—llipäu, llibinio, llipryneiddio, llacäu, llacio, ymlaesu, ymollwng; myned yn llibin, &c.

**Flaggy**, *a.* (o *flag*) gellhesgog, gelystog, hesgog, elestrog; llawn gellhesg.

**Flagitious**, *a.* (Ll. *flagitiosus*) anfad, ysgeler, drwg, drygionus, dyhir, diriaid, diried, esgymun, erchyll, echrydus, echryslawn, diras, andwyol, adwythig, aethus, milain, mileinig, dryglawn, dybryd, echrys, anfadus.

A flagitious fellow—anfadyn, drygddyn, dyhiryn, mileinwas, adyn anfad; dyn ysgeler, &c.

A flagitious deed — gweithred anfad, gweithred ddybryd, gweithred ysgeler, &c.; drygweithred, drygwaith.

**Flagitiousness**, *s.* anfadrwydd, anfadwch, ysgelerder, ysgelerdod, ysgelerdra, ysgeleredd, dyhirwch, drygioni, direidi, dirasrwydd, anrasrwydd, anras, echryslondeb, echrysder, esgymunrwydd, mileinrwydd, mileindra.

**Flagon**, *s.* (Ff. *flacon;* Ll. *lagena;* Gw. *clagun*) cunnach, ffiagen, crothogen, cwpan crothog; potel, costrel.

Flagon-ful—potelaid, costrelaid, ffiagenaid, cunnachaid.

**Flagrancy**, *s.* (Ll. *fragrantia*) gormodedd, rhysedd; hynodrwydd, anfadrwydd, ysgelerder;

**ccose,** *a.* (Ll. *floccus*) casnachaidd, casnodidd.
**cculence,** *s.* (Ll. *flocculus*) casnachogrwydd, asnodogrwydd; ymlyniad yn gasnach ·ychain.
**·cculent,** *a.* casnachog, casnodog; yn ymlynu n gasnod *neu* gasnach.
**·ck,** *s.* (S. *floce;* Ll. *floccus;* Sw. *flock;* Al. *locke*) deadell; haid, llu, myntai, torf, tyrfa, orfa, cynnulleidfa, tŵr; praidd, cadw, gre; agad; haig, aig, helf; casnodyn, casnechyn, udyn, dylofyn; gwely casnod.
  A flock of sheep—deadell o ddefaid, dafates.
  A flock of geese—haid o wyddau, deadell o wyddau.
  A flock of crows—branes, branas, llu o frain, tŵr o frain, haid o frain.
  To fold the flock—corlanu y praidd.
  In flocks—yn fynteioedd, yn dorfoedd, yn dorfaoedd, yn dyrfaoedd, yn heidiau, yn dyrau, *neu* yn gadfëydd.
  Flock-bed—gwely casnod, gwely casnach.
**ock,** *v. n.* ymdyru, ymgasglu, cydymgasglu, ymgynnull, cydymgynnull, cyttyru, heidio; myned, cyrchu, ymgynnull, ymgasglu, cynnyred, *neu* gynniwair yn fynteioedd; cydymdyru, twysgo, torfi, tormi; myned yn dyrau, yn dorfoedd, yn ffasgau, *neu* yn drylau; tyru, helfu.
  To flock together — cydymdyru, cydymgasglu, cydymgynnull, cyttyru; ymdyru yn nghyd; twysgo, cyrchu, *neu* heidio at eu gilydd; tynu i'r unlle.
  Birds of a feather flock together, } a-
  Birds of a feather will flock together, } dar o'r unlliw a dynant i'r unlle; adar o'r unlliw a hedant i'r unlle.
**lockly,** *ad.* yn fynteioedd, yn dorfoedd, yn heidiau, yn lluoedd, yn dyrau, yn gadfëydd.
**locks,** *s. pl.* casnach, casnod, cneifion.
**locky,** *a.* casnodog, casnachog; llawn casnach, casnod, *neu* gneifion; cudynog.
**loe,** *s.* nofiäen, iäen, talp mawr o ia nawf.
**loetz,** *s.*=*Fletz.*
**log,** *v. a.* (Ll. *fligo, flagrum;* Goth. *bliggwan*) ffrewyllio, ffrewyllu, fflangellu, chwistringo, chwipio.
**logging,** *s.* ffrewylliad, fflangelliad.
**lood,** *s.* (S., D., a Sw. *flod;* Al. *fluth;* Is. *vloed*) dylif, llif, llifeiriant, lli, lliant, llifddwr, llifddwfr, ffrydlif, llifiant, llifer, llifad, diluw, dwll; llanw, gorllanw; cefnllif, trenllif, gorlif; ffrwd, ffrau, blaw; gweilgi, môr, dylan; rhyferthwy; afon; haflug; mislif, misglwyf, cymhibau: *pl.* llifeiriaint.
  High flood—gorllanw, llawnfor, gorddwfr, uchelfor, gorlif, gorllif.
  Great flood—trenllif, cefnllif, cenllif, cefnlli, erlif.
  Flood and ebb—llif ac adlif, llif a llaer, lli a llaer, llanw a thrai, lliant a llaer, morlif a mordrai, morlif a moreb, llanwed ac ertrai, morlanw a mordrai.
  Sea-flood—morlif, morlifiant, morlifad.
  Land-flood—dylif, llifeiriant, llif, gweilgi, rhyferthwy, daiarlif, tudlif, tudlifeiriant, tirlifeiriad; dyfroedd yn rhedeg i waered o'r mynyddoedd gàn wlawogydd.
  Noah's flood, } dylif Noah, dylif Nöe.
  Noachian flood, }
**Flood,** *v. a.* llifeirio, llifo, gorlifo, gorllifo, gorlifeirio, dylifo; dyfru, dyfrhau; gwneuthur yn fôr; gorchuddio â dyfroedd; rhoi dàn ddwr *neu* ddyfroedd; cluddio.
**Floodgate,** *s.* llidor, llifddor, dyfrddor, argae; gollyngfa dwr, bala llŷn.
**Flooding,** *s.* gorlifad, gorfislif, gorfisred, cymhibau.
**Floodmark,** *s.* pen gorllanw, llifnod, gorlifnod, gorllifnod, nod uchelfor, nod gorllanw, ol gorddwfr, amlygyn llawnfor, arwyddyn llawnfor; ertrai; ol grym llif.
**Flook,** } *s.* (Is. *ploeg;* Al. *pflug,* neu *plug*)
**Fluke,** } palf angor, adfach angor, gafaelfach angor, palf, adfach.
**Flooking,** *s.* adfachiad.
**Floor,** *s.* (S. *flor, flore;* Is. *vloer*) llawr, barth.
  Floor of a house—llawr ty.
  Threshing floor, } llawr dyrnu; llawr
  Thrashing floor, } ysgubor.
  Boarded floor—hurtyr, llawr estyll, llawr estyllod, llawr cyfastell, llofft, taflod.
  Flag-floor, } llechlawr, llawr llechfaen,
  Flaged floor, } llawr llechloriog.
  Brick-floor — llawr priddfeini, palmant priddfeini, llawr priddfaen.
  Paved floor — palmant; sarn; llasarn, llaesodr; llawr palmantog.
  Stone-floor—llawr ceryg; palmant.
  Earthen floor—llawr pridd, llawr priddin.
  Ground-floor—barth, y barth, daiarlawr, llawr, llawr isaf, seilfarth.
  Folding floor, } plyglawr.
  Folded floor, }
**Floor,** *v. a.* llorio.
  To floor with boards—llorio âg estyll; byrddio, byrddu; astellodi, llofftio, cyfastellu.
  To floor with stone — llorio â cheryg; llorio â llechau; palmantu, llechlorio, llasarnu, llaesodri.
  To floor malt—llorio brag.
**Floorcloth,** *s.* llorlen, llawrlen.
**Flooring,** *s.* lloriad; taflod, esgynlawr, llwyfan, llwyf, banllawr; llawr; palmant, llasarn; gwaelod; defnyddiau llorio.
  Flooring cramp—llorgraff, dalgraff llorio.
  Flooring machine—peiriant llorio.
**Floorless,** *a.* dilawr, heb lawr.
**Floor-timbers,** *s. pl.* llorgoed, llawrgoed, coed llorio.
**Flop,** *v. a.* (llythyriad amryfal o *flap*) curo yr adenydd; ffusto yr adenydd; curo â'r edyn; llipäu, lliprynu, llapio, llabio, yslapio; gwneuthur yn llipa; crogi yn llipa; gollwng am ei lygaid; gollwng i lawr ymyl het.
**Flora,** *s.* (Ll.) ffluron, fflorion, blodon, blodas, ffluras, blodonas; llysieuaeth rhyw wlad neilltuol; cofres o flodau.
  Flora (in mythology)—Blodwen, Blodon, Blodan, Duwies y Blodau; Fflora.
  British Flora—Ffuron Prydeinig, Ffluras Brydeinig, Blodas Prydain.
**Floral,** *a.* (Ll. *floralis*) perthynol i flodau; blodeuaidd, blodol, blodeuol, blodeuog, blodeuaidd; yn cynnwys y blodeuyn; blodonawl, fflurol, ffluronol, blodasol; perthynol i Blodwen.
  Floral games—campau fflurol, campau fflur, campau ffluronol, campau blodonawl= math ar Eisteddfodau barddonol â gynnelid yn Toulous yn Ffrainc yn y 14ydd a'r 15fed canrif.

**Floren,** } *s.* (o *Florence,* yn yr Ital) hen ddarn
**Florence,** } o aur bath, yn amser Iorwerth III., gwerth 6*s.*
**Florence,** *s.* (dinas yn yr Ital) brethyn Fflorens; gwin Fflorens.
**Florentine,** *s.* (o *Florence*) Fflorentin, Fflorentyn; math o sidanwe.
Florentine work — gwaith Fflorensaidd, gwaith Fflorentain=math o frithwaith o fain a mynor.
**Fflorescence,** *s.* (Ll. *florescens*) blodeuawd, fflurawd, tymmor blodeuo, fflurdymmor; blodeuad.
**Floret,** *s.* (Ff. *fleurette;* It. *floretto;* o'r Ll. *flos*) bloden, goflodyn, gofloden, blodionyn, blöen, blöyn, blodeuan, gwullyn: *pl.* blodionos.
**Floriage,** *s.* (Ll. *flos, floris*) blodau, fflur, gwull.
**Floricomous,** *a.* (Ll. *floricomus*) gwalltflodeuog, penfflurog, gwullfrigerog.
**Florid,** *a.* (Ll. *floridus*) blodeuog, llawn blodau, blodeulawn; blodeuliw; gwridog, gwridgoch, rhosliw, rhosliwiog; hardd gàn flodau; addurnedig â blodau; claerwych, gwyrenig, claerliwiog; ir, tirf, iraidd, irain, ireiddlawn; harddwych, hoewych, addurnwych, godidog, hoew, hoewdeg, ysblenydd.
Florid style — dullwedd flodeuog: dull Tudur.
**Floridness,** } *s.* blodeuogrwydd; gwridogrwydd,
**Floridity,** } gwridgochni, gwridgochedd, gwridgochder, gwrid, rhosliwiogrwydd; claerwychder, claerwychedd, harddwychder, gwyrenigrwydd, ceinwychder, ceinder, hoewychder, hoewder, addurnwychder, gorwychder, gorddillynder, berthedd; irder, tirfder; addurn; grym, yni.
**Floriferous,** *a.* (Ll. *florifer*) blodeufag, blodeuddwyn; blodeuog, fflurog, gwulliog, blodog; â ddwg flodau; yn dwyn blodau.
**Florification,** *s.* blodeuad, blodeuawd, fflurad, gwulliad.
**Floriform,** *a.* (Ll. *flos* a *forma*) blodeuaidd, ffluraidd; ar ddull blodeuyn.
**Florilege,** *s.* (Ll. *florilegus*) blodeugasgl, blodeugrawn, blodioneg, blodoneg.
**Florin,** *s.* (Ff.; It. *florino;* o *Florence,* yn yr Ital) fflorin, ffloring, fflwring=bathell yn amrywio yn ei gwerth mewn gwahanol wledydd.
Ffloring Seisonig, neu ffloring Lloegr=2*s.*
Fflorin Holand a Bavaria=1*s.* 8½*c.*
Fflorin Awstria=oddeutu 2*s.*
Fflorin aur yr Almaen=oddeutu 6*s.* 11*c.*
Fflorin Poland=yn agos i 6*c.*
Fflorin Rheinig=1*s.* 7$\frac{9}{10}$*c.*
**Florist,** *s.* (Ff. *fleuriste;* o'r Ll. *flos*) blodeuwr, blodonydd, blodonwr, gwullwr, fflurwr, ffluronydd; un cyfarwydd mewn blodau; blodamaethydd.
**Floroon,** *s.* (Ff. *fleuron*) blodeugylch, fflurgylch, blodymyl.
**Florulent,** *a.* (Ll. *flos*) blodeuog, blodeuol, fflurog, gwulliog, fflurol.
**Flory,** *a.* (Ll. *flos*) blodeuog (mewn herodraeth).
**Floscular,** } *a.* (Ff. *flosculeux;* o'r Ll. *flosculus*)
**Flosculous,** } blodenigol, blodenigaidd, goflodonol, blodenog, fflurgynol, adflodynol.
**Floscule,** *s.* (Ll. *flosculus*) blodenig, blodenan, bloenog, goflodyn, gofloden, fflurgyn, blöen, adfloden, adflodyn.

**Flos Ferri,** *s.* (Ll.) fflur haiarn, haiarnwai=math ar ddelfaen.
**Floss,** *s.* (Ll. *flos*) manblu, manbluf cibau, cib sidan.
**Flossification,** *s.* (Ll. *flos*) blodeuad, fflurad, gwulliad; ymlediad blodau.
**Floss-silk,** *s.* fflursidan; cibsidan; sinidr, sorod, llosgsorod.
**Flota,** *s.* (Ysp.) noflynges, llynges; y llynges Yspaenig â hwyliai gynt bob blwyddyn Cadis i Vera Crus, yn Mecsico.
**Flotage,** *s.* (Ff. *flottage*) nawf; peth ar nawf; peth â nofio ar y môr *neu* ar afonydd: p. nofion.
**Flotant,** } *a.* (Ff. *flottant*) nofiol, hynofiol;
**Floatant,** } nofio yn yr awyr; cychwyfol, hofiol, hofiog, chwyfiog; ar daen, taenedig; cwhwfan.
**Flotation,** *s.* (o *float*) nofiant, nofiad, gorofiant, nofiedigaeth, nawf.
**Flote,†** *v. a.* tynu yr wyneb; dihufenu; ei[illegible]
**Flotilla,** *s.* (bych. o *flota*) llyngesan, llynges[illegible], llynges o longau bychain; llynges, morfyd[illegible]
**Flotsam,** } *s.* (o *float*) mornofion, nofion, nofi[illegible]
**Flotson,** } ion, nawf-eiddo diarddel; nwydd diarddel yn nofio ar y môr.
**Flounce,** *v.* (Is. *plonssen*) ystreigled, ystreiglo, ymdreiglo, ymdaflu, ymdrybaeddu, tindaflu, tindopi; myned dàn neidio, dàn dindaflu, dàn ruthro, *neu* dàn ymdaflu; plycio, ymblycio; myned dàn daflu *neu* dasgu dwr, ystercio, tercio; ymddigio, ymchwerwi, digllidio; amaerwyo, sideru, amsideru, amaerwyo, sidergylchu, rhoi amaerwy ar, addurno â siderau.
You neither fume, nor fret, nor flounce—nid ydych chwi nac yn sori, nac yn ymddigio, nac yn tindaflu.
He flounces about with passion—y mae efe yn myned dàn dindaflu o *neu* gàn digofaint.
**Flounce,** *s.* amadrwy, amaerwy, sider, amsider, sidergylch, sidergylchau.
**Flounder,** *s.* (Al. *flünder;* Sw. *flundra*) llythien, lleden, lledan, lleden ddu: *pl.* llythi, lledau, lledenod.
A little flounder—lledenig.
He lies as flat as a flounder—y mae efe yn gorwedd yn ei hyd gyhyd ar y ddaiar; y mae efe yn gorwedd â'i wyneb i waered ar y ddaiar.
**Flounder,** *v. n.* ystreigled, ystreiglo, ymdreiglo, ymdaflu, ymdrybaeddu, tindaflu, ystercio, tercio; ymdrochi mewn dwr *neu* laid; grawthu, plycio, ymblycio, ymoloi, ymgreinio, gwingo fel ceffyl mewn llaid; ymdrechu.
**Flour,** *s.* (Ff. *fleur;* Ysp. *flor;* It. *flore;* Ll. *flos*) peillied, càn, paill, pain, peillion, blawd, manflawd, blawd càn.
Fine flour—peillion; man-gan, man-gant, màn gàn, manbaill; pellied, càn, paill.
English flour — blawd Lloegr, peillied Lloegr.
Coarse flour—gobaill, peillied garw, peillied bras.
**Flour,** *v. a.* peillio, blodio, peillioni; gwneuthur yn beillied; ysgeintio â pheillied.
**Flourish,** *v.* (Ll. *floresco;* Ff. *fleurir, fleurissant*) blodeuo; blaguro; dwyn blodau; bod yn ei flodau; ffluro, gwullio; bod yn ir, iraidd, *neu* irlas; llwyddo, ffynnu, gwrygio, prifio; ireiddio, irlasu; bod yn hoew a heinif;

addurno, gwychu, harddu; addurno â blodau; gnisio, ysgwyd, gwyntio, ffrowyllo, chwyfio, chwareu, rhagchwareu; cyflym symmud yn ol ac yn mlaen; ffrostio, ymffrostio, brolio, bragio, bocsach, rhodresu, gwagfostio; taenu allan; ffiurnodi, addurnlinellu, gnisnodi, addurnnodi.

To flourish again—adflodeuo, ail flodeuo, adflaguro, ail wrygio.

To flourish a trumpet—canu udgorn, udganu.

To flourish in music—canu gosteg, canu prawf, canu profiad, rhagchwareu.

To flourish in discourse—llefaru yn flodeuog; cymhenu; ymadroddi fel areithydd; dywedyd yn hyawdl ymadroddus; areithio.

To flourish a weapon—ysgwyd arf, gwyntio arf, gnisio arf, chwyfio arf, chwyrnellu arf, dysbelio arf, dysbeilio arf, gwringellu arf, ewybro arf; cyflym symmud arf o'r naill law i'r llall o wir ymffrost.

It is one thing to flourish, another to fight—un peth yw dywedyd, peth arall yw gwneuthur; un peth yw dywedyd a pheth arall yw gwneuthur; mae rhagor rhwng gair a gweithred; hawddach dweyd na gwneyd; haws dywedyd na gwneuthur.

To flourish a letter—addurno llythyren, ffiurnodi llythyren, gnisnodi llythyren, gnisio llythyren.

**Flourish**, *s.* blodau, blodeuwaith, addurnwaith; addurn; ceinder, ceindeb, harddwch, gwychder; rhodres, rhwysg; gnis, ysgwyd, ysgydwad, dysbeliad, dysbeiliad, chwareuad; dangosiad gwag-ogoneddus, arddangosiad; addurnnod, ffiurnod, gnisnod; rhagchwareu, rhagchware, rhagwarae, blaen y chware, cychwyn y chwareu, blaen-gerdd; ymffrost, ffrost, bocsach, gwagfost; chwyddiaith, coegaraeth.

Rhetorical flourishes—blodau areithyddiaeth; addurnau ymadrodd, addurniadau ymadrodd; blodau areithyddol.

An idle flourish of words—gwag eiriau chwyddedig; geiriau a dim ond geiriau; ffrost, ymffrost, gwagymffrost, bocsach, gwagfolach, coegfolach, gwagfost, rhodres.

A flourish before the matter—blaen y chware, cychwyn y chware, rhagchware, rhagwarae, rhagware; gosteg, prawf, *neu* brofiad mewn cerdd; blaen-gan, blaen-gerdd, dechreu caniad; blaengis; blaengis yn y rhyfel.

Flourish of trumpets—caniad udgyrn, seiniad udgyrn, udganiad.

**Flourished,** } *a.* blodeuog; addurnedig â blod-
**Flory,** } au.

**Flourisher**, *s.* blodeuydd, blodeuwr; addurnwr, addurnydd; rhodreswr, ffrostiwr, ymffrostiwr, bocsachwr; gnisiwr, dysbeliwr, ysgwydwr.

**Flourishing**, *a.* blodeuog, blagurog; yn blodeuo; yn ei flodau; llwyddiannus, tyciannus, ffynniannus, ffynnadwy; gwrygiannus, gwyrenig; llewyrchus, golygus; tirf, ir, irlas, eidiog, bywiog; gnisiol.

**Flourmill**, *s.* melin beillied, peillfelin.

**Flout**, *v.* (S. *flitan;* Ysp. *flyte*) gwawdio, gwatwar, gwatwor, cellwair, ymgellwair, argoddi, coddi, sarhau, dirmygu, greffio, difrïo; mingamu, troi ei fin.

To flout one—mingamu ar un; troi ei fin ar un; gwepio ar un.

Full of flouts—gwatworgar, gwatwargar, gwatworus, gwatworllyd, gwatwarllyd, gwawdiog, gwawdlawn, cellweirus, cellweirgar, greffiog.

**Flout**, *s.* gwawd, gwatwar, gwatwor, greff, dirmyg, sarhad, sar, anfri, dirmyg, casgawdd, argawdd, cawdd; cydgam, cellwair; hers; mingamiad.

**Flouter**, *s.* gwawdiwr, gwatwarwr, gwatworwr, gwatwarydd, dirmygwr, dirmygydd, greffiwr, mingamwr, cellweirydd.

**Flow**, *v.* (S. *flowa;* Is. *vloeijen*) llifo, dylifo, rhedeg, ffrydio, hylifo, ffrydlifo, hedlifo, llifeirio, tarddu, tarddellu, goferu; deillio, deilliaw; gorlifo, gorlifeirio; aberu; dyferu, deigynu; llenwi, llanw, gorlenwi; dyfod allan; myned rhagddo; ffithlo, ffreuo, llithro; cyforio; bod yn llawn, yn orlawn, *neu* yn gyforiog; bod yn llifo *neu* yn rhedeg drosodd; bod yn myned dros yr ymyl; dyfod i mewn; toddi; eistedd *neu* ddisgyn yn llaes; bod yn llaes; rhedeg yn llyfn; bod yn llyfn.

To flow about—amlifo, amlifeirio, amddylifo, amlenwi.

To flow again—adlifo, adlenwi.

To flow abroad—ymdaenu, ymledu; llifo *neu* redeg ar led; ymwasgaru.

To flow back—gwrthlifo, llifo yn ol; rhedeg yn ol; treio.

To flow continually—llifo yn ddibaid; dibaid lifo.

To flow impetuously—rhaiadru; llifo yn rhychwyllt.

To flow in—llifo *neu* ddylifo i mewn; rhedeg i mewn (fàl dwr); dylenwi.

To flow out—llifo, dylifo, rhedeg, gwanegu, *neu* ffreuo allan; pistyllio, tarddu, tarddellu, goferu, boglynu; deilliaw o; hifflaid.

To flow over—gorlifo, gorllifo, gorlifeirio, llifo drosodd, rhedeg drosodd, gorlenwi, gorllenwi; llifo dros y glanau *neu* y glenydd; llifo dros y ceulanau *neu* y ceulenydd; llifo dros y ddwylan; myned yn fordwy; myned yn rhyferthwy.

To flow together—cydlifo, cydlifeirio, llifo yn nghyd; ymgydlenwi; ymgyfredeg, ymgyfarfod (o amryw fanau); ymdwysgo, cyttwysgo.

To flow from—deilliaw o; deilliaw allan o; rhedeg allan o; llifaw o.

To flow to—rhedeg at, dylifo at; rhedeg i.

To flow out—llifo allan, rhedeg allan.

To flow (as a garment)—eistedd yn llaes; disgyn yn llaes; eistedd *neu* ddisgyn yn hardd-laes; bod yn llaes.

A flowing garment—gwisg laes, llaeswisg.

A flowing cup—cwpan cyforiog.

To flow in wealth, } llifeirio gàn olud
To flow in riches, } *neu* gyfoeth; llif-
To flow with wealth, } eiriaw o gyfoeth *neu* olud; rhedeg o gyfoeth *neu* olud; rhedeg gàn gyfoeth *neu* olud.

I see that they flow in wealth—gwelaf hwynt yn nofio mewn golud; gwelaf hwynt yn llifeiriaw o gyfoeth; gwelaf hwynt yn oludog.

Blood flowing out—gwaed yn hifflaid; gwaed yn ffreuo allan; gwaed yn llifo allan.

See the tears flowing from his eyes—gwelwch y dagrau yn llifo, yn dylifo, yn pistyllio, *neu* yn gwanegu o'i lygaid.

**Flow**, *s.* llif, ffrwd, ffrydlif, rhedlif, hedlif, lli, ffrau; llanw, gorllanw; llifad, llifiant, dylifad, dylifiad, llifeiriad, lliant, rhediad, ffrydiad; dylif, llifer, cerhynt, blaw; llawndid, llawnder; hoen; rhugledd.

Flow and ebb—llif ac adlif, llif a llaer, lli a llaer, lliant a llaer, llanw a thrai, morlif a mordrai, morlif a moreb, llanwed ac ertrai, morlanw a mordrai.

A flow of words—ffrwd o eiriau; ffrwd ddidrai o eiriau; ffrydlif o eiriau; llif o eiriau.

A flow of spirits—ffrwd o ysbrydoedd; llawndid o ysbrydoedd; ffrydlif o ysbrydoedd.

Flow of eloquence—ffrydlif hyawdledd, ffrwd hyawdledd, ffrydlif ffraethineb; rhugledd tafod, trybelidrwydd ymadrodd, rhugledd hyawdledd.

**Flow-bog**, } *s.* mignen, mign, llifwern, lli-
**Flow-moss**, } fawnog.

**Flower**, *s.* (Ff. *fleur;* Ysp. *flor;* Ll. *flos, floris*) blodeuyn, blodyn, bloden, fflur, blöen, blöyn, blodon; gwull, blodau; blodeuwaith, addurnwaith; blodau; blaendardd; blawd.

Flowers—blodau, gwull, gwullion, ffluron, ffluroedd; mislif, misglwyf, mistrych, mislifiant, teithi gwraig, haint y rhianedd.

The flower (of any thing)—blodau; y y goreu: *pl.* goreuon, pigion, dewision, detholedigion.

Flower of age—blodau oedran; blodau oed; blodau oes; blodau ieuenctyd, hoen ieuenctyd.

The flower of the army—blodau y fyddin; goreuon y fyddin, &c.

The youth are the flower of the country—blodau y wlad yw yr ieuenctyd.

Artificial flowers—blodau celfyddydol, blodau gwneuthur, blodau celfyddol, blodau gwneuthuredig, rhith-flodau, ffugflodau.

Manufacturer of artificial flowers—gwneuthurwr blodau celfyddydol, rhithflodonai, dybanon blodau gwneuthur.

Flowers of sulphur—ffluron ufeliar, peillion ufeliar, blodau mygfaen.

Flower-pot—llestr blodau, llestryn blodau, pot blodau, blodeu-lestr.

Abounding with flowers, } blodeuog, blod-
Full of flowers, } eulawn, llawn blodau.

Cuckoo flower—hydyf, hydwf, hydyf y waen, blodau y gog, blodyn y gwcw.

Pasque flower—blodeuyn y pasc, blodyn y pasc.

Globe flower—cronell.

Animal flower—milflodyn, milflodeuyn.

**Flower**, *v.* blodeuo, blaguro, ffluro, gwullio, blodio, blottarddu, gwrido; dwyn blodau; bod yn ei flodau; bloenu, bloynu; llwyddo, ffynnu, prifio, gwrygio; addurno â blodau; addurno, ceinwychu; enwynu, cànu, hufenu; gwenu; gwreichioni; ymgynhyrfu.

**Flowerage**, *s.* blodau, gwull, gwullion; blodeuaeth.

**Flowerbearing**, *a.* blodeufag, blodeuddwyn, blodeugyrch; yn dwyn blodau.

**Flowerbud**, *s.* blottardd; blodeuflagur, blodflagur, blaguryn â ddwg flodau.

**Flower-clock**, *s.* gwulloriawr, blodeugloch, ffiurgloch, blodeugloc; dyfais i fesur amser wrth flodau yn cau ac agor ar oriau penodol o'r dydd.

**Flower-crowned**, *a.* coronog gàn flodau; fflurgoronog.

**Flower-de-lis**, } *s.* (Ff. *fleur de lis*) cammined;
**Flower-de-luce**, } elestr.

Water flower-de-lis—cammined y dwr, gellhesg, gelystr.

**Flowered**, *p. p.* blodeuedig, &c.; blodeuog, blodeulyd; blodweog, flurweog; gwedi ei wau yn flodeuog.

Many-flowered—amlwulliog, amryflodeuog, amryfflurog, amflodeuog, amrywulliog.

**Floweret**, *s.* (Ff. *fleurette*) goflodyn, goflodyn, bloden, blodon, blodyn, blöen, blöyn, blodionyn, blodionen, blodeuen, gwullyn, gwullen, ffluryn, blodeuyn bychan, blodeuyn: *pl.* blodionos, mân flodau, bloenos, goflodau.

**Flower-fence**, *s.* gwullfid=math o blanigion.

**Flowerful**, *a.* blodeulawn, blodeuog, llawn blodau.

**Flower-garden**, *s.* gardd flodau, blodeuardd, gwullardd, blodeufa, blodeule; rhosfa.

**Flower-gentle**, *s.* blodau ammor, ammor, llysiau ammor.

**Floweriness**, *s.* (o *flowery*) blodeuogrwydd, fflurogrwydd, gwulliogrwydd; llawnder o flodau, claerwychder.

**Flowering**, *p.* yn blodeuo, &c.; blodeuol, fflurol, gwulliog, blodeuog, fflurog, fflur; yn addurno â blodau.

Flowering fern—rhedyn cyfrdwy, cyfrdwy, lloerredyn cyfrdwy.

Flowering rush, } engraff, brwynen flod-
Water gladiole, } euog.

Flowering trees, } blodeuwydd, fflur-
Flowering shrubs, } wydd.

Flowering ash—onen flodeuog.

**Flowering**, *s.* blodeuad, blodeuawd, fflurad, gwulliad, fflurawd; addurnad â blodau; blodeudardd, blottarddiad.

**Flower-interwoven**, *a.* addurnedig â blodau; blodaddurnog, ffluraddurnog, gwulladdurnog.

**Flower-kirtled**, *a.* gwisg-flodeuog, gwyrlenog, deilblethog; deildorchog; gwisgedig â blodeubleth.

**Flowerless**, *a.* diflodau, difflur, diwull, heb flodau.

**Flower-stalk**, *s.* coesig blodau, fflurgoesig, coes blodyn, blodeugoes, paledryn blodau.

**Flowery**, *a.* blodeuog, fflurog, gwulliog, llawn blodau, blodeulawn; addurnedig â blodau.

**Flowing**, *a.* (o *flow*) llifol, ffrydiol, ffrydlifol, llifeiriol, rhedegog, ffreuol, ffrau, deigrynol, damlifol; llyfn, rhugl, rhwydd, rhydd, trybelid, llithrig, hylithr; yn llifo, yn rhedeg, yn ffrydio; hyffrwd, hyred, llyfnred; ymadroddus, tafodlyfn, tafodlithrig, bangaw; llaes.

Flowing speech—araeth lyfn, rugl, neu lithrig, &c.

Flowing in speech—ymadroddus, tafodlyfn; llithrig, llyfn, rhugl, rhydd, rhwydd, trybelid, dirwystr, *neu* hylithr ei ymadrodd; rhedegog ei araeth; rhydd, rhwydd, *neu* lithrig ei dafod.

A flowing cup—cwpan cyforiog.

A flowing garment—gwisg laes, llaeswisg.

**Flowing,** *s.* llifad, llifiant, dylifad, dylifiad, **lliad,** lliant, ffrydiad, llifeiriad, lliferiad, **rhediad, ffreuad,** damlifad, deigyniad; llanw, **gorllanw**; blaw, ffrau.
The flowing in of the tide—llanw, morlanw, gorllanw, y llanw, y gorllanw.
The flowing of the sea—molifad, morlifiant, morlif.
Flowing together—cydlifad, cydffreuad.

**Flowingly,** *ad.* yn llifol, &c.; dân lifo; yn ffrwd, **yn** llif.

**Flowingness,** *s.* **ffrydiolrwydd, ffrydioldeb,** llifoldeb, rhedegogrwydd; llyfnedd, llyfnder, **llyfndra,** llithrigrwydd, llithrigder, hylithredd, rhugledd, **tafodlyfnder,** trybelidrwydd; **ffrwd** ymadrodd, ystwythder ymadrodd, hylithredd, trybelidrwydd ymadrodd.

**Flowk,** } *s.* (S. *floc*) llythïen, lleden, lledan:
**Fluke,** } *pl.* llythi, lledau.

**Flown,** *p. p.* (o *fly*) gwedi hedeg, wedi ehedeg; **hedegog**; chwyddedig; balch.
High-flown — uchelfalch, uchelfrydig, **balch, trahausfalch,** mawrfrydus; uchel ei fryd, uchel ei feddwl; rhodresus, rhyfygus; uchelgais, uchelgeisiol; anghymmedrol; hedegfan.
High-flown words—geiriau chwyddedig.

**Fluate,** *s.* (o *fluor*) lliforgris, lliorgris, lliforhalan, lliforaint: *pl.* lliforhalion.
Fluate of lime—lliorgris calch, lliorfaen, lliorgrisfaen, llior-ysger.

**Flucan,** *s.* argae, cronfa.

**Flucerine,** *s.* (*fluor* a *cerium*) lligerain=math o ddelidfaen Swedain.

**Fluctisonous,** *a.* (Ll. *fluctus* a *sono*) tonseiniog; **yn** seinio fâl y môr mawr ei ddwndwr.

**Fluctuant,** *a.* (Ll. *fluctuans*) tònog, tònol; **anwadal, anwastad,** ansafadwy, ansefydlog, **bwhwmanllyd**; yn bwhwman; petrus, ansicr; **anwadal** fel tòn y môr; eglyd.

**Fluctuate,** *v. n.* (Ll. *fluctuo*) tòno, tònogi, dygyfor; ymdreiglo hwnt ac yma fel tònau y môr; ymdreiglo yma ac acw fel tònau y môr; ymdreiglo yn ol ac yn mlaen fel tònau; **chwyfio** *neu* nofio yn ol ac yn mlaen; codi yn dònau *neu* yn wenyg; bwhwman, anwadalu, **gwamalu**; honcian, honcio, ysgoewi, gwegio, **gnesio,** hofian, hofio, chwyfan; ammheu, **petruso**; bod yn anwadal, yn anwastad, yn ansefydlog, yn ansafadwy, yn ansicr, yn **hoewan,** *neu* **yn** ysgoewan; **codi a gostwng.**

**Fluctuating,** *a.* **anwadal, anwastad, ansefydlog, eglyd, ansafadwy, anhysaf,** cyweg, bwhwmanllyd, **cyfnewidiol**; ansicr, petrus.

**Fluctuation,** *s.* (Ll. *fluctuatio*) tònogiad, tòniad, **ymdòniad**; ymdreigl *neu* ymdreiglad tònau **yn ol ac yn mlaen**; codiad yn dònau; dygyfor, **dygyforiad**; bwhwman, anwadaliad, anwadalwch, **anwadaledd,** anwadalrwydd, anwastadrwydd, **ansefydlogrwydd**; ammheuaeth, **petrusder**; **gnes,** gnesiad, hofiad, chwyfiant, **gwegiad,** cyfnewidiad, newidiad.

**Fluder,** } *s.* (o *flood*) llifedn=math o Droch-
**Fludder,** } ydd, tua chymmaint a gwydd.

**Flue,** *s.* (o'r Ll. *flumen?*) ffynetr, ffynell, ffynel, **ffynetrell, simneian,** simnai fechan, pibell **simnai, corn sawell,** twll simnai; pibell i **ddwyn mwg** *neu* **wres.**

**Flue,** *s.* (Al. *flaum;* Ll. *pluma*) panflew, **hawni,** pân, ffwrw teg, blew manwaidd, manblu.

**Fluellen,** } *s.* (C. *Llywelyn*) **llysiau Llywelyn,**
**Fluellin,** } llysiau Llewelyn, rhwyddlwyn, gwrnerth.
Sharp-pointed fluellen—**trwyn** y llo blaenfeinddail.

**Fluellite,** *s.* rhyw fân grisial à geir yn Nghernyw.

**Fluence,**† *s.*=*Fluency.*

**Fluency,** *s.* (Ll. *fluens*) ffrydiolrwydd, ffrydioldeb, ffrydiolder, hylifedd, llifoldeb, hydreigledd; rhugledd, arugledd, hyawdledd, ffraethineb, ffraethedd, ffraethder; llithrigrwydd, llithrigder, hylithredd, **tafodlyfnder,** trybelidrwydd, rhyddineb, rhwyddineb, parabledd, hyodledd, rhedegogrwydd, pryleu, tafodrugledd, ystwythder; †llawnder.
Fluency of speech—rhugledd ymadrodd, &c.; hylifedd, parodrwydd, *neu* ddirwystredd ymadrodd; rhugledd tafod; parabl dirwystr *neu* ddïattal.

**Fluent,** *a.* (Ll. *fluens*) ffrydiol, hylifol, hylif, rhedegog, llifeiriol, llifol, hyred, hyffrwd; rhugl, ffraeth, rhydd, rhwydd, llyfn, tafodlyfn, tafodrugl, llithrig, hylithr, tafodlithrig, trybelid, hylafar, parablus, prestl, ymadroddus, bangaw, dirwystr, hydreigl, dïattal; plethedig; rhydd ei ymadrodd; rhwydd ei dafod.

**Fluent,** *s.* ffrwd, llif, ffrydlif, lliant; darlifran, cyfanrif.
A proud, fluent, bold harangue—ymadrodd balch, bangaw, eofn.

**Fugelman,** } *s.* (Al. *flügelmann*) rhagwaladr,
**Fugleman,** } arweinydd, blaenor, gwaladr, cynwaladr.

**Fluid,** *a.* (Ll. *fluidus*) hylif, gwyol, hylifol, ffrydiol, hyffrwd, hyred, lliol, rhedegog, llynol, llynaidd, gwlyb, llifiannaidd, taenwlyb; à redo, à lifo.

**Fluid,** *s.* hylif, gwy, llifnodd, aw, hedlif, rhedlif, llŷn, gwlybwr, gwlyb, lliant, nofant, peth hylif, peth hyred: *pl.* hylifau, hylifoedd, gwyon, gwyolion, gwlybyron, gwlybyroedd, gwlybion, llynoedd, awon.
Gaseous fluids—nwyon, nwyolion, hylifau nwyol.
Liquid fluids — gwyolion, gwyon, awon, llynoedd gwyol.
Animal fluid—milwy, milaw.
Aëriform fluids—gwyon awyraidd, nwyon, nwyolion.
Elastic fluids — twythwyon, gwyon hydwyth, hylifau twythig, hylifau hydwyth.
Non-elastic fluids—gwyon anhydwyth, hylifau annhwythig.
To produce a fluid—gwyo; cynnyrchu hylif.

**Fluidity,** } *s.* (o *fluid*) hylifedd, hylifrwydd,
**Fluidness,** } gwyoldeb, gwyolrwydd, ffrydiolrwydd, llynoldeb, hyrededd, hyredrwydd, ffrydioledd, hyffrydedd, gwlybrwydd, gwlybeiddrwydd, llyneiddrwydd.

**Fluke,** } *s.* (Is. *ploeg;* Al. *pflug,* neu *flug*)
**Flook,** } palf angor, adfach angor, gafaelfach angor, palf, adfach.

**Fluke,** } *s.* (S. *floc*) llythïen, lleden, lledan: *pl.*
**Flowk,** } llythi, lledau.

**Flukeworm,** *s.* eubryf, ffasbryf.

**Flume,** *s.* (S. *flum;* Ll. *flumen*) ffrwd, ffrydle, ffrydfa, rhedle.

**Fluminous,** *a.* (Ll. *flumen*) afonog, llawn afonydd.

**Flummery**, *s.* (C. *llymry*) llymry, llymruwd, sucan, uwd, mwdran, bwdran, brwchan, brithdwym; sugaethan; truth.
Flummery stuff — mwyd-sucan, bwyd-sucan.
Thin flummery—mwdran, bwdran, brithdwym.
**Fluoborate**, *s.* (*fluor* a *boron*) lliforonaint, lliforonblith.
**Fluoboric**, *a.* lliforonig.
Fluoboric acid, } sur lliforonig, nwy lliforonig; cyfansawdd o lif-
Fluoboric gas, } orain a boron.
**Fluophosphate**, *s.* (*fluor* a *phosphate*) lliorffoddaint, lliforffoddaint, lliorffoddgris, lliorlosnuraint: *pl.* lliorffoddhalion.
**Fluor**, *s.* (Ll.) hylifedd, hylifrwydd, ffrydineb, llifogrwydd, lli; mislif, mislifiant, misglwyf, mistrych; llifor, llior, llifred.
Fluor, } lliorfaen, lliorgrisfaen, llior-ysger=
Fluor-spar, }
Fluoride of calcium, } math o ddelidfaen lliwgain.
**Fluoric**, *a.* (o *fluor*) lliorig, lliforig.
Fluoric acid—sur lliorig, sur lliforig; sur ysig.
**Fluoride**, *s.* lliforid, lliorid.
Fluorin, }
Fluorine, } *s.* liorain, lliforain, llifornur.
**Fluocilicate**, *s.* (*fluor* a *silex* neu *silica*) lliorgallestraint, lliforgelltaint.
**Fluosilicic**, *a.* lliorgelltig, lliorgallestrig, lliforgallestrig.
Fluosilicic acid—sur lliorgelltig, sur lliforgelltig.
**Flurry**, *s.* (?) cwthwn, blwth, chwa; chwa *neu* gafod o wynt; chwa *neu* gafod ddisyfyd o wynt; cafod, cawod, cawad; ffrwst, brys, dyfrys, ymffrwst, cyffro, terfysg, cynhwrf, ffwdan, annhrefn, cythrudd, ffrawdd, trafferth, trabludd, cyffroad, gwesgryn, cythrwfl.
**Flurry**, *v. a.* cyffröi, terfysgu, cynhyrfu, cythruddo, cythryflu, cythryblu, cysgogi, aflonyddu, ffwdanu, trabluddio, ffrystio; dychrynu.
**Flush**, *v.* (Al. *fliessen;* Is. *vlieten*) gorlifo, llifo, rhedeg; llifo *neu* redeg yn chwyrn; llifo *neu* redeg yn danbaid; ffrystio, brysio, dyfrysio; dyfod ar frys, ar ddyfrys, yn heinif, *neu* dàn frysio; rhuthro, trystio; gwrido, cochi, gwridgochi, wynebgochi, cribgochi; gwrido yn ei wyneb; dyrchafu, codi; balchïo, chwyddo; hoeni, gorhoeni, llonychu, lloni, bywiogi; llonwychu, gorwychu, pincio, hoewi; cochi yn ddisymmwth.
The blood flushed up into his face—cododd y gwaed i'w wyneb; cododd y gwaed yn ei wyneb.
He flushed exceedingly—cochodd yn ddirfawr.
To flush a person—dyrchafu, lloni, *neu* fywiogi ysbrydoedd un; lloni un; cefnogi un.
He is flushed enough to think so—y mae efe yn ddigon gwag i dybio felly.
**Flush**, *a.* bywiog, heini, heinif, ffresg, ffres, gwyrenig, eidiog, nwyfus, brywus, brywiog, tirf, ir; llawn, gorllawn, gorlawn, fflwch, diwall, hafug, dïamdlawd, didlawd, anlloeddog; hael, haelionus, brac, afradlawn; claer, dysglaer, gwridog, cribgoch.
Flush with—cydwastad â, cyfartal â; m[...] fin â.
Flush deck—gwastad-fwrdd llong, gwas[...] lofft llong, llong-lofft gwbl wa[...].
He is flush in money—y mae efe yn [...] arian; mae efe yn llawn *neu* orl[...] arian; y mae ganddo ddigon, an[...] *neu* ddigonedd o arian; y mae gand[...] wala o arian; y mae efe yn ariannog.
He is very flush with his money—y m[ae] efe yn frac iawn o'i arian; y mae efe [...] hael iawn ar ei arian; y mae yn h[...] iawn o'i arian.
**Flush**, *s.* gwrid, cochni, gwridgochedd, gw[...] gochni, cochni wyneb, gwridliw, gwr[...] cochliw; ffrwd, llif, dylif, dylanw; haf[...] helaethrwydd, llawnder, amledd, aml[...] amldra; rhuthr, chwyl, ias, chwiw, chwa[...] twf; rhestr; haid o hwyaid.
In the flush of his transports—yn uchd[er] ei lawenydd.
**Flush**, *ad.* yn gydwastad, yn gyfartal.
**Flush**, *s.* (Ff. ac Ysp. *flux*) cardiau unlliw cardiau cyfliw, rhestr gyfliw.
**Flusher**, *s.* y barfog, y cigydd lleiaf.
**Flushing**, *s.* gwridiad, cochiad, gwridgochiad gwrid, cochni, gwridgochni.
**Flushness**, *s.* gwrid, cochni, gwridgochni wynebgochni; bywiogrwydd, ffresgrwydd ffresrwydd, tirfder, irder, gwyrenigrwydd brywusrwydd.
**Fluster**, *v.* (o *flush*) gwridgochi, greidio, poethwrido, gwresogi, poethi; twymo a chochi gofrwysgo, lledfeddwi; gwneuthur yn wridgoch *neu* gribgoch; cribgochi; peri i un yfed nes ei dwymo a chochi o'i wyneb; cyffröi, cynhyrfu, ffrystio, ffwdanu, annhrefnu dyrysu, ymderfysgu.
**Fluster**, *s.* gwres, poethder, poethni, poethineb. graid, gwrid, poethias; cyffro, cynhwrf. ffrwst, cythrudd, terfysg, ffwdan, chwaen. annhrefn, trymysg, dyfysgi, gwŷn, terfysg meddwl.
**Flustered**, *p. p.* greiddiedig, &c.; gwridgoch; gwridog, cribgoch; gofrwysg, lledfeddw, gofeddw, hanner meddw; gwridog gàn gwrw *neu* win.
**Flute**, *s.* (Ff. *flûte;* Al. *flöte;* It. *flauto;* Ll. ac Ysp. *flauta*) mosbib, chwibanogl, pibell, pib; sylch, rhigol, gwlf, rhych, colofrych, pillrych, pillgwys, rhygn; hirlong, pibellfad.
German flute—mosbib Almaenig, pibell Almaenaidd.
Octave flute—wythonell, wythonbib.
A player on the flute, } mosbibydd, chwibanoglydd, pibydd.
Flute-player, } canwr pibell.
Armed in flute — arfedig fel pibellfad; arfog fel hirlong; â chyflegrau y rhes isaf a rhan o rai y rhes uchaf wedi eu symmud.
**Flute**, *v.* chwibanogli, chwareu ar fosbib, canu mosbib; sylchu, rhigoli, rhychu, gylfu, cwyso, pillgwyso, pillrychu, colofrychu, pannoli, pannylu, pannelu, ffosi.
**Fluted**, *a.* sylchog, rhigolog, rhychog, gylfog, rhychog, colofrychog, pillgwysog; teneu, main, pibellaidd; sylchedig.
Fluted notes—nodau pibellaidd.
**Flute-stop**, *s.* pibattreg, pibludd.
**Fluting**, *s.* (o *flute*) sylch, rhigol, gwlf, rhych, colofrych, pillrych, pillgwys, rhygn, rhwgn,

**pannwl; rhigolwaith,** pannylwaith, sylchwaith.

**Flutings of a** column—rhigolau, sylchau, *neu* **rychau** colofn; colofrychau, pill-**rychau,** pillgwysau.

**Flutist,** } *s.* **mosbibydd,** chwibanoglydd, chwib-
**Fluter,** } **anoglwr,** pibydd, canwr pibell, **chwareuwr ar** fosbib.

**Flutter,** *v.* (S. *floteran*; Al. *flattern*; Is. *fladderen*) ymehedfan, ymhedfan, ehedfan, **ymhedeg, ymehedeg,** hedfan; ysgwyd, curo, **chwareu,** *neu* chwyfio ei adenydd; ym-**chwyfan, cychwyfan,** hofian, hofio, hwyfo, **darhedeg,** ysgoewi, ymchwyfan, ymysgwyd; **profi ehedeg;** gwneyd cais ar ehedeg; myned **dân ymysgwyd,** *neu* dân ehedfan; myned **dân ysgwyd** ei adenydd; llamhedeg, dy-**chlamu, ymwringellu;** castellu; bwhwman, **gwamalu,** gwegio; ysboncio; coegbrysuro, **ffrystio;** cyffröi, cynhyrfu, annhrefnu, **terfysgu;** peri cynhwrf, cyffro, cythrwfl, **terfysg,** *neu* annhrefn; cyffröi y meddwl; **ymderfysgu,** ymddyrysu; tònogi; chwareu **yn ol ac yn mlaen;** chwylo.

**To flutter** in one's speech—dywedyd âg **attal arno;** bod âg attal dywedyd arno; **cecian.**

**Flutter,** *s.* **ymhedfan;** ysgydwad adenydd; **chwyf,** ymchwyf, ysgydwad, gwringell, **gwringelliad,** dychlam, llamhediad, llam-**fynediad,** crych-fynediad, crych-ehediad, **cychwyfan,** ymsiglad, hofiad, ysbonc; simp, **gnes; ffrwst,** dyfrys, crys, brys, ffwdan; **terfysg, cynhwrf,** cyffro, cythrwfl, ysgogiad, **cyffroad, annhrefn,** tysmwy, tysmwyad; **ffrwt.**

**Fluttering,** *s.* ysgydwad, ymysgydwad, hedfaniad, ehedfaniad, hofiad, chwyfiad, chwyfiant, **darhediad,**gwringelliad,ymwringelliad,dych-**lamiad,** ysbonciad; ysgydwad *neu* ysgydfa **adenydd;** cyffroad, cynhyrfiad, terfysgiad; **bwhwman,** anwadalad; anwadalwch.

**Fluttering,** *p.* yn ymhedfan, gân ymhedfan, &c.; **hedfanol,** hedol, hofiol; dychlamol, dychlam-**gar, gwringellog;** nwyfus, hoedenaidd, gwag-**saw; ar** gyffro; yn ymsymmud drwyddo; **bwhwmanllyd,** anwadal; yn curo yr aden-**ydd.**

**Fluviales,** *s. pl.* (Ll.) ffrydlysiau, afonlysiau= **llwyth** o lysiau dyfrdrig.

**Fluvialist,** *s.* (Ll. *fluvialis*) afonyddwr, afonof-**ydd.**

**Fluviatic,** } *a.* (Ll. *fluvialis, fluviaticus*, o
**Fluvial,** } *fluvius*) afonol,afonyddol; perth-
**Fluviatile,** } ynol i afonydd; afondrig; dyfr-**drig;** llyndrig.

**Flux,** *s.* (Ff.; Ll. *fluxus*) llif, lli, rhedlif, llif-**red, llifad,** llifiant, llifer, lliant, rhed, llifeir-**iad, llifeiriant,** dylifad, rhediad, ffrau; llif-**lyn; llanw,** gorllanw; pibre, darymred, **dolur rhydd,** y bib, rhyddglwyf, rhyddni; **tawdd, toddiad;** cynnulliad, cynnullaid, torf, **tyrfa, baid.**

**Bloody flux**—gwaedlif, gwaedlifiant, darymred gwaed, pibre waed, gwaedbibre, gwaedglwyf, clefyd y gwaed, y bib waed, gwaedlin.

**Hepatic flux**—rhedlif yr afu, llifred afuol, afured.

**Flux of the sea**—llanw y môr, gorllanw y môr, morlanw, llif y môr.

**Flux and reflux**—llif ac adlif, llanw a thrai, lli a llaer, llif a llaer, lliant a llaer, morlif a mordrai, morlif a moreb, llanw, ed ac ertrai, morlanw a mordrai.

Menstruous flux—misglwyf, mislif, mislifiant, mistrych, llifred misol.

Black flux—rhedlif du, llif du, llifred du, du-redlif.

Flux, *a.* llifol, lliant, hylif, hyred, hyffrwd, rhedegog; yn llifo, yn rhedeg; anwadal, ansafadwy, gwamal, anwastad, ansefydlog, cyfnewidiol, dibara, trancedig.

Flux, *v. a.* toddi; hylifo, llifo, llio, llifredu, rhedlifo; peri llifo; gwneuthur yn hylif; haliwio, poerlifo.

Fluxation, *s.* llifad, rhediad; llifad *neu* rediad ymaith; llifrediad.

Fluxibility, } *s.* (Ll. *fluxilis*) hydoddedd, hyd-
Fluxility, } oddrwydd, hylifedd.

Fluxible, *a.* (Ll. *fluxilis*) toddadwy, hydawdd, hylifadwy.

Fluxion, *s.* (Ll. *fluxio*) llifad, dylifad, dylifiad, lliad, ffrydiad, rhediad, lliant; llifred, rhedlif, lliflyn; yr hyn â lifo; darlifiad.

Fluxions (in mathematics)—darlifion, darlifiadau; darlifiaeth.

Fluxions (as a rule)—darlifiaeth.

Fluxional, } *a.* (o *fluxion*) darlifionol, darlif-
Fluxionary, } iadol; perthynol i ddarlifion.

Fluxionist, *s.* darlifionydd, darlifionwr; un hyddysg mewn darlifion.

Fluxive,† *a.* (o *flux*) llifol; toddol.

Fluxure, *s.* (Ll. *fluxura*) hylif, llifred, defnydd llifol.

Fly, *v.* (S. *fleogan*; Al. *fliegen*) hedeg, ehedeg, hedfan, ehedfan, ehed, hedegu, ymehedeg, ymhedfan; rhedeg; ffoi, cilio, ffysgio, dïanc, dïengyd, ymadael; ymddryllio, ymdori; ffrydio, llifo, *neu* saethu allan; hofian, hofio, cychwyfan; ffoi rhag; ffoi oddi wrth; gochel.

To fly abroad—hedeg, ehedeg, myned, *neu* ymdaenu ar led; myned ar gyrn a phibau; myned yn hysbys i bawb.

To fly at—rhuthro ar, cyrchu ar; rhedeg *neu* neidio yn nghyd â; neidio *neu* redeg yn ngafael â; dwyn gwib ar; dwyn rhuthr ar; hedeg at.

To let fly at—gollwng yn nghyd â; saethu, gollwng, *neu* ergydio at; neidio at.

To fly away—hedeg *neu* ehedeg ymaith; ffoi; cilio.

To fly against—hedeg yn erbyn; ehedeg yn wrthwyneb i; gwrth-hedeg.

To fly one's country—gadael *neu* adaw ei wlad; ymadael *neu* ymadaw â'i wlad; troi ei gefn ar ei wlad; myned ar herw; ymalltudio, ymalltudo, ymddeol; cilio *neu* ffoi o'i wlad; ffoi ei wlad; afwladu.

To fly back—hedeg, ehedeg, rhedeg, *neu* neidio yn ol; rhedeg, ehedeg, hedeg, *neu* neidio i'w wrthol; gwrth-hedeg, gwrth-ehedeg, gwrth-redeg; dychwelyd dân ehedeg.

To fly from, } ffoi, dïanc, *neu* gilio rhag;
To fly, } ffoi, dïanc, *neu* giliaw oddi wrth; cilio, dïanc, *neu* ffoi o le.

To fly from place to place (as an outlaw) —ffoi o le i le; herwa; bod ar herw.

To fly in one's face—hedeg, ehedeg, *neu* neidio yn ngwyneb; hedeg, ehedeg, *neu* neidio yn nghig wyneb un; hedeg *neu* neidio yn nghyd â chig wyneb un; hedeg

yn nannedd un; rhedeg yn mhen un; sarhau, coddi, *neu* argoddi un.

His conscience will fly in his face—ei gydwybod a'i gwaradwydda *neu* a'i cyhudda ef.

He flies in the face of justice—y mae efe yn elyn cyhoedd i gyfiawnder; y mae efe yn ymddwyn *neu* yn gwbl wrthwyneb i gyfiawnder.

To fly often—ehedfan, ymhedeg, ymehedeg, mynych hedeg.

To fly open—neidio yn agored; ymagor ar naid *neu* ar lam; ymagor.

To fly out—hedeg, ffoi, neidio, *neu* ddïanc allan; ffoi, dïanc, dïengyd; afradu, *neu* wastraffu ei feddiannau; afradu, afradloni, *neu* wastraffu ei dda; treulio mwy na'i gyllid; byw uwch law ei gyllid.

To fly out in expenses—rhydreulio, trathreulio, rhywario, *neu* afradu arian; gormodd dreulio arian; gwneuthur rhydraul; gwneuthur gormodd draul.

To fly in pieces—hollti, ymhollti, ymddryllio, *neu* ymdori yn gandryll; ymhollti yn gyrbibion; tori yn dipiau.

To fly into a passion, } ennynu gàn
To fly out into a passion, } lid; ennyn o lid; ymwylltio gàn ddig.

To fly to a mark — cyrchu *neu* hedeg at nod.

To fly together — cydhedeg, cydehedeg; ehedeg yn nghyd; ffoi *neu* ddïanc yn nghyd.

**Fly**, *s.* (S. *fleoge*; Al. *fliege*; Is. *vlieg*; D. *flue*) cylionen, cylionyn, cleren, clyryn, gwibedyn, gwiban, ednogyn, creyryn, crëyr; sidell, chwynan, chwyfdroell, ehedran, hedran, chwyfran: *pl.* cylion, cler, gwibed, ednogion.

Spanish flies—cylion Yspaen, cylion Paradwys, pothgler, pothchwilod.

Candle fly—pryf y ganwyll, pryfyn y ganwyll, gwas y ganwyll.

Dun fly—clyryn llwyd, cacynen y meirch, cethreor: *pl.* clyr llwydion.

Dragon-fly—gwas y neidr, gwaell y neidr, gwaell neidr, chwildarw, chwilen gorniog.

Fire-flies — ufelgler, ufelglyr, tân-gler, goleugler, cler tân; pryfed tân.

Water fly—carw y dwr, pryf copyn y dwr, copyn y dwfr, gafr y dwr, march y dwr, copyn y dwr.

Fly of the compass—ehedran y compawd, hedran y cwmpas=y lle y tynir ac y dosberthir y gwyntoedd ar y compawd.

**Flybane**, *s.* (*fly* a *bane*) gludlys.

**Flybitten**, *a.* (*fly* a *bite*) clyr-gnöedig; à gnöwyd gàn gylion, cler, *neu* wibed; à bigwyd gàn gylion.

**Flyblow**, *s.* (*fly a blow*) chwyth cylion, chwyth y cylion, cylchwyth.

**Flyblow**, *v. a.* chwythu (fel cylion); cylchwythu; llenwi o chwyth cylion; llenwi o gynron; gosod o gylionen ei hwy mewn peth; llygru.

To be flyblown — bod wedi ei chwythu gàn gylion; bod à chwyth cylion arno; bod yn llawn chwyth cylion.

**Flyboat**, *s.* hedfad, ehedfad, ysgafnfad, badlong ysgafn.

**Flycatcher**, *s.* cylionwr, cylionydd, daliwr cylion; gwibedog.

Flycatcher (in zoology)—gwibedog, y gwibedog=math o aderyn.

**Flyer**, *s.* (o *fly*) hedwr, ehedwr, ehedydd, hedegwr, hediad, ehediad, ehedyn; ffoadur, ffowr, ciliwr, cilwr, ymgiliad, ymgilydd; sidell, chwynan, mantol peiriant, mantolydd peiriant; amhedwr.

Flyers—grisiau didro, hedrisiau.

**Flyfish**, *v. n.* (*fly* a *fish*) pysgota â phryf; clyrbysgota, cler-bysgota; pysgota â chylion, cler, *neu* wibed; pysgota âg ednogion yn lle abwyd; genweirio.

**Flyfishing**, *s.* pysgota â phryf; clyr-bysgota, cler-bysgota; pysgota âg ednogion; genweiriad.

**Flyflap**, *s.* gwibedlab, clyrlabed; llabed i ladd cylion a gwibed.

**Fly-honeysuckle**, *s.* clyr-wyddfid, clyr-wynwydd, cler-wynwydd, clyr-felog.

**Flying**, *a.* hedegog, ehedegog, hedog, ehedol, ehed, hedegol, hedol; ffoawl, ffoedig; chwyfiol, chwyfiog, ar chwyf; yn hedeg; gàn hedeg, dàn hedeg, &c.; yn ffoi, dàn ffoi; ysgafn.

Flying serpent—sarff hedegog.

Flying enemy—gelyn ffoedig.

Flying camp—byddin hedegog; byddin hedegog arfysgafn; gwersyll hyfud, ysgafn-fud, *neu* ysgafn-glud.

Flying report—chwedl annilys, son annilys, chwedl grwydrad, chwedl hedegog, chwedl adeiniog.

With flying colours—gyda chlod, yn fuddugol, yn fuddugoliaethus, yn orfoleddus; ar adenydd buddugoliaeth; â'r baneran yn hedfan.

**Flying-bridge**, *s.* pont nawf, pont hedegog, nofbont, pont fadau.

**Flying-buttress**, *s.* hedwanas, hedatteg, croesatteg, atteg hedegog.

**Flying-dragon**, *s.* draig hedegog.

**Flying-fish**, *s.* hedbysg, ehedbysg, hedegbysg.

**Flying-levels**, *s. pl.* llyfalau hedegog, hedlyfalau.

**Flying-party**, *s.* hedeglu, hedegdorf, torf hedegog.

**Flying-pinion**, *s.* hed-asgell, hed-adain, aden hedegog, hedran cloc.

**Flying-powder**, *s.* hedbylor, pylor hedegog.

**Fly-shooter**, *s.* saethydd cylion, cylion-saethydd, saethwr gwibed.

**Flytrap**, *s.* (*fly* a *trap*) hedfagl, hedfagl Gwener =math o lysieuyn ymsyniol.

**Flytree**, *s.* (*fly* a *tree*) cylionwydden, clyrwydden=pren, meddir, à fag gylion.

**Flywheel**, *s.* (*fly* a *wheel*) sidell, chwynan, chwyf-olwyn, chwyfdroell.

**Foal**, *s.* (S. *fola, fole*; Al. *füllen*; Is. *veulen*; D. *föl*) ebol, (*f.* eboles), llwdn.

The foal of an ass—llwdn asyn, llwdn asen, ebol asyn, ebol asen.

With foal, } cyfebol, cyfebr, cyfab.
In foal, }

To be with foal—bod yn gyfebol, bod yn gyfebr, bod yn gyfab; cyfebru.

To become with foal, } cyfebru.
To be gotten with foal, }

A mare with foal—caseg gyfebr, caseg gyfebol, caseg gyfab.

Cast foal—saethebol.

**Foal**, *v.* bwrw ebol; dyfod âg ebol; llydnu, moi.
**Foalbit**, *s.* eboldam, tam yr ebol=llysieuyn.
**Foalfoot**, *s.* alan, alan bychan, carn yr ebol, ebolgarn, pesychlys, troed y tarw, dail troed yr ebol, llun troed yr ebol.
**Foam**, *s.* (S. *fæm, fam;* Al. *faum;* Ll. *fumo*) ewyn, dystrych, ysgai, gai, geian, ewyngant, ewyngaen, gorferw, molwyn, gorisgell, gorewyn, burym, swyf, swyfi, swyfen, micws; glafoerion, glyfoer; broch, arfroch.
 As white as the foam of the wave—càn wyned a dystrych y dòn.
**Foam**, *v.* ewynu, dystrychu, ysgeio, burymu, gorisgellu, molwyno, gorewynu; malu, bwrw, *neu* ddwyn ewyn; berwi *neu* godi yr ewyn; brochi, arfrochi, cynddeiriogi, ymgynddeiriogi; malu ewyn o *neu* gàn gynddeiriogrwydd.
 To foam at the mouth—malu ewyn.
**Foam-crested**, *a.* ewyngribog, ewyngopog.
**Foaming**, *p.* yn ewynu, &c.; ewynol, dystrychol, ewynog, gorewynog, gorewyn, dystrychog, gorisgellog, molwynog; â fwrio *neu* â ddygo ewyn.
 Fiery foaming steeds — ffrowysol feirch ewynog.
**Foamless**, *a.* dïewyn, diddystrych, heb ewyn.
**Foamy**, *a.* ewynog, ewynllyd, gorisgellog, gorewynog, gorewyn, llawn ewyn, dystrychog, molwynog, ysgeiog, burymog, geifawr, brochog.
 Foamy surface—ewyngaen, gwyneb ewynog.
**Fob**, *s.* llogell oriawr, coden oriawr, llogellan, pogedan.
**Fob**, *v. a.* (Al. *foppen*) twyllo, coegio, hocedu, somi, castio, hudo.
 To fob a person of his money — twyllo, hudo, *neu* somi un am ei arian.
 To fob one off with fair promises—rhoi geiriau *neu* addewidion teg i un; llenwi llygaid un â theg eiriau *neu* âg addewidion teg; porthi un â theg eiriau *neu* addewidion teg.
 He fobbed me off with ale instead of wine —efe a lanwodd fy llygaid â chwrw yn lle gwin; efe a'm twyllodd â chwrw yn lle gwin; efe a'm danfonodd ymaith *neu* a'm bwriodd heibio â chwrw yn lle gwin.
**Focal**, *a.* (o'r Ll. *focus*) ffocol, ffocawl, llewenol, haddol, borawl, llugol.
**Focile**, } *s.* (Ff. *focile*) breichasgwrn, asgwrn y
**Focil**, } gynfraich; coesasgwrn, asgwrn y goes.
 Greater focile — y breichasgwrn mwyaf, asgwrn mwyaf y gynfraich, asgwrn mwyaf yr iselin; y coesasgwrn mwyaf, asgwrn mwyaf y goes, ysberygl.
 Lesser focile—y breichasgwrn lleiaf, asgwrn lleiaf y gynfraich, asgwrn lleiaf yr iselin; y coesasgwrn lleiaf, asgwrn lleiaf y goes, llorp, llorf.
**Focillation**, *s.* (o'r Ll. *focillo*) amgeledd (megys ar aelwyd); cysur, sir, anwes, achlesiad.
**Focus**, *pl.* Focuses, Foci, *s.* (Ll.) llewen, ffoc, hadd, bor, llug; aelwyd y pelydr; cynnullfan y pelydr; canolfan, pryffwnt, canolbwynt.
 Focus of an ellipse—llewen hirgylch.
 Focus of light—llug, ffoc goleuni, hadd gwawl.
 Focus of a circle—bor, llewen cylch, bor cylch.
 To verge to a focus — llewenu, haddu, llewyddu, llewynu.
**Fodder**, *s.* (S. *foddor, fother;* Al. *futter*) gogor, ebran, gogawr, porthiant; ymborth, porth, bwyd, ysborthiant, esborthion, ysborthion; *neu* esborth anifeiliaid.
**Fodder**, *v. a.* gogori. ebranu, porthi, ysborthi; rhoi gogor i; rhoi ebran i.
 Foddering place — gogorfan, ysborthfa; preseb, côr ychain, cafn ebran; rhastal, rhesel; gogordy.
**Fodder**, } *s.* (Al. *fuder;* Is. *voeder*) talppwys,
**Fother**, } clamppwys, clamp, talp.
 Fodder of lead—talppwys o blwm=22½ canpwys o blwm.
**Fodderer**, *s.* gogorydd, gogorwr, ebranwr, ebranydd, porthwr, porthwr anifeiliaid, buborthwr.
**Fodder-passage**, } *s.* gogorfan, ysborthfa,
**Foddering-passage**, } gogorffosp.
 To eat fodder — ysborio, ysbori, bwyta gogor.
 Refuse of fodder—ysborion, esborthion.
**Fodient**, *a.* (Ll. *fodio*) cloddiol, cloddiannol, cloddiadol.
**Foe**, *s.* (S. *fah*) gelyn, (*f.* gelynes), gâl, gwrthwynebwr, gwrthwynebydd, esgar, esgarant, ysgarant, cas, casddyn, casai, cynnygnwr, dygasog; andras; gwrthblaid: *pl.* gelynion, galon, esgeraint, caseion, efnys, dygasogion, casogion, cynnygn.
 Mutual foe—cydelyn, cyngelyn.
**Foe**,† *v. a.* trin fel gelyn.
**Foehood**,† *s.* gelyniaeth.
**Foelike**, *a.* gelynaidd, gelynol, gelyniaethol.
**Foeman**, *s.* gelyn mewn rhyfel; gelyn; gwrthblaid.
**Fœniculum**, *s.* (Ll.) ffenigl.
**Fœtal**, } *a.* (o *fœtus* neu *fetus*) milrithiol, mil-
**Fetal**, } rithaidd, milrithig; perthynol i filrith.
**Fœticide**, } *s.* (Ll. *fœtus* a *cædo*) milrithladdiad,
**Feticide**, } milrithladd, lladdiad y milrith.
**Fœtor**, *s.* (Ll.)=*Fetor.*
**Foetus**, } *s.* (Ll. *fœtus*) milrith, côl, pri, rhith;
**Fetus**, } y rhith wedi ei lawn lunio.
**Fog**, *s.* (It. *sfogo;* Ysp. *vaho;* Isl. *fug*, yn ol *Craig*; D. *fog*, yn ol *Johnson*) niwl, nifwl, ysmwcan, ysmwcach, nudd, nuddach, tarth, mygdarth, mygodarth, tawch, caddug, baddug; mwgan, mwcan, mwgen, niwlen, (*pl.* niwlach), mwci.
**Fog**, *s.* (C. *ffwg*, yn ol *Webster, Garnett*, ac ereill; Ll. drosgl, *fogagium*, yn ol y Doethor *Johnson*) myngwellt, ceden, ffwg, olborfa, porfa gedenog, hen geden; adladd, adwair, attwf; porfa gedenog heb na'i lladd na'i phori; porfa sech.
**Fogbank**, *s.* niwldir, caddugdir, caddugdwyn, tarthdwyn = ymddangosiad ar y môr, ar dywydd niwlog, tebyg i dir o hirbell.
**Foggage**, *s.* (o *fog*) myngwellt, ceden, ffwg, porfa gedenog, hen geden.
**Fogginess**, *s.* (o *foggy*) niwlogrwydd, nifwlogrwydd, nuddogrwydd, tarthogrwydd, tarthlydrwydd, caddugolrwydd; cymylogrwydd.
**Foggy**, *a.* (o *fog*) niwlog, nifwlog, tarthlyd, tarthog, tawchlyd; caddugol, cadduglyd; cymylog, godywyll; synwyrbwl, penbwl pendew, hurt, syn; tew; swrth; anghyflym ei ddeall; pwl ei ddeall.
**Foh**, *in.* ffei! ffi! hach! ffach! wfft! rhag

**Fraught,†** *s.* llwyth llong, llonglwyth, llwyth; cargoedd.
**Fraught,†** *v. a.* llwytho, llonglwytho; llenwi, llanw.
**Fraxinella,** *s.* (Ll. *fraxinus*, o'r Gr. *phrassô*) dittain, dittawnt.
**Fraxinine,** *s.* (o *fraxinus*) onednyw=dansawdd llysieuaidd anfloreiog, â geir yn rhisg yr onen.
**Fraxinus,** *s.* (Ll.) onen, on, onwydd.
**Fray,** *s.* (Ff. *fracas;* It. *fracasso*) ffrwgwd, ymrafael, amrafael, ymladd, brwydr, trin, ystrin, ymryson, terfysg, brwth, brythwch, brythred, cyfrysedd, godorin, ceintach, ymgiprys, cweryl, cynhen, cythrwfl, cymhelri, ymswrn; ornest, cysbwy, ymwan.
To allay a fray—trywyn, athrywyn, trywynu, trywynio, ffrewyn, ffrewynu, ffrewi.
**Fray,** *s.* (Ff. *frayer;* Ll. *frico*) rhwb, rhwt, rhwbiad, rhathiad, rhugl, rhwg.
**Fray,** *v. a.* rhwbio, rhathu, rhwtio, treulio, rhuglo, ysrathu; dysgyrnu; ymrwbio wrth, ymrathu wrth.
**Fray,†** *v. a.* (Ff. *effrayer*) brawychu, dychrynu, peri ofn, arswydo.
**Fraying,** *s.* pil corn carw.
**Freak,** *s.* (Isl. *freka;* Al. *frech;* D. *frek*) nwyth, nwyd, chwidredd, asbri, mympwy, chwim, chwimp, ias, gwŷn anwadal, gofreg, pranc, gwamaldyb, gwibfeddwl, nwythas, hynt, ysmaldro: *pl.* ysmalion.
A mad freak—pranc ynfyd, gwyllt, ffol, *neu* chwidr; gwyllt antur, ynfydgais, tro ynfyd, nwyth ynfyd, tro gorwag, ynfyd branc, gwyllt-gamp.
What freaks are in thy head?—pa hyntiau sydd yn dy ben?
There are odd freaks in that man—mae nwythau rhyfedd yn y dyn yna.
**Freak,** *v. a.* amrywio, amrywioli, amrywiogi, amryfeilio, amryfalu, amliwio, brithо, dyfritho, tryfritho, amliwio, amliwiogi.
**Freakish,** *a.* nwythus, nwythog, nwythig, nwythaidd, nwydog, nwydol, nwydus, penffol, penchwiban, chwidr, chwidrus, chwidrog, gofregus, lledynfyd, lleddffol, anwadal, oriog, gwamal, syfal, ysmala, cyfnewidiol, ysgoew, talmig, pranciol, pranciog, mympwyol.
**Freakishness,** *s.* nwythusrwydd, nwythogrwydd, nwythigrwydd, penffoledd, penchwibandod, chwidredd, penchwidredd, nwydusrwydd, gofregedd, anwadalwch, anwadaledd, gwamalder, oriogrwydd, talmigrwydd.
**Freckle,** *s.* (C. *brych;* Gw. *brcac;* Al. *fleck?*) brychyn, brych, brycheuyn, mân, ysmotyn, ysmot, menyn, manyn, manwg, brychfan, mân ar groen; brychni: *pl.* brychion, ysmotiau.
Freckles in the face—brychni wyneb.
Full of freckles—llawn brychni, brych, brychlyd, brychog, mânog.
**Freckled,** *a.* brych, (*f.* brech), brychlyd, brychedig, brychog, arfrych, ysbrychlyd, ysbrych; â brychni arno; mânog, ysmotiog, brychfânog.
Freckled face—gwyneb brych, brychyn, brychweb.
Freckled man—dyn brych.
Freckled woman — benyw frech, dynes frech.
To become freckled—brychu, ysbrychu; myned yn frych.



**Freckledness,** *s.* brychni, arfrychni, brychi, brychedd, brychogrwydd, brychedigrwydd, mânogrwydd, ysmotiogrwydd.
**Freckle-faced,** *a.* gwynebfrych, wynebfrych, (*f.* wynebfrech); brych ei wyneb, (*f.* brech ei hwyneb); â brychni yn ei wyneb; âg wyneb brych iddo; llinfryniog.
**Freckly,** *a.* brychlyd, brychaidd, brych, brychog, brycheulyd, llawn brychni, mânog, ysmotiog.
**Free,** *a.* (S. *frig, freoh;* Al. *frei, frey;* Is. *vry;* D. a Sw. *fri*) rhydd, rhwydd, rhyddedog, rhyddidog, mewn rhyddid, digaeth, eang; dinidr, annyrys, dirwystr, dïattal; breiniol, breiniog, breintrydd, breinrydd; hael, haelionus, rhull, ffranc, brac, hyged, cedrwys, cedfawr, cedrydd, rhwyddged; parod, gwyllysgar, ewyllysgar; agored, clau, cleufryd, annhawedog, digel; agored, rhydd, *neu* rwydd ei feddwl; trwyddedog; rhad; heb na mâl na thâl; heb na gwerth na gwobr; â roer yn rhad, o wyllys da, *neu* o wirfodd; gwirfodd, gwirfoddol; heb ludd, heb wahardd; cyffredin; agored i bawb; hydrum, hygyrch; dïangol; penrydd; eon, eofn, hy; eng, ang; esgaeth, anghaeth; rhugl.
Free school—ysgol rydd; ysgol rad.
Free passage—ffordd rydd, ffordd rwydd, rhwydd hynt, rhydd fynedfa, rhwydd fynediad, mynediad helaeth, rhwyddred.
Free land—tir rhyddedog.
Free gift—rhodd rad, rhad rodd, rhodd wirfodd, rhadrodd, rhodd wir fodd.
Free from—rhydd oddi wrth, &c.; iach oddi wrth; diniwed oddi wrth; glân oddi wrth.
Free from business—ysgyfala, didres, didrafferth, diofal, hamddenol, mewn hamdden, mewn seibiant, rhydd; rhydd oddi wrth alwedigaeth.
Free from tribute—didreth, didoll, didal; rhydd oddi wrth dreth.
Free of expense—didraul, digost; yn rhad, yn ddidraul.
Free in conversation — rhydd; rhydd, rhwydd, *neu* agored ei feddwl; annhawedog, digel; rhydd ei ymddyddan; rhydd ei foes.
Free in giving—hael, haelionus, rhydd, hyged, rhwyddged, hyrodd, rhoddgar.
To set free, / To make free, } rhyddhau; rhoi *neu* wneuthur yn rhydd; rhoi ei ryddid i; breinio, breinioli; digaethiwo, esgaethu, diwarogi.
To make one free of a city—gwneuthur un yn gyfranog o fraint *neu* freiniau dinas; gwneuthur un yn gyfranog o ddinasfraint; gwneuthur un yn ddinasfreiniol; dinasfreintio un.
To make one free of a company—gwneuthur yn gyfranog o fraint *neu* freiniau cymdeithas; derbyn *neu* wneuthur yn aelod o'r frawdoliaeth.
Of a free heart — ewyllysgar o galon; gwyllysgar ei galon; rhwyddgalon, rhyddgalon, calonrydd; o galon rwydd.
He is free of another man's purse—hael Hywel o bwrs y wlad.
To live upon free cost—byw yn rhad; cael ymborth *neu* fwyd am ei fwyta.
To be somewhat free with one—bod yn o

gyfeillgar âg un; bod yn lled gyfeillgar âg un; bod yn lled rydd ar un.

To make too free with a person—bod yn rhy eofn ar un; bod yn rhy rydd ar un; gwneuthur yn rhy rydd ar un; cymmeryd rhyddid ar un; cymmeryd gormod ryddid ar un.

To be free of one's tongue—bod yn dafodrydd; bod yn ddywedgar *neu* siaradgar.

To be free from—bod yn rhydd oddi wrth; cael ei ryddhau oddi wrth; dïanc rhag; cael gwared o.

Free horse—ceffyl rhydd, march bywiog, march gwyllysgar, ceffyl parod.

**Free,** *v. a.* rhyddhau; gollwng, tynu *neu* ddwyn yn rhydd; gwneuthur yn rhydd; rhyddhau o, rhyddhau oddi wrth; rhwyddo, gollwng, dadrwystro, dirwystro, dinidro, diddyrysu, dad-ddyrysu, dadrysu, dadrwymo, disgraffu, dadfaglu, dattod; gwaredu, gwared, esgaethu, digaethiwo, anghaethiwo, dadgaethu, dadgaethiwo; rhoi ei ryddid i; breinio, breinioli.

To free from bondage — rhyddhau *neu* ollwng o gaethiwed; rhyddhau caeth; rhoi ei ryddid i gaeth; adferu caeth i'w ryddid; esgaethu, digaethiwo, dadgaethiwo, dadgaethu.

To free the boat—allwys *neu* arllwys y bad; allwys y cwch; bwrw y dwr allan o'r bad.

**Free-agency,** *s.* rhydd weithrediad, rhyddweithrediad, rhyddweithrediant; rhydd ewyllys, ewyllys rhydd.

**Freebench,** *s.* rhyddwaddol.

**Freebooter,** *s.* (Al. *freibuter;* Is. *vrybuiter*) ysbeiliwr, ysbeilydd, ysglyfaethwr, ysglyfiwr, ysglyfiad, preiddiwr, anrheithiwr.

**Freebooting,** *s.* ysbeiliad, preiddiad, ysbail, anrhaith, ysglyfaeth, ysglyfiant.

**Freeborn,** *a.* breiniol geni, rhydd geni, rhyddanedig, rhydd-enedig; rhydd, breiniol, breinrydd; â anwyd yn freiniol; â anwyd yn rhydd; boneddig cynnwynol.

**Free-chapel,** *s.* capel rhydd, rhydd gapel, addoldy rhydd.

**Free-city,** *s.* dinas rydd, dinas amherodrol= dinas â lywodraethir yn unig gàn ei phenswyddogion ei hun.

**Freecost,** *s.* annhraul, anghost; heb draul, heb gost; yn ddidraul, yn rhad.

**Freedenizen,** *s.* dinesydd rhydd, rhydd ddinasydd, dinesydd breiniol, dinesydd.

**Freedman,** *s.* (*free, freed,* a *man*) gwr rhydd, gwr breiniol, ffranc; caeth wedi ei ryddhau; caeth rhyddedog, caethwas rhyddedog; un â wnaed o gaeth yn rhydd.

**Freedom,** *s.* (o *free*) rhyddid, rhydd-did, rhydded, rhyddineb, rhydid, rhyddyd, rhydd-deb, rhwyddyd, rhwydd-deb, rhwyddineb, rhwyddyndod, rhwyddynedd; rhyddhad; trwydded, cenad, cynnwys; gollyngdod; braint, breinioldeb, breiniolaeth, breinioledd; ystâd, cyflwr, *neu* ansawdd gwr breiniol; anghaethiwed, digaethder, esgaethder; dinidredd, afrwymedd, eangder; hydeb, hyfder, eonder, eofnder, eondra; rhullder.

Freedom of a city — dinasfraint, braint dinesydd, braint.

**Freefishery,** *s.* rhydd bysgota, rhyddbysgota.

**Free-footed,**† *a.* troedrydd.

**Freehearted,** *a.* rhwyddgalon, rhyddgalon, calonrydd, haelfron, bronheilin; rhwydd *neu* rydd ei galon; brac, rhull, hygel, rhwyddged, hael, haelionus, rhoddgar, haelgar; tirion, hynaws, caredig, mwyn; anhawedog, digel, calon-egor.

**Freeheartedness,** *s.* rhwyddgalonrwydd, rhwyddgalonder, rhyddgalondid, rhyddgalonrwydd, bronhaelder, rhwydd-der calon, rhwydddineb calon, rhullder calon, cleuder, rhullder, haeledd, haelioni, haelgarwch, hygedrwydd.

**Freehold,** *s.* (*free* a *hold*) rhydd-ddaliad, rhydd-afael, rhydd-ddalfa, rhydd-dyddyn, rhydd-feddiant, tyddyn rhydd, tir dïardreth, maenor ddïardreth, tir un ei hun, tyddyn priodol, hawldir, rhydd-dir; tir uchelwr, tir breddyn; breddyniaeth.

**Freeholder,** *s.* rhydd-ddeiliad, breddyn, uchelwr, perchen tir, gwr tiriog, gwrda, rhydd-ddaliwr.

**Freeliver,** *s.* (*free* a *live*) rhyddfucheddwr, bucheddwr rhydd, bucheddwr penrydd, un rhyddfucheddol; un â gymmero fyd da yn helaethwych beunydd.

**Freeliving,** *s.* rhyddfuchedd, rhydd fuchedd, buchedd rydd, rhydd fucheddiad, rhydd fywoliaeth.

**Freely,** *ad.* yn rhydd, &c.; yn rhodd, o wirfodd, o ewyllys da; o hono ei hun; o'i waith ei hun; heb ludd, heb wahardd.

**Freeman,** *s.* (*free* a *man*) gwr rhydd, gwr breiniol, gwr breiniog, gwr eang, eangwr, ffranc; dinesydd, bwrdais.

Freeman of a city—dinesydd, dinasydd, dinesydd rhydd, rhydd ddinasydd, un breiniol, un dinasfreiniol, bwrdais, bwrgais.

**Freemartin,** *s.* ychanner, eidiones.

**Freemason,** *s.* rhinsaer, saer rhydd, rhyddsaer, rhydd faensaer; un o'r seiri rhyddion; rhingelydd, rhingelwr: *pl.* rhinseiri, seiri rhyddion.

**Freemasonry,** *s.* rhinsaernïaeth, rhinsaeriant, rhinsaeroniaeth, rhyddsaernïaeth, rhyddsaeroniaeth; cymdeithas y seiri rhyddion.

**Freeminded,** *a.* rhydd ei feddwl; meddylrydd; diofal, dibryder.

**Freeness,** *s.* rhydd-deb, rhydd-der, rhwydd-deb, rhydded, rhyddid, rhyddedogrwydd; cleuder, cleufrydedd, gonestrwydd, tegwch; annhawedogrwydd, digelrwydd; haeledd, haelioni, haelder, hygedrwydd, haelionusrwydd; rhadedd, rhadwch; anghaethder, anghaethiwed.

**Freeschool,** *s.* ysgol rydd; ysgol rad.

**Freespoken,** *a.* rhydd o'i feddwl; rhydd ar ei feddwl; rhyddlafar, siaradrydd, tafodrydd, dywedrydd; â lefaro yn ddigel.

**Freestone,** *s.* careg nadd, maen nadd, naddfaen, mwrl.

**Freethinker,** *s.* rhydd-dybiwr, rhyddfeddyliwr; penryddyn; anffyddiwr, anghredwr, anghredadyn; gwadwr crefydd ddadguddiedig: *pl.* rhydd-dybwyr, penryddion, penryddiaid.

**Freethinking,** *s.* rhydd-dybiaeth; anffyddiaeth, anghred.

**Freetongued,** *a.* tafodrydd; rhydd ei dafod.

**Freewarren,** *s.* braint helfaes, braint helgae, braint milfaes, braint cwningfa.

**Freewill,** *s.* ewyllys rhydd, gwyllys rhydd, rhyddwyllys, rhydd ewyllys; gwyllysgarwch.

Freewill offerings — offrymau gwirfodd

offrymau gwirfoddol, offrymau ewyllysgar, gwyllysgar offrymau.

**Freewoman,** *s.* gwraig rydd, benyw rydd, dynes rydd, rhyddferch, anghaethes.

**Freeze,** *v. a.* (S. *frysan*) rhewi, dyrewi; fferu, sythu, ymsythu, ceulo, oergeulo, dysgeulo.

**Freeze,** *s.*=*Frieze,* &c.

**Freezing,** *s.* rhewiad, rhewiant; rhewi.

Freezing point—rhewbwnc, rhewbwynt, pwnc rhewi, pwynt rhewi.

**Freight,** *s.* (Al. a Sw. *fracht;* Is. *vragt;* Ff. *fret*) llwyth llong, llonglwyth, llwyth; hur llong, llonglog, llog llong, arian clud, arian porth; trosgludiad.

**Freight,** *v. a.* llwytho, llwytho llong, llonglwytho, cargu; llenwi, llanw.

**Freighter,** *s.* llonglwythwr, llwythwr llong; llonglogwr, llonghuriwr.

**Freightless,** *a.* dilwyth, heb lwyth, digarg.

**Freisleben,** *s.* math o ddelidfaen.

**Fren,**† *s.* dyeithr. [corn Ffreinig.

**French-horn,** *s.* trogorn, troellgorn, chwilgorn,

**Frenchify,** *v. a.* (o *French*) Ffreinigo, Ffrengigo; gwneuthur yn Ffreinig *neu* Ffrengig; dynwared y Ffrancod; peri llediaith Ffrengig ar; peri hoffi moesau y Ffrancod.

**Frenetic,** *a.*=*Frantic; Phrenetic.*

**Frenzical,** } **Frenzied,** } *a.* (o *frenzy*) gwallgofus, gorphwyllus, gorphwyllog, cynddeiriog, cynneiriog, llerth, llerthig, llerthus, iwin, lledfrydig, ynfyd, ynfydwyllt.

**Frenzy,** *s.* (Ff. *frénésie;* Gr. a Ll. *phrenitis*) gorphwyll, gwallgof, anmhwyll, disbwyll, gorphwylldra, gwallgofrwydd, llerthedd, llerthrwydd, ynfydrwydd, lledfrydedd, lledfrydigrwydd, cynddaredd, cynddeiriogrwydd, iwinder, marwerydd, penddaredd, gorwylltedd, llerth, gwynofaint, gwŷn, ffrwys, gwallbwyll, dera.

**Frequence,** *s.* (Ff.; Ll. *frequentia*) haid, tŵr, tyrfa, torf, llu, myntai, bagad, lluaws, amledd o bobl, llaweroedd o bobl.

**Frequency,** *s.* (Ll. *frequentia*) mynychder, mynychdra, mynychrwydd, mynychedd, mynychiad; amlder, amldra, amledd; cyffredinrwydd; †tyrfa, haid.

By frequency of acts a thing grows into a habit—mynych wneuthur peth a'i pair yn naturiol o'r diwedd; mynych wneuthuriad peth a'i pair yn naturiol o'r diwedd.

**Frequent,** *a.* (Ff. o'r Ll. *frequens*) mynych; aml; cyffredin; arferedig; mynychol.

**Frequent,** *v. a.* (Ll. *frequento;* Ff. *frequenter*) mynychu; mynychu, cynniwair, cynniweirio, cynnyred, cyrchu, tramwy, tramwyo, ymgyrchu, hygyrchu, *neu* ddygyrchu i (le) *neu* at (beth); mynych gyrchu i *neu* at; myned yn fynych i *neu* at; cyrchu, hygyrchu, cynnyred, tramwy; helgyd, helcyd, helcu.

**Frequentable,**† *a.* hygyrch, cyrchadwy, hydrum.

**Frequentage,** *s.* mynychiad, mynychiant, mynych gyrchiad.

**Frequentation,** *s.* (Ll. *frequentatio*) mynychiad, cynniweiriad, cynnyred, ymgyrchiad, cyrchiad, hygyrchiad, dygyrchiad, cyrchedigaeth, dargyrchiad, mynych gyrchiad.

**Frequentative,** *a.* (Ll. *frequentativus*) mynychol, mynychiadol.

Frequentative verb—berf fynychol, perwyddiad mynychol.

**Frequented,** *p. p.* mynychedig, tramwyedig, cyrchedig, dygyrchedig; hygyrch, hyddyn; â mawr gyrchu iddo *neu* ato.

Much frequented—hygyrch, hyddyn, hydrum; â mawr gyrchu iddo *neu* ato; â mynych gyrchu iddo.

A much frequented place—lle hygyrch, cyrchfa, cynniweirfa, cynnyredfa, cyrchle, cyrchfan.

The most frequented place in his dominion was Caerleon upon Usk—hygyrchaf lle yn ei gyfoeth oedd Caerlleon ar Wysg.

Not frequented, } Not much frequented, } anhygyrch, anhyddyn, dïymgyrch, digynniwair, didramwy, anghynnyred, anghynniwair; disathr, dïymsathr.

**Frequenter,** *s.* mynychwr, mynychydd, cynniweirydd, cynniweiriwr, mynych gyrchwr, cyrchwr, cyrchydd, ymgyrchwr, cynnyredwr, dygyrchwr, dargyrchwr; â gyrcho yn fynych; â elo yn fynych.

**Frequently,** *ad.* yn fynych; mynych.

**Frequentness,** *s.* mynychder, mynychdra, mynychrwydd, mynychedd.

**Frere,** *s.* (Ff.) brawd.

**Frescades,** *s. pl.* (It. *fresco;* Ff. *fresque*) göerfëydd, göerfaoedd, gŵerfëydd, gŵerfaoedd, ffresgrodion, ffresgoerfëydd, ffresgrodfëydd, cysgodfaoedd, cysgodleoedd, gwasgodwydd.

**Fresco,** *s.* (It.) ffresgoer, ffresoer, ffresgoeredd, göer, gŵer, oeredd, oerder, llugoeredd, llugoerder, geloer, lledoeredd, oerawel; cysgod, cysgodfa, göerfa, gŵerfa, oerfa; cysgod rhag y tes; cyflychwyr, gorchyfarwy, gowyllni, tywyllni; ffresgwy, oerlyn; dïod eloer; ffresglun.

To walk in frêsco—rhodio yn y göer; rhodio yn y ffresgoer; rhodio yn y geloer; rhodio yn yr awel; rhodio dàn yr awyr; rhodio mewn lle agored.

To drink in fresco—yfed ffresgwy, yfed oerlyn, yfed oergib; yfed yn y göer; yfed yn y ffresgoer; yfed dàn yr awyr.

To paint in fresco—paentio ar ffresgoer; paentio yn ffresgoer; paentio ffresgoer; irbaentio, ffresbaentio, ffresgliwio, irliwio; paentio ar gymrwd ir er mwyn greddfu o'r lliwiau yn y plastr.

Fresco painting—paentio ffresgoer.

**Fresh,** *a.* (S. *fersc;* Al. *frisch;* Is. *versch;* It. ac Ysp. *fresco;* Ff. *frais, fraîche*) ir, gwyrf, gwyryf, gwyra, newydd, ffresg, ffres, croew, crai, cri, anhallt; göer, ffresgoer, lledoer, geloer, awelaidd, oer, addoer, tawel-oer; bywiog, eidiog, hoenus, heinif, gwyrenig, tirf, gwrygiol, gŵyr, irlas, tirflas, iraidd, irain, gwyrfain; gwridog, gwridgoch, blodeuog; newydd wneuthur, newydd tanlliw, newydd ddyfod, newydd ddygwydd, diweddar; dïen, dilwgr; rhydd, rhedegog; agored; per, peraidd; llefrin; brysg, gweisgi, chwyrn, hoew, ffraw, ffysg; diadfail, anniflan: *f.* gwerf.

Fresh butter—ymenyn gwyrf, ymenyn gwyra, ymenyn gwyryf, ymenyn ffres, ymenyn ffresg.

Fresh water—dwfr croew, dwr crai, dwfr gwyra, aweddwfr, aweddwr.

Fresh meat—cig ir, cig ffres, cig ffresg, irgig.

Fresh oil—olew ir.

Fresh taste—blas crai.
It has too fresh a taste for me—y mae ei flas yn rhy grai i mi.
The beef eats too fresh—y mae y cig eidion yn bwyta yn rhy grai *neu* yn rhy ffres.
Fresh and lively—teg a gwyrenig; tirf ac iraidd.
Fresh air — awyr rhydd dilwgr; awyr iach; awyr rhedegog; awyr ffresg, awyr · ffres; lleswyr, llaswyr.
To take the fresh air—lleswyra, llaswyra; rhodio yn yr awel; rhodio dân yr awyr; rhodio dân yr awyr rhydd dilwgr.
Fresh milk—llefrith, llaeth ffres, llaeth ffresg.
Somewhat fresh—gwyrfaidd, croewaidd, ffresgaidd; lled ir, &c.
A fresh gale—awel frysg, ffraw, chwern, *neu* chwai.
Fresh and new—newyddgrai, newydd grai.
Fresh and fasting — heb na bwyta nac yfed; yn gwbl ddifrwysg; yn gwbl sobr; yn gwbl ddifeddw.
To take fresh courage—cymmeryd calon · newydd.
Fresh shot — dwr afon yn cadw yn grai encyd o ffordd i'r môr; morddwfr croew; aweddwfr yn y môr.
Fresh verdancy—irlesni, irlasrwydd, tirflesni, tirflasrwydd.

**Fresh**, *s.* aweddwfr, aweddwr, dwr croew; dwfr crai; ffresglif; llifddwr, llifeiriant, dylwch; ffresglyn, llŷn o ddwr croew.

**Freshen**, *v.* croewi, creio, gwyrfio, ffresghau, ffreshau, ffresio, ffresgu; bywiogi, eidiogi, bywiocäu, brysgio; tirfhau, gwrygio; gwneuthur yn ffresg, &c.; myned yn ffresg, &c.; newyddu, adnewyddu; ymfywiogi; dihalltu.

**Freshes**, *s. pl.* llifeiriaint, llifddyfroedd, llifau, llifogydd, gorlifau, dylifau; ffresglifau; cymmysgedd dwr croew a dwr hallt.

**Freshet**, *s.* (o *fresh*) aweddwfr, aweddwr, dwr croew, dwr crai; ffresglif; llifddwr, llifeiriant; ffresglyn, llŷn dwr croew.

**Freshforce**, *s.* newyddgyrch, ffresgorddwy.

**Fresh-looking**, *a.* irwedd; yn edrych yn ffresg; yn edrych yn wridog.

**Freshly**, *ad.* yn ir, yn wyrf, &c.

**Freshman**, *s.* (*fresh* a *man*) newyddian, gwr crai, dechreuwr: *pl.* newyddianod.

**Freshmanship**, *s.* newyddianaeth, sefyllfa newyddian.

**Freshness**, *s.* newydd-deb, newydd-der, newydd-dra, newyddedd, newyddiant; creider, croewder, croewedd, croewdeb, croewineb; irder, irdra, iredd, ireiddrwydd, ffresrwydd, ffresgrwydd, ffresineb, gwyrfedd, gwyryd, gwyrdra, tirfdra, tirfder, anhalltrwydd, perder, pereiddrwydd; bywiogrwydd, eidiogrwydd, hoenusrwydd, gwyrenigrwydd, gwrygioldeb, yni; brysgrwydd; göerder, geloer, geloerder, oerder, lledoerder, ffresgoeredd, llaswyredd, lleswyredd; gwridogrwydd, gwridgochni, gwrid; ieinder.
Aerial freshness — llaswyr, lleswyr, llaswyredd, lleswyredd, ffresgoeredd; göerder yr awel, ffresgrwydd awelaidd.
In the freshness of the morning—yn llaswyr y bore; gydag awel ber y bore; gydag awel y dydd; yn ngöerder y bore.
Freshness of the countenance—gwridogrwydd, gwridgochni, gwridgochder, *neu* gochder yr wyneb.
Fresh verdure—irlesni, irlasrwydd, tirflesni, tirflasrwydd.

**Freshnew**,† *a.* newyddgrai.

**Freshwater**, *s.* dwfr croew, dwfr crai, dwr gwyra, aweddwfr, aweddwr.

**Freshwater**, *a.* aweddyfrol, aweddyfrog; perthynol i aweddwfr; yn perthyn i ddwfr croew; crai, cri; anfedrus, anhyfedr, anghyfarwydd, anhyddysg, anmhrofedig.
Freshwater sailor — morwr dwr croew, morwr dwfr crai, llongwr creiddwfr.
Freshwater fish—pysgod afon, pysgod dwr croew, pysg afon, pysg dwr croew.

**Freshwatered**, *a.* newydd ei ddyfrhau; newydd gael ei ddyfru; aweddyfrog.

**Fret**, *v.* (Sw. *fräta;* Ff. *frotter;* Al. *fressen*) rhwbio, rhathu, ysrathu, rhwtio, treulio, rhuglo, dyrathu; ysu, difa; rhathu yn llwyr; llygru *neu* dreulio trwy rathu *neu* rwbio; llygru, ysbelwi, gwynofi, dolurio; ymrathu, ymrwbio, ymrwtio, ymdreulio, ymlygru; cynhyrfu, cythruddo, ffromi, sori, coddi, digio, llidio, chwerwi, cyffröi, terfysgu, gofidio, blino, dygn flino, gwenwyno, gwynafu, moni, gwytho, gorwytho, peri gwytho; ymddigio, ymofidio, ymchwerwi, ymdrallodi, ymsori, ymwytho, ymwenwyno; bod allan o dymmer; bod allan o dymmer dda; bod allan o hwyl; bod mewn gŵyth *neu* soriant; bod mewn gofid meddwl; bod yn ymddigio *neu* ymofidio; cael ei ofidio; cael ei flino; bod yn anesmwyth *neu* aflonydd yn ei feddwl; bod ar y drain; bod yn anniddig *neu* anfoddog; annog i lid; ymgynhyrfu, ymweithio; amrywio, amrywioli, amryfalu, rhwyllweithio; crychu, ffreulo, nugio; twyfario; cynnysgaethu â thwyfarau.
To fret one's self—ymddigio, ymofidio, chwerwi, ymchwerwi, ymwytho, ymwenwyno, ymsori, &c.; blino ei hun.
To make one fret, / To put one in a fret, } peri ymddigio, &c.; cythruddo.

**Fret**, *s.* cythrudd, cyffro, cynhwrf; cythrudd, cyffro, *neu* gynhwrf meddwl; cythrudd, cyffro, *neu* gynhwrf annhymmer; soriant, cythruddiant, coddiant, ffromiant, ffromiad, gŵyn, anesmwythder, edlid, llid, dig, digder, digofaint, ffromder, anfoddlonedd; ymwaith, ymgynhwrf; llwgr; rhwyllwaith; cymhleth; clwm cariad cywir; cnapwaith, clymwaith, cnycwaith, clwm; dellten; twyfar.
Frets (in music)—twyfarau, cymmedrolyddion tannau.
Fret (in heraldry)—cymhleth, clwm cariad cywir.
Without hole or fret—heb na thwll na thraul.
To be in a fret, / To be upon the fret, } bod allan o dymmer; bod allan o dymmer dda; bod allan o hwyl; bod mewn gŵyth; bod mewn gofid meddwl; bod mewn soriant; bod yn ymddigio *neu* ymofidio; sori, ffromi, ffrochi, brochi; bod yn ffrom.
To be somewhat upon the fret, / To be a little upon the fret, } moni, tèru, sori; bod dipyn allan o hwyl.

**Fret**, / **Fretum**, } *s.* (Ll. *fretum*) mornant, morgainc, morgamlas, moryd, cyfyngfor.

**Fretful**, *a.* ffrom, anfoddog, anniddig, hyddig,

anhyfodd, digofus, anynad, gwynafog, hyffrom, ffrochus, ffroch, gwythlawn, drygnawsus, drygnaws, drygnwydus, digus, dig, dreng, croes, sor, gygus, gofidiog; drwg ei dymmer, ei natur, ei anian, ei hwyl, ei nwydau, *neu* ei anwydau.

**Fretfulness**, *s.* ffromder, anfoddogrwydd, anniddigrwydd, hyddigrwydd, digofusrwydd, anynadrwydd, drygnawsedd, croesineb, drengder; drygnaws, drygnwyd, natur ddrwg, anwes.

**Frett**, *s.* treulochr; yr ochr dreuliedig i geulan afon.

**Fretted**, } *a.* rhathedig, treuliedig, rhwbiedig,
**Fretten**, } ysedig; cynhyrfiedig, cyffröedig, cythruddedig, cythruddog; nugiog; cymhleth, cymhlethedig, clymedig; rhwyllog, rhigolog, rhygnog, rhychog, pannylog, ffosog.

Fretted roofs — cromglwydau rhwyllog, cronglwydau rhwyllog, rhwyllnenau.

**Fretter**, *s.* rhathydd, rhwbiedydd; digiwr, cythruddwr, &c.

**Fretting**, *s.* cynhyrfiad, cyffroad, cythruddad; ymddigiad, ymofidiad, &c.

The plague is a fretting leprosy—gwahanglwyf ysol yw y pla (*Lef.* xiii. 51).

**Fretty**, *a.* rhwyllog; cymhlethog; ar wedd clwm cariad cywir; delltenog; addurnedig â rhwyllwaith.

**Fretum**, *s.* (Ll.)=*Fret*, *Fretum*.

**Fretwork**, *s.* (*fret* a *work*) rhwyllwaith, rhigolwaith, rhygnwaith, delltwaith; cnapwaith, clymwaith; gwaith cymhleth; rhwyll.

**Friability**, } *s.* (o *friable*) hyfriwedd, hy-
**Friableness**, } friwder; briwsionllydrwydd, hawddineb peth i gymmeryd ei friwo.

**Friable**, *a.* (Ff.; Ll. *friabilis*) hyfriw, briwsionllyd; hawdd ei friwo, ei falu, falurio, *neu* ei bylori.

**Friar**, *s.* (Ff. *frère*, o'r Ll. *frater*) brawd, crefydd-frawd, brawd crefydd, brawd ffydd, ffyddfrawd, mynach, monach, manach; gofynach, mynach nad yw offeiriad.

Capuchin Friar—Brawd Cycyllog, Cycyllfrawd; Brawd Llwyd; mynach o urdd Sant Ffransis: *pl.* Cycyllogion, Cycyllfrodyr, Brodyr Cycyllog, &c.

Grey Friar—Brawd Llwyd, Lleiog, Mynach Llwyd; Ffransisciad, monach o urdd Sant Ffransis: *pl.* Lleiogion.

Black Friar—Brawd Gwisgddu, Gofynach Du, Brawd Du; Dominiciad; brawd *neu* fynach o urdd Sant Dominic.

White Friar—Brawd Gwŷn, Mynach Gwŷn; Carmeliad.

Preaching Friars — Brodyr Pregethol= Dominiciaid.

Crouched Friars, } Brodyr y Groes, Brodyr
Crutched Friars, } Croesog, Croesfyneich,
Crossed Friars, } Croesfonachod, Croesfrodyr.

Austin Friar—Brawd Awstinaidd; mynach o urdd Sant Awstin.

Mendicant Friar—Brawd Cardoteiol, cardotëig, cardotol *neu* gardotlyd; Cardodfrawd; Brawd o urdd *neu* frawdoliaeth y Cardoteion.

Friar's cowl—cwcwll y mynach, cwfl y mynach, brawdgwcwll=math o blanigyn â'i flodyn yn debyg i gwcwll monach.

Friar's lantern — hudlewyrn, hudlewyn, malldan, llewyrn, ellylldan, tân ellyll, llugern mynach.

**Friarlike**, *a.* mynachaidd, monachaidd, mynachol, monachol, manachol; fel monach, fel crefydd-frawd; anghynnefin â'r byd.

**Friarly**, *a.* mynachaidd, monachaidd, manachaidd, mynachol, monachol, manachol, fel mynach, fel crefydd-frawd; perthynol i frodyr *neu* fyneich; anghynnefin â'r byd; anwybodus o arferion y byd.

**Friary**, *s.* brodordy, brodyrdy, ffreutur; gofynachdy, cyfaint, mynachdy, manachdy, monachlog, manachlog.

**Friation**, *s.* briwad, briwiad, maluriad, briwionad, briwsionad, briwawd.

**Fribble**, *a.* (Ll. *frivolus*; Ff. *frivole*) dibwys, diwerth, gwagsaw, disylwedd, digyfrif; ffrilaidd, celachaidd, gelachaidd, eiddilaidd, ffritaidd; gwael, salw, disas, dirmygus; gwag, coeg, oferwag; ffol, anghall, lledffol, disynwyr.

**Fribble**, *s.* ffrityn, ffrilyn, ffril, celach, gelach, eiddilyn, bril, brilyn, llipryn, llibyn, gwageddwr, simerwas: *f.* ffriten, ffrilen, llipren, brilen.

**Fribble**, *v. n.* ffritian, ofera, simera, gogusa, gwagedda, chwareu, chware, cellwair, cydgam, gwag dreulio, oferdreulio, oferchware, segura, pencawna, gwersa; gwegian, gwegio, honcian.

**Fribbler**, *s.*=*Fribble*.

**Friborg**, *s.* (*free* a *burg*) rhyddwystl, rhydd wystl, rhyddadneu, rhyddwaesaf; gwystl dros wr rhydd *neu* freiniol.

**Fricace**, *s.* (Ff. *fricassée*) briwgig wedi ei drin gyda sibr cryf; ffrienaint.

**Fricassee**, *s.* (Ff.; It. *frigasea*) ffrifrithog, ffrifanfwyd, ffrifriwgig; brithog, manfwyd; manddrylliau o gig ffriedig.

**Fricassee**, *v. a.* trin ffrifrithog, trin ffrifriwgig; trin yn ffrifrithog.

**Frication**, *s.* (Ll. *fricatio*) rhuglad, rhwbiad, rhathiad.

**Friction**, *s.* (Ll. *frictio*) rhathiad, rhwbiad, rhuglad, rhybiad, rhwtiad, rhytiad, ysrathiad, treuliad; rhugl, rhugledd, rhwb, rhwt, rhwgn, ysrath; ymrwbiad, ymdreuliad.

**Frictionless**, *a.* dirugl, dirath, heb rathiad, heb ruglad.

**Friday**, *s.* (S. *frig-dæg*, o *Frigga*, Gwener y Gogledd, a *dæg*, dydd; Al. *freitag*; Is. *vrydag*) dydd Gwener, dyw Gwener.

Good Friday—Dydd Gwener y Croglith, Dydd Gwener Croglith.

Upon Sundays, Wednesdays, and Fridays—ar y Suliau, y Mercherau, a'r Gwenerau; ar Suliau, Merchurau, a Gwenerau.

**Fridge**,† *v. n.* (S. *frisian*) brysio, ffysgio, ffrystio, chwimio, symmud yn chwimmwth.

**Friend**, *s.* (S. *freond*; Al. *freund*; Is. *vriende*) cyfaill, cyfaillt, cydymaith, enrhaith; câr, carwr, carodyn, carodog, anwylddyn, anwylyn, anwyliad, hoffddyn; un o garedigion; ewyllysiwr da.

Female friend, } cyfeilles; cares, caroden,
She-friend, } cydymeithes, anwyles.

False friend—cyfaill gau, gau gyfaill, geugar, geugyfaill; twyll i'w gydymaith.

Familiar friend—cyfaill, cydgyfaill, cyfeillfrawd, câr, carwr, cydgar, cyfaill cyfrinachol, cyfaill monwesol, cyfathrachwr, cydnabod.

Trusty friend—cyfaill ymddiriedus, cyfaill cyfrin, cyfaill cyfrinachol, câr ymddiriedus, cyfrinachydd, cyfrinachwr, ymddiriedog, cyfrin, ymddiriedyn, ymddiried-ddyn, cyfaill monwesol.
Bosom friend—cyfaill monwesol, cyfaill calon, cyfaill anwylaf, cyfaill monwes.
Mutual friend—cydgyfaill, cydgar.
Belly-friend, Trencher-friend, } bolerwr, bolerai, bolgarwr, Ieuan lygad y bwyd, truthlynwr.
Society of Friends—Cymdeithas y Cyfeillion; y Cyfeillion, y Carodorion, y Crynwyr.
To make friends—cymmodi, adgymmodi; ymgymmodi; gwneuthur cymmod, cydfod, *neu* heddwch rhwng; ennill cyfeillion, gwneuthur cyfeillion.
To make men friends—cymmodi dynion, adgymmodi dynion; gwneuthur cymmod, heddwch, *neu* gydfod rhwng dynion; cymmodi, adgymmodi, ymgymmodi, dygymmodi, heddychu, cylafareddu, *neu* dangnefeddu rhwng dynion.
To be friends with one, To become friends with one, } bod *neu* fyned yn gymmodol âg un; bod *neu* fyned yn gymmodol âg un; cymmodi, ymgymmodi, dygymmodi, ysgymmodi, *neu* ymheddychu âg un; bod yn gyfeillion âg un; dyfod yn gyfeillion âg un; myned yn gyfeillion âg un.
To stand one's friend—sefyll gydag un; sefyll o blaid un; sefyll yn mhlaid un; pleidio un; pleidio gydag un; sefyll yn gyfaill i un.
To get one's self friends, To make one's self friends, } ennill, ynnill, *neu* wneuthur i un gyfeillion.
Make to yourselves friends—gwnewch i chwi gyfeillion.
To make a person one's friend—gwneuthur un yn gyfaill iddo; ennill un yn gyfaill iddo; gwneuthur un yn garedig iddo; ennill un i fod yn garedig iddo; ennill.
A friend in need is a friend indeed—câr cywir yn yr ing y gwelir; y câr cywir yn yr ing y gwelir; y câr dilys ing a'i dengys.
A friend is never known till one have need—câr cywir yn yr ing y gwelir.
A friend in court is better than a penny in purse—gwell câr mewn llys nag aur ar fys.
Thou art not Cæsar's friend—nid wyt ti garedig i Caisar.
My very friends and companions—hyd yn oed fy ngheraint a'm cyfeillion.
Certain of Heliodorus' friends—rhai o gyfnesaf Heliodorus (2 *Mac.* iii. 31).
When his friends heard of it—pan glybu yr eiddo ef (*Marc* iii. 21).
Inward friends—cyfrinachwyr (*Iob* xix. 19).
Friend,† *v. a.* cymmwynasu; gwneuthur cymmwynas; gwneyd rhan cyfaill; pleidio, cynnorthwyo, cefnogi.
Friended, *a.* cyfeillgar, cyfeilliog; anwylgar, careugar; pleidiog.
Friendless, *a.* digyfaill, digar, digarad; diborth, digynnorthwy, digymhorth, diymgeledd; amddifaid o geraint *neu* gyfeillion; heb na châr na chyfaill; amddifad; angharad.
Nearly friendless—breiddgar; heb gyfaill braidd; bron heb gyfaill.
Friendlike, *a.* cyfeillaidd, fel cyfaill, caraidd.
Friendliness, *s.* cyfeillgarwch, caredigrwydd, carueiddwch, carueiddrwydd, cymmwynasgarwch, mwynasgarwch, careugarwch, ewyllys da, hygaredd, hawddgarwch, hynawsedd, cariadusrwydd, carodoldeb; addfwynder; cariad.
Friendly, *a.* cyfeillgar, cyfeillaidd, caredig, cariadus, caruaidd, carodol, carodog, caredigol, cymmwynasgar, mwynasgar, cymdeithasgar, cydymeithgar; mwyn, addfwyn, cyweithas, cyweithasol, heddychol, heddychlawn, heddgar, tangnefus, hynaws, tirion, hawddgar; da ei ewyllys; yn dwyn ewyllys da; pleidiol.
Friendly societies—cymdeithasau cyfeillgar.
Friendly Islands—Yr Ynysoedd Cyfeillgar; Ynysoedd Tonga (yn y Môr Tawel).
Friendly, *ad.* yn gyfeillgar, &c.; fel cyfaill, fel câr; yn deg; wrth fodd calon.
Friendship, *s.* cyfeillach; caredigrwydd; carwriaeth, carennydd; cymdeithas; cyfeillgarwch; cymmwynas, mwynas; cymhorth.
To break friendship—dattod cyfeillach, tori cyfeillach.
Make no friendship with an angry man—na fydd gydymaith i'r digllawn (*Diar.* xxii. 24).
Friesland-Green, *s.* gwyrdd Brunswig, gwyrdd Ffriesland, gwyrdd Ffriesdir.
Frieze, Freeze, Freese, Frize, } *s.* (Ysp. *frisa;* Ff. *friser*) gra, ceden; brethyn graog, brethyn cedenog, brethyn tewban; ffris, isdalaith, pilladdurn.
Frieze of a column—ffris colofn, pilladdurn, gra colofn=y rhan o ben colofn sy rhwng y pensaffwn a'r talefwrn.
Frieze-rail—ffrisrail, ffrisreilen.
Friezed, *a.* graog, cedenog; â gra *neu* geden arno.
Friezelike, *a.* codenaidd, fel gra; ffrisaidd.
Friezing, *s.* cedeniad, codiad gra, gräad.
Frigate, *s.* (Ff. *frégate;* It. *fregata;* Gr. *aphratos?*) ffreigad=math ar gadlong ysgafn: †llongen.
Frigate-bird—yr eryr goradain.
Frigate-built, *a.* â'r pedryfwrdd a'r ffluregfwrdd wedi eu codi yn uwch na'r prif fwrdd.
Frigatoon, *s.* (Ff. *frégaton*) ffreigaden Gwenethia, ffreigaden Gweneth.
Frigefaction, *s.* (Ll. *frigus* a *facio*) oerbariad, oeriad, gwneuthuriad yn oer.
Fright, *s.* (D. *frygt;* S. *fyrhto;* Al. *furcht*) braw, dychryn, arswyd, ofn, echryn, echryd, ergryd, swyd, orn, arynaig, argysswr, argysswrw, bredych, hylldraw, erchylldod.
Chilling fright—oerfraw.
Sad fright—braw aele, braw anhylon, dychryn aflawen.
Fright, Frighten, } *v. a.* brawychu, dychrynu; peri ofn, dychryn, braw, *neu* arswyd ar; ofnhau; gyru ofn, braw, *neu* ddychryn ar; aryneigio, ciliorni, hylldrawu; bygylu, bwbachu; llyfrhau, digaloni; alarmu.
Frightful, *a.* dychrynllyd, erchyll, ofnadwy, arswydus, arswydfawr, arswydol, arswydlawn, echryslawn, aruthr, cethin, certh, uthr,

anferth, hagr, hyll, (*f.* hell), hyllig, erch, irad, echrydus, brawychus, brawychol.
**Frightfulness**, *s.* dychrynllydrwydd, erchyllrwydd, erchylldod, erchyllder, erchylldra, arswydolrwydd, arswydlonedd, arswydusrwydd, arswydfawredd, cethindeb, cethinrwydd, iradedd, hagrwch, aruthredd.
**Frightless**, *a.* difraw, dïofn, diddychryn, dïarswyd.
**Frigid**, *a.* (Ll. *frigidus*) oer, oerllyd, addoer, rhynllyd, diwres, oerfelog, oeraidd; marwaidd, difywyd, dïeffaith; egwan, llesg, dinerth, anmhybyr, dïarial, dïallu, llipa, llibin, llaes, lleipr; dinwyf, anwraidd, analluog; dideimlad; ffurfiol; anystwyth.
  Frigid zone—y cylch oer, addoer, oerfelog, oerllyd, *neu* rewllyd; oergylch, rhewgylch.
**Frigidity**, } *s.* (Ll. *frigiditas*) oerder, oerni,
**Frigidness**, } oeredd, oerdra, oerdeb, oerllydrwydd, addoeredd, oerfelogrwydd, rhyndod, anwres; marweidd-dra, egwander, llesgedd, pylni, diflasdod, anmhybyrwch; annheimladrwydd; anystwythder; ffurfioldeb.
**Frigorific**, *a.* (Ll. *frigorificus;* Ff. *frigorifique*) oeriadol, oeredigol, oerol, oerbair, oerbar, oerbarol, oerddwyn; à baro oerfel *neu* oerni.
**Frill**, *v. n.* (Ff. *frileux;* Is. *trillen;* Al. *trillern*) crynu, ffrynu, ysgrydu, ysgrydian, ysgrydio, ysgrynu, ysgrydiannu, rhynu, nugio; crynu gàn annwyd *neu* oerfel.
**Frill**, *s.* crychlen, crychan, sidergrych, dillgrych, crychaddurn.
**Frim**,† *a.* (S. *freom*) blodeuog.
**Fringe**, *s.* (Ff. *frange;* Al. *franse;* Is. *franje*) sider, sitrach, rhidens, rhidels, eddi, ymylwe, gwrlys; ymylgylch, amaerwy.
  To make fringes—sideru, sitrachu; gwneuthur sider, &c.
  To put on a fringe to a garment—sideru *neu* amaerwyo dilledyn; rhoi sider ar *neu* wrth ddilledyn.
  Having a fringe, } siderog, eiddïog, sit-
  Having fringe, } rachog, amaerwyog; âg iddo sider, &c.
  Thou shalt make thee fringes upon the four quarters of thy vesture—plethau a weithi i ti ar bedwar cwr dy wisg (*Deut.* xxii. 12).
**Fringe**, *v. a.* sideru, sitrachu, eddïo, amaerwyo; rhoi sider ar *neu* wrth; rhoi rhidens ar *neu* wrth; gwnio sider ar *neu* wrth; gwnio rhidens ar *neu* wrth; taselu.
**Fringed**, *p. p.* siderog, sitrachog, eddïog; sideredig.
**Fringeless**, *a.* disider, ansiderog, disitrach, dïeddi.
**Fringelike**, *a.* sideraidd, sitrachaidd, eddïaidd; fel sider, &c.
**Fringemaker**, *s.* siderydd, siderwr, eddïwr.
**Fringe-tree**, *s.* siderwydden, sitrachwydden, eiriawl Virginia: *pl.* siderwydd, sitrachwydd =math o gloch maban, neu eiriawl.
**Fringilla**, *s.* (Ll.) y winc, y gwincod.
**Fringillidæ**, *s. pl.* (Ll. *fringilla*) y pincod, y pinclwyth.
**Fringy**, *a.* (o *fringe*) siderog, sitrachog, eddïog; addurnedig â sider.
**Fripperer**, } *s.* (Ff. *friper*) henddilladwr, hen-
**Fripper**, } ddillatwr, hennwyddwr, gwerthwr hen ddillad, masnachydd hen ddillad, coeglugenydd; bragaldiwr, baldorddwr.
**Frippery**, *s.* (Ff. *friperie*) henddillad, hen ddillad, hen ddillatach, hen ddillad eilwerth, hen fratiau; henddilladfa, hennwyddfa, marchnadfa hen nwyddau, marchnadle hennwyddwyr, marchnadfa gwerthwyr hen bethau, gwerthle hen bethau; hennwyddiaeth, henddilladaeth, masnach mewn hen ddillad; baldordd.
**Friseur**, *s.* (Ff.) gwallttrinwr, gwallttrinydd, crychwr gwallt, trinwr gwallt, argrychwr.
**Frisk**, *v. n.* (D.; Al. *frisch*) crychneidio, crychlamu, cyrchneidio, cyrchlamu, rhonta, llamu, llemain, llamsach, llamsachu, cyrneidio, ysboncio, dychlamu, prancio, taplasu, taplasa, pestota, pestodi, moelystota, moeldesota, nwyflamu, nwyfneidio, darchware, nwyfchware, gofregu; corelwi, dawnsio.
  To frisk about—llercyna, simera, dyrain, sefyllian; crychneidiaw o amgylch.
**Frisk**, *a.* bywiog, nwyfus, heini, hoenus, chwarëus, chwareugar, gorhoenus, gorawenus, pranciol, gofregus, llamsachus, rhontëig.
**Frisk**, *s.* crychlam, crychnaid, cyrchlam, cyrchnaid, rhont, llam, pranc, llamsach, naid, taplas; nwyfchware, darchware, gwamalwch, asbri: *pl.* crychlamau, &c., munudiau llamsachus.
**Friskal**,† *s.*=*Frisk.*
**Frisker**, *s.* rhontyn, crychneidiwr, cyrchneidiwr, cyrchlamwr, crychlamwr, llamsachwr, llamsachydd, nwyflamwr, nwyfwr, nwyfyn, gwamalyn, gwantan: *f.* rhonten, nwyfen.
**Frisket**, *s.* (Ff. *frisquette*) ffrysgylch, ffrysgryd, ffrysgen=ystram y bapyrlen yn yr argraffwasg.
**Friskful**, } *a.* bywiog, rhontëig, rhontus,
**Frisky**, } nwyfus, hoenus, gorhoenus, heini, hawntus, hawntiog, llamsachus, chwarëus, chwareugar, gofregus, pranciol, gorawenus; chwiwiol, gwantan, nwyflawn, nwyfol, nwyfog; llawn nwyfiant a chware; rhemp.
**Friskiness**, *s.* bywiogrwydd, hoenusrwydd, heinifrwydd, rhontusrwydd, rhonteigrwydd, nwyfusrwydd, nwyfusedd, hawntusrwydd, hawnt, hawntrwydd, nwyfogrwydd, chwareugarwch, chwareusrwydd, hoewedd, hoewder, llonder, gofregusrwydd; dyrain, dyre; gwagsawrwydd; llamsach, rhont, darchware, hoen.
**Frit**, *s.* (Ff. *fritte;* It. *fritto*) ffriddefn=lludw i wneuthur gwydr.
**Frith**, *s.* (Ll. *fretum*) mornant, moryd, morgamlas, morgainc, morgang, morddwfr, morafon, cyfyngfor, cainc o fôr, culffrwd; gored; rhwyd.
**Frith**, } *s.* (o'r C.) ffrith, ffridd; coedwig, fforest,
**Firth**, } coedfa, gwig.
**Frithy**,† *a.* coediog, coedog, gwyddog.
**Fritillary**, *s.* (Ll. *fritillus*) britheg.
**Fritinancy**,† *s.* (Ll. *fritinnio*) creciad, gwichiad, grilliad, trydariad.
**Fritter**, *s.* (It. *frittella;* o'r Ll. *frictus*) cremog, cremogen, crempog, crempogen, crammwyth, mïoden, teisen fiod; ffrigig, cig ffriedig, dernyn o gig ffriedig; darn, dernyn, dryll, dryllyn, yilyn, cwlff, cat, cetyn, cilcyn, cinyn, ciniechyn, llerpyn.
  All to fritters—yn chwilfriw, yn yfflon, yn dipiau, yn ddarnau, yn gyrbibion, yn deilchion, yn llarpiau mân, yn yfflon mân, yn gandryll.
**Fritter**, *v. a.* manddryllio, manddarnio, chwil-

friwo, teilchio, tameidio; cigfriwo; tori cig yn fân ddarnau i'w ffrio.
To fritter away—lleihau, toli; difa yn raddol; treulio ymaith; pilio ymaith; gwneuthur yn ddim o fesur ychydig; gwastraffu.
**Frivolity**, *s.*=*Frivolousness.*
**Frivolous**, *a.* (Ll. *frivolus;* Ff. *frivole*) dibwys, disylwedd, diwerth, ofer, disas, gorwag, gwag, coeg, oferwag, gwael, sal, salw, gorwael, diddefnydd, dïystyr, dibris, digyfrif, gwagsaw, diddym.
A frivolous matter, } anober, anoberi,
A frivolous thing, } oferbeth, coegbeth, gwegi, gwaelbeth; peth dibwys.
**Frivolousness**, *s.* oferedd, gwagder, disasrwydd, gwaeledd, salwedd, gorwagedd, gorwaeledd, coegedd, gwagsawrwydd, dibwysedd, ysgafnder.
**Frizz**, } *v. a.* (Ysp. *frisar;* Ff. *friser*) crychu,
**Frizzle**, } argrychu, crispio, crispynio, crispynu, crybychu, modrwyo, torchi; gwneuthur yn grych *neu* grisp.
**Frizzle**, *s.* crych, cudyn, cudyn crych, llofn crych, crychgudyn.
**Frizzler**, *s.* crychwr, crychiedydd, crybychwr, crispynwr.
**Fro**, *ad.* (S. *fra;* byrhad, efallai, o *from*) o, oddi wrth; odd wrth; oddi, odd; draw, ymaith; yn ol.
To and fro—yma ac acw, yma a thraw, hwnt ac yma, draw ac yma; yn ol ac yn mlaen; i ac o.
From going to and fro in the earth—o dramwy ar hyd y ddaiar.
**Frock**, *s.* (Ff. *froc;* Al. *frack;* Llyd. *frocq*) amdwyg, twyg, arwisg, amdegrys; gŵn.
Frock coat—mantgoban, mantbais.
**Frockless**, *a.* didwyg, dïamdwyg.
**Frog**, *s.* (S. *froga, frogga;* D. *fröe*) creiniog, llyffant, llyffan, llyffant melyn, llyffan melyn, broga; bywyn carn ceffyl.
Frog (in farriery)—llyffant, llyffan, bywyn carn ceffyl, llyffant carn march.
Frog of a gown—creiniog gŵn, tasel gŵn.
Green frog — llyffant gwyrdd, gwyrdd lyffant; llyffan bwytadwy.
Esculent frog—llyffant bwytadwy.
Bull-frog — creiniog mawr, gorgreiniog.
Frog spawn—grifft, griff, griffyll, egrifft, chwydredd creiniogod, chwyd llyffaint.
Frog-satyrion—baldar blodeuwyrdd, llysiau yr ysgyfarnog.
**Frogbit**, *s.* (*frog* a *bit*) alaw lleiaf.
**Frogfish**, *s.* morlyffant, llyffant y môr, llyffanbysg, pysglyffant.
**Frog-grass**, *s.* creinioglys.
**Froggy**, *a.* (o *frog*) creiniogog, llyffeintiog, llyffanog, llawn llyffaint.
**Froghopper**, *s.* llyfflamydd, llyfflamidydd; poergreiniog, poerhegab=math o drychfilyn â geir yn mhoeryn y gog.
**Frogkite**, *s.* bod y gwerni.
**Froise**, *s.* (Ff. *froisser*) ffroes, ffroesen, ffrwysen, cremogen facynog: *pl.* ffroesod, ffrwys.
**Frolic**, } *a.* (Al. *fröhlich;* Is. *vrolyk*) llon-
**Frolicsome**, } wych, llon, llawen; hoenus, gorhoenus, nwyfus, nwyfol, nwyfog, hynwyf, nwyflawn, chwarëus, chwareugar, rhontus, rhontëig, gorawenus, pranciol, pranciog, gofregus, llamsachus, heini, heinif, bywiog, nwyfchwarëus, ysmala; llawn nwyfiant a chware; llawn pranciau; llawn castiau gwagsaw; llawn castiau coeg ddigrif; cellweirgar, cellweirus, afieithus, difyr, digrif; ysgafn; â chware arno; llawn ysmalion; saethytol.
The frolic winds—y gwyntoedd gwantas.
Out of a frolicsome disposition—o dra nwyfiant; o nwyfiant natur.
**Frolic**, *s.* pranc, nwyth, nwyd, gofreg, asbri, chwim, chwimp, ias, mympwy, gwŷn anwadal, nwythas, hynt, ysmal, cast, gwamaldro; chwidredd, gwamalwch, gwamalder, difyrwch, digrifwch, coeg ddifyrwch, maswedd, ysmaldod, gwres, nwyfiant; gofregfa, nwythfa, ysmalfa: *pl.* ysmalion, castiau digrif, pranciau digrif, ystranciau digrif.
For a frolic—er mwyn llawenydd, difyrwch, *neu* ddigrifwch; er ysmaldod, er asbri; o wir asbri; o dra nwyfiant.
Thou art troubled with some odd frolic—mae arnat ti ryw wres garw.
**Frolic**, *v. n.* prancio, rhonta, gofregu, chwareu, chware, ysmaldodi, 'pestota, pestodi, nwyfchware, masweddu, gorawenu; chwareu yn nwyfus, &c.; chwareu pranciau digrif.
**Frolicful**, *a.*=*Frolic, Frolicsome.*
**Frolicly**,† *ad.* yn llonwych, yn llon, &c.
**Frolicsomely**, *ad.* yn llonwych, yn hoenus, &c.
**Frolicsomeness**, *s.* llonwychder, llonder; hoenusrwydd, gorhoenusrwydd, nwyfusrwydd, nwyfusedd, hynwyfedd, chwareusrwydd, chwareugarwch, gwagsawrwydd, chwidredd, rhontusrwydd, rhonteigrwydd, gofregusrwydd, nwythigrwydd; nwyfiant; gwylltineb, gwamalrwydd, *neu* chwidredd llawenydd; nwyfiant *neu* nwyfusrwydd tymmer; dyrain, dyre, tesach; gwrhewcrusrwydd.
Out of frolicsomeness, } o dra nwyfiant;
Through frolicsomeness, } o nwyfiant natur; o wir nwyfusrwydd.
**From**, *prep.* (S. *fram, from*) o, oddi wrth, odd wrth, o wrth, oddi, odd, oc; oddi gân, oddi ar, odd ar; rhag; er; iwrth; iarn.
From me—oddi wrthyf, oddi wrthof, odd wrthyf; oddi wrthyf fi; oddi arnaf.
From thee—oddi wrthyt, oddi wrthot, odd wrthyt; oddi arnat, oddi arnad, odd arnat, iarnad.
From him, } oddi wrtho, odd wrtho; oddi
From it, } wrtho ef; oddi arno, odd arno.
From her, } oddi wrthi, odd wrthi; oddi
From it, } wrthi hi; oddi arni, odd erni.
From us—oddi wrthym, oddi wrthom, odd wrthom; oddi arnom, odd arnom.
From you—oddi wrthych, oddi wrthoch, odd wrthych; oddi arnoch.
From them—oddi wrthynt, oddi wrthont, odd wrthynt; oddi arnynt; onaddynt, onaddu.
From above—oddi uchod, odd uchod, odduchod, odducho, oddi fry, oddi fyny, oddi fynydd, oddi uwch; oddi ar, odd ar.
From about—oddi am, odd am, o gylch, oddi gylch, oddi gylchen, oddi amgylch.
From afar—o bell, o hirbell.
From beneath—oddisod, odd isod, oddi isod, oddiso, oddobry, oddi waered, oddi obry, oddi lawr, oddi tanodd, oddi tân.

**From amidst,** } o blith, o fysg, oddi rhwng,
**From among,** } o ganol.
**From below**—oddisod, odd isod, oddi isod, oddiso, oddobry, oddi obry, oddi waered, oddi lawr, oddi tàn.
**From behind**—o'r tu cefn, odd yn ol, o'r tu ol.
**From beyond**—o'r tu hwnt i; o'r tu draw i; oddi dros, oddi tros.
**From far**—o bell, o hirbell.
**From high,** } o'r uchelder; oddi uchod,
**From on high,** } odduchod, odd uchod, oddi fry, oddi fyny, oddi fynydd.
**From hence,** } oddi yma, oddyma, oddyma,
**Hence,** } oddi yman, oddyman; oddi yna, odd yna, oddyna; o hyn; oddi wrth hyn; yn ol hyn, ar ol hyn.
**From henceforth**—o hyn allan; o hyn i maes; maes; rhag llaw; o'r pryd hwn allan; yn ol hyn; ar ol hyn; weithian, bellach, mwy, mwyach; dros yr amser i ddyfod.
**From forth**—allan o; o'r; oddi allan; odd allan o'r.
**From off**—oddi ar, odd ar; oddi; iarnadd.
**From on**—oddi ar, odd ar; iarn, iar, iarnadd.
**From out**—oddi allan, odd allan, o'r tu allan, oddi faes, oddi maes.
**From thence,** } oddi yna, odd yna, oddyna;
**Thence,** } oddi yno, oddyno, odd yno; o'r fàn hòno; o'r lle hwnw; o'r pryd hwnw *neu* hyny; o'r amser hwnw *neu* hyny.
**From where**—o ba le; o ba un; o'r lle.
**From within**—oddi mewn, oddi fewn; o'r tu mewn.
**From without**—oddi allan, odd allan, oddi faes, oddi maes; o'r tu allan; nid o hono ei hun.
**From under**—oddi dàn, oddi tàn, o dàn.
**From yonder**—oddi acw, odd acw, oddi draw, oddi oco, oddi hwnt.
**From off me,** } oddi arnaf, odd arnaf.
**From over me,** }
**From off thee,** } oddi arnat, odd arnat,
**From above thee,** } oddi arnad.
**From off them**—oddi arnynt, odd arnynt, oddi arnaddynt.
**From my**—o'm, o fy, o fym, odd ym; allan [o'm.
**From home**—oddi gartref, oddi cartref, o gartref, o dref; heb fod gartref.
**From abroad**—o'r gwledydd pell; o'r gwledydd tramor; o wlad dyeithr; oddi allan, o bant.
**From that place**—oddi acw, oddi oco; o'r fàn acw; o'r fàn oco; oddi draw; o'r lle hwnw; o'r lle acw.
**From off the way**—oddi ar ffordd; odd ar y ffordd; o'r ffordd.
**From the possession of,** } oddi gàn.
**From being with,** }
**From my possession**—oddi genyf, oddi ganddwyf, oddi ganddof, oddi ganwyf.
**From his possession**—oddi ganddo, oddi ganto, oddi gantho, oddi gano.
**From her possession**—oddi ganddi, oddi ganti, oddi ganthi, oddi genddi, oddi genti, oddi genthi.
**From between us**—oddi rhyngom, oddi rhyngddom, oddi rhyngtom, oddi rhyngthom.

From on horseback—oddi ar gefn ceffyl; oddi ar geffyl; odd ar farch.
From day to day—o ddydd i ddydd; o ddydd bwygilydd; beunydd; bob dydd; yn feunyddiol, yn beunyddiol.
From all places—o bob lle; o bob parth; o bob màn; o bob tu; o amgylch ogylch.
Deliver us from evil—gwared ni rhag drwg.
I kept him from doing this—mi a'i cedwais rhag gwneuthur hyn; atteliais ef rhag gwneyd hyn.
From between his feet—oddi rhwng ei draed.
From the beginning of the world—er dechreuad y byd; oddi ar ddechreu y byd.
From the beginning of the world to this day—o ddechreuad y byd hyd heddyw.
They went out from us—aethant allan oddi wrthym ni.
The sceptre shall not depart from Judah—nid ymedy y deyrnwialen o Iudah; nid ymedy y deyrnwialen â Iudah.

**Fromward,** *ad.* (*from* a *ward*) oddi wrth, odd wrth; ymaith oddi wrth.
**Frond,** *s.* (Ll. *frons*) deilgangen, deilgang, deilgainc, deilosglen; dalen.
**Frondation,** *s.* (Ll. *frondatio*) brigladdiad; briwfrig, osglau, manwydd; ysgythron coed.
**Frondesce,** *v. n.* (Ll. *frondesco*) deilio.
**Frondescence,** *s.* deilawd, amser deilio; y cywir amser y deilia pob math ar blanigion.
**Frondiferous,** *a.* (Ll. *frondifer*) deilddwyn, deilfag, deiliar; yn dwyn dail.
**Frondous,** *a.* (o *frond*) deilaidd, deilgangog.
**Front,** *s.* (Ff.; Ll. *frons*) tàl, talcen; talwyneb, gwyneb, wyneb, rhagwedd; tu blaen, pen blaen; rhag; haerllugrwydd, talogrwydd, talgryfder, eofnder, eondra, digywilydddra.
Front of an army, } cadflaen, talgad, blaen
Front of battle, } y gad, y fyddin flaen, gwyneb y drin, cyncad, y blaeniaid, y blaen-gis, llugynnor, cynhorf, cyntorf.
Front rank—arleng, rhagleng, rhagrestr, rhagres, blaenres, rhes flaen, rhestr flaen, rhenc flaen.
Front to front—taldal, daldal.
Variegated front—talfrith.
Of variegated front—talfrith.
With what front could he do it? A pha wyneb y gallai efe ei wneuthur? a pha haerllugrwydd y gallai efe ei wneuthur?
Front-stall of a bridle—talffrwyn, talrc ffrwyn, rhagdal ffrwyn; talaith march.

**Front,** *v.* gwynebu, wynebu; sefyll yn wyneb; sefyll yn ngwyneb; sefyll gyferbyn â; sefyll ar gyfer; gwynebu ar; bod â'i wyneb ar *neu* at; sefyll yn flaenaf; gwrthwynebu.
**Frontage,** *s.* (o *front*) gwyneb, wyneb, rhagwedd, rhagran adeilad, gwyneb adail.
**Frontal,** *a.* (Ff. o *front*) talcenol; perthynol i'r talcen; â fo blaen; amytal.
Frontal bone—asgwrn y talcen, y talasgwrn, yr asgwrn amrytal.
**Frontal,** *s.* (Ff.; Ll. *frontale*) rhagdal, rhactal, rhagdalaith, blaendalaith, talddarn, taladdurn, talaith, talfa, talwynebyn, talwisg; talgyffer, talgyffyr, meddyginiaeth i'r talcen.
**Frontated,** *a.* (Ll. *frontatus*) yn tyfu letach letach.

**Furthest,** } *a.* (S. *feorrest;* Is. *verst*) pellaf,
**Farthest,** } eithaf, eithafig; olaf; mwyaf pellenig.
  **In the furthest part of the world**—yn nghwr eithaf y byd.
**Furthest,** } *ad.* yn bellaf, yn mhellaf; o bellaf,
**Farthest,** } o'r pellaf, o eithaf, o'r eithaf; yn y fàn bellaf; yn y fàn eithaf.
  **At furthest,** } o bellaf, o'r pellaf, o
  **At the furthest,** } eithaf, o'r eithaf; o'r fàn bellaf; yn y fàn bellaf; o'r fàn eithaf.
  **To-morrow, or the next day at furthest**—efory, neu drenydd o'r pellaf.
**Furtive,** *a.* (Ll. *furtivus*) lladradaidd, lladratedig, à ladratäwyd; lledradol; à fo lledrad.
**Furuncle,** *s.* (Ll. *furunculus;* Ff. *furoncle*) llynoryn, ploryn, penddüyn, goryn, cornwyd.
**Fury,** *s.* (Ll. *furia, furor;* Ff. *furie*) ffroch, broch, cynddaredd, cynddeiriogrwydd, ffyrnigrwydd, dywalder, angerdd, sar, gwŷn, bâr, llid, dig, digder, digofaint, llidiogrwydd, tanbeidrwydd, ynfydrwydd, gorphwyll, gwallgof, llerth, llerthedd, tren; gwynofaint, ffrwys; trenes, cythreules.
  **A fury**—trenes, ellylles, dera, ffroches; cythreules: *pl.* treniaid, trenesau, trenigiaid, trenigion, deraon, cethern, cethern uffernol, ellyllon, seri.
**Furze,** *s.* (S. *fyrs*) eithin, aith, aeth: *sing.* eithinen.
  **Common furze** — eithin ffreinig, eithin Ffrengig.
  **Needle furze**—crach-eithin, eithin yr ieir, eithin yr iar.
  **Dwarf furze**—eithin mân, aith mân.
  **Furze bush**—llwyn eithin, eithinog.
  **A place where furze has been burnt standing**—poethwal.
**Furzy,** *a.* eithinog; llawn eithin.
  **Furzy land** — tir eithinog, eithindir, tir eithin.
**Fuscation,** *s.* (Ll. *fuscatio*) tywylliad, cust.
**Fuscin,** *s.* (Ll. *fusco?*) custnur.
**Fuscite,** *s.* (Ll. *fuscus*) custith=math o ddelidfaen à geir yn Norwy.
**Fuscous,** *a.* (Ll. *fuscus*) dulwyd, custlwyd, gwrm, tywyll, llwyd-ddu, llwyd.
**Fuse,** *v.* (Ll. *fundo, fusum*) toddi; ymdoddi, llyneiddio; cael ei doddi.
**Fusee,** *s.* (Ff. *fusée, fuseau*) chwerfan, chwarf; gwerthyd oriawr *neu* orlais.
**Fusee,** *s.* (Ff.) ergydel, llosbib, llosbibell; chwarfwn; ol traed hydd *neu* garw.
**Fusibility,** *s.* (o *fusible*) hydoddedd, hydoddrwydd, toddadwyedd, natur doddadwy.
**Fusible,** } *a.* (Ff.; Ll. *fusilis*) toddadwy, hy-
**Fusile,** } dawdd; o natur i doddi; hyred.
**Fusiform,** *a.* (Ll. *fusus* a *forma*) chwerfanaidd, gwerthydaidd; blaenfain, pigyrnol; yn meinhau at y blaen.
**Fusil,** *s.* (Ff. o'r Ll. *fusus*) chwarfwn, dryll ysgafn, llawddryll; chwerfan, côn dyblyg.
**Fusilier,** } *s.* (o *fusil*) chwarfynwr, chwarfynog,
**Fusileer,** } chwarfynsawdiwr, milwr gŵn ysgafn: *pl.* chwarfynwyr, chwarfyniaid, chwarfynogion.
**Fusion,** *s.* (Ff.; Ll. *fusio*) toddiad, toddiant, toddedigaeth; tawdd.
**Fusome,** *a.* hardd, tlws, hynod, nodedig.
**Fuss,** *s.* (Gr. *phusaô*) trafferth, ffwdan, ffwndwr, cynhwrf, trabludd, terfysg, trybestyd, trybestod, heldrin, helgur, gwag helynt, ffrwst, dadwrdd, brythwch, dyfysgi, trybest.
**Fussock,** *s.* tolpen, cloben, tylffen.
**Fussy,** *a.* (o *fuss*) llawn trafferth, &c.; ffwdanus, trafferthus, ffwdanfawr, trybestog.
**Fust,** *s.* (Ll. *fustis;* It. *fusta;* Ff. *fût*) paladr colofn, pillgorff.
**Fust,** *s.* (Ff. *fût*) drewdod, drew, drewi, drewsawr, mysni.
**Fust,** *v. n.* drewi; bod yn fws *neu* ddrewllyd; bod wedi llwydo.
**Fusted,** *a.* gwedi llwydo, llwyd, llwydlyd; mws, drewedig, drewllyd, drygsawrus; à gwynt llwyd, mws, *neu* henaidd ganddo.
**Fustet,** *s.* (Ff. ac Ysp. *fustete*) llebwyddig, llebwydden ieuanc=math o bren tramor.
**Fustian,** *s.* (Ff. *futaine;* Ysp. *fustan,* enw lle) ffwstian, cotymwe; chwyddiaith, ieithwedd chwyddedig, dull mawreiriog.
**Fustian,** *a.* à wnaed o ffwstian *neu* gotymwe; chwyddedig, chwyddieithog, chwyddieithol, mawreiriog, ffrostieithol, sonfawr.
**Fustianist,** *s.* chwyddieithwr, ysgrifenwr chwyddiaith, ysgrifenydd chwyddedig.
**Fustic,** *s.* (Ysp. *fuste;* Ll. *fustis*) llebwydd; *sing.* llebwydden=math o bren lliw.
**Fustigate,** *v. a.* (Ll. *fustigo*) ffusto, ffonodio, ffondorio, ffondori, llachio, pastyno, ystwyalu.
**Fustigation,** *s.* (Ll. *fustigatio*) ffustad, ffonodiad, ffondoriad, llachiad, pastynad, ystwyaliad.
**Fustilarian,** *s.* (o *fusty*) drewgi, bawddyn, bawyn, bawai, budryn, ffleirgi, dyhiryn: *pl.* drewgwn, bawach.
**Fustilug,** } *s.* torpwth, torpwth amrosgo, tylff-
**Fustilugs,** } yn, twlff o ddyn, twla, twrllach.
**Fustiness,** *s.* (o *fusty*) llwydni, llwydi, llwydedd; mysni, drewdod, drewllydrwydd, drewiant, drewi, drewsawr; gwynt mws, gwynt llwyd, gwynt henaidd.
**Fusty,** *a.* (o *fust*) llwyd, llwydlyd; à llwydni arno; mws, drewllyd, drewedig, trymsawr, drygsawrus; à gwynt llwyd, mws, *neu* henaidd ganddo.
  **To grow fusty**—llwydo; myned yn llwyd.
  **To smell fusty**—arogli yn fws, yn llwyd, yn drymaidd, *neu* yn henaidd; sawru yn fws, yn llwyd, yn drymaidd, *neu* yn henaidd; bod à sawr *neu* wynt yr hen arno; drygsawru, drygsawrio, drwg arogli.
**Fusure,** *s.* (Ll. *fusura*) toddiad, toddiant, toddedigaeth.
**Futile,** *a.* (Ff.; Ll. *futilis*) coeg, gwag, gorwag, oferwag, ofer, disylwedd, dibwys, diwerth, diddym, difudd, diles, anfuddiol, seithug, ysgafn; †siaradus, siaradgar, ffladr.
**Futilely,** *ad.* yn goeg, &c.
**Futility,** *s.* (Ll. *futilitas*) coegedd, gwagedd, gorwagder, gorwagedd, ysgafnder, gwegi, gwegyd, oferedd, diddymrwydd, diddymdra, anfuddioldeb, seithugrwydd, ysgafnder; †ffladredd, siaradgarwch.
**Futilous,**† *a.* (Ll. *futilis*) coeg, diwerth, gwag, ofer, difudd.
**Futtock,** *s. pl.* (o *foot-hook,* neu efallai o *foot-lock*) canolgoed llong, medgoed llong.
  **Ground futtocks** — canolgoed isaf; canolgoed nesaf i'r gwaelod.
  **Upper futtocks**—canolgoed uchaf.
**Future,** *a.* (Ll. *futurus;* Ff. *futur*) dyfodol, dyfodadwy; i ddyfod, à ddaw, à fydd; à

fydd ar ol hyn; à fydd yn ol hyn; rhag llaw, dawedol, dawedadwy, deuawl; i fod.

Future tense—amser dyfodol.

Second future—ail ddyfodol.

The future judgment—y farn à fydd; y farn à ddaw.

**Future**, *s.* dyfodiant, amser dyfodol, amser à ddaw, amser i ddyfod, yr amser i ddyfod, yr amser rhag llaw.

For the future, } o hyn allan; o hyn i
In future, } maes; dros yr amser sydd yn ol; dros yr amser sydd i ddyfod; dros yr amser dyfodol; rhag llaw, mwyach, mwy.

**Futurely**,† *ad.* mewn amser i ddyfod.

**Futurition**, *s.* (o *future*) dyfodoliaeth; y cyflwr o fod ar ol hyn.

**Futurity**, *s.* (o *future*) dyfodiant, amser i ddyfod, yr amser i ddyfod, yr amser à ddaw, yr amser dyfodol, amser yn ol; yr hyn a ddaw; damwaen i ddyfod; dyfodoliaeth; peth dyfodol.

A long futurity—hirfaith amser i ddyfod; hir amser i ddyfod; hirfaith ddyfodiant.

**Fuzz**, *v. n.* (didadogaeth, medd *Johnson*) hedeg ymaith yn dilion, yn fân ronynau, yn demigau, yn fymrynau, yn ithion, yn lluwchion, yn hilion, *neu* yn rhonos; ithio, lluwchioni, tilioni; sïo, chwistrellu, ymchwistrellu.

**Fuzz**, *s.* tilion, rhonos, mân ronynau, temigau, mymrynau, ithion, tibion, lluwchion, hilion, rhytion, hedinion, mân deilchion, hedion.

**Fuzzball**, *s.* cwd y mwg, coden hyred, coden euraid, coden eurych, coden fwg, pwff y mwg, mwg y ddaiar, mwydon y ddaiar; pwff, piff.

**Fuzzle**, *v. a.* meddwi, brwysgo; gwneuthur yn feddw.

**Fy**, } *in.* (Al. *pfui;* Gr. *pheu;* Ff. *fi*) ffei! ffi!
**Fie**, } hach! ffach! wfft! rhag cywilydd! ffwrdd! wb!

# G.



**Gab,** *s.* (D. ac Ysg.; Sw. *gap*) geneu, safn, ceg.
The gift of the gab—dawn llafaru, dawn siarad, dawn ymadrodd, dawn ymadroddi; siaradgarwch, dywedgarwch, chwedleugarwch.

**Gab,** *v.* clebran, baldorddi, llolian, bragaldian, clolian.

**Gabardine,** *s.* (Ysp. *gabardina*) mantell werddonig, bugeilwisg; mantell gedenog, arwisg arw, gwisg wael.

**Gabble,** *v. n.* (Is. *gabberen*) clebran, baldorddi, baldordd, baldorfi, bragaldian, bragaldio, llolian, llolio, clolian, chwaldodi, gwagsiarad, ofersiarad, pepru, pepra, pebra, parablain, brygawthan, ffregu, ffregodi, dadwrdd, dwndro, clegyr, clebarddu, cleca; cogor, ffrecio, trydar, rhuo.
The gabbling of geese—clegar, clegyr, clegr, ffrec, gregar, *neu* siarad gwyddau.

**Gabble,** *s.* clebar, clec, clegar, clegyr, baldordd, clincwm, ffreg, ffrec, chwaldod, chwaldordd, ffregod, ffregawd, peprwn, pepraeth, pebre, llol, gwagsiarad, ofersiarad, siaradach, dwndwr; cogor, trydar.

**Gabbler,** *s.* bragaldiwr, baldorddwr, clebryn, gwagsiaradwr, siaradwr, lloliwr, llolyn, pepryn, clepai, cloliwr, clebarddwr, clebarddyn, ffregodydd, chwaldodwr, bragaldyn, dwndrwr: *f.* clebren, clebardden, pepren, chwaldodes.

**Gabbro,** *s.* (It.) math ar ddelidfaen.

**Gabel,** } *s.* (Ff *gabelle;* S. *gafel, gafol*) treth,
**Gabelle,** } cyllid, toll, ardreth, tâl, teyrnged; treth ar halen.

**Gabeler,** *s.* trethgasglwr, casglwr trethi.

**Gabion,** *s.* (Ff.; It. *gabbione*) differgawell, caergawell=cawell mawr, llawn o bridd, arferedig mewn amddiffynwaith.

**Gabionade,** *s.* caergawelliaeth, cawellwaith; amddiffynwaith o gewyll llawn o bridd.

**Gable,** *s.* (C. *gafael*, yn ol y Dr. *Webster;* Al. *giebel*, yn ol *Craig*) piniwn, gafael, piniwn ty, gafael ty, tâl ty; talcen ty o'r bargod i'r trum.
Gable-end of a house—piniwn ty, talcen ty, gafael ty.
Gable-window—talffenestr, ffenestr biniwn, ffenestr dalcen.

**Gablet,** *s.* (o *gable*) piniynyn, gafaelyn, gobiniwn, ffenestr dalcen.

**Gablocks,** *s. pl.* ysbardunau ffugiol (à roir ar geiliog ymladd).

**Gabronite,** *s.* delidfaen à geir yn Norwy.

**Gad,** *s.* (S.; Gw. *gadh*) llafn o ddur, gaing, cŷn, clamp; crifell, cerfyllyr, crifyr; trydyllyr.

**Gad,** *v. n.* (Gw. *gad*, yn ol *Webster;* C. *gadaw*, yn ol *Iunius*) gwibio, crwydro, rhodiena, rhodiana, gwibrodio, rhedegfan, amwibio, gwibeta; myned o le i le; rhedeg yma ac acw; darymred, daramred, hwntian, rhodio, rhodo, crwydwibio.
To gad abroad, } rhodiena o amgylch;
To gad about, } gwibiaw o amgylch; myned o le i le; gwibeta o dy i dy.
An itch to be gadding abroad—crwydrwyn, crwydrwaew.

**Gadabout,** *s.* rhodienydd, rhodienwr, rhodianydd, rhodianwr, gwibiad, crwydriad, clebarddyn, (*f.* clebardden).

**Gadder,** *s.* rhodienwr, rhodienydd, rhodianwr, rhodianydd, gwibiad, crwydrad, crwydryn, rhodiadur, rhodiad, rhodiwr, crwydrwr, crwydrai, gwibiawdr: *f.* rhodienai, chwilast, gwibiodres.

**Gadding,** *p.* yn gwibio, gàn wibio, &c.; gwibiog, amwibiog, amwibiol, crwydrol, crwydus, rhodianol, rhodienol, rhodiol, rhodol.
Gadding gossip—rhodienai, rhodienwraig, gwibiodres, crwydrwraig, chwilast, clebardden, clebren, clecai, clepai, clecai rodienol; un yn gwibiaw o dy i dy gàn chwalu chwedlau; un yn gwibeta ar draws tai.
The gadding wine—y winwydden amwibiog.

**Gaddingly,** *ad.* yn wibiog, ar wib, ar grwydr, ar dramp.

**Gadfly,** *s.* (S. *gad a fly*) cacynen y meirch, marchgacynen, creyryn, crëyr, clyryn, cleren: *pl.* cler, clyr, cacwn y meirch.
Black gadflies—cler duon.
Brown gadflies—cler llwydion.

**Gadidæ,** *s. pl.* (Ll. *gadus*) y pysg penfras.

**Gadolinite,** *s.* (oddi wrth yr Entraw *Gadolin*) math o ddelidfaen.

**Gadwall,** } *s.* y gorshwyad lwyd.
**Gadwoll,** }

**Gaff,** *s.* (Gw. *gaf;* S. *geaffe?*) tryfer, mordryfer; enfach; osglath.

**Gaffer,** *s.* (S. *gefere?* Sw. *gubbe?* H. *gebar?*) fy ewythr, ewythr; henwr.

**Gaffle,** *s.* (S. *geaflas*) gaflach, ffugethy, ysbardun ceiliog, ysbardun dodi; tynfach albrys, durwif bwa croes.

**Gag,** *v. a.* (C. *cegio*, yn ol *Webster;* Is. *gaghel*, yn ol *Johnson*, allan o *Minshew*) cau safn, attal safn, cau ceg, ceglenwi, llenwi safn, llenwi ceg, cloi safn, cegio, sagio, safn-gau, safn-gloi, gwrthgau geneu; cyfogi, gloesi, chwydu.

**Gag,** *s.* cegludd, cegdopyn, cegrwystr, safndag, geneudag; cauad ar safn *neu* geg; sypyn à roer i gau ceg; safn-glo; attalai, attalydd.
Gag-teeth—arddannedd, arddaint, dannedd marchogaeth, ysgythron.
Gag-toothed—arddanneddog, arddeintiog, ysgythrog.

Gage, *s.* (Ff.) gwystl, arwystl, cyngwystl, adneu, gwystleidiaeth, gwystloriaeth; her; attafael; mesur, talben, safon, mesurai, mesuren, mesurlath, ganiadyr, cyfartalai, mydrai, meidr, meidyr, meidradyr, meidradydd, mesurydd; y nifer o droedfeddi y sudda llong mewn dwfr.
  Steam-gage—agerfeidyr, agerfeidr, agerfydrai, agerfesur.
  Wind-gage — gwyntfeidyr, gwyntfesur, gwyntiadyr.
  Weather-gage — hinddangosydd; yr ochr nesaf i'r gwynt i long.
  Rain-gage—gwlawfeidyr, gwlawfydrai.
  Sea-gage—morfesur, morfeidyr.

Gage, *v. a.* rhwymo; rhwymo â gwystl; gwystlo, arwystlo, cynwystlo, dàl cyngwystl, rhoi yn ngwystl, prido; mesur, mesuro, meidro, ganiadu.

Gager, *s.* (o *gage*) mesurydd, mesurwr, meidrydd, ganiadwr, ganiadur.

Gagger, *s.* (o *gag*) cauwr safn, cauwr ceg, ceglenwydd, cegluddiwr.

Gaggle, *v. n.* (Is. *gaggelen;* Al. *gackern*) gregar, clegar, clegru, clegyr, clecian, cogor, crecian; lleisio fel gwydd.

Gaggling, *s.* clegar, gregar, clegyr, clegr, clecian.

Gahnite, *s.* (o *Gahn*, y darganfyddwr) math o ddelfaen; corundum wythochrog.

Gaiadendron, *s.* (Gr. *gaia* a *dendron*) daiarwydd; *sing.* daiarwydden.

Gaiety, } *s.* (Ff. *gaieté*) llonder, llonwychder,
Gayety, } llondra, llonedd, llawenydd, llawenwch, gorhoen, gorawen, hoen, hyfrydwch, hoenusrwydd, llonwch, digrifwch, difyrwch; gwychder, gorwychder, gwychedd, gwympedd, hoewder, hoewedd, dillynder, dillynedd, harddwch; ysgafnder, bronysgafnder; nwyfusrwydd, nwyfusder, nwyfiant; nwyfchware, nwyfwareu.
  Gaieties of youth — difyrion ieuenctyd, mwynderau ieuenctyd, nwyfusderau ieuaint, nwyfwareuon ieuenctyd, nwyfddigrifwch ieuenctyd.

Gaily, } *ad.* (o *gay*) yn llon, yn llawen, yn
Gayly, } ddigrif, yn ddifyr, yn hoenus, yn llonwych, yn orawenus, yn orhoenus; yn hoew, yn hoewych, yn wych, yn ddillyn; yn chwareüs, yn nwyfus.

Gain, (talfyriad o *against;* S. *gean*) rhagddawd, yn dynodi *yn erbyn, erbyn, gwrth.*

Gain, *v.* (Ff. *gagner;* S. *gynan*) ennill, ynnill, elwa, maelio, maela, manteisio, ennillo, ynnillo, nillo, cael budd, buddio; cyrhaedd, cyrhaeddyd; cael, caffael; cael yr hyn â geisier.
  To gain upon—ennill ar; ymelwa ar, ymelwi ar, elwa ar; gwneuthur elw o; peri elw o.
  To gain one's point—cyrhaedd ei amcan; cael ei amcan; ennill ei amcan; ennill ei bwnc; gorfod yn ei gwyn; gorfod yn ei ddadl.
  To gain ground — ennill tir, ynnill tir; ymoresgyn, ymdaenu; myned yn fwyfwy arferedig; cryfhau, gwrygio, gwrygiannu, ymwrygio, cynnyddu, llwyddo, ffynnu, tycio; bod ar gynnydd.
  This opinion has gained considerable ground in the world—y mae y farn hon wedi ei chrŷn sefydlu yn y byd; y mae y tyb hwn wedi ei grŷn sefydlu yn y byd; y mae y farn hon wedi ennill crŷn dir yn y byd.
  To gain time — ennill amser, oedi yr amser.
  To gain the advantage of time of one—ennill *neu* achub y blaen ar un; bod yn mlaen llaw âg un; rhagflaenu un.
  To gain over—ennill drosodd; tynu drosodd.
  To gain the wind—ennill y gwynt; cyrhaedd yr ochr nesaf i'r gwynt i long arall.
  To gain the day—ennill y dydd; cario y dydd; cael y dydd; myned â'r dydd; ennill y gamp; myned â'r gamp; ennill y fuddugoliaeth; cael yr oruchafiaeth; cael y goreu.

Gain, *s.* (Ff.) ennill, ynnill, elw, budd, mael, mantais, ced, lles, elwant, buddiant, buddred; cynnyrch.
  Unjust gain, } budrelw, budr elw; ocr-
  Dishonest gain, } aeth.

Gain,† *a.* hylaw, hyfedr, deheuig, medrus.

Gain, *s.* (C. *gàn*) gàn, gafael, osgafael.

Gainable, *a.* ennilladwy, elwadwy.

Gainage, *s.* (o wraidd *wain*) gweindrec.

Gainer, *s.* ennillwr, ynnillwr, ennillydd, maeliwr, buddiwr, manteisiwr.

Gainful, *a.* ennillfawr, ynnillfawr, buddfawr, llesfawr, llawn elw, ennillgar, llesol, buddiol, manteisiol.

Gainfulness, *s.* ennillfawredd, llesfawredd, llesfawrhydi, buddfawredd; buddioldeb, llesoldeb; ennill, elw, budd, lles, mael, mantais.

Gaingiving,† *s.* (o *gain* neu *against* a *give*) drygdyb, ammheuaeth; gwrthroddiad.

Gainless, *a.* difudd, difael, dïelw, dïennill, difantais, anfuddiol, aflesol.

Gainlessness, *s.* anfuddioldeb, aflesoldeb, aflesineb; anfudd, anelw.

Gainly,† *ad.* yn hylaw, yn hyfedr.

Gainsay, *v. a.* (*gain* neu *against* a *say;* S. *gean, ongean*, a *say*) gwrthddywedyd, gwrthwedyd, gwrthebu, gwrtheb, gwrthebru, erbynwedyd; dywedyd, gwedyd, dweyd, neu weyd yn erbyn; ammheu, rhagu, gwrthddadlu, croesddadlu, dadleu; gwrthwynebu, gwrthdaeru; dywedyd yn erbyn.
  Without gainsaying—yn ddinag; heb wrthddywedyd, &c.

Gainsayer, *s.* gwrthwedydd, gwrthwedwr, gwrthddywedwr, gwrthddywedydd, gwrthebydd, gwrthebwr, erbynwedydd, ammheuwr; gwrthwynebydd.

Gainstand,† *v. a.* (S. *gean*=gain neu against, a *stand*) gwrthsefyll, gwrthwynebu.

Gainstrive,† *v.* (S. *gean*, a *strive*) gwrthsefyll, ymdrech yn erbyn.

Gairish, *a.* (S. *gearwian;* Gr. *gauros*) coegwych, hoewych, pincwych, gwych, gorwych, ceinwych, claerwych, harddwych, hoew, dillyn, dillynwych, claer, dysglaer, dysgleirwych, gwymp, iesin, pefr, pefrin; nwyflon, nwyflawn, gorlawen.

Gairishness, *s.* coegwychder, coegwychedd, hoewychder, gorwychder, ceinwychder, ceinwychedd, claerwychder, claerwychedd, dillynedd, dillynder, dysgleirdeb, dysgleirder, claerder, gwympedd, pefrineb, pefredd, pefri, iesindra, gorddillynedd, pincwychder; nwyflonder, nwyflondra, nwyflawenydd, gorlawenydd.

**Gairishness of spirit**—nwyflonder ysbryd, nwyfiant ysbryd, gwamalrwydd ysbryd.
**Gait**, *s.* (o *gad* neu *go*?) trawd, trodiad, cerddediad, trawdd, mynediad, rhodiad, aed; agwedd, gosgedd, ystum; ffordd; dull o gerdded; gradd; agweddfoes.
**Gaited**, *a.* â chanddo drawd, trodiad, cerddediad, *neu* agwedd neilltuol: arferedig mewn cyfansoddiad.
**Gaiter**, *s.* (o *gait*) socas, amgoes, coeswisg, coesarn: *pl.* socasau, &c., hosanau botymog, hosanau lledr, ucharnau.
**Gaiter**, *v. a.* gwisgo socasau, amgoesau, coeswisgoedd, *neu* goesarnau am; gwisgo â socasau, &c.; socasu, coeswisgo, coesarnu.
**Gala**, *s.* (Ysp., It., a Ff.) gorwychder, gorwychedd, ceinwychder, gwychedd, rhwysg, rhodres; prifwyl.
  Gala day—dydd rhwysg, dydd rhodres, dydd ceinwychder; dydd prifwyl; prifwyl.
  Grand gala—prifwyl fawr, arbrifwyl, prifwyl-ddydd.
  Gala night — prifwylnos, nos ceinwychder.
**Galactite**, *s.* (Gr. *gala*, *galactos*) llaethfarm.
**Galactodendron**, *s.* (Gr. *gala* a *dendron*) llaethwydd; buchwydd, buwydd: *sing.* llaethwydden, buchwydden=math o bren llaethrodd â dyf yn y Caraccas, Deheudir America.
**Galactometer**, *s.* (Gr. *gala* a *metron*) llaethfeidyr, llaethfesur, llaethfeidr, llaethfydrai.
**Galactophogist**, *s.* (Gr. *gala* a *phagô*) llaethyswr, llaethysydd, ymborthwr ar laeth: *pl.* llaethfaetholion.
**Galactophorous**, *a.* (Gr. *gala* a *pherô*) llaethddwyn; yn dwyn *neu* gynnyrchu llaeth.
**Galactopoietic**, *a.* (Gr. *gala* a *poieô*) llaethbarol, llaethogol.
**Galace**,† *s.* (Ysp. *galocha*) esgid bren, aresgid.
**Galangal**, } *s.* sych wreiddyn meddygol o
**Galanga**, } China.
**Galanthus**, *s.* (Gr. *gala* ac *anthos*) eiriawl, cloch maban.
**Galaxy**, *s.* (Gr. *galaxias cuclos*) y llwybr llaethog, galaeth, eirianrod, crygeidwen, caer Gwydion, heol y gwynt, y ffordd laeth, hynt St. Ialm, llwybr y mab afradlawn; claergylch, cylch dysglaer.
**Galbanum**, } *s.* (H. *chelbenah*; Gr. *chalbanê*;
**Galban**, } Ll. *galbanum*) galbanum=math o folystor dwyreiniol.
**Gale**, *s.* (D. *gal*? Gw. *gal*? C. *awel*, yn ol N. *Bailey*) awel, chwa; chwyth, ffun; cwthwn, pwff, awel gref, gwynt cryf; gwynt.
  Brisk gale, } awel ffraw, awel chwern,
  Fresh gale, } awel frysg, awel chwai.
  Prosperous gale — hwylwynt, gwynt hwylus, awel hwylus.
  Adverse gale — awel groes, gwrthawel, gwynt croes, awel wrthwyneb.
  Loom-gale—awel gref nerthol; chwa angerddol.
**Gale**, *s.* madywydd, mordywydd, gwyrling, gwyrddling, helygen Mair.
  Sweet gale, } madywydd, mordywydd,
  Dutch myrtle, } gwyrling, gwyrddling, helygen Mair.
**Gale**, *v. n.* hwylio; hwylio yn ffest; hwylio yn hwylus; †canu.
**Galeas**, *s.* (It. *galea*, *galeazza*) diblong=math o rwyflong.
**Galeated**, } *a.* (Ll. *galeatus*) helmog, penialog,
**Galeate**, } helmaidd.
**Galega**, *s.* (Gr. *gala*) rhuw yr afr, gorddawn yr afr.
**Galena**, *s.* (Gr. *galênê*) plymlwg, ufelured plwm.
**Galenic**, } *a.* plymlygol, plymlygaidd; Galen-
**Galenical**, } ig, perthynol i Galen.
**Galeobdolon**, *s.* (Gr. *galê* ac *obdê*) eurddanadl; eurddanadlen, marddanadlen felen.
**Galeopithecus**, *s.* (Gr. *galê* a *pithêcos*) hedgath.
**Galeopsis**, *s.* (Gr. *galê* ac *opsis*) penboeth.
**Galericulate**, *a.* (Ll. *galerus*) hetiog; gorchuddiedig megys â het.
**Galerite**, *s.* (Ll. *galerus*) hetgregyn, hedgregyn.
**Galilee**, *s.* cyntor, porth; orielyn.
**Galimatia**, *s.* (Ff. *galimatias*) ffiloreg, ansynwyr, ffolineb, ffregod, ffladredd, chwyddiaith, ffol eiriau ffiloreg.
**Galingale**, *s.* ysnoden Fair.
**Galiot**, *s.* (Ff. *galiote*; It. *galeotta*; Ll. *galea*) rhwyflongan, rhwyflongen, rhwyflong fechan.
**Galipot**, *s.* (Ysp.) pyrlud, ffeinidlud; ystor gwŷn pyrwydd.
**Galium**, *s.* (Gr. *gala*) gwendon, briwydd, gwenwlydd.
**Gall**, *s.* (S. *gealla*; Al. a Sw. *galle*; Gr. *cholê*) bustl, ebustl, geri; chwerwedd; gwenwyn; dygasedd, cenfigen, llid, dig.
  Bitter as gall, } bustlaidd; cyn chwerw-
  As bitter as gall, } ed a'r bustl; chwerw fel bustl; ebustl.
  The flowing of the gall—gorllenwad, llif, *neu* orlif y bustl.
  Gall of glass—gwydrewyn, gorferw gwydr.
**Gall**, *s.* (Ll. *galla*; S. *gealla*) darafal, afal y derw, dargneuen, darfal, afalyn y derw.
  Gall-nuts, } darafalau, afalau y derw, dar-
  Nut-galls, } gnau, darfalau.
  Apple-galls—afallgnau, afalgnau.
**Gall**, *s.* ysbelw, llwgr, ysbelwad; pildin, pilgroen, cig noeth.
**Gall**, *v.* ysbelwi, peri ysbelwi, digroeni, llygru, cignoethi, rhathu yn llwgr, ysu y dônen; peri *neu* wneuthur yn gig noeth; treulio, rhwbio; dolurio, poeni, blino, dygnu, cythruddo, cythryblu, trallodi, gofidio, niweidio, sarhau; bod yn drwm ar; clwyfo, archolli.
  To be galled—ysbelwi, llygru, ymlygru, gwynofio; cael ei lygru.
  Gall-backed—cefnllwgr, cefnrhwd.
**Gallant**, *a.* (Ff. *galant*) dewrwych, gwrolwych, gwrol, dewr, calonog, mawrfrydig, gwych, gwychr, glew, gwronol, gwronaidd, dihafarch, pybyr, galawnt, eon, gwrdd, godidog, rhagorol, hoewych, hoew, arwrol, gwychain; moesog, moeswych, moeswymp, moesgar, hyfoes, cyweithas, mynog, mwynfoes, dillynfoes, cyflys, moddus, boneddigaidd; nwyfog, nwyfus, hynwyf, careugar, am garu, nwyfwych, cariadwych; hardd, harddwych, trwsiadus, dillyn,
  Gallant ships—llongau godidog.
**Gallant**, *s.* syberwyn, gwympor, moeswychwr, cyflyswr, moesweinydd, un moesgar; cariadur, carodyn, serchogddyn, cariad, carwr, gwr caru, carüwr, cariadfab, cariad-ddyn, serchwas; gordderchwr.
  Gallant of a married woman—gordderchwr, gordderchwas, gordderch.
**Gallant**, *v.* trin yn foddus, &c.; teglofio;

moesweini, moesweinyddu ; gweini ar rian ; ymganlyn, ymddylyn ; ymhoewi.
Gallantly, *ad.* yn ddewrwych.
Gallantness, *s.* gwychder, harddwychder, hoewder, telediwrwydd, dillynder.
Gallantry, *s.* (Ysp. *galanteria ;* Ff. *galanterie*) dewrwychder, dewrwychedd, gwroldeb, gwrolder, dewredd, dewrder, arwredd, mawrfrydigrwydd, dewrineb, glewineb, gwroniaeth, calonogrwydd, dihafarchedd, glewder, hoewder, hoewedd, gwychder ; moesogrwydd, moeswychder, moeswympedd, moesgarwch, hyfoesedd, cyweithasrwydd, mynogaeth, syberwyd ; careugarwch, serchlonedd, carwriaeth, nwyfusrwydd, nwyfusedd, nwyfedd, nwyfwaith, anlladwaith, nwyfneges, serchneges, anlladrwydd, llodineb, trythyllwch.
Gallate, *s.* (o *gall*) bustlaint, bustlhalan : *pl.* bustlhalion.
Gall-bladder, *s.* cod y bustl, cod y geri, cwd y bustl.
Galleass, *s.*=*Galeas.*
Galleon, *s.* (Ysp. *galeon ;* Port. *galeam ;* It. *galeone*) llong Yspaenaidd bedryfwrdd.
Gallery, *s.* (Ff. *galerie ;* D. ac Al. *gallerie*) oriel ; llofft, grislofft, uchlawr, rhodfa, amrodfa, cyntedd, hirgyntedd ; rhodfa ddiddos.
An open gallery—oriel agored ; rhodfa heb do arni.
Gallery in a church—llofft eglwys, oriel eglwys, llofft mewn eglwys ; llofft y gân.
Upper gallery—oriel uchaf, uchoriel, gorlawr, aroriel.
Stern gallery of a man of war—oloriel cadlong.
Galletyle, *s.*=*Gallipot.*
Galley, *s.* (Ysp. ac It. *galera ;* Ff. *galère*) rhwyflong ; cegin cadlong, ceginfa ; cyssodlwyf, mold argraffydd ; cwst, cystogwaith, caledwaith ; adyrgyl.
Galley proof—proflen gyssodlwyf.
Galleyfoist, *s.* teyrnlong.
Galley-slave, *s.* caethwas rhwyflong, caeth rhwyflong, rhwyfwr caeth cadwynog, caethrwyfwr.
Gallfly, *s.* (*gall* a *fly*) afalgleren, afalglyryn, afalbryf : *pl.* afalgler.
Galliard,† *a.* (Ff. *gallard*) hoew, bywiog, heini, gweisgi.
Galliard,† *s.* hoewddyn ; un hoew, bywiog, *neu* weisgi ; dawns bywiog ; llamddawns.
Galliardise,† *s.* hoewedd, hoewder, llonder, rhylonder, gorhoen.
Galliardness,† *s.* llonder, hoewder, llawenydd, gorawen, gorhoen.
Gallic, *a.* (o *gall*) darafalig, darfalig ; perthynol i ddarafalau ; yn perthyn i ddargnau ; dargneuol.
Gallic acid—sur darafalig, sur darfalig, sur darafal.
Galligaskins, *s. pl.* (Ll. *caligæ Vasconum,* llodrau Gwasgwyn) llodrau llaes, llaes lodrau, rhydd lodrau, uchlodrau, llodrau.
Gallimatia, *s.*=*Galimatia.*
Gallimaufry, *s.* (Ff. *galimaufrée*) mysgfwyd, cymmysgfwyd, briwgig ; cymmysg, cymmysgedd ; ystên Sioned.
Gallinæ, } *s. pl.* (Ll.) iarednod, iarednaint,
Gallinaceæ, } iaradar.
Gallinaceous, *a.* (Ll. *gallinaceus*) perthynol i'r iarednod, iarednogaidd, iarednol, iarednog, iaradaraidd.
Gallinaceous lapis—maen cynllwyn=rhyw ddefnydd gloew à gynnyrchir gàn losgfaloedd.
Galling, *a.* (o *gall*) poenus, cythruddol, gofidiol, poenydiol, blin, dygn ; ysbelwol, llygriol, blingol.
Galling fire—tân dygn, tanio dygn.
Gallinipper, *s.* math o wibedyn mawr.
Gallinsecta, *s. pl.* (*gall* ac *insect*) gnerilion, grarilion=math o drychfilod.
Gallinule, *s.* (Ll. *gallinula*) corsiar, hirgoesiar ; corsieir.
Galliot, } *s.* (Ff. *galeote ;* It. *galeotta ;* Ll.
Galleot, } *galea*) rhwyflongan, rhwyflongen, rhwyflong fechan.
Gallipot, *s.* (Is. *gleye,* a *pot*) cyfferbot, cyffurbot, cyfferflwch, cyffergist, eneintflwch, meddyglestr, meddygbot, gorflwch enaint.
Gallitzinite, *s.* egrid coch Titanium.
Gallivat, *s.* llestr bychan arferedig ar oror Malabar.
Gall-less, *a.* difustl ; dichwerwedd, diwenwyn.
Gallon, *s.* (Ysp. *galon ;* Ll. drosgl, *galona, galo, lagena*) galwyn ; galwynaid = 4 chwart.
Galloon, *s.* (Ff. *galon*) eurysnoden, eurgadas, ysnoden ffreinig=ysnoden aur neu arian, neu weithiau o sidan yn unig.
Galloon lace—ysnoden ffreinig, ysnoden Ffrengig, amaerwy ffreinig.
Gallooned, *a.* ysnodenog, eurgadasog ; addurnedig âg ysnoden ffreinig.
Gallop, *v. n.* (Ff. *galoper ;* It. *galoppare*) carlamu, pedwarcarnu, gwilhobain ; gyru neu fyned ar bedwarcarn ; gyru ar bedwarcarnau ; gyru *neu* fyned ar y pedwarcarnau ; gyru yn nerth traed ceffyl ; gyru *neu* farchogaeth yn chwyrn.
Galloping horse—march carlamog, march carlamus, march rhedegog, march gyrfäus.
Gallop, *s.* carlam ; carlamiad, pedwarcarniad ; mynediad *neu* yriad ar bedwarcarn ; gyriad *neu* fynediad ar y pedwarcarnau.
A full gallop—llawn garlam, carlam wyllt ; mynediad *neu* ar y gyrfau gwyllt ; mynediad *neu* yriad ar y pedwarcarnau gwyllt.
Gallopade, *s.* (Ff. *galopade*) cyrflam, crychgarlam, crychlam.
Galloper, *s.* carlamwr, carlamydd, pedwarcarnwr, pedwarcarnydd ; carlamfarch ; carlamgar.
Gallopin,† *s.* (Ff.) ceginwas.
Gallow,† *v. a.* (S. *agælwan*) dychrynu, brawychu.
Galloway, *s.* (=lle yn yr Alban) crynfarch Galoway, ceffylan Galoway ; crynfarch, ceffylan, ceffylyn.
Gallowglass, *s.* hen bedfilwr Gwyddelig.
Gallows, *s.* (S. *gealg, gealga ;* Al. *galgen ;* Is. *galg*) crogbren, crogwydd, pren dyoddef, dialbren ; cyfreion, crogddalion ; †crogyn.
Gallowses—crogbreni, crogbrenau.
One for whom the gallows groans—crogyn o ddyn ; crogyn ; llwyth y cebystr ; cyw y cebystr ; cyw y crogbren ; un addfed i'r crogbren ; un parod i'r *neu* deilwng o'r crogbren.
Go to the gallows—dos i'th grogi ; yn nghrog y bot ti.
Gallows of a printing-press — crogwydd

argraffwasg, gorwydd argaffwasg, march argraffwasg, gwŷdd argraffwasg.
allows-bitts, *s. pl.* crogystanciau.
allsickness, *s.* (*gall* a *sickness*) geriglefni, geriglefyd; twymyn erïaidd ddysbeidiol (yn yr Iseldiroedd).
allstone, *s.* (*gall* a *stone*) gerifaen, maen geri; cyttwf yn nghod y bustl.
allowsfree, *a.* (*gallows* a *free*) crogrydd; rhydd oddi wrth y crogbren.
allowstree, *s.* crogbren, crogwydd, pren dyoddef, dïalbren.
ally, *a.* (o *gall*) bustlaidd, bustlog, gerïaidd, gerïog, ebustl, ebustlaidd; chwerwed a bustl; cyn chwerwed a'r bustl.
ally, alley, } *s.* (Ff. *gallée*; Port. *galé*) cyssodlwyf, mold argraffydd.
ally-worm, *s.* canpedril; *pl.* canpedrilion.
alloche, alloshe, } *s.* (Ff.; Ysp. *galocha*) aresgid, prenesgid, llopan, ffollach.
alore, *s.* (Gw.) llawnder, cyflawnder, helaethrwydd, haflug, toraeth.
alt, ault, } *s.* fferfarl, delfarl=math o farl anhyblyg.
alvanic, *a.* (oddi wrth Lewis *Galvani*, o Bologna) Galfanig, Galfanaidd; mellinol, adwyniasol, mellinig, gorufelig; perthynol i Alfaniaeth; trydanol.

Galvanic circle—cylch Galfanig.

Galvanic battery—cluder Galfanig, cluder mellinol.

alvanism, *s.* (o *Galvani*) Galfaniaeth, mellin, adwynias, gorufeliaeth; trydaniaeth heb rwbiad.

Medical galvanism—addwynias feddygol, Galfaniaeth feddygol.

alvanist, *s.* Galfaniad, Galfanydd, Galfanwr, mellinwr.
alvanize, *v. a.* Galfanio, Galfaneiddio, mellino, adwyniasu.
alvanized, *a.* Galfaniedig, mellinedig, mellindde.
alvanologist, *s.* (*galvanism*, a Gr. *logos*) mellinofydd, Galfanegwr, Galfanegydd, mellinegwr.
alvanology, *s.* (*galvanism*, a Gr. *logos*) Galfanyddiaeth, mellinofyddiaeth, Galfaneg.
Galvanometer, *s.* (*galvanism*, a Gr. *metron*) mellinfeidyr, trydanfesur, Galfanfesur.
Galvano-plastic, *a.* trydandebol, trydandebus.

Galvano-plastic art—trydandebiaeth, trydandeb.

Gamashes, *s. pl.* (It. *gamba*) corsocasau, socasau bach, amgoesau byrion, socasau bychain.
Gambado, Gambade, } *s.* (It. *gamba*) socas, amgoes, coesarn, coeswisg; botas cyfrwy, botas gyfrwy.
Gambe, *s.* (o'r Ff. *jambe*) coes, esgair, hegl, llorp.
Gambeer, *s.* gambir=math o sylwedd rhwymol, yn y celfyddydau a'r llofweithiau.
Gambet, *s.* aderyn tua maint y goeswerdd, à geir yn y Môr Cyfogledd, ac yn Nulychlyn ac Ynys yr Ia.
Gambit, *s.* (o *game?*) cyfres o ysgogion medrus yn chware tawlbwrdd.
Gamble, *v. n.* (o *game*) hapwareu, hapware, hapchwareu, hapchware, chwampio; chware am arian *neu* wystl; chwiredu.

To gamble away—gwastraffu wrth hapwareu; difrodi drwy chwampio; hapwareu ymaith, chwampio ffwrdd, hapchwareu.

Gambler, *s.* (o *gamble*) hapwareuwr, hapchwareuwr, hapchwarëydd, hapwarëwr, chwampiwr, chwampiad, chwampydd, twyllchwareuwr; chwareuwr dichellgar, twyllodrus, hudolawl, chwiredus, hocedus, ystrywgar, *neu* ystrywus; coegiwr, chwiredwr.
Gamboge, *s.* (o *Cambodia*, *Cambodja*, neu *Cambogia*, yn yr India Ddwyreiniol) deigystor, molystor, deigrwsin, melynsudd.
Gambogic, *a.* (o *gamboge*) deigystoraidd, molystorig.
Gambol, *v. n.* prancio, rhonta, llamsach, crychlamu, cyrchlamu, nwyfchwareu, nwyfwareu, gofregu, taplasu, taplasa, crychneidio, dychlamu, pestota, pestodi, moelystota, moeldesota, darchwareu, llamu, llemain, neidio, cyrneidio, ysboncio, chwareu, dawnsio, nwyfneidio, nwyflamu, digriflamu, saethyta; crychu *neu* lamu o *neu* gàn lawenydd.
Gambol, *s.* crychnaid, cyrchnaid, nwyflam, nwyfnaid, cyrchlam, crychlam, rhont, pranc, llam, llamsach, naid, gofreg, asbri, nwyfware, nwyfchware, taplas, digriflam, darchware, llam, naid, dychlam; llam, dychlam, crychlam, naid, *neu* grychnaid o *neu* gàn lawenydd.

Gambols — crychneidiau, &c.; chwydawiaeth, llamidyddiaeth; castiau, pranciau, *neu* funudiau llamsachus a llamidyddol.

Maker of gambols—nwyflamwr, nwyflamydd, nwyflamidydd, nwyfneidiwr, crychlamwr, crychneidiwr, llamidydd; gwneuthurwr llamidyddiaeth *neu* chwydawiaeth.

Gambrel, *s.* (o'r It. *gamba*) coes ol march, clun ol ceffyl, troed ol ceffyl.

Gambrel roof — nen benlipa, nen gamheglog.

Gambrel, *v. a.* clymu wrth y goes, coesglymu.
Game, *s.* (S. *gamen*, *gamiam*; Isl. *gaman*) chware, chwareu, chwarae, gwareu, gware, gwarae, chwara, chwareuaeth, chwaryddiaeth; camp, taplas; math, dull, *neu* drefn ar chwareu; rhyw *neu* rywogaeth o chwarae; sías, chwyl, tro; difyrwch, gwawd, gwatwar, cellwair, cydgam, gwatwargerdd; difyrgais; helwriaeth, helyddiaeth, hely, hela, helfa, asgafaeth, ysgafaeth, ysgafael; helfilod, miledion, macsfilod; heladar, adar hely.

The twenty-four games — y pedair camp ar ugain.

Manly games—gwrolgampau.

Juvenile games—mabolgampau.

Inferior games, Minor games, } gogampau.

Olympic games—campau Olympig, campau Olympaidd.

Game-laws—cyfreithiau hely, cyfreithiau hela, cyfreithiau helwriaeth.

To hunt for game—hela, hely, ysgeifio, ysgeifu; chwilio am helwriaeth.

To make game of one—chwerthin am ben un; gwneuthur cyff cler o un; gwneyd difyrwch am ben un; chwareu gwrhewcri âg un.

To have a great game to play—bod i *neu* gàn un orchwyl mawr mewn llaw; bod gàn *neu* i un fater mawr mewn llaw.

To play one's game well—trin ei orchwyl *neu* ei fater yn hyfedr; chwareu ei chwareu yn fedrus; chwareu ei chwareu yn dda.

To be good at all kind of games—bod yn fedrus *neu* ddeheu yn mhob peth.

To get the game, | To win the game, } ennill y chware; ennill y gamp; ennill y bel, ennill y gâl; dwyn y gamp; dwyn y bel; dwyn y gâl; gorfod mewn camp *neu* chware; gorchfygu mewn camp *neu* chwareu; myned â'r gamp; myned â'r maes; ennill y maes; cael y goreu.

To play a safe game—chwareu y ffon ddwybig; chwareu y llaw wèn.

To keep, hold, *or* celebrate a game, | To keep, hold, *or* celebrate games, } cynnal camp; cynnal chwareu; chwareu campau.

Master of the game, | Master of the games, } penaeth y gamp; y barnwr mewn campau; y pencampwr, y penchwareuwr, y penchwarëydd; llywydd yr helwriaeth, y penheliwr, y penhelydd.

Game of chess—chwareu gwyddbwyll, chware gwyddbwyll, chwareu tawlbwrdd.

Game of backgammon—chwareu bachgammon.

To contend at games—campio.

Black game—ceiliog du, ceiliog mynydd, ceiliog y mynydd, ceiliog du y mynydd, ceiliog y grugieir: *f.* grugiar, iar fynydd.

Red game—cochiad, coch y grug; cochiar: *pl.* cochiaid, grugieir cochion, cochieir.

Game, *v. n.* chwareu, chware, chwarae, gwareu, gware, gwara; campio; hapchwareu, chwampio.

Gamecock, *s.* ceiliog ymladd; ceiliog à fegir at ymladd.

Game-egg, *s.* wy y megir ceiliog ymladd o hano.

Gameful, *a.* llawn chware, llawn o chwareu; chwareugar, chwarëus, chwareog, chwareuol, nwyfus, nwyfog, hynwyf, rhontus, rhontëig, gorawenus, chwerig, pranciol, gwarëus, gofregus, gorhoenus, nwyflawn, ysmala, digrif, difyr, llon.

Gamekeeper, *s.* helfilwas, miledwas, asgeifydd, miled-geidwad, helfil-geidwad, ceidwad helwriaeth.

Gameleg, *s.* (C. *cam*, yn ol *Malone*, a *leg*) clun gloff, coes gloff, camgoes, camlorp, heri.

Gameless, *a.* (*game* a *less*) dichwareu, diwareu; annifyr.

Gamesome, *a.* chwareugar, chwarëus, chwareog, chwareuol, chwerig, gwarëus, nwyfus, nwyfog, hynwyf, rhontus, rhontëig, gorawenus, gofregus, gorhoenus, nwyflawn, ysmal, digrif, difyr, cellweirus, cellweirgar, cydgamus, ysmala, llonwych, llawn chwareu, llawn o chwareu.

Gamesomeness, *s.* chwareugarwch, chwareusrwydd, chwerigrwydd, chwareogrwydd, nwyfusrwydd, rhontusrwydd, ysmaldod, difyrwch, digrifwch, llonwychder.

Gamester, *s.* (*game*, a S. *steora*) chwareuwr, chwarëwr, chwarëydd, chwariwr, chwaräwr, campwr, campiwr, taplaswr; chwampiwr, chwampiad, hapchwareuwr, hapchwariwr, chwiredwr; un chwannog i chwareu; †difyrwas; †putain: *pl.* chwareuwyr, chwampiaid, chwampwyr, &c.

Gaming, *s.* chwareuaeth, chwarëyddiaeth, chwareuad, chwaread, chware, chwareu, chwarae, gwareu.

Gaming-house, *s.* ty chwareu, hapchwareudy, hapwareudy, chwareudy, chwiredfan, chwaretty.

Gaming-table, *s.* bwrdd chwareu, chwareufwrdd, chwiredfwrdd, hapwareufwrdd.

Gammarolite, *s.* (Gr. *gammaron* a *lithos*) cregogfaen.

Gammer, *s.* (Sw. *gammal*; D. *gammel*) modryb, fy modryb.

Gammon, *s.* (It. *gamba*) morddwyd, angell, cnuch, ysgwyddog, palfais, coesgyn.

Gammon of bacon—angell *neu* goesgyn y facwn; angell hwch, cnuch mochyn, morddwyd o gig moch, palfais mochyn, bacwn wedi ei fygsychu.

Gammon, *s.* (C. *cammon* neu *cammawn*) bachgammon, bachgammawn, chwareu tawlbwrdd.

Gammon, *v. a.* bacyno, mehino; gwneuthur yn facwn; halltu a sychu yn y mwg: rhaffrwymo yr osghwylbren wrth ddurn llong.

Gammon, *v. a.* cammoni, bachgammoni; chwareu gwrhewcri â, twyllo, hudo, coegio; peri i un gredu chwedlau anhygoel.

Gammoning, *s.* rhwymraff yr osghwylbren.

Gammut, | Gamut, } *s.* (Ysp. *gamma*; Ff. *gamme*) graddia, seinradd, grisiau cerdd arwest, graddeg, griseg.

Gamopetalous, *a.* (Gr. *gamos* a *petalon*) cyflodeuddeiliog, unblodeuddeiliog, unblodeuiog, cyflodeiliog, cydflodeuddeiliog.

Gamosepalous, *a.* (Gr. *gamos*, a *sepal*) unddeiliog, unddalenog, uncibranog, undeilgenog.

Ganch, | Gaunch, } *v. a.* (It. *gancio*) gollwng i syrthiaw o le uchel ar fachau; taflu ar fachau; bwrw bendramwnwgl ar bigau *neu* gigweiniau heiyrn=dull ar gospi yn mhlith y Tyrciaid, a Thyrcaidd i'r eithaf yw y dull.

Gander, *s.* (S. *gandra*, *ganra*; Is. *ganserick*) ceiliogwydd.

Gane-fish, *s.* mornodwydd, mornydwydd, y cornbig.

Ganet, *s.*=*Gannet.*

Gang, *s.* (S., Al., Is., Sw., a D.) haid, torf, myntai, tyrfa, cnud; amgaen mwn, gwisg mwn, amsothach, amwythen; mynediad.

Press-gang, | Impress-gang, } dirgnud, rhablu, dirdorf.

Gang, *v. n.* myned, rhodio, hyntio, cydlwybro, ffrystio.

Gangboard, *s.* dringfwrdd, grisblanc, llyffastell; planc *neu* fwrdd â grisiau i gerdded ar hyd-ddo allan o gwch.

Gangdays, *s. pl.* dyddiau rhodio, dyddiau rhodiena, dyddiau tramwy; dyddiau rhodiena ar fwrdd llong.

Ganger, *s.* (o *gang*) pencnud, blaenor haid o weithwyr.

Ganghon, *s.* (Ff.) llysiau Crist; planigyn â flodeua yn wythnos y gweddïau.

Gangliac, *a.* (o *ganglion*) giglymig, giglymol, gichwyddol; perthynol i chwydd y giau.

Ganglion, *s.* (Gr. *gagglion*) giglwm, chwydd y gïau, gichwydd.

Ganglionary, *a.* giglymog, gichwyddog; yn cynnwys giglymau.

Ganglioneura, *s. pl.* (Gr. *gagglion* a *neuron*) giglymogion.

Ganglionic, *a.* (o *ganglion*) giglymol, giglymig, giglymaidd, gichwyddol, gichwyddig; perthynol i giglwm; yn perthyn i gichwydd.

**Gangrel**, *s.* (S. *ganger*) hirian, honos, climach, climach hir o ddyn; llabwst, llabi, lleban.
**Gangrenate**, *v. a.* cancru, cancro; magu y cancr; magu y cranc gwyllt; magu cig marw; magu cig drwg; madreddu, hadlu.
**Gangrene**, *s.* (Ff.; Ll. *gangræna*; Gr. *gaggraina*) cancr, cranc, cranc gwyllt, cig marw, cig drwg, marw-gig, madredd.
**Gangrene**, *v.* cancru, cancro, crancu, cranco; magu y cancr; magu y cranc gwyllt; magu cig marw; magu cig drwg; myned yn gig marw; tyfu yn gig drwg; madreddu, marwhau, mallu, hadlu, madru, braenu.
**Gangrenescent**, *a.* yn tueddu i fadru, hadlu, *neu* fadreddu; yn dechreu myned yn gancr.
**Gangrenous**, *a.* cancrog, madreddog, madrog, mallus, cancredig, braenedig, madredig.
**Gangue**, *s.* (S., Is., Al., a D. *gang*) amgaen mwn, gwisg mwn, amsothach, amwythen.
**Gangway**, *s.* (*gang* a *way*) rhodfa, tramwyfa, mynedfa; llongrodfa, rhodfa ar long.
To bring to the gangway—dwyn i'r rhodfa; dàl a ffrewyllio un.
**Gangweek**, *s.* (*gang* a *week*) wythnos y gweddïau.
**Ganil**, *s.* calchfaen brau.
**Gannet**, *s.* (S. *ganot*) gans, gwylanwydd, hucanwydd, yr wydd lygadlem.
**Ganoid**, **Ganoidal**, **Ganoidean**, *a.* (Gr. *ganos* ac *eidos*) caneidionaidd, caneidogaidd; perthynol i'r caneidbysg.
**Ganoidians**, **Ganoidia**, *s. pl.* (Gr. *ganos* ac *eidos*) caneidbysg, caneidion, caneidogion=yr ail lwyth o bysgod yn ol trefniant Mr. Agassis.
**Gantlet**, **Gauntlet**, *s.* (Ff. *gantelet*) dyrnfol, durfaneg, maneg ddur, llawegen, maneg haiarn, maneg falaen; herfaneg: *pl.* dyrnfyl, dyrnfolau, durfenyg.
Wearing a gauntlet—dyrnfolog.
To throw the gauntlet—taflu yr herfaneg; taflu y ddyrnfol; herio, rhoi her, beiddio, herfeiddio.
To take up the gauntlet—codi yr herfaneg; codi y ddyrnfol; derbyn yr her; derbyn y cynnyg.
**Gantlope**, **Gauntlet**, *s.* (T. *gang*, ac Is. *loopen?*) gwialgosp, gwialgur, curfa â gwiail.
To run the gantlope, To run the gauntlet, rhedeg yr yrfa gystwyol; rhedeg yr yrfa; rhedeg y wialgosp; rhedeg y gwialgur; derbyn *neu* oddef y wialgosp; cael gwialgur; rhedeg rhwng dwy res o filwyr i dderbyn gwialenod gàn bob milwr.
**Ganza**, *s.* (Ysp. *ganso*) elcysen, gŵydd wyllt: *pl.* elcys.
**Gaol**, *s.* (Ff. *geôle*; Ysp. *jaula*) carchar, geol, carchardy.
**Gaol**, *v. a.* carcharu, geoli; bwrw *neu* daflu yn ngharchar.
**Gaoldelivery**, *s.* (*gaol* a *delivery*) gwaghad carchar, rhyddhad carchar, arllwysiad carchar.
**Gaoler**, *s.* ceidwad carchar, geolwr, ceidwad carchardy, penaeth carchardy.
The gaoler—ceidwad y carchar.
**Gap**, *s.* (S. *geapan*; Sw. *gapa*) bwlch, adwy, ffosp; agen, gagen, ag, breg, tor, toriad, agendor, gagendor; gwagle, gwagfan, lle gwag, gwagder; agensain, dyhead; diffyg, pall, gwall, colled; twll.
To stand in the gap—sefyll ar yr adwy; sefyll yn yr adwy.
To stop a gap—cau bwlch; cau adwy.
A gap in reputation—twll mewn clod.
**Gape**, *v. n.* (S. *geapan*; Is. *gaapen*; Sw. *gaper*; Al. *gaffen*) dylyfu gen, ystwyro, ystwyrain; safnrythu, cegrythu, rhythu, ymsafnrythu, egori safn, agor safn, lledu safn; llygadrythu; agenu, gagenu, ymagenu, hollti, ymegori, ymagor, agor; dyhëu, peuo.
To gape for breath—dyhëu, dyheuo, peuo; tynu anadl dàn ddyhëu, dàn beuo, *neu* dàn luddedu; agor y geneu mewn lluddedu *neu* dàn luddedu am anadl; terthain, oriain.
To gape for *or* after—dyhëu am, crefu am, peuo am; cegrythu am; awyddu am; hiraethu am.
A great gaping—agendor, gagendor.
To gape upon one with the mouth—lledu safn ar un; safnrythu ar un; cegrythu ar un.
They gaped upon me with their mouths—cegrythasant arnaf; safnrythasant arnaf; agorasant arnaf eu genau; lledasant eu safnau arnaf.
**Gape**, *s.* dylyfiad gen, dylyfiad, ystwyrad, cegrythiad, llygadrythiad, safnrythni; cegrythni.
**Gaper**, *s.* dylyfwr gen, ystwyrwr, ystwyrydd, rhythwr, cegrythwr, safnrythwr; llygadrythwr, llygadrythydd, llygadrythyn; dyheuwr; cegyr, cegur.
A rude gaper—llygadrythwr haerllug.
**Gaping**, *p.* yn dylyfu gen, yn ystwyro, gàn gegrythu, &c.; safnrwth, cegrwth, llygadrwth, llygadrythus, rhwth, (*f.* rhoth), safnegored, safn-egor; anghysswllt, digysswllt, egored, agored; agenog, holltog, agog; gwancus, awyddus.
A gaping hoiden—hoeden lygadroth, hoeden lygadrythus, llygadrythes haerllug, llygadryth-wraig haerllug; benyw à sylla yn ddigywilydd yn wyneb un.
To stand gaping upon one—llygadrythu ar un; sefyll yn llygadrythu ar un.
**Gap-toothed**, *a.* dantrwth, dantrythus.
**Gar**,† *v. a.* (Goth. *goera*) achosi, peri, gwneuthur, cymhell.
**Gar**, *s.* (S.) amryfath o bysg.
**Garagay**, *s.* un o reibadar Mecsico.
**Garb**, *s.* (Ff. *garbe*) gwisg, gwisgad, dillad, trwsiad, diwyg, archenad, amde, archre, archro, achris; dull, arddull, dullwedd, golwg, ymddangosiad, gwedd, y wedd oddi allan, yr olwg allanol, drych.
**Garb**, *s.* (Ff. *gerbe*; Ysp. *garba*) ysgub, ysgub o yd.
**Garbage**, *s.* (Ysp. *garbear?*) perfedd, coludd, ymysgar, perfeddion, coluddion, ymysgaroedd, tripa, syrth; ysgarthion, budreddion, llytrod, carthion, brynti, budredd, bryntion, sothach.
**Garbaged**, *a.* diberfeddedig; gwedi ei ddiberfeddu; diberfedd, digoludd.
**Garbed**, *a.* (o *garb*) gwisgedig; gwedi ei wisgo.
**Garbel**, *s.* cilblanc, cilastell; y planc nesaf i waelod llong.
**Garble**, *v. a.* (Ysp. *garbillar*; Ff. *cribler*) glanburo, disorodi, darnbigo, pigo, dichlyn, dethol, pigo y goreu; tynu *neu* bigo ymaith y sothach; glanhau, puro, dïanmhuro, difrychu, diheuddyd; gogrynu; gwahanu; dysbaddu.

**Garbler**, *s.* glanburwr, disorodwr, darnbigwr, pigwr, purwr, purydd, dichlynwr, difrycheuwr, gogrynwr, gogrynydd.

**Garbles**, *s. pl.* sothach, sorod, swtrach, llytrod; sothach perlysiau a chyfferi, &c.

**Garboard**, *s.* cilblanc, cilastell; y planc nesaf i waelod *neu* drumwydd llong.
- Garboard plank—cilblanc, cilastell, &c.
- Garboard streak—cilres; y rhes gyntaf o blanciau à osodir ar waelod llong yn nesaf i'r trumwydd.

**Garboil**,† *s.* (hen Ff. *garbouil;* It. *garbuglio*) cynhwrf, terfysg, cyffro, ymgiprys, twrdd, trabludd, moloch.

**Gard**, *s.*=*Guard.*

**Gardant**, / **Guardant**, *p. p.* (Ff.) gwyliog, gwylig; gwyneblawn; yn syllu, yn edrych.

**Garden**, *s.* (Al. *garten;* Ysp. a Ff. *jardin*) gardd; *pl.* gerddi.
- Flower-garden—gardd flodau, blodeuardd, gwullardd, blodeufa, blodeule; rhosfa.
- Kitchen-garden—ceginardd, arbawr, gardd cegin, gardd y gegin.
- Fruit-garden—ffrwythardd, gardd ffrwythau, gardd ffrwyth.
- Botanic garden—gardd blanigion, llysieuardd, llyseuardd, gardd lysiau, gardd lyseuol, llyseufa, llysieufa.
- A garden of roses—rhosardd, rhosfa, gardd ros.
- A little garden—gardden, gardd fechan, gardd fach.
- Garden husbandry — gardd-lafuriaeth, gardd-hwsmonaeth, gardd-amaethiaeth, diwyllodraeth gerddi, garddwriaeth.
- Garden of herbs — gardd lysiau; gardd fresych.

**Garden**, *v. a.* garddu; trin gardd.

**Garden-Balsam**, *s.* ffromlys y gerddi, ffromlys yr ardd.

**Gardener**, *s.* (o *garden*) garddwr.

**Gardening**, *s.* garddwriaeth; garddiad.

**Gardenless**, *a.* diardd, heb ardd.

**Garden-mould**, *s.* pridd gardd, pridd yr ardd; pridd ffaeth, pridd bras; pridd cymhwys i ardd; garddweryd.

**Garden-plot**, *s.* gwely gardd, llain o ardd, cadlas gardd, talwrn gardd, planfa gardd.

**Garden-stuff**, *s.* ffrwythau gardd, ffrwyth gardd, llysiau gardd, pethau gardd.

**Garden-tillage**, *s.* triniaeth gardd, diwylliaeth gardd, diwyllodraeth gardd, gardd-lafuriaeth, cywyllodraeth gardd.

**Garden-ware**,† *s.* cynnyrch gardd, ffrwyth gardd.

**Gardon**, *s.* math ar bysg o ryw y torgoch.

**Gare**, *s.* gwlan garw; ceden; coeswlan, gwlan coesau.

**Garfish**, / **Gar**, *s.* mornodwydd, mornydwydd.

**Gargany**, *s.* hwyad addfain.

**Gargarism**, *s.* (Ll. *gargarismus;* Gr. *gargarizô*) cegolch, geneuolch, safnolch, ceglyn, geneulyn, gyddfolch, golch geneu, meddygolch geneu; llyn meddygol i olchi y geneu a'r geg.

**Gargarize**, *v. a.* (Gr. *gargarizô;* Ll. *gargarizo*) cegolchi, geneuolchi, safnolchi, dygegu, gyddfolchi; golchi y geneu a'r geg; meddygolchi y geneu a'r geg.

**Garget**, *s.* (Ff. *gorge;* It. *gorga*) cogendag=math o haint ar anifeiliaid.

**Gargil**, *s.* pensythwst=haint ar wyddau.

**Gargle**, *v. a.* (Ff. *gargouiller;* Al. *gurgeln*) cegolchi, geneuolchi, safnolchi, dygegu, gyddfolchi; golchi y geneu a'r geg; meddygolchi y geneu a'r gwddf; chwareu yn y gwddf.

**Gargle**, *s.* cegolch, geneuolch, safnolch, gyddfolch, ceglyn, geneulyn, golch geneu, meddygolch geneu; llyn meddygol i olchi y geneu a'r geg.

**Gargol**, *s.* haint ar foch, hobwst.

**Gargoyle**, / **Gargoil**, / **Gurgoyle**, *s.* (Ff. *gargouilles*) murwaddeg, cerfwaddeg=pistyll cerfiedig yn dyfod allan o fur neu wal.

**Garish**, *a.*=*Gairish.*

**Garland**, *s.* (Ff. *guirlande*) gwyrlen, coronbleth, deilbleth, deildorch, trobleth, gwulldorch, gwullbleth, blodeubleth, gerlawnt, coronbleth o ddail *neu* flodau; coron, coronig, talaith; blodeugrawn; pen, y peth penaf; nester morwyr.
- Wearing garlands, / Wearing a garland, gwyrlenog, deilblethog, coronblethog, blodeublethog, blodeugoronog; yn gwisgo gwyrleni; taleithiog.
- Oxen and garlands — teirw a garlantau (*Act.* xiv. 13).

**Garland**, *v. a.* gwyrlenu; addurno à gwyrlen, &c.

**Garlandless**, *a.* diwyrlen, diddeilbleth; heb wyrlen, &c.

**Garlic**, *s.* (S. *garlec, garleac;* Gw. *gairleog*) garlleg, craf y gerddi, craf ewinog, cenin ewinog, craf, graf.
- Viper's garlic—craf y nadroedd.
- Chive garlic—cibellyn, cibellys, corwynwyn, cybyddlys.
- Crow garlic—craf gwyllt, garlleg gwyllt, wynwyn gwyllt, wynwyn y maes, wynwyn y cwn, triagl y tlawd.
- Broad-leaved garlic, / Ramsons, craf y geifr.
- Garlic hedge-mustard—garllegog, yr arllegog, garlleg-ferwr, garlleg-ferwy, troed yr asen.
- Clove of garlic—craf-ewin, ewin garlleg, ewin o arlleg.
- Garlic peartree — craf-berwydden, crafelleigwydden, craf-elleigbren, perbren garllegog.

**Garlic-eater**, *s.* bawddyn, bawyn, bawai, un lledrywiog; garllegysawr, crafysawr.

**Garment**, *s.* (Norm. *garnament;* hen Ff. *guarniment*) gwisg, dilledyn, tudded, tuddedyd, pilyn, twyg, telyw, amde, achre, achres, trws, piner, amdawd: *pl.* gwisgoedd, dillad, archro, archre.
- Under garment—crysbais; iswisg, rhagwisg, gwisg isaf.
- Upper garment—arwisg, gorwisg; cochl; gwisg uchaf.
- Fringed garments—dillad siderog.
- Silk garment, / Garment of silk, gwisg sidan, sidanwisg; gwisg bali, gwisg o bali.
- Linen garment — llieinwisg, gwisg liain, gwisg o liain, dilledyn llin.
- A garment of fine linen—gwisg o fliant *neu* feinllin; gwisg o liain main; gwisg feinllin, gwisg fliant.
- Woollen garment — brethynwisg, gwisg frethyn.
- Holyday garment—pilyn dydd Sul, gwisg ddydd Sul.

Geography, *s.* (Gr. *geôgraphia*) daiaryddiaeth, daiargraffiaeth.

Physical geography—daiaryddiaeth anianyddol.

Geological, *a.* (o *geology*) daiaregol, daiarofyddol, daiardreithiol.

Geologist, *s.* daiarofydd, daiaregydd, daiaregwr.

Geologize, *v. n.* daiarofyddu, myfyrio daiareg, efrydu daiarddysg.

Geology, *s.* (Gr. *gê* a *logos*) daiareg, daiarofyddiaeth, daiarddysg, daiardraith.

Geomancer, *s.* daiarddewin, daiargoeliwr.

Geomancy, *s.* (Gr. *gê* a *manteia*) daiargoel, daiarogan; dewiniaeth drwy dynu lluniau a gwneuthur cwmpasau ar y ddaiar.

Geomantic, *a.* dargoelig, daiargoelus, daiargoelin, daiargoeling, daiaroganus; perthynol i ddaiargoel.

Geometer, } *s.* (Gr. *geômetrês*) meidrofydd,
Geometrician, } meintonydd, meintonwr, mesuronydd, mesurydd, gwyddonydd.

Geometral, *a.* meidrofyddol, meintonol; perthynol i feintoniaeth.

Geometric, } *a.* (Gr. *geômetricos*) meidrofydd-
Geometrical, } ol, meintonol, medonol, mesuronol, mesuryddol.

Geometrically, *ad.* yn feidrofyddol, &c.; yn ol rheolau meidrofyddiaeth.

Geometrize, *v. a.* meidrofyddu; gwneuthur yn feidrofyddol; gwneuthur yn ol rheolau *neu* ddeddfau mesuryddiaeth.

Geometry, *s.* (Gr. *geômetria*) meidrofyddiaeth, mesurofyddiaeth, meintoniaeth, medoniaeth, meintoni, meintofyddiaeth; mesureg, mesuryddiaeth.

Elementary geometry — meidrofyddiaeth elfenol.

Geomys, *s.* (Gr. *gê* a *mus*) tudlyg.

Geoponic, *a.* (Gr. *gê* a *ponos*) tirlafuriol, tirdriniol, tirddiwylliol, tirddiwyllus, amaethonol, amaethyddol, tiramaethol; perthynol i drin tir.

Geoponics, *s.* llafuriaeth, tirlafuriaeth, tirddiwylliaeth, tirdriniaeth, tirddiwyll, tirddiwyllawd.

Georama, *s.* (Gr. *ge* a *horama*) daiarwel=math o beiriant à ddengys olwg dra chyflawn o'r ddaiar.

George, *s.* marchoglun St. Siôr, à wisgir gàn Farchogion y Gardas: torth eilflawd.

George-Nôble — Siôr Nobl=darn aur yn amser Harri VIII., gwerth 6*s.* 8*c.*

Georgic, *s.* (Gr. *geôrgicos*) llafureg, llafurgerdd, llafurgan.

The Georgics of Virgil—Llafuregau Virgil, Llafuregion Virgil.

Georgic, *a.* llafuregol; llafuriol, amaethyddol, tirdriniol; perthynol i amaethyddiaeth; perthynol i orchwylion gwladaidd.

Georgium Sidus, *s.* (Ll.; o barch i *George* III.) Seren Siôr, Seren Georg; Uranus, Herschel.

Geosaurus, *s.* (Gr. *gê* a *sauros*) daiarfadion.

Geoscopy, *s.* (Gr. *gê* a *scopeô*) daiarsylliaeth, gwybodaeth o'r ddaiar trwy syllu arni.

Geotic, *a.* (Gr. *gê*) daiarig, daiarol, daiaraidd, deierin.

Geranium, *s.* (Ll. o'r Gr. *geranion*) pig yr aran, garanbig, mynawyd y bugail.

Gerent, *a.* (Ll. *gerens*) dygol, dygiadol, yn dwyn, cludol.

Gerfalcon, *s.* (Ff. *gerfaut;* Ll. *gyrus* a *falco*) hebog chwyldro.

Germ, *s.* (Ll. *germen*) blaguryn, blaendardd, eginyn, blagur, bragur, baldardd, hadflaguryn, hadflagur, hadfal, bywull, impyn, hedyn, rhith; dechreu, dechreuad, cynddansawdd, cynegwyddor, elfydd, anian, cychwyn.

German, *a.* (Ll. *germanus*) cyfnesaf; unwaed, cyfrywiol, rhywiog, naturiol.

Brother german — brawd undad unfam, gwirfrawd, brawd calon, brawd unwaed.

Cousin german—cefnder, cefnderw, cefnder unwaed: *pl.* cefndyr, cefndyrw, cefnderoedd, cefnderon, cefnderwedd, cefnderwydd, cefnderwyr: *f.* cyfnither, cyfnitherw: *pl.* cyfnitheroedd, cyfnitheron, cyfnitheredd.

Germander, *s.* (Ff. *germandrée*) derlys, derwlys, derwen y ddaiar.

Wild germander, } rhwyddlwyn blew-
Germander speedwell, } ynog.

Germander chickweed—rhwyddlwyn gorweddol.

Water germander—derlys y dwr, derwlys y dwr, ysgyr.

Wall germander—derlys y fagwyr, llysiau Cadwaladr.

Wood germander — derlys y goedwig, chwerwyn y twyn, chwerwlys yr eithin, llwyd yr eithin, triagl y Cymro, ceidwad wyllt.

Germen, *s.*=*Germ.*

Germinal, *a.* (Ll. *germinalis*) blagurol, blaendarddol, hadflagurol, eginol, bywulliog.

Germinal, *s.* enw mis yn Ffrainc Chwyldroawl, Mawrth 21 hyd Ebrill 19.

Germinant, *a.* (Ll. *germinans*) blaendarddol, blagurol, balgurol, baldarddol, balannol, eginol; yn tarddu allan, yn blaguro.

Germinate, *v.* (Ll. *germino*) blaendarddu, blaguro, bywullu, egino, baldarddu, blaendyfu, balannu, pibori, agor, impio, tarddu, rhithio.

Germination, *s.* (Ll. *germinatio*) blaendarddiad, blaguriad, baldarddiad, eginad, impiad, bywulliad, bywulliant, piboriad, tarddiant allan, darfalant, blaendyfiad; blaendardd, blaendwf, tardd, bala, twf; blagurawd, bywullawd, amser blaendarddu.

Gerocomical, *a.* perthynol i driniaeth hen bobl.

Gerocomy, *s.* (Gr. *gerôn* a *comeô*) triniaeth feddygol hen bobl.

Gerund, *s.* (Ll. *gerundium*) cyfrediad, gorchwylydd.

Gess, *s.* (It. *getti, zetti*) taflhual, taflhualen; addurn gwalch; y careion am goesau gwalch.

Gest,† *s.* (Ll. *gestum*) gweithred, gorug; dangosiad, arddangosiad.

Gest, *s.* (Ff. *gîte*) teithraddlyfr, rhes teithranau, teithrol; † teithradd, teithran.

Gestation, *s.* (Ll. *gestatio*) cyfebriad, beichiogiad, beichiogi, beichiogrwydd, torogiad, dygiad yn y groth; dygiad, cludiad; gwisgad.

Gestatory, *a.* (Ll. *gestatorius*) dygadwy, arweddadwy; gwisgadwy.

Gestic, *a.* (o *gest*) gweithrediadol, gorugiol; perthynol i weithredoedd; ffugiol, chwedleuol, ffuglithiol.

Gesticulate, *v.* (Ll. *gesticulor*) ystumio, mydumio, munudio, chwidro; gwneuthur munudiau, ystumiau, mydumiau, *neu* lamidyddiaeth; chwareu yr ysgentyn; efelychu, dynwared, gweithredu, awgrymu, amneidio.

**Gesticulation,** *s.* (Ll. *gesticulatio*) ystumiad, mydumiad, munudiad, chwidrad, ystumiaeth, mydumiaeth, ffunudiaeth, chwydawiaeth; gwneuthuriad ystumiau, mydumiau, *neu* funudiau; ymddygiad, agweddiad: *pl.* ystumiau, mydumiau, munudiau, castiau, castiau digrif.

**Gesticulator,** *s.* ystumiwr, mydumiwr, munudiwr, ysgentyn.

**Gesticulatory,** *a.* ystumiol, mydumiol, munudiol, amneidiol.

**Gestor,**† *s.* (Ll.) hanesydd, adroddwr.

**Gesture,** *s.* (Ll. *gestus;* Ff. *geste*) ystum, mydum, munud, amnaid, awgrym, agwedd, arweddiad, arddull, ymddygiad; moes; safiad; llechwen.

Full of gestures — ystumiog, munudiog, mydumiog, ystumgar; llawn ystumiau, &c.

**Gesture,** *v. a.* ystumio, mydumio, munudio, amneidio.

**Gestureless,** *a.* dïystum, difydum, difunud; heb ystumiau, &c.; rhydd oddi wrth funudiau.

**Gesturement,** *s.* ystumiad, mydumiad, munudiad; gwneuthuriad ystumiau *neu* funudiau.

**Get,** *v.* (S. *getan, gytan, geatan*) cael, caffael; ceisio; darparu, darmerth, parotöi, mynu; dwyn, dwyn allan; ennill, ynnill, elwa, maelio; cyrhaedd, cyrhaeddyd; meddiannu, goresgyn, perchenogi; gwneuthur, peri, peru; cymmeryd; dysgu; cenedlu, hilio; darbwyllo; casglu, hely; dyfod; dyfod i; myned; myned i, myned yn; bod gàn; bod.

To get above, To get before, To get beyond, } myned uwch law; myned o flaen; myned tu hwnt i; cael *neu* ennill y blaen ar; myned dros; gadael ar ol; gadael o'i ol; rhagori ar, blaenu ar; trechu.

To get abroad—myned allan; myned ar led; myned yn gyhoeddus.

To get acquaintance—ennill cyfeillach; ennill iddo ei hun gyfeillion; ffurfio *neu* wneuthur cydnabyddiaeth; ennill adnabyddiaeth.

To get acquainted with one—gwneuthur cydnabyddiaeth âg un; myned mewn cydnabyddiaeth âg un; myned yn gydnabyddus âg un; myned mewn cydnabod *neu* gyfeillach âg un; ymgydnabod âg un; dyfod yn gydnabyddus âg un.

To get ahead — myned yn mlaen; myned rhagddo; dyfod yn mlaen; dyfod rhagddo; llwyddo, ffynnu, tycio.

To get along—myned rhagddo; myned yn mlaen; myned yn y blaen; dyfod rhagddo, &c.

To get along—myned yn mlaen; myned yn y blaen; myned rhagddo; dyfod rhagddo; dyfod yn mlaen.

To get among—dyfod i fysg *neu* i blith; myned i blith *neu* i fysg; ymgymmysgu â; dyfod *neu* fyned yn un o'r nifer.

To get an inkling of a thing—cael lledwybodaeth o *neu* am beth; cael awgrym o *neu* am beth; cael brith arwynt ar beth; lled arogli peth; brith ddeall peth.

To get asleep—myned yn nghwsg; syrthio yn nghwsg; syrthio i gwsg; myned yn nghwsg; syrthio i gysgu; huno, cysgu.

To get at—cyrhaedd, cyrhaeddyd; myned at, dyfod at, dyfod i; dyfod o hyd i.

To get away—ymadael, ymadaw; dïanc, ffoi; myned ymaith *neu* ffwrdd; ffoi ymaith, ffoi ffwrdd; ymryddhau, ymddirwydo, ymddirwyllo, ymddinidro; troi o'r neilltu.

To get away from a pursuer—dïanc rhag ymlyniad; ffoi rhag erlynydd.

To get back—dyfod yn ol; dychwelyd; troi yn ol.

To get between—cyrhaedd rhwng; myned rhwng.

To get behind—bod yn ol; bod ar ol; aros ar ol; aros yn ol; sefyll ar ol; sefyll yn ol; aros yn olaf; llercian, hirdrigo.

To get by—myned heibio; pasio heibio.

To get by entreaty—cael trwy ddymuned.

To get by heart—dysgu ar dafodleferydd; dysgu ar ei dafod; dysgu allan.

To get children—ennill plant, cael plant, planta; cenedlu plant.

To get clear—ymryddhau, ymddirwydo, ymddirwystro, ymddirwyllo; myned yn rhydd; dyfod yn rhydd; cael ei ryddhau; hebrwng oddi wrtho; cael ei ben yn rhydd.

To get down—disgyn; myned *neu* ddyfod i lawr; dyfod *neu* fyned i waered.

To get drunk—meddwi; myned yn feddw.

To get forward—myned yn mlaen; myned yn y blaen; myned rhagddo; dyfod yn mlaen; dyfod rhagddo; llwyddo, ffynnu, tycio.

To get home — dyfod adref, cyrhaedd cartref, cyrhaedd adref.

To get in—cael i mewn; cael dàn do; cael i ddiogelwch; cywain.

To get in, To get into, } myned i, dyfod; myned yn, dyfod yn; myned i mewn; ymwthio i mewn; ymlithro i mewn; ymlusgo i mewn; cael ei hun i mewn.

To get into one's favour—ennill bodd un; ennill ewyllys da un; myned mewn parch *neu* gymmeriad gydag un; ymwthio i ewyllys da un.

To get a lesson—dysgu gwers; codi gwers.

To get loose, To get free, } ymryddhau, ymddirwydo, ymddirwyllo, ymrwyllo, ymddirwystro; myned yn rhydd; dyfod yn rhydd; cael ei ben yn rhydd.

To get a mile—cerdded milltir, myned milltir, teithio milltir; myned *neu* gerdded milltir o ffordd.

To get near—agoshau, neshau, nesu, dynesu, dyneshau, ymneshau, ymnesu; myned *neu* ddyfod yn agos.

To get off — myned ymaith; ymadael; dïanc, ffoi; dihatru, tynu ymaith, tynu oddi am, tynu i ffwrdd, dadwisgo; ymryddhau, ymddirwydo; cael gwared o; gwaredu; symmud; disgyn; gwerthu, rhoi ar werth.

To get off a horse—disgyn oddi ar geffyl; disgyn oddi ar gefn ceffyl.

To get on—myned yn mlaen; myned yn y blaen; myned rhagddo; dyfod yn mlaen; dyfod rhagddo; gwisgo, rhoi am, rhoi am dano, ymwisgo â.

To get on a garment—gwisgo dilledyn; ymwisgo â dilledyn; rhoi dilledyn am dano.

To get on horseback—myned ar geffyl; myned ar gefn ceffyl; esgyn *neu* ddringo i gefn ceffyl.
To get out—cael allan, tynu allan, mynu allan, cael i maes, dwyn allan; rhyddhau; myned allan, dyfod allan; diänc, ffoi, diänc allan; ymryddhau.
To get over—gorchfygu, trechu, gorfod ar, gorthrechu; cael yr oruchafiaeth ar; cael y trechaf ar; cael y gorfod ar; cael y goreu ar; cael y llaw uchaf ar; ennill y dydd ar; maeddu; gwella o, gwellhau o, ymiachäu o; myned dros; dyfod drwy.
To get ready — gwneuthur yn barod; parotöi, darparu.
To get rid of, } cael gwared o; mynu
To get quit of, } gwared o; rhyddhau o; rhyddhau oddi wrth; ymryddhau o; ymryddhau oddi wrth; ysgwyd ymaith; symmud; mynu llonydd gàn; bwrw, symmud, *neu* daflu oddi arno.
To get safe home—dyfod yn iach adref.
To get the better—cael y goreu; cael yr oruchafiaeth *neu* y fuddugoliaeth; cael y maes; cael y llaw uchaf *neu* drechaf; cael y trechaf; ennill y maes; ennill y fuddugoliaeth *neu* yr oruchafiaeth; myned â'r maes; myned â'r trechaf; ennill *neu* gario y dydd; gorchfygu, trechu, gorfod, gorthrechu, gortrechu, goresgyn.
To get the day—ennill y dydd; cael y dydd; cario y dydd; myned â'r dydd; ennill y gamp; myned â'r gamp; cael y maes; cael y goreu; myned â'r maes; ennill y fuddugoliaeth, &c.; ennill, gorchfygu, trechu.
To get a thing out of one—tynu, mynu, *neu* gael peth allan o un.
To get through—myned drwy; treiddio trwy; tori trwodd; gorphen, dybenu, cyflawnu.
To get to—myned i; cyrhaedd, cyrhaeddyd, cyrhaeddu; dyfod i.
To get to land—cyrhaedd tir, cael tir; myned i'r làn; dyfod i'r làn; myned i dir; dyfod i dir; tirio, glanio.
To get together — hel yn nghyd; cynnull, casglu, tyru, crugio, pentyru; casglu *neu* gynnull yn nghyd; dwyn yn nghyd; ymgasglu, ymgynnull, crynöi, ymgrynöi, cyfarfod, dyfod yn nghyd.
To get up—cyfodi, codi; esgyn, dringo; myned i fyny; ymgymmeryd; myned; ymsymmud; cymmeryd; dwyn yn mlaen; dysgu, parotöi; gwneuthur yn barod; tynu, codi, dwyn, cael, *neu* fynu i fyny.
To get with child—beichiogi; gwneuthur *neu* beri yn feichiog; trymhau.
Get up—cwyd, cyfod, coda, cyfoda.
Get thee away—dos ymaith; dos i ffwrdd; dos i'th ffordd; i ffwrdd â thi; ymaith â thi; cerdd i gerdded; cerdd i dy ffordd.
Get ye gone — ewch ymaith; ymaith â chwi; ffwrdd â chwi; ffwrdd.
Get thee hence, Satan—ymaith, Satan.
Get thee gone, base fellow—ymaith, ddiffaethwr.
The report was got abroad—aethai y son allan; aethai y gair allan; aethai y sa ar led.
He will get—caiff, ceiff, ca; â, e â.

Getter, *s.* (o *get*) caffaeliwr, caffaelydd; ennillwr, ennillydd; cenedlor, cenedlwr.
Getters, *s. pl.* cloddwyr, daiargloddwyr.
Getting, *s.* caffaeliad, caffad, caffawd, cafawd, cafaeth, cäad; ennilliad, ynnilliad; ennill, elw, mael.
There is no getting of it again—ni cheir mo hono drachefn; nid oes modd i'w gael yn ol.
Getting in the top—gwneuthur nen aes gromglwyd amserol (mewn ceuffyrdd).
With all thy getting get understanding—â'th holl gyfoeth cais ddeall (*Diar.* iv. 7).
Geum, *s.* (Ll. o'r Gr. *geuó*) mabgoll, llysiau fy anwylyd, bendigeidlys.
Gewgaw, *s.* (S. *ge-gaf?* Ff. *joujou?*) tegan, coegbeth, ffril, tegan plant bach, gofregedd, coeg chwareubeth.
Gewgaw, *a.* teganaidd; coeg, diwerth; dangosiadus a diwerth.
Geyser, *s.* (o'r Isl.) ffynnon ferw; enw a roir i ffynnonau berwedig Ynys yr Iâ.
Ghastful,† *a.* (S. *gastlic*) hyll, erchyll, irad, echryslawn, prudd, pruddwedd.
Ghastliness, *s.* (o *ghastly*) hyllrwydd, erchylldod, erchyllrwydd, erchylldra, hylldra, iradrwydd, iradedd, hyllrwydd gwedd, erchylldod golwg, erchwedd, ysbrydwedd; celyrwedd, gwelwedd; gwelwedd angeuol yn yr wynebpryd; tebygrwydd i wedd yr angeu; gwedd angeuaidd.
Ghastly, *a.* (S. *gastlic*) erchyll, irad, hyll, celaneddog, celanaidd, llurgunaidd, trengwedd, girad, cethin; hyll ei wedd; irad ei olwg; tebyg i ysbryd *neu* anysbryd; âg angeu yn ei wedd; glas, gwelw, *neu* laswelw fel ysbryd *neu* yr angeu; angeuaidd, dïenig, oerwelw, gwelw, gwelwlas, glaswelw; echryslawn, erch, echrys, echrydus, aethus, ansiriol, anhylon, dychrynllyd, echrysol, arswydus, iradus.
A ghastly look — hylldrem, hyllwedd, erchwedd, golwg irad.
Ghastness,† *s.*=*Ghastliness.*
Ghaut, *s.* (gair Indiaidd) rhes o fynyddau, cyfres o fynyddoedd, mynyddres, myntres; bwlch, adwy, ffosp, trawien, *neu* gulffordd trwy fynydd; rhesffordd; grisiau yn disgyn i afon; disgynres.
The Ghauts of Hindustan — Myntres Hindwstan, Mynyddres Hindwstan, Myntresi Hindwstan.
Ghee, *s.* ymenyn ter, arferedig yn yr India.
Gherkin, *s.* (Al. *gurke*) cucumer cyffeithiedig, chwerfwr cadwadwy.
Ghess,† *s.*=*Guess.*
Ghost, *s.* (S. *gast;* Al. *geist;* Is. *geest*) ysbryd; enaid; ellyll, gwyll, anysbryd, bwgan, bwg, bwbach, mwci, drychiolaeth.
Holy Ghost — Ysbryd Glân, yr Ysbryd Glân, yr Ysbryd Santaidd, y Glân Ysbryd, y Santaidd Ysbryd.
Ghosts of the dead—ysbrydion y meirw, eneidiau y meirwon; gwyllon, gwyllion, anysbrydion, gwag ysbrydion, ellyllon.
To give up the ghost—rhoi *neu* roddi i fyny yr ysbryd; ymadael â'r ysbryd; ymadaw â'r enaid; marw, trengu; llesmeirio.

**Ghost,†** *v.* marw, trengu; aflonyddu âg ysbryd, blino â drychiolaeth.
**Ghostless,** † *a.* diysbryd, difywyd.
**Ghostlike,** *a.* ysbrydaidd; tebyg i ysbryd; irad, hyll, erchyll, trengwedd; hyll ei wedd; gwyw, gwywedig; llygadbyllog.
**Ghostliness,** *s.* (o *ghostly*) ysbrydolrwydd, ysbrydoldeb.
**Ghostly,** *a.* (o *ghost*) ysbrydol; eneidiol; perthynol i ysbryd; perthynol i wyllon; ellyllaidd, lledrithiol.
Ghostly enemies—gelynion ysbrydol.
**Ghote,** *s.* ysbryd drwg dychymygol yn mhlith y Dwyreinwyr.
**Ghoul,** *s.* elfod â ymborth ar y meirw (yn ol breuddwydion y Dwyrain).
**Giallolino,** *s.* (It. *giallo*) melyn Naples, tegfelyn=math o baent melyn teg.
**Giambeaux,†** *s. pl.* (hen Ff. o *jambe*) coesarfau, coesarnau, coeswisg.
**Giant,** *s.* (Ff. *géant;* It. ac Ysp. *gigante;* Ll. a Gr. *gigas*) cawr; *pl.* cawri, cewri.
Giant's Causeway, Giants' Causeway, Giants' Causey, } Sarn y Cawr, Sarn y Cawri.
**Giant,** *a.* cawraidd, cawr-; gorfawr, anferth, enfawr, amrosgo, dirfawr; anferth o faint.
Giant son—cawr-fab.
**Giantess,** *s.* cawres; gwiddanes.
**Giant-fennel,** *s.* marchffenigl, cedorwydd.
**Giantize,** *v. n.* chwareu y cawr.
**Giant-killing,** *a.* cawrladdol; yn lladd cawri.
**Giantlike, Giantly,** } *a.* cawraidd; anferth o faint; anferth ei faint; enfawr, gorfawr, amrosgo, abrwysgl, dirfawr.
**Giantry,** *s.* y cawri, y cewri, yr hil gawraidd; cawrdod.
**Giantship,** *s.* cawredd, cawraeth, cawrdod, cawrder, cawrdeb; sefyllfa, ansawdd, *neu* nodwedd cawr.
**Giaour,** *s.* (Tyrc.=ci) anghredadyn, anffyddloniad, anffyddiwr=enw â rydd y Mahometiaid i bawb ond hwy eu hunain.
**Gib,†** *s.* cath.
**Gib,†** *v. n.* bod fel cath; ymddwyn fel cath.
**Gibbe,†** *s.* hen anifail methedig.
**Gibber,†** *v. n.* (cyfathrach i *jabble* a *jabber*) baldorddi, ffregodi, lloliau.
**Gibberish,** *s.* (o *gibber*) ffreg, ffrec, ffregod, ffregawd, ffregodiaeth, ffregiaith, ffugiaith, ffiloreg, clebar, clegyr, clegar, baldordd, chwaldod, chwaldordd, peprwn, pepraeth, pepre, llol, gwagsiarad, ofersiarad, brygawthen; ffol eiriau ffiloreg.
**Gibberish,** *a.* ffregodaidd, ffregaidd, baldorddus, chwaldodus; annealladwy, disylwedd, disynwyr.
**Gibbet,** *s.* (Ff. *gibet;* Llyd. *gibel*) crogbren, crogwydd, hongwydd; trawslath.
**Gibbet,** *v. a.* crogosod, tidgrogi, tidhongian; crogi ar grogbren; rhoi yn nghrog ar bren; crogi.
**Gibbier,†** *s.* (Ff. *gibier*) heladar, helfilod, asgafaeth.
**Gibble-gabble,** *s.* baldordd, siaradach; ffregod, ffrec, brygawthen, oferglep; ymddadl heb na rhimyn na rheswm.
**Gibbose,** *a.* (Ll. *gibbosus*) oddfog, cnyciog, hyrygog, crwca.
**Gibbosity, Gibbousness,** } *s.* (Ff. *gibbosité;* o'r Ll. *gibbosus*) crythogrwydd, crythedd, crwmach, crothogrwydd, argrymedd, crytholdeb, crytholrwydd, crymedd, crymgant, cynghrynedd, oddfogrwydd, tyddfogrwydd, argrynedd; oddf, cnwc, twddf, chwydd, crwb, crymddull; cefngrymedd; bolgrymedd.
**Gibbous,** *a.* (Ll. *gibbosus*) crythog, crwm, argrwm, crythol, crythaidd, crythedig, oddfog, hyrygog, tyddfog, crymaidd, amgrwm, crwbi, argrwn; cefn-grwm, cefn-hwrwg, cefn-grwba, cefn-grwbi, cefn-grwth, cefngrwca; gwargam; yn chwyddo allan; â bolchwydd ynddo; â chrwth iddo.
The moon is gibbous—mae y lleuad yn grythog.
**Gibbously,** *ad.* yn grythog, &c.; ar wedd crwth.
**Gibbsite,** *s.* (oddi wrth Geo. *Gibbs*) delidfaen â geir yn Massachusetts.
**Gibcat,** *s.* gwrcath, cath wryw; hen gath.
**Gibe,** *v.* (S. *gabban;* Ff. *gaber*) gwawdio, gwatwar, gwatwor, dirmygu, goganu, greffio, difrïo, anfrïo, difenwi, senu, mocio; dannod; chwerthin am ben; dyfalu.
**Gibe,** *s.* gwawd, gwatwar, gwatwor, greff, dirmyg, anfri, sen, moc, gogan; gwatwargerdd, gwatworgerdd, cellweirgno.
**Giber,** *s.* gwawdiwr, gwawdydd, gwatwarwr, gwatworydd, gwatworwr, greffiwr, senwr, goganwr, difrïwr, dyn gwatwarus, dyn gwatworgar.
**Gibingly,** *ad.* yn wawdus, yn watworus, yn watworgar, o watwar, o wawd, dàn watwar, mewn gwawd.
**Giblets,** *s. pl.* (Ff. *gibier*, yn ol *Iunius;* Goth. *gibla*, aden) syrth gŵydd, syrth.
Giblet-pie—pastai syrth.
**Gibstaff,** *s.* hirffon.
**Giddily,** *ad.* (o *giddy*) yn benysgafn, &c.
**Giddiness,** *s.* (o *giddy*) penddaredd, pendro, y bendro, penddar, gysp, meigryn, ehegr, penfrag, gwibwrn; penchwibandod, penysgafnder, madrondod, pensyfrdandod, syfrdandod, syfrdanedd, syfrdander, penwendid, penwander, chwidredd, pensyndod; anwadalwch, anwadaledd, anwadalrwydd, gwamalwch, gwamalder, ansefydlogrwydd, anofaledd, ysgafnder, nwyfusrwydd, nwyfiant.
**Giddy,** *a.* (S. *gidig*) penysgafn, penwan, pendröedig, pendroiog, penchwiban, chwidr, chwidrog, pensigl, syfrdan, pensyfrdan, penffol, penddarus, pendroawl, dystroawl, chwildroawl, chwyldroawl; chwidrol, syfrdanus, syfrdanol, chwibwrn, gwibwrn, serf, serfyll; â'r bendro arno; ysgoewan, ysgoewain, anwadal, gwamal, ansefydlog, anwastad, anhysaf, ansafadwy, syfal, newidiol, oriog; difeddwl, esgeulus, diymdawr, anofalus, anystyriol, dibryder, byrbwyll; meddw, penfeddw.
**Giddy,** *v.* chwidro, dyströi, chwildröi, pendröi, penddaru, pensiglo, pensynu; peri y bendro.
**Giddy-brained, Giddy-headed,** } *a.* penysgafn, penwan, pendröedig, pendroiog, penchwiban, pendrawn, penfeddw, chwidr, &c.; diofal, diymdawr, difeddwl, esgeulus, dibryder, anofalus, diddarbod, dïamwel, anochelgar, ehud; anwadal, gwamal, ansefydlog, oriog, hydro, anwastad, ysgoew, ysgoewain.
**Giddy-head,** *s.* un penysgafn, dyn penchwiban, chwidryn, chwidrwr, ysgoewan.
**Giddy-paced,** *a.* anwastad ei gamrau.
**Gier-eagle,** *s.* (Is. *gier*, buri?) math o eryr; eryr chwyldro; piogen (*Lef.* xi. 18; *Deut.* xiv. 17).

Gierfalcon, *s.*=*Gerfalcon* ; *Gyrfalcon*.

Gieseckite, *s.* (oddi wrth Syr C. *Giesecke*) math o ddelidfaen.

Gift, *s.* (o *give*) rhodd, anrheg, dawn, cyflwyn, gwoseb, goseb, cyfarwys ; rhoddiad, doniad, doniaeth, rhoddedigaeth, rhoddiant ; llawrodd ; ced ; rheg ; gwobr ; offrwm ; teithi ; rhad.

A gift returned *or* given back again—adrodd.

New year's gift—calenig.

In the nature of a gift — gwosebol, gosebol.

Splendid gift—ceinrodd, ceinrad, rhodd ysblenydd.

Mutual gift—cyfrodd, cydrodd.

Inherent gift—cynddawn, dawn cynhenid.

Superior gift—rhagorddawn, gorddawn.

Free gift—rhadrodd, rhodd rad.

To present a gift—rhoddi rhodd, anrhegu, gosebu, gwosebu ; cyflwyno rhodd, anrheg, *neu* woseb.

To receive gifts, } To accept gifts, } derbyn rhoddion, anrhegion, gwosebion, *neu* osebion ; rhoddgymmeryd.

Receiver *or* accepter of gifts—rhoddgymmerwr, rhoddgymmeriawdr, derbyniwr rhoddion, derbynydd anrhegion.

That has a gift bestowed on him—cyfarwysog ; doniog.

That is endowed with a gift—cyfarwysog ; doniog.

Bountiful in gifts—hyrodd, hyddawn, hyged ; hael ei ged.

Showering down gifts—lluchddawn.

In his gift—yn ei rodd ; ar ei law.

Gift, *v. a.* donio, dawnu, darddonio, arddonio, dyddonio, cynnysgaethu, anrhegu, rhoddi.

Gifted, *a.* doniog, dawnus, doniol, dawnfawr, mawrddawn ; rhoddedig, dawnedig, rhoddog ; teithïog.

Greatly gifted—dawnfawr, mawrddawn ; mawr ei ddawn.

Giftedness, *s.* doniogrwydd, dawnusrwydd, doniolrwydd, donioldeb, dawnforedd, dawnedigrwydd.

Gig, *s.* (It. *giga* ; Ff. *gigue* ; Sw. *giga*) cerbydan, cerbydon, cerbyd unmarch ; corn tro, trodegan ; crwth ; tryfer, pysgdryfer ; bad, bad llong, bad cadben, cadben-fad ; ffiloges, ffilog, nwyfen, nwyfes, hoeden, mwyglen, gwilff.

Gig,† *v. a.* (Ll. *gigno*) cenedlu.

Gig, *v. a.* (o *gig*, tryfer) tryferu, tryferu pysg ; dàl pysg â thryfer.

Gigantean, *a.* (Ll. *giganteus*) cawraidd ; nerthfawr, nerthol, cryf.

Gigantic, *a.* (Ll. *giganticus*) cawraidd, cawr- ; enfawr, gorfawr, anferth, anferthol, dirfawr, amrosgo, abrwysgl, cymrwysg ; anferth o faint ; anferth ei faint ; annhyngedfenol o fawr ; fel cawr o faint.

Gigantical, } Gigantine, } † *a.*=*Gigantic*.

Giantology, *s.* (Gr. *gigas* a *logos*) cawrhanes, cawrofyddiaeth ; hanes *neu* ddarluniad o gawri.

Giantomachy, *s.* (Gr. *gigas* a *machē*) cawrymladdfa, cawrymladd, cawrgad ; rhyfel y cawri yn erbyn y nef.

Giggle, *s.* (S. *geagl* ; Is. *gichgelen*) cilchwerthin, cilchwardd, ofer chwerthin, chwerthin byth a hefyd, chwerthin dàn ddannedd, chwerthin cil boch, chwerthin, chwardd.

Giggle, *v. n.* cilchwerthin, chwerthinial, crechwenu, cilchwarddu, ofer chwerthin ; chwerthin byth a hefyd ; chwerthin am ddim ; chwerthin am ben pob dim ; chwerthin yn ddïarbed ; chwerthin yn ddibaid ; chwerthin dàn ddannedd ; chwerthin dàn ei ddannedd ; chwerthin yn nghil ei foch ; mogi chwerthin, nwyfchwerthin, telain, ffol chwerthin, crych chwerthin, chwerthin, chwarddu.

Giggler, *s.* cilchwarddwr, cilchwerthinwr, cilchwerthwr, crechwenwr, ffol chwarddwr, chwarddwr dàn ei ddannedd ; chwarddwr, chwerthinwr, dyn chwerthinog, dyn chwerthinllyd.

Giglet, } Giglot, } *s.* (o *giggle* ; S. *geagl* ; Ff. *gigue*) hoeden, mwyglen, anllades, anlladferch, trythylles, dyhiren, nwyfen, nwyflodes, coegen drythyll chwerthinllyd ; benyw chwerthinog, chwerthinllyd, chwerthingar, nwyfus, anllad, anniwair, *neu* drythyll.

Giglot, } Giggling, } *a.* chwerthinog, chwerthinllyd, chwerthingar, ffol chwerthinllyd ; nwyfus, trythyll, anllad, tinboeth ; gwantan, chwidr, penysgafn, penffol, anwadal, gwamal, ansefydlog, ysgafn.

Gigot, *s.* (Ff.) cymmal pen y glun ; tafell.

A gigot of mutton—chwarthor ol o gig mollt ; aelod ol o gig mollt ; chwarthor ol mollwyn.

Gilbertite, *s.* (oddi wrth Davies *Gilbert*, Ysw.) enw delidfaen.

Gild, *v. a.* (S. *gildan*, *geldan* ; Is. ac Al. *gelden*) goreuro, euro ; gorthöi *neu* orchuddio âg aur ; gloewi, llugeinio, llathru, eirianu, goleuo, addurno.

Gild, *s.*=*Guild*.

Gilder, *s.* goreurwr, goreurydd, eurwr.

Gilder, } Guilder, } *s.* (Al. *gulden*) darn bath yn yr Isdiroedd, gwerth tua 1s. 9c.

Gilding, *s.* goreurad, eurawd, eurad ; goreuraeth, euradaeth ; goreuro ; eurdo, eurgaen, eurdaen.

Water gilding, } Wash gilding, } dyfr-eurad, golch-eurad, dyfr-eurawd, goreurad dwfr.

Leaf gilding—deil-eurad, deil-eurawd, goreurad dalen.

Gill, *s.* (Sw. *gel* ; Ysp. *agalla*) crogen ; tagell ; crogen *neu* dagell pysgodyn : *pl.* crogenau, tagellau, tegyll, dwyen.

Gills of fish—crogenau pysg, crogenau pysgodyn, tagellau pysgod, tegyll pysg, dwyen pysg.

The gill of a fowl—tagell aderyn, tagell ehediad.

Gill, *s.* (Ll. *gilla*, *gillo*, *gello*) gwartharn, chwartharn=chwarthor neu bedran peint.

Gill (among miners)—mesur tua pheint.

Gill, *s.* eidral, beidiog las, bydiog las, eiddew y ddaiar, llysiau y gerwyn, llysiau yr esgyrn, canwraidd las : beidioglyn, eidralwy, diod eidral.

Gill, *s.* (Sw. *gilja* : ond o *gillian*, yr hen ddull o ysgrifenu *Julian* neu *Juliana*, yn ol barn *Johnson*) nwyfes, nwyfusen, nwyfoges, ffiloges, ffilog, anllades, anlladferch, trythylles, hoeden, llances, mwyglen, cymmones, cyffoden, gwilff : hollt mewn bryn, agoriad mewn bryn ; nant.

Gill-flap, *s.* llabed crogen.

**Gillhouse,** *s.* gwerthdy beidioglyn; tafarn.
**Gill-lid,** *s.* clawr crogenau, clawr crogen.
**Gill-opening,** *s.* agoriad y crogenau.
**Gilly-flower,** *s.* (Ff. *giroflée, giroflier*) archmain, blodau Gorphenaf.
  **Sea** gilly-flower—archmain, clustog Fair, clustog Mair.
  **Clove** gilly-flower—penigan cigliw.
  **Queen's** gilly-flower—disawr.
**Gilse,** } *s.* eogyn; eog heb fod yn ei gyflawn
**Grilse,** } faint.
**Gilt,** } *a.* (o *gild*) goreuredig, euredig,
**Gilded,** } goreurog, eurog, eurdde, eurdo; goreuraid, goreurin, goreurol, euraid, eurog; golchedig.
**Gilt,** *s.* eurdo, eurgaen, eurdaen: banwes, hychig.
**Gilt-head,** *s.* eurben, banwes, y pysg eurben; peneuryn, penaur.
**Gilt-tail,** *s.* eurlost, llosteuryn.
**Gim,** *a.* (talfyriad o *gemmy*) pert, pinc, pefr, dillyn, taclus, trwsiadus, twt, destl.
**Gilvicephalous,** *a.* (Ll. *gilvus*, a Gr. *cephalê*) penfelyngoch; â chanddo ben cigliw.
**Gimbals,** } *s. pl.* (Ll. *gemellus*) llallogrwy, gef-
**Gimbols,** } eillrwy, gefeillrwy; modrwy mewn
**Gimbles,** } modrwy; llallogrwyon, gefellrwyon.
**Gimcrack,** *s.* (o *gin*, am *engine*, yn ol dyfaliad y Dr. *Skinner*) tegan, ffril, ffrilyn, coegbeth.
**Gimlet,** } *s.* (Ff. *gibelet;* Llyd. *gwymeled*)
**Gimblet,** } ebill, gwimbill, gwimled, taredryn.
**Gimlet,** *v. a.* ebillio; troi fel troi ebill; troi angor wrth ei gyff.
**Gimmal,** *s.* (Ll. *gemellus*, yn ol *Skinner* ac *Ainsworth;* ond llygriad o *geometry*, yn ol tyb *Johnson*) peirianwaith, dyfais, rhyw ddyfais.
**Gimmal,** *a.* (Ll. *gemellus*) rhwyog, modrwyog, dolenog, torchog.
**Gimmer,†** *s.* (gwel *Gimmal*) peirianwaith, dyfais.
**Gimp,** *s.* (Ff. *guiper*) trobleth, ffillwe, eirionwe [sidan.
**Gimp,†** *a.* (C. *gwymp*) gwymp, pinc, pert, pefr, dillyn.
**Gin,** *s.* (talfyriad o *genera*) merywin, merywlyn, gwirod meryw, eithinwy, pereithwy.
**Gin,** *s.* (talfyriad o *engine*) peiriant, ermig; magl, croglath, telm, byddag, byddagl, tagfagl, annel, hoenyn, hwynyn, carfagl, yslepan, maglen, telmyn.
**Gin,** *v. a.* dinidro cotwm, dihadu cotwm; glanhau cotwm â pheiriant; byddaglu, byddagu, telmu, maglu, hoenynu, hwynynu, carfaglu, hwyno; dàl mewn magl.
**Gin,†** *v. a.* (S. *gynnan*) dechreu.
**Ginger,** *s.* (Ff. *gingembre;* Ysp. *gengibre;* Ll. *zinziber;* Gr. *ziggiberis;* o'r Ar.) sinsir, poethwraidd tramor.
  Ginger beer—dïod sinsir.
**Gingerbread,** *s.* bara sinsir, bara sinserog, bara perboeth, bara perflas.
**Gingerly,†** *ad.* yn dirion, yn dyner, yn araf, yn esmwyth; yn wych, yn nais; yn ochelgar, gàn bwyll.
**Gingerness,†** *s.* tirionwch, tirionder, tynerwch; neisrwydd, destlusrwydd; gochelgarwch, pryder.
**Gingerworts,** *s. pl.* sinsirwydd, sinsirlysiau.
**Gingham,** *s.* math o gotymwe rhengog.
**Ginging,** *s.* gwynebiad mwndwll â cheryg *neu* briddfain.
**Gingival,** *a.* (Ll. *gingiva*) uchaneddol; perthynol i gig y dannedd; yn perthyn i'r uchanedd; deintgigol, deintreiniol.
**Gingle,** } *v.* (o'r sain; Pers. *zangl*) tincian,
**Jingle,** } tincio, tincial, rhincian, rhincio, clecian, darsteinio, darstain; cydseinio, cydleisio, cyttaro.
  The words gingle—y mae geiriau yn taro; mae y geiriau yn clecian.
  To gingle in words—dewis geiriau i glecian; dewis geiriau cydsain *neu* gydseiniol; peri i eiriau glecian *neu* gyttaro; clecian geiriau; tincian geiriau.
**Gingle,** *s.* tinc, tincian, tinciad, tinclais, darstain, clec, cleciad, rhinc; cydsain, cyssain, cydseinedd, cydseiniad.
  A mere gingle—sain a dim ond sain.
**Ginglymoid,** *a.* (Gr. *gigglumos* ac *eidos*), fel colfachredd.
**Ginglymus,** *s.* (Gr. *gigglumos*) colfachredd; cymmal tebyg i golyn dor *neu* lidiart.
**Ginnet,** *s.* (Ff. *genet*) crynfarch, corfarch, merlyn; ceffylyn Yspaenig lluniaidd lledfychan.
**Ginseng,** } *s.* (Chinaeg) math o wreiddyn medd-
**Ginsing,** } ygol.
**Ginshop,** *s.* gwirotty, gwerthdy gwirod.
**Gip,** *v. a.* diberfeddu ysgadan, tynu perfedd penweig; gildio ysgadan *neu* benweig.
**Gipsire,** *s.* gwregysgod.
**Gipsy,** *s.* (llygriad, tybir, o *Egyptian*) Aifftwysen, Aifftes, bedlemes; Aifftwysyn, bedlemydd, bedlemyn, crwydryn, gwibiad, crwydriad, crwydrai, gwibiawdr, bedlem; hudoles; melyndduan; un melynddu; un felenddu: *pl.* Aifftwys, gwiblu, bedlemod, bedlemwys, gwibiaid, crwydriaid, melyndduon.
  A cunning gipsy — hudoles, bedlemes hudol.
  A little gipsy—coegen fach; genethan, llancesan.
**Gipsy,** *s.* bedlemaeg, Aifftwysaeg, bedlemiaith, iaith y gwiblu.
**Gipsyism,** *s.* bedlemiaeth, bedlemyddiaeth, Aifftwysaeth; crwydri, gwibli, crwydrusrwydd; cyfrwysder ac arferion bedlemod; twyll, hoced, hudoliaeth, hud, twyllofaint; truth, gweniaith.
**Gipsy-wort,** *s.* llysiau yr hudolesau, llysiau yr Aifftwys, llysiau y gwiblu, llysiau yr Aifftesau.
**Giraffe,** *s.* (Ysp. *girafa;* It. *giraffa*) camelewpard, camelewpart, cawrlewpard, y Giraff.
**Girandole,** *s.* (Ff.; It. *girandola*) canwyllyr, goleuddal, ceincganwyllyr.
**Girasole,** *s.* (It.; Ff. ac Ysp. *girasol*) heulflodyn, blodyn yr haul, heuldro, huandro; blodau yr haul; heulem.
  Girasole (in mineralogy)—heuldro, heulem =delidfaen gwỳn, â adlewyrcha liw lledgoch, pan ei troir at yr haul.
**Gird,** *s.* (S. *geard, gyrd*) gwasgfa, gloes, cnofa, pang; llach.
  To do a thing by fits and girds, }
  To do a thing by girds and snatches, }
  gwneuthur peth ar ruthrau; gwneuthur peth yn doriadau.
**Gird,** *v.* (S. *gyrdan;* Al. *gurten;* Is. *gorden*) gwregysu, cenglu, tenglu, rhwymo, amwregysu, amgylchu, amgylchynu, cylchynu, amrwymo, amfesur, amfesuro; creffynu; hwylio; gwisgo, trecio, taclu, trwsiadu, trwsio,

hwylio; gwawdio, gwatwar, greffio; llachio, dygaboli.

To gird about—amwregysu, amrwymo, amgenglu; bancawio.

To gird one's self—ymwregysu.

To gird slack — gowregysu, gorwymo, lled wregysu, lled rwymo, llaes wregysu, gwregysu yn llaes, gwregysu yn llac.

The ship is girt—mae dalraff y llong cyn dyned fel nas dichon hi fyned trosodd ar y trai, *neu* ar droad y dwfr.

Girded, } *p. p.* gwregysedig, cengledig, tengl-
Girt, } edig, rhwymedig, cylchedig; gwregysog, creffynog.

Sea-girt — morgylch, morgylchedig; â'r môr o'i amgylch.

The sea-girt island—yr ynys forgylch.

Not girded—diwregys, heb wregys, heb ei wregysu; rhydd.

Girder, *s.* ewinbren, rhwymbren, rhwymdrawst, rhwymydd, gwregysydd; duchanwr, goganydd, goganwr.

Girding, *s.* gwregysiad, rhwymiad, rhwymad; gwregys.

Girdle, *s.* (S. *gyrdle, gyrdl;* Al. *gürtel*) gwregys, rhwymyn, gwasgrwym, gwasgrwymyn; cengl, tengl, rhwym; amgylchedd, cylchedd, amgant, cylch, cylchrwy, cae; sidydd; greidell, cradell, planc.

Marriage girdle—gwregys priodas.

Girdle bread, } bara greidell, bara cradell,
Griddle bread, } bara llech, bara planc.

Sword girdle—gwregys cleddyf.

To have one's head under one's girdle—bod yn drech nag un; cael y llaw drechaf *neu* uchaf ar un; cael y goreu *neu* y trechaf ar un; gorfod ar un; bod â phen un dàn ei wregys; cael pen un dàn ei wregys; bod âg un yn gwbl yn ei allu *neu* feddiant; bod âg un yn gwbl dàn ei law *neu* droed.

Sea girdle and hangers—morwiail; morwialen.

Girdle-belt, *s.* gwregys gwasg, gwregys, gwasgrwym.

Girdler, *s.* gwregysydd, gwregyswr; gwneuthurwr gwregysau; amrwymwr.

Girdle-stead, *s.* y canol, lle y gwregys, gwregysfa, gwregysle, y wasg, y gwregys.

Gire, *s.* (Ll. *gyrus,*) cylch, modrwy, cylchrwy, cylchdro.

Girl, *s.* (Ll. drosgl *gerula;* C. *herlodes*, yn ol *Iunius;* Isl. *karlinna*, yn ol y Dr. *Hickes;* Ll. *garrula*, yn ol *Minshew*) geneth, llances, llodes, bachgenes, hogen, morwyn, morwynig, hocrell, croten, crotes, rhocen, rhoces; merch.

A little girl—genethig, genethan, llancesan, llancesig, morwynig, hocrell, croten, crotes, crotesan, hogenig, bechan, merchan, geneth fechan.

A dwarfish girl—bechanigen, coren, cores, geneth fechanig.

A wanton girl—ffiloges, ffilog, nwyfusen, nwyfoges, nwyfes, hoeden, mwyglen, anllades, geneth wantan, gwilff.

A flighty little girl—ffriten; perten.

A smart girl—perten, pefren, geneth bert, llances dlos, prydwen, meinwen.

A lively girl—geneth fywiog *neu* weisgi; cangen weisgi; gwiwell.

A waiting girl—morwyn weini, gweinyddes, llawforwyn.

Girl (among sportsmen)—hydd dwyflwydd; hocryll.

Girlhood, *s.* genethdod, hogendod, genethedd, hogenedd, crotendod; cyflwr *neu* oedran geneth.

Girlish, *a.* genethaidd, llancesaidd, hogenaidd, llodesaidd, herlodesaidd, crotenaidd, hocrellaidd, crotesaidd; plentynaidd; nwyfus, chwarëus, chwareugar, ysgafn.

Girlishly, *ad.* yn enethaidd, &c.; fel geneth, fel crotes, ar ddull hogen.

Girlishness, *s.* genetheiddrwydd, hogeneiddrwydd, llodeseiddrwydd; nwyfusrwydd, nwyfedd, chwareugarwch, ysgafnder; moesau hogen.

Girrock, *s.* y cornbig mwyaf, mornodwydd, mornydwydd.

Girt, } *s.* (o *gird*) cengl, tengl, ceingel, tor-
Girth, } gengl; amfesur, cylchfesur, amgylchedd, cwmpas; rhwymyn, rhwym, amrwym.

Girt, *v. a.* gwregysu, amrwymo, amgylchu, amgylchynu, cylchynu, amwregysu; amfesur, amfesuro.

Girt, } *p. p.* (o *gird*)= { *Girded.*
Girded, } { *Girt.*

Girth, *v. a.* cenglu, tenglu, ceinglo, torgenglu; rhoi cengl am; rhwymo â chengl.

Gismondine, *s.* (oddi wrth *Gismondi*, y delfaenwr) enw delidfaen.

Gise, *v. a.* (Ff. *gésir, gîter*) poriannu, porfelu, poriadu, rhoi porfa, porfäu.

Gisle,† *s.* gwystl.

Gist, *s.* (Ff. *gésir*) y prif bwnc mewn dadl; pegwn y ddadl.

Gith, *s.* papyr Gini, pupyr yr adar.

Gittern, *s.* (Gr. a Ll. *cithara;* Ff. *guitare*) gutorn.

Gittern, *v. n.* chware ar y gutorn.

Giusto, *s.* (It.) amser cyfiol.

Give, *v.* (S. *gifan, gyfan;* D. *giver;* Is. *geeven;* Al. *geben*) rhoddi, rhoi, dyroddi, dyröi, dodi, gosod; anrhegu, cyflwyno, donio; donio â; rhadroddi, hael roddi; caniatäu, ceniatau, ceniadu; peri, gwneuthur; dwyn; chwanegu; ystofi; ymroddi; ymollwng, cilio, symmud; dadlaith, toddi, dadmer; dattod, dechreu tyneru.

[Gellir cyfieithu *Give* fynychaf, os nid bob amser, â'r ferf â etyb i'r sylweddair Seisonig â osodir ar ei ol.]

To give away—rhoi ymaith, rhoddi ffwrdd; trosglwyddo, trosi; rhoddi i.

To give back—adferu, adferyd, edfryd, gwrthferu, gwrthfer, gwrthferyd, dychwelyd; rhoi, rhoddi, *neu* ddwyn yn ol; rhoi, rhoddi, *neu* ddwyn adref; talu yn ol; talu adref; talu y pwyth; ad-dalu; adrodd i, dadroddi, dadroi.

To give advice—cynghori, rhoi cynghor, rhoddi cynghor.

To give answer—ateb, atebu, rhoi ateb, rhoddi ateb.

To give battle—brwydro, ymladd; ymgyrchu, rhuthro; rhuthro *neu* daro yn nghyd; cyhydreg *neu* ymdaraw.

To give diligence—gwneuthur ei oreu; bod yn ddiwyd.

To give ear—gwrandaw, gwrando, ymwrandaw, andaw, ymandaw, clust-ymwrandaw, clust-ymwrando, clustfeinio, rhoi clust, rhoddi clust, gostwng clust.

**To give forth**—rhoi allan, rhoddi allan, rhoi i maes; gosod allan; rhoi y son allan; rhoi y gair allan; cyhoeddi, adrodd, dywedyd, traethu, dadgan, son; gwneuthur yn gyhoeddus.

**To give ground**—colli tir, cilio, encilio, cilio yn ol, cilio i'w wrthol, gwrthgilio; myned yn ngwrthgefn, yn ei wrthgefn, yn ngwrthol, *neu* yn ei wrthol; dychwelyd, ymddychwelyd; rhoi lle, rhoi ffordd; ymadaw â'i orsaf.

**To give heed to**—gwrandaw ar; dàl ar; dàl sylw ar; rhoi *neu* roddi coel i; ystyried, gwrandaw; rhoi clust i; bod â choel ar; bod â'i goel ar; gofalu am; gofalu ar; edrych am; rhoi ystyriaeth i; rhoi sylw i; talu sylw i; gwneuthur sylw o.

**To give in**—rhoddi i fyny, rhoi i fyny; plygu, ymostwng, gildio, caniatäu, cydsynio; bod yn foddlawn *neu* gymmodlawn; ufyddhau i; ymfoddloni, ymorphwys; rhoi i mewn; †cilio yn ol, myned yn ei wrthol.

**To give the hand**—ymostwng; rhoi y flaenoriaeth; rhoi y llaw.

**To give in to**—cydsynio â, cydsynied â; rhoi cydsyniad i; bod yn foddlawn *neu* gymmodlawn i; mabwyso, mabwysiadu; cymmeradwyo; cytuno â; rhoi i fyny i; gildio; gadael i.

**To give laws to**—rhoi deddf, deddfau, *neu* gyfreithiau i; gorchymyn pa beth a pha fodd y gwneir; meistroli ar; deddfroddi i.

**To give life,** / **To give life to,**—bywiocäu; rhoi bywyd i; rhoi bywyd yn.

**To give leave,** / **To give one leave,**—cenadu i, ceniadu i, caniatäu i; rhoi cenad i; gadaw i, gadael i, goddef i.

**To give light**—goleuo, llewyrchu, llewychu; rhoi goleu, rhoddi goleuni.

**To give off**—rhoi heibio; peidio; gadael, goddef; rhoi i fyny.

**To give on†**—rhuthro ar, syrthio ar, cwympo ar.

**To give offence**—tramgwyddo, anfoddhau, anfoddloni, anfoddogi; rhoi tramgwydd; rhoi achos tramgwydd; digio.

**To give no offence**—bod yn ddïachos tramgwyddo; peidio â rhoi tramgwyddo.

**To give over**—rhoi i fyny; rhoddi i fyny; gadael, gadaw, gadu, peidio; ymadael â, ymwrthod â, peidio â; ymroddi, ymröi; rhoi heibio; darfod â; dybenu â; trosglwyddo, trosi.

**To give over from one to another**—trosi *neu* drosglwyddo i arall; rhoi i fyny i arall; arallu.

**To give a thing over for lost**—cyfrif yn golledig; cyfrif megys yn golledig; gadael *neu* fwrw yn golledig; rhoi i fyny megys wedi ei golli.

**To give one's self to**—ymroddi i, ymröi i; rhoddi ei fryd, ei feddwl, ei fwriad, *neu* ei serch ar; ymgyflwyno i; parhau yn, parhau mewn; aros yn.

**To give one the slip**—dïanc ar un; dïanc gàn un; ymladrata oddi wrth un; cilio yn lladradaidd oddi wrth un.

**To give out**—rhoi allan, rhoddi allan, rhoi i maes; rhoi y gair allan; rhoi y son allan; taenu y son; cyhoeddi, adrodd, dywedyd, traethu, son; dangos; anfon allan; gyru allan; bwrw allan; ymroddi, peidio, gildio; peidio âg ymladd *neu* ymryson; taflu ei arfau i lawr; tewi.

**To give place**—rhoi lle, rhoddi lle; ymröi; cilio *neu* sefyll yn ol.

**To give to,** / **To give unto,**—rhoi i, rhoddi i, cyfranu i.

**To give quarter** — arbed einioes, arbed hoedl; derbyn i'w nodded; derbyn i'w nawdd; derbyn dàn ei nawdd; rhoi nodded.

**To give the sense of passage**—rhoi ystyr lle *neu* fàn; rhoi ystyr yr hyn a ddarllenwyd; gosod allan synwyr yr hyn a ddarllenwyd; deongli, dehongli, deongl; gosod allan ddeall peth.

**To give sentence,** / **To give judgment,**—barnu, rhoi barn, dyfarnu.

**To give strength**—nerthu, cyfnerthu, rhoi nerth, nerthocäu, nerthogi, nertholi, nerthuso, nerthiannu.

**To give suck**—rhoi sugn, rhoi bronau, rhoi bron, rhoi y fron; brona, bronhau, peri sugno; magu.

**To give thanks**—dïolch, talu dïolch, rhoddi dïolch, rhoi dïolch.

**To give to understand**—rhoi ar ddeall; rhoddi ar ddeall; peri deall, peri gwybod; hysbysu.

**To give one trouble**—peri gofid, blinder, trallod, *neu* drafferth i un; gofidio, blino, trallodi, trafferthu.

**To give to drink**—dïodi, dïodi â; rhoi dïod i; rhoi i un beth i'w yfed.

**To give up**—rhoi i fyny; rhoddi i fyny; traddodi; ymroddi, ymröi; ymostwng; ymollwng; rhoi y goreu i; gadael i syrthio; gildio, peidio, gadael; ymwrthod â; peidio â; ymadael â; ymgyflwyno.

**To give up an argument**—rhoi dadl i fyny; gadaw dadl i syrthio; rhoi y goreu i ddadl; rhoi y goreu i'w wrthwynebwr; tewi; gadael y maes.

**To give up one's right**—rhoi ei hawl i fyny; rhoddi ei iawnder i fyny; ymadaw *neu* ymadael â'i hawl; rhoi ei gyfiawnder i arall.

**To give up one's self**—ymroddi, ymröi; ymgyflwyno; rhoi ei hun i fyny; ymollwng.

**To give up one's self to idleness**—ymroddi *neu* ymollwng i seguryd.

**To give way**—ymroddi, ymostwng, ufyddhau, rhoi lle, rhoi ffordd; gildio; cilio, encilio, ymneilltuo; methu, ffaelu.

**To give way to**—ymroddi i, &c.; dyoddef, goddef.

**To give flattering titles**—gwenieithio; rhoi senwau gwenieithus.

**Give (in the imperative)**—moes, moesa, rho, dyro; moeswch, rhowch, rhoddwch, &c.

**Give me**—moes i mi; dyro i mi; rho i mi; doda i mi; rhoddwch *neu* moeswch i mi; dewiswn, dewis genyf, dewis.

**Give me thy hand**—moes i mi dy law; dyro i mi dy law; rho i mi yth law

To give one as good as he brings, } talu y
To give like for like, } pwyth; talu yr echwyn adref; rhoi i un y naill dros y llall; talu cast am gast; talu y gwrthbwyth; talu un yn ei fath ei hun; gwneuthur i un fel y gwnaeth yntau i arall; gwneuthur âg un fel y gwnaeth yntau âg arall.
I gave — rhoddais, rhoais, rhois; mi a roddais, &c.
He gave me no answer—nid atebodd imi; nid atebodd efe fi; ni roddes efe i mi ateb; ni'm hatebodd.
We ought to give the more earnest heed—rhaid i ni ddàl yn well.
Give heed to me—ystyria wrthyf; gwrandaw arnaf, &c.
Thou givest thy mouth to evil—gollyngaist dy safn i ddrygioni.
Giving all for gone—gàn gyfrif, gàn farnu, *neu* gàn feddwl darfod colli y cwbl; gàn gyfrif, gàn farnu, *neu* gàn feddwl myned o'r cwbl yn golledig; gàn gyfrif, gàn feddwl, *neu* gàn farnu darfod am beth yn llwyr.
Given, *p. p.* (o *give*) rhoddedig; à roddwyd; wedi ei roddi, wedi ei roi; rhoddwyd; ymroddedig, ymröedig, ymroddgar, ymroddol, chwannog, tueddol, ymdueddol; â'i duedd at; â'i chwant i; â'i serch ar; -gar.
Given to—ymroddedig i, chwannog i, tueddol i; hoff o; â'i duedd at; â'i chwant i; â'i serch ar; yn *neu* wedi ymroddi i; yn serchu, yn hoffi, yn dylyn, yn canlyn.
Given to wine—gwingar; chwannog i win; tueddol i win; â'i duedd at win, &c.
Given to drink—dïodgar, yfgar, yfedgar.
Given to appetite—blysig, bwytëig, glwth.
Given to hospitality—llettygar.
Given to charity—elusengar.
Given to quarrel — ymrysongar, tringar, cwerylgar.
Given to fighting—ymladdgar, tringar.
Given to women—benywodgar, gwragеddgar, merchedgar; â'i duedd at wragedda; â'i serch ar fenywota.
Given to change — anwadal, anwastad, cyfnewidiol, newidiol, oriog, newidgar.
Given to pleasures—ymroddgar i ddifyrwch a mwythau; yn ymroddi i ddifyrwch a mwythau; difyrgar, plesergar, mwythgar, moethgar; moethus, mwythus, trythyll.
He is otherwise given—y mae efe o duedd amgen *neu* arall; y mae ei serch ef ar beth arall.
Neither shall wickedness deliver those that are given to it—ac nid achub annuwioldeb ei pherchenog.
Given over—à roddwyd i fyny; à roed i fyny; gwedi ei roddi i fyny; wedi ei adael; wedi ei adael i farw.
He is given over by the physicians—efe a adäwyd gàn y meddygon; gadwyd ef gàn y meddygon; nid oes gàn y meddygon obaith am ei wellhad; rhoed ef i fyny gàn y meddygon.
One that is given over—claf dïobaith; un à roddwyd i fyny.
Given over to another — trosglwyddedig *neu* drosedig i arall; à drosglwyddwyd i arall; gwedi ei drosglwyddo i arall.

Was there something given to thee?—a roed peth i ti? a roddwyd rhywbeth i ti?
Giver, *s.* rhoddwr, rhoddiad, rhoddiedydd, rhoddydd, rhoddiawdr, doniwr, dodwr, ystâwr, cyfranwr, deon.
The Lord and Giver of life—yr Arglwydd a'r Bywiawdwr.
Gives, *s. pl.*=*Gyves.*
Giving, *s.* rhoddiad, rhoddiant, rhoad, rhoddigaeth, dodiad, doniad, dawd; honiad peth disail.
The giving of the law—dodiad y ddeddf; rhoddiad y ddeddf; deddfroddiad, deddfroddiant, rheithroddiad.
Gizzard, *s.* (Ff. *gésier*) glasog, y lasog, yr afu glas, y gropa las, glasgylla.
To fret the gizzard—gofidio, trallodi; ymofidio, ymdrallodi, dygnu; cael ei flino; gwenwyno.
Glabriate,† *v. a.* (Ll. *glabro*) llyfnhau, gwastatu, gwastatäu.
Glabrity,† *s.* (Ll. *glabritas*) llyfnder, llyfndra, llyfnedd, gwastadrwydd.
Glabrous, *a.* (Ll. *glaber*) llyfn, gwastad, llathr, llathraidd, gwyneblyfn; diflew; moel: *f.* llefn.
Glacial, *a.* (Ff.; Ll. *glacialis*) iäaidd, iäin, iaain, ialyd, rhewllyd, rhewlyd, rhewedig.
Glaciate, *v. n.* (Ll. *glacio*) troi yn ia; troi yn rhew, myned yn rhew, rhewi.
Glaciation, *s.* iäad, rhewiad, troad yn ia, mynediad yn ia, mynediad yn rhew; iäaeth.
Glacier, *s.* (Ff.; Al. *gletscher*) ysblent, ysglent, llithralpia, ysglentrew: *pl.* llithralpiau, ysglentiau=alprew neu alpia, milltiroedd faint, à ddisgyn o ddyfnderoedd uchel yr Alpau, a mynyddoedd goruchel ereill.
Glacious, *a.* (Ll. *glacio*) iäaidd, iäin, iäain, ialyd, rhewllyd, rhewlyd, rhewaidd.
Glacis, *s.* (Ff.) llethrglawdd, clawdd llethrog; osglanerch, llechwedd.
Glad, *a.* (S., D., a Sw.; Ll. *lætus*) llawen, llon, hyfryd, siriol, hylon, dyddan, difyr, hywen, hoenus, gorhoenus, gorawenus, digrif; llonwych.
Very glad—tra llawen, llawen iawn, gorlawen, &c.
Somewhat glad—go lawen, lled lawen, lledlawen, crŷn lawen, lledlon.
I am glad—mae yn dda genyf, mae yn llawen genyf; y mae yn hyfryd genyf; da genyf.
Glad tidings — newyddion da; llawen chwedl, llawenchwedl, llonchwedl.
To declare glad tidings—cyhoeddi newyddion da, dwyn newyddion da; efengylu.
To be glad, } llawenhau, llawenychu,
To wax glad, } lloni, ymloni, ymlawenu, ymlawenychu, gorfoleddu, ymorfoleddu, ymddigrifo, ymhyfrydu, gorawenu; bod â hoen arno; bod yn llawen, &c.; difyru, ymddifyru; cymmeryd difyrwch o beth.
Tending to gladden—llawenhaol, llawenychol, llonychol, lloniannol, llonedigol.
He too would be glad to see you—byddai dda ganddo yntau eich gweled.
I shall be glad to do you any service—bydd hyfryd genyf wneuthur i chwi unrhyw wasanaeth.
He is glad of the office—y mae yn dda ganddo y swydd.

To go on pilgrimage—pererindota; myned ar bererindod; myned i bererindod; llwypro.
To go out—myned allan; myned i maes; myned oddi; myned o; ymadael, ymadaw; myned ar hynt; myned ar gyforddwy; allanu; diffodd, diffoddi, diflanu, darfod; myned ar led.
To go out her time—myned ei hamser; cyflawnu ei hamser; dyfod o'r tymp i esgor.
To go out of the way—myned oddi ar y ffordd; myned allan o'r ffordd; ymadael â'r ffordd; ciliaw o'r ffordd; troi oddi ar y ffordd; troi o'r ffordd; troi allan o'r ffordd; cyfeiliorni, amryfuseddu.
To go over—myned dros; myned drosodd; trosfyned; myned ar byd; edrych dros; adolygu; darllen; croesi; gwrthryfela.
To go over a river—croesi afon; myned dros afon; trawenu.
To go over again — ail fyned drosodd; myned drosodd drachefn: lloffa.
To go through — myned drwy; myned trwodd; tyllu trwodd; trwyo; treiddio; gwanu trwodd; gwanu trwyddo; trwyddo; goddef, dyoddef, dwyn; cyflawnu, gorphen, perffeithio.
To go quickly—myned ar frys; myned ar ddyfrys; myned ar ffull; brysio, dyfrysio, ffrystio, prysuro, ffullio.
To go scot-free—myned yn ddidal; myned yn ddïangol *neu* yn ddigosp; dïanc yn ddigosp, yn ddigerydd, yn ddiniwed, *neu* yn ddïasgen.
To go a snail's pace—ymlusgo fel malwoden.
To go through with a thing—myned drwy beth yn gwbl; cyflawnu peth yn hollol; gorphen, perffeithio, cyflawnu, cwblhau; gwneuthur yn gyfrben; goresgyn yn gwbl.
To go to, } myned at; myned i; cyrchu
To go unto, } at; cyrchu i; neshau at.
To go to a place—myned i le *neu* fàn; dwyn hynt i le.
To go to meet one—myned i gyfarfod âg un; myned yn erbyn un; myned i gyfarfod un.
To go to see—myned i weled; myned i ymweled â; myned i gael gweled.
To go together—myned yn nghyd; cydfyned.
To go together by the ears—myned benben; myned yn nghyd ben a chlustiau; bod ben yn nghad; myned wrth y pen a'r clustiau; myned ben yn nghad; myned ben yn erfid; ymdynu, ymryson, ceintachu, ymgiprysu.
To go to law—ymgyfreithio; myned i gyfraith.
To go under—myned dàn; myned o dàn; myned oddi tàn; cymmeryd arno; cymmeryd ar ei ysgwyddau; cymmeryd ar ei gefn; dwyn.
To go up—esgyn; myned i fyny; myned i'r làn; codi, cyfodi, dyrchafu, ymddyrchafu; ymgodi.
To go upon—myned ar; cerdded ar; sengu ar.
To go upon a business—myned yn nghyd â gorchwyl; taro yn nghyd â gorchwyl; gosod *neu* ymosod ar orchwyl; cymmeryd gorchwyl mewn *neu* yn llaw; myned ar neges; cychwyn gorchwyl; ymgymmeryd â gorchwyl; dechreu ar orchwyl.
To go upon sure grounds—myned ar sail dda *neu* sicr; sefyll ar sail dda *neu* sicr, sefyll ar dir caled; adeiladu ar sail sicr; mynu bod yn ddiogel.
To go with—myned gyda; myned gydag; cydfyned â; dyfod gyda.
To go well with—bod yn llwyddiannus, yn dyciannus, yn hylwydd, *neu* yn ffynniannus; llwyddo, tycio, ffynnu; bod yn dda ar *neu* i un; ymdaro yn dda; bod yn dda; bod yn wych; bod yn ffodus *neu* ffodiog.
To go with child—bod yn feichiog; bod yn drom; bod yn amdrom.
To go without — myned heb; bod heb; cael bod heb; cael myned heb; colli.
To go with young—bod yn dorog; bod yn gyfebr; bod yn drom; bod yn amdrom.
Go—dos; cerdda, cerdd: *pl.* ewch, cerddwch.
Go to—dewch, deuwch, dowch; moeswch iddo; iddo yn hydda; tyred, dyred, dere, dyre; hai; da; hys, hw.
To let go—gollwng i fyned; gollwng ymaith; gollwng yn rhydd; gadaw i fyned; gadael yn rhydd; rhyddhau, gollwng; peidio â, peidio âg.
Let us go—awn; gadëwch, gadwch, *neu* moeswch i ni fyned.
Let him go—aed, eled, cerdded.
Go to him—dos ato.
How goes it?—pa hynt? pa fyd? pa helynt? pa beth yw eich hynt? pa sut y mae hi yn dyfod? pa fodd mae yn dyfod? sut mae hi yn dyfod? pa fodd yr ymdarëwch? pa fyd sydd arnoch?
How go your affairs?—beth yw eich helynt? pa beth yw eich helynt? pa helynt sydd arnoch? pa fyd?
How will it go now—beth a wneir bellach? pa sut y gwneir weithian?
However things go with me — boed fel y byddo gyda myfi; bydd fy ansawdd i yr hyn a fyddo; bid fy nghyflwr i yr hyn y byddo; deued â ddel o honof fi; doed â ddelo o honof fi; beth bynag a ddaw o honof fi.
Since things go so—gàn fod pethau felly; gàn fod y pethau felly; gàn mai felly y mae yn bod; gàn mai felly mae pethau yn sefyll; gàn fod pethau yn myned felly.
Things go not well with them—nid yw eu gorchwylion yn ffynnu; nid ydynt yn llwyddo; nid yw eu cyflwr yn blodeuo.
He shall not go unpunished—ni ddïanc efe yn ddigosp; nid â efe yn ddigosp; ni bydd efe ddïangol.
If such things as these go unpunished—os dïanc y cyfryw bethau a hyn yn ddigosp; os bydd y cyfryw bethau a hyn ddïangol; os dïanc y cyfryw sarhad *neu* gamweddau a hyn yn ddigosp; os ä y fath bethau a hyn yn ddigosp.
That goes far with me—dichon hyny lawer gyda mi; dichyn hyny lawer gyda myfi; mae hyny o bwys nid bychan gyda myfi; mawr yw hyny i'm golwg i; mawr yw

hyny yn fy ngolwg i; nid bychan yw hyny i'm golwg i; nid bychan yw hyny yn fy ngolwg; mae hyny yn myned yn mhell gyda mi.

**He** goes for a citizen—cyfrifir ef yn ddinesydd; efe a gyfrifir yn ddinesydd; cyfrifir ef yn fwrdais; cymmerir ef megys dinesydd; cymmerir ef megys gwr rhydd; mae e'n cael ei gymmeryd megys dinesydd; mae e'n cael ei gymmeryd megys gwr rhydd.

**They** go from the matter in hand—ymadawant â'r pwnc mewn llaw; gadawant y peth *neu* y mater mewn llaw; ciliant oddi wrth y mater *neu* y peth mewn llaw; nid ydynt yn ymgadw at y pwnc mewn llaw.

**If** you will go to the price—os rhoddwch chwi y pris; os boddlawn fydd genych dalu ei werth.

**A** mare goes twelve months with foal—bydd caseg ddeuddeg mis yn gyfebol; bydd caseg flwyddyn gyfan yn gyfebol; tyn caseg gyfebol ddeuddeg mis; tyn caseg gyfebol ddeuddeng mis o amser.

**You** perceive how things go with me—chwi a welwch fy ansawdd, fy sefyllfa, *neu* fy nghyflwr i; chwi a welwch y cyflwr yr wyf fi ynddo.

**He** goes with the stream—y mae yn myned gyda'r ffrwd; mae e'n ffynnu; mae e'n ymgyfoethogi; y mae ef yn gwella *neu* yn cynnyddu beunydd.

**He** goes down the hill—mae e'n myned ar y gwaered; y mae e'n myned i waered; y mae e'n gwaethu yn ei feddiant; y y mae e'n gwaethygu yn y byd; y mae y byd yn ei faeddu; y mae y byd yn ei wrthwynebu.

**He** that goes softly, goes surely—gwell hir bwyll na thraha.

**Though** he may not go—er nad elo.

**She** went with it all away—hi a'i dug ymaith oll.

**He** shall not go away with it so—ni ddïanc efe felly; ni bydd iddo ef ddïanc felly.

**That** will never go down with him—ni chydsynia efe â hyny byth; ni lwnc efe byth mo hyny.

**That** doctrine will never go down with a rational man—ni lwnc dyn rhesymol byth mo'r athrawiaeth hòno.

**Go** not from house to house—na threiglwch o dy i dy; nac ewch o dy i dy; peidiwch â myned o dy i dy.

**Go** with us—tyred gyda ni; dyred gyda ni; dere gyda ni; dyre gyda ni.

**She** went thither without us—hi a aeth i'r fàn hòno hebom ni.

**As** the world goes—megys y mae y dydd heddyw; megys y gwelir y dydd heddyw; yn ol arfer y byd; màl yr ä'r byd.

**She** is likely to go without her husband—y mae hi yn debyg i golli ei gwr; mae hi yn debyg i fod heb ei gwr; mae hi yn debyg i fyned heb ei gwr; mae hi yn debyg i gael bod heb ei gwr; mae hi yn debyg o golli ei gwr.

**It** is time to go—mae yn bryd myned; madws yw myned; pryd yw myned.

**That** it may go well with thee—fel y byddo yn dda i ti.

I was going to speak of that—yr oeddwn i ar fin siarad am hyny; yr oeddwn i yn myned i son am hyny o beth; yr oeddwn i ar fin son am y peth hwnw.

He is now going on twenty years—y mae efe yn awr yn mron ugain *neu* ugeinmlwydd oed; y mae efe yn awr yn tynu at ugain *neu* ugeinmlwydd oed; y mae efe yn awr yn tynu ar ugain mlwydd oed; y mae efe yn myned *neu* yn cerdded ar ei ugain mlwydd.

The sun is going down—y mae yr haul ar fachlud; mae yr haul yn machludo; mae yr haul yn myned i lawr.

So soon as I shall see how it will go with me—cyn gynted ag y gwelwyf yr hyn a fydd i mi.

Israel shall go into captivity—caethgludir Israel; Israel a ä i gaethiwed.

The man went among men for an old man—y gwr a äi yn hynafgwr yn mysg gwŷr; y gwr a gyfrifid yn hynafgwr yn mysg gwŷr.

When it goeth well with the righteous, the city rejoiceth—yr holl ddinas a ymlawenha o herwydd llwyddiant y cyfiawn (*Diar.* xi. 10).

Go through, go through the gates—cynniweiriwch, cynniweiriwch trwy y pyrth (*Esa.* lxii. 10).

Because his face was as though he would go to Jerusalem—am fod ei wyneb ef yn tueddu tua Ierusalem (*Luc* ix. 53).

**Goad**, *s.* (S. *gad*) ierthi, irai, garthon, heriai, iarth, swmbwl, swmwl, swml, gwialen alw, erwydden alw, cymhellai, iar.

**Goad**, *v. a.* symbylu, symbylio, symylu, symlu, pigo; annog, dirio, cymhell, gyru, gyru yn mlaen, syniglo.

**Goal**, *s.* (Ff. *gaule*) gâl, gwyal, gwyalfan, gwyalen, cyrchnod, cyrch, y nod, y marc; nod pen yr yrfa, nod pen y rhedfa; pen yr ystod; eithafnod; dyben, amcan, llwyr ddyben; cychwynfa.

To set a goal—gwyalu; gosod gâl, &c.

From the lists to the goal—o'r gychwynfa i ben yr yrfa; o'r dechreu i'r diwedd.

**Goar**, *s.*=*Gore.*

**Goarish**,† *a.* clytiog, gwael.

**Goaring**, } *a.* cwysedaidd; ar lun cwysed;
**Goring**, } wedi ei dori ar ŵyr *neu* ar oleddf; lletach yn y cwr isaf na'r uchaf; yn lleddf bigfeiniaw o'r bron i'r brig.

**Goat**, *s.* (S. *gæt*; Is. *geit*; Sw. *get*; Al. *geiss*) gafr, llwdn gafr; llill, llillen, gid, giten, giden, gafren, cidws, cidysen: *pl.* geifr, gafrod.

He-goat—bwch gafr, bwch geifr, gwrafr, gafr-fwch, bwch.

She-goat—gafr, gafr fenyw; llill, llillen, giten, giden.

Gelt-goat, } hyfr, hafr: *pl.* hyfrod,
Wether-goat, } hafrod, heifr.

Young goat—efyrnig, llillen, giten, giden, cidysen; myn, mynyn, mynan, mynen.

A little goat—gafran, gafren.

A little she-goat—gafren, llillen, giten, giden, cidysen, mynen.

Wild goat—gafr wyllt; gwyddafr, creigafr, coedafr; gwyddfwch.

Barren goat—gafr hesp, hesp-afr.

Goat-deer—hyddafr, gafr-garw.

Scape-goat—bwch dïangol.
Pen for goats—ty geifr, corlan geifr, ty gafrod, gafr-dy.
Goat's eye—llygad gafr, gafrem.

Goat-chaffer, *s.* gidchwilen, gidchwil.

Goat-fish, *s.* gidbysg, gafrbysg=pysg perthynol i'r Canolfor.

Goatherd, *s.* bugail geifr, heusor geifr.

Goatish, *a.* gafraidd; mws, drewllyd; anllad, trythyll, nwyfus; môr drythyll a'r afr; cyn drythylled a'r afr; yn drewi fel bwch; â sawr y bwch arno; â gwynt y bwch ganddo.

Goat-marjoram, *s.*=*Goat's-beard, Goat-beard.*

Goat-milker, *s.*=*Goatsucker.*

Goat-moth, *s.* gafrwyfyn, gidwyfyn.

Goat's-beard, Goat-beard, } *s.* barf yr afr.
Yellow goat's beard—barf yr afr felen.
Greater goat's beard—barf yr afr fwyaf.
Purple goat's beard—barf yr afr genin-ddail, barf yr afr gochlas.

Goatskin, *s.* croen gafr, cen gafr.

Goat's-rue, *s.* gorddawn yr afr, torwenwyn yr afr, rhut y geifr.

Goat's-stones, *s. pl.* gafr-eirin; baldar; tegeirian.
Greater goat's stones—baldar.
Lesser goat's stones—tegeirian, eirin y ci, caill y ci, ceilliau'r ci.

Goat's-thorn, *s.* rhafnwydd.

Goatsucker, *s.* y rhodor, y rhodwr, aderyn y droell, gidsugnydd; brân nos, brân y nos, dylluan y rhedyn.

Goatwort, *s.* llysiau y gymmalwst, troed yr afr.

Gob, Gobbet, } *s.* (Ff. *gobe, gobet*) tam, tamaid, tameidyn, cwlff, chwalff, llaprwth, safnaid, bochaid, cnwff, geneuaid; talp, telpyn, difyn, dryllyn, dernyn, clempyn, chwelffyn; geneu.
A little gobbet—tameidyn, cylffyn.
At one gobbet—ar un tamaid; yn un tamaid.
In gobbets—yn dameidiau, yn gylffau, yn llaprythau, yn dalpiau, yn fochlwythi, yn fochlwythau, yn safneidiau, yn chwalffau.
Full of gobbets—tameidiog.

Gobbet, *v. a.* llyncu yn dalpiau, yn dameidiau, yn gylffau, *neu* yn fochlwythi.

Gobbing, *s.* (o *gob*) ceusothach, ceusorod; sothach â deflir i gauad tyllau glo.

Gobble, *v. a.* (Ff. *gober*) traflyncu, ceglyncu, darlyncu, cegu, llyncu, gwancio, llawcio; llyncu heb ei gnoi; llyncu heb gymmeryd hamdden i'w gnoi; bochlwytho, safneidio; ysu yn wancus; bwyta ar frys ac yn wancus.

Gobble, *v. n.* lleisio fel twrci.

Gobbler, *s.* traflyncwr, traflyncydd, darlyncwr, ceglyncwr, cegwr, gwanciwr, llawciwr; ceiliog twrci.

Go-between, *s.* cyfryngydd, cyfryngwr, cyfryngai, rhyngfynedwr; â el rhwng dau; rhyngfasnachydd.

Goblet, *s.* (Ff. *gobelet*) cwpan, mail, meilen, carfen, cawg, gorflwch, gorwydryn, godard, ffiol, gŵn, cib.
Golden goblet—eurfail, cwpan aur, eurgwpan, eurgib.

Goblin, *s.* (Ff. *gobelin*) coblyn, ellyll, gwyll, bwgan, bwbach, bwci, mwci, anysbryd, gwagysbryd, drychiolaeth, lledrith, bwg, pwg, pwci, bo, elff, aneilun, un o'r tylwyth teg.

Gobonated, *p. p.* (Ff. *gobe*) tameidiog, tanranog.

Gobone, Gobony, } *a.* britheiliog, brithymylog.

Go-by, *s.* mynediad heibio; gocheliad; ymocheliad; ymdro, mwysdro, cyfrwys och..., hud, som, dichell.
To give one the go-by—myned heibio i un; pasio un; gadael un ar ol; gadaw un ar redeg.

Goby, Gobius, } *s.* (Ll. *gobius*) gwyniad; y gwyniaid.

Go-cart, *s.* càr cerdded, gogart; cart bach, chwareufen plentyn.

God, *s.* (S. ac Is.; Al. *gott*; Sw. a D. *gud*) Duw; Ion, Ior, Naf, Ner, Celi; Duw Celi, Duw Ior, Duw Ion, Duw Naf, Duw Ner; duw, dwyf.
False god—geudduw, duw gau, gau dduw.
Household gods — tydduwiau, duwiau teulu.
God of wisdom — duw doethineb, dwyf doethineb.
Tutelary gods—duwiau nawdd, duwiau noddol, nawdd-dduwiau, tadolion dduwiau, duwiau tadol; duwiau tadolion.
God of wine—duw gwin, duw y gwin, gwinior.
Sea-god—mordduw, duw môr, duw y môr.
River-god — afonior, afondduw, duw yr afonydd, dyfrior; dyfrelen, nofanes.
God of hell—duw uffern, uffernior.
God of war—duw rhyfel, rhyfelior, rhyfeldduw.
God forbid—na ato Duw; na adawo Duw; nas gato Duw; na aded Duw; na adawed Duw.
God grant—Duw a wnel; Duw a wnelo; caniatäed Duw; Duw a ganiatao.
Good God!—och Dduw! Duw anwyl!
God save you—nawdd Duw arnat; Duw a'th gadwo; porth Duw iti; Duw yn borth iti; Duw a fo yn borth i ti; cadwed Duw di: *pl.* nawdd Duw arnoch, &c.
God speed you — Duw yn rhwydd iti; rhwydd-deb iti; rhad Duw arnat; rhad Duw ar dy waith; hawddammor iti.
To bid one God speed—dywedyd 'Duw yn rhwydd' wrth un; erchi 'hawddammor' i un.
If God will—os Duw a'i myn; os myn Duw; os da gàn Dduw; os caniatâ Duw.
If God send life—os byw fyddaf; os byw a fyddaf; os byddaf fyw; os rhydd Duw einioes.
God save the queen—Duw a gadwo y frenines; Duw gadwo y frenines.
The church of God—eglwys Duw.
The house of God—ty Duw.
God preserve me from you—nawdd Duw rhyngof fi a chwi; croes Duw rhyngof fi a chwi; Duw a'm cadwo rhagoch.
God preserve me from doing so—Duw a'm cadwo rhag gwneuthur felly; cadwed Duw fi rhag gwneuthur felly; na ato Duw i mi wneuthur felly; croes Duw rhag i mi wneuthur felly.
To pray God, To pray to God, } gweddïo ar Dduw, gweddïo Duw; gweddïo at Dduw; atolygu i Dduw; dymuno ar Dduw; deisyfu ar Dduw.

I pray God—mi a archaf ar Dduw; mi a archaf i Dduw; mi ddymunaf ar Dduw; mi a gaf gàn Dduw; Duw a wnel; caniatäed Duw; mi a weddïaf ar Dduw.
Love of God—cariad *neu* serch ar Dduw; duwgarwch, duwiol serch.
For the love of God—er cariad ar Dduw; er serch ar Dduw; er mwyn Duw.

**God,** † *v. n.* dwyfoli, duwio.
**Godchild,** *s.* (*god* a *child*) plentyn bedydd.
**Goddaughter,** *s.* merch fedydd.
**Goddess,** *s.* (o *god*) duwies, dwywes; dwyfen, bunnuwen, dwyfes, angeles, angyles, elen.
Silvan goddess—gwyddanes, duwies y coed, duwies y coedydd, coedelen.
Goddess of wisdom—duwies doethineb.
Goddess of learning—duwies dysg, duwies ddysg, llendduwies.
**Goddesslike,** *a.* duwiesaidd, elenaidd; fel duwies.
**Godfather,** *s.* (*god* a *father*) tad bedydd, alltraw, alltad.
**Godfather,** *v. a.* alltrawu, alltradu; gweithredu fel tad bedydd; tadmaethu.
**Godfearing,** *a.* (*god* a *fear*) yn ofni Duw; à ofno Dduw; duwiol.
**Godhead,** *s.* (*god*, a S. *hade*) duwdod, duwdeb, duwdid; dwyfoldeb, dwyfolder, duwindeb, duwiolaeth; duw, dwyf, duwies.
**Godless,** *a.* didduw, annuw; heb Dduw, annuwiaethol; annuwiol, annuwaidd; anffyddiol, diffydd, digred, drwg, drygionus, ysgeler.
**Godlessness,** *s.* annuwiaeth, didduwiaeth, annuweiddrwydd, annuwdeb, annuwioldeb, annuwiolrwydd.
**Godlike,** *a.* duwaidd, duwiaidd; tebyg i Dduw; fel Duw; dwyfol; dwyfolaidd, duwiolaidd, dwywol, duwin, dwyfin, duwiol, duwdebyg; ardderchog.
**Godlikeness,** *s.* duweiddrwydd; dwyfoldeb, dwyfolder, dwywoldeb, duwinrwydd, dwyfinrwydd; duwdebygrwydd, tebygrwydd i Dduw.
**Godlily,** *ad.* yn dduwiol.
**Godliness,** *s.* (o *godly*) duwioldeb, duwiolder, duwiolrwydd, dwyfolder, dwyfoldeb, dwywolder, duwgarwch, duwiolfryd, duwiolfrydedd, buchedd dduwiol.
**Godling,** *s.* (o *god*) duwyn, duw bach, duw bychan: *pl.* duwiach.
**Godly,** *a.* (*god* a *like*) duwiol; dwyfol, dwywol; crefyddol, duwgar, duwiolfryd, duwiolfrydig, parchedig.
Godly fear—ofn duwiol, parchedig ofn.
**Godly,** *ad.* yn dduwiol, &c.
**Godlihead,** † *s.* (S. *god* a *hade*) daioni.
**Godmother,** *s.* (*god* a *mother*) mam fedydd, alltrawes, elltrewen.
**Godroon,** *s.* (Ff. *godron*) gwrthrigol, gwrthsylch.
**Godsend,** *s.* (*god* a *send*) rhodd Duw, dwyfanrheg; peth anfonedig gàn Dduw; ffawd, cynrabad, coelferth, tynged dda, mattynged.
**Godship,** *s.* (o *god*) duwdod, duwdeb, duwdid; duwiaeth, duwiolaeth.
**Godsmith,** *s.* duwof, eilunof, gof duwiau, gwneuthurwr duwiau, gof eilunod, gwneuthurwr eilunod.
**Godson,** *s.* (*god* a *son*; S. *godsunu*) mab bedydd.
**Godspeed,** *s.* Duw yn rhwydd; rhwydd-deb, hawddammor, llwyddiant, ffynniant.
**God's-penny,** *s.* ceiniog friduw, ceiniog ernes, ceiniog ern, ceiniog arddelw.
**Godward,** *ad.* (*god* a *ward*) tuag at Dduw; ar Dduw.
**Godwit,** *s.* (Isl. *god* a *veide*) rhostog.
Red godwit—rhostog coch.
Lesser godwit—cwtyn du.
**Godyeld,** } † *adv.* (talfyriad, meddylir o *god*
**Godyield,** } neu *good*, a *shield*) diolch.
**Goel,** † *a.* (S. *gealew*) melyn.
**Goer,** *s.* (o *go*) mynedydd, mynedwr, cerddedwr, cerddedydd, cerddwr; troed, ped, pedd.
Comers and goers—tramwywyr, tramwyaid; rhai yn myned ac yn dyfod; mynediaid a dyfodiaid.
A goer barefoot—un troednoeth, un dïarchen.
He is a good goer—y mae efe yn myned yn dda.
**Goethite,** *s.* (oddi wrth yr hyglod *Goethe*, y bardd Almaenig) math o ddelidfaen.
**Goety,** † *s.* (Gr. *goëteia*) goralwad ar ysbrydion drwg, gorcheiniaeth.
**Goff,** † *s.* (C. *goffol?* Ff. *goffe?*) ffol, ffwl, ffwlcyn, cuall, penbwl, pendew.
**Goffish,** † *a.* ffol, anghall, penbylaidd, cuall, hurthgenaidd, goffol.
**Gog,** *s.* (C. *gog*, yn ol *Webster*) brys, dyfrys, ffull, ffrwst; awydd myned.
**Goggle,** *v. n.* (C. *gogelu*, yn ol *Webster*) llygadwibio, rhoncian, gwibio; treiglo y llygad; edrych ar wyr; edrych yn llygattraws; darsyllu, alltremu, alltremio, syllu, llygadrythu, llawnrythu.
**Goggle,** } *a.* llygadfawr, llygadog, llygadrwth;
**Goggled,** } tremiol, tremgar, syllgar, teryll, gwibiog.
Goggle eye, } llygad gwibiog, llygad
Goggling eye, } hydreigl, llygad ansafadwy; llygad llo, llygad buwch, bulygad; llygad à saif allan yn mhell, megys pe bai yn barod i neidio allan o'i dwll.
**Goggle,** *s.* llygadrythiad, llygadwibiad, llygadwib, llygattreigl.
**Goggle-eyed,** *a.* llygadfawr, llygadog, llygadrwth, (*f.* llygadroth;) à llygad llo iddo; llygattraws; llygadwibiog.
**Goggles,** *s. pl.* (C. *gogelu*) dadgamwelion, dadgamlygon, gogelion; mygydau.
**Going,** *s.* (o *go*) mynediad, cerddediad; trawd, trawdd; ymadawiad, edfynt, edfyn; ebri; tramwy, tramwyad; ffordd, llwybr, hynt, rhawd; buchedd, ymddygiad, ymweddiad, ymarweddiad; beichiogiad, beichiogi; goruchwyliaeth; camrau, traed.
Going out, } mynediad allan; eithaf,
Goings out, } eithafed, cwr eithaf, cwr pellaf; ymadawiad, edfynt, ymdaith.
A going about—amgylchyniad, amgylchiad, cylchyniad, mynediad o amgylch; amrediad, amred, amdreigl.
A going away—mynediad ymaith; ymadawiad, edfynt, edfyn.
A going down — disgyniad, disgynfa, cwympad; goriwaered; mynediad i lawr.
A going down of the sun—machlud haul, machludiad haul, ymachlud haul, gostyngiad haul, gostwng haul; ymachludd haul; mynediad haul i lawr; mynediad haul yn ei haddef; mynediad haul dàn ei gaerau.
A going forth—mynediad allan; codiad, cwnad.

A going out of the way—mynediad o'r ffordd; mynediad allan o'r ffordd; cyfeiliorn, cyfeiliornad, cyfeiliorni, didro, amryfusedd, ffael.
A going up—esgyniad, esgynfa, dyrchafad, dyrchafiad, derchafiant; dringad, dringfa; rhiw.
Goitre, s. (Ff.) brefantchwydd, breuantchwydd, chwydd y breuant, brefantlwg.
Goitered, } a. brefantchwyddog; â'r brefant-
Goitred, } chwydd arno.
Goitrous, a. brefantchwyddol, breuantchwyddol; perthynol i'r breuantchwydd.
Gola, s. (Ll. *gula*) tònfolden, tònfold, tònaddurn.
Gold, s. (S. ac Al.; Sw. a D. *guld;* Is. *goud*) aur; eurliw.
Pure gold — aur pur, aur coeth, aur dilin.
Fine gold—aur coeth, aur dilin, aur coethedig, aur pur.
Gold fined—aur profedig, aur coethedig, aur coeth, aur puredig.
Malleable gold—aur mâl.
Solvent gold—aur tawdd.
A bit of gold—euryn.
Coined gold, } aur bath; bath aur, bathell
Gold coin, } aur, eurfath.
Bullion gold—aur clamp, aur talp; aur yn y clamp; aur heb ei fathu.
Standard gold—aur tâl, aur talbenig, aur talben, aur safon.
Gold in circulation—aur amred, aur ar drain, aur train, aur treigl.
Native gold—aur cynnwynol, aur cynhenid, cynaur, aur dilin.
Collection of gold—eurgrawn, eurgasgl.
Venice gold—llifion aur, rhasglion aur, rhathion aur.
Leaf-gold—aur dalenog, dalenau aur, dail aur, eurddail.
To do with gold—euro.
Spangles of gold—casnod aur, eurgasnod.
Covered with gold—eurgaen, eurdo, eurdde; goreurog, eurog, goreuredig, euredig, goreuraid.
Plated with gold—eurdo.
Strewed with gold, } eurgrwydr; eur-
Scattered over with gold, } daen, eurgaen.
Grooms besmeared with gold—gwastrodion eurgrest.
Laced with gold—eursiderog.
Embroidered with gold, } eurfrodiog, eur-
Brocaded with gold, } frwydog.
All is not gold that glitters—nid aur pob dysglaer; llawer teg drwg ei ddefnydd, llawer hagr hygar fydd.
And the goldsmith spreadeth it over with gold—a'r eurych a'i goreura.
Gold of pleasure—cydlin.
Gold, a. euraid, euraidd, eurin, eurinol, eurinog, eurol, o aur; eur-.
Gold chain—eurdorch, torch aur, cadwyn aur, eurgadwyn.
Wearing a gold chain—eurdorchog, eurhualog: *pl.* eurdorchogion, eurhualogion.
Gold medal—eurdlws, bathodyn aur.
Gold treasure—eurged, eurgrawn.
Gold mine—eurglawdd, eurgloddfa, cloddfa aur, mwnglawdd aur.
Gold ore—mwn aur, mwyn aur, eurfwn.
Gold sand—eurdywod, tywod aur, graian aur.
Gold dust—llwch aur, eurdywod, manlwch aur, eurflawd, eurlwch.
Gold-laced—eursiderog.
Gold coronet — coronig aur, talaith aur, eurdalaith, eurgoron.
Gold enamel—eurgalch.
Gold enamelled—eurgalch, eurgalchedig.
Gold ring—modrwy aur, eurfodrwy, eurrwy.
Wearing a gold ring—eurfodrwyog, eurrwyog; yn gwisgo modrwy aur.
Gold cover, } eurglawr, clawr aur.
Gold surface, }
Gold finer — eurgoethydd, eurgoethwr, purwr aur, coethwr aur, coethydd aur, terydd aur, eurych.
Gold locks—eurgudynau, eurwallt, cudynau aur, llofnau aur.
Gold currency—aur damred, aur train, aur treigl, aur ar drain.
Gold-headed—peneurin, peneuraid, penaur, peneurog.
Gold-covered—eurdo, eurgaen, eurgrwydr, eurdaen.
Gold foam—gorferw yr aur, eurewyn, eurferw.
Gold brocade, } eurfrodiad, eurfrod-
Gold embroidery, } iaeth, eurfrodwaith, brodwaith aur, brwydwaith aur.
Gold fillet—eurdalaith, eurffunen, ffunen aur.
Gold Coast—yr Oror Aur, yr Eurbarth, yr Eurorer, Goror yr Aur, yr Eurdiriogaeth.
Of a gold colour—eurliw, eurliwiog, eurwedd; melyn felyr aur; melyn.
Goldbeaten, a. goreurog, eurog, goreuredig, eurdde.
Goldbeater, s. eurddalenydd, eurddalenwr, dalenydd aur, eurdduliwr, pwywr aur; un â yro aur yn ddalenau.
Goldbound, a. eurgylchedig; amgylchedig âg aur.
Golden, a. (o *gold*) euraid, euraidd, eurin, eurinol, eurinog, eurog, eurol, o aur; melyn, eurwedd, eurliwiog; eur-.
Golden rule—rheol euraid, rheol euraidd; y rheol driphlyg.
Golden hue—eurwedd, eurwawr, eurliw, lliw yr aur.
Golden goblet—eurfail, cwpan aur, eurgwpan, eurgib.
Golden-coloured—eurliw, eurliwiog; eurwedd, eurwawr.
Golden-tongued — eurdafodiog, eurdafod; â chanddo dafod aur.
Edeyrn the Golden-tongued—Edeyrn Dafod Aur.
Golden-mouthed—eureneu.
John the Golden-mouthed—Ioan Eureneu.
Golden-crested—eurgopog, eurgopynog.
Golden-crested wren — yswigw, yswidw, sywidw.
Golden surface—eurgaen, eurglawr.
Golden dawn—eurwawr.
Golden trinket—euryn.
Golden armour—eurgrud, eurgrudr, eurgadwisg, cadwisg aur, rhyfelwisg aur, crudyr aur.
Golden-crowned—eurgoronog, eurdaleithiog.

**Having** golden tresses — eurwallt, eurwalltog, eurgudynog, eurlywethog.
**Golden**-cups, *s.* egyllt, crafanc y frân, troed y **frân**, llun troed y frân; egyllt cnapwraidd, **blodau** yr ymenyn.
**Golden**-eye, *s.* llygad aur, hwyad lygad aur.
**Golden**-lungwort, *s.* heboglys y muriau, mur**heboglys**.
**Goldenly**,† *ad.* yn euraidd, yn orwych.
**Golden**-maidenhair, *s.* eurwallt y forwyn, **gwallt** y ddaiar.
**Golden**-mouse-ear, *s.* blewynog, torllwydig, tor**llwyd**, heboglys torllwyd.
**Golden**-pheasant, *s.* eurgoediar, y goediar aur, **gwyddiar** China, coediar Catai.
**Golden**-rod, *s.* eurwialen, eurialen, melyneur**aid**, melyneuraidd.
Golden-rod tree—eurialwydden: *pl.* eurialwydd, eurialenwydd=pren brodorol o Ynysoedd Canaria.
**Golden**-samphire, *s.* cedowys sugol, sampier y **geifr**, samphir y geifr.
**Golden**-saxifrage, *s.* eglyn.
Opposite-leaved golden-saxifrage — eglyn cyferbynddail.
**Golden**-thistle, *s.* eurysgall; *sing.* eurysgallen.
**Golden**-tressed, *a.* eurgudynog.
**Golden**-winged, *a.* euradeiniog, eurasgellog; **â'i** esgyll fel yr aur.
**Goldfinch**, *s.* (*gold* a *finch;* S. *goldfinc*) pinc, **telor**, peneuryn, pen eurin, eurlinosen, gwas **y seiri**, eurbinc, eurasgell.
**Goldfinder**, *s.* eurgaffaeliwr, caffaelydd aur; **carthwr** geudai.
**Goldfish**, } **Goldenfish**, } *s.* eurbysg, eurbysgod.
**Gold**-hammer, *s.* melyn yr eithin, llinos felen.
**Goldheaded**, *a.* penaur, peneuraid, peneuraidd, peneurin, peneurog.
**Goldhilted**, *a.* eurgarn, eurseidiog, eursaid.
**Golding**, *s.* (o *gold*) afal eurliw, eurliwyn.
**Goldlace**, *s.* (*gold* a *lace*) eurysnoden, ysnoden **aur**, eursider, euraddurnwe.
**Goldlaced**, *a.* eursiderog, eurysnodenog.
**Goldleaf**, *s.* eurddalen, eurddeilen, dalen aur; **aur** dalenog: *pl.* eurddail, eurddalenau, dalenau aur, dail aur.
**Goldless**, *a.* dïaur, heb aur.
**Goldney**, *s.* (o *gold*) eurben, banwes, y pysg eurben.
**Gold**-pleasure, *s.* cydlin.
**Gold**-proof, *a.* nas gellir ei hudo âg aur; na feno aur arno; na finio arian arno; anobrwyadwy.
**Goldsolder**, *s.* eursodyr, eursawdyr.
**Goldsize**, *s.* eurlud, goreurlud.
**Goldsmith**, *s.* (*gold* a *smith*) eurych, eurydd, eurof, gof aur; arianydd.
Goldsmith's trade — eurychaeth, eurydd-iaeth, eurofaniaeth.
Of a goldsmith's trade—eurychol; perthynol i eurychaeth.
Goldsmith's work — eurychwaith, eurofwaith, gwaith eurych.
**Goldthread**, *s.* euredaf, euredef, euredafeddog.
**Goldwire**, *s.* eurwyfr, gwyfr aur, gwyfr eurin.
**Goldylocks**, } **Goldilocks**, } *s.* (*gold* a *lock*) peneuraid, peneuraidd.
**Golf**, *s.* (Is. *kolf;* D. *kolv*) math o chwareu â phel a phastwn.
**Goll**,† *s.* (Gr. *gualon?*) llawiau, crafangau, palfau.

Goloe-shoe, *s.* (C. a Llyd. *golo*) aresgid; esgid ar esgid.
Golore, *s.* (Gw. *gleire*) cyflawnder, llawnder, amledd.
Golpes, *s. pl.* porfforgrynion (mewn herodraeth).
Golt, *s.*=*Gault, Galt.*
Goltschut, *s.* darn arian arferedig yn Iapan.
Gom, } Goma, } † *s.* (S. *gum;* Goth. *guma*) dyn, gwr.
Gome, *s.* (llygriad o *coom*) echelsaim, iraid echel, saim troell, iraid troell; huddygl.
Gomphosis, *s.* (Gr.) gwadalgnawiad, gwadalgnaw, cnawiad anysgog y dannedd.
Gomphræena, } Gomphrena, } *s.* (Gr. *gomphrēna*) llysiau yr eiddigedd.
Gonagra, } Gonegra, } *s.* (Gr. *gonu* ac *agra*) penlinwst, cymmalwst pen y lin.
Gondola, *s.* (It.; Ff. *gondole*) math o fad neu ysgraff hirgul, arferedig yn benaf yn yr Ital: hirfad, hirgwch.
Gondolier, *s.* (o *gondola*) rhwyfwr y Gondola; hirfadwr; badrwyfwr, badrwyfydd, rhwyfwr.
Gone, *p. p.* (o *go*) gwedi myned; â aeth, &c.; colledig; neithiedig; wedi myned heibio; trengedig, marw, wedi marw.
Be gone—ymaith; dos ymaith; ffwrdd â thi; dos i'th ffordd; cerdd i dy ffordd; cerdd i gerdded; dos hwnt.
To be gone—myned *neu* redeg tu hwnt i'r nod.
I am a gone man—darfu am danaf; deryw am danaf; fe dderyw *neu* fe a ddarfu am danaf; dyn colledig wyf; un colledig ydwyf.
He is far gone in years—y mae efe yn oedranus; y mae efe mewn gwth o oedran.
Gone in drink, } Gone in liquor, } brwysg; wedi yfed yn galed; trwm gàn ddïod; yn mhell mewn dïod.
He is gone to the other world—aeth i'r byd arall; darfu am dano; aeth at ei hynafiaid; efe a fu farw; y mae efe wedi marw.
Gonfalon, } Gonfanon, } *s.* (Ff. *gonfalon*) lluman, baner, baniar, penwn, penon; baner Eglwys Rhufain.
Gonfalonier, *s.* llumanwr, banerwr, penllumanwr.
Gong, *s.* (S. *gang*) symbal y Chinwys; bandaron; † geudy, rheitty.
Goniometer, *s.* (Gr. *gōnia* a *metron*) elinfesur, elinfeidyr, onglfesur, eliniadyr.
Goniometrical, *a.* elinfesurol, elinfeidrol, onglfesurol, eliniadyrol.
Goniometry, *s.* elinfesuriaeth, onglfesuriaeth.
Gonophore, *s.* (Gr. *gonos* a *phoreō*) brigergawd, brigergyfod.
Gonoplax, } Gonoplacians, } *s. pl.* (Gr. *gonia* a *plax*) pedrygrestiaid.
Gonorrhea, } Gonorrhœa, } *s.* (Gr. *gonorrhoia*) hadred, hadlif.
Good, *a.* (S. *god, good;* Sw. a D. *god;* Al. *gut;* Is. *goed*) da, daionus, mad, iawn; madain, madiain, madus, madog, madien, madol, madaidd, madus; teg; buddiol, llesiol, llesol, defnyddiol, llesfawr; cyflëus; gwiw, addwyn, addas, cyfaddas; cyflawn, hollol; medrus, hyfedr, parod; rhagorol; moesol; crŷn, swrn, syrn; cadarn, safadwy.
As good a man as he—cystal gwr ag yntau.
As good as—cystal a, cystadl ag, cystadl a,

yn gystal a; mȯr dda ag; cystled a, däed a, cyslad a; malpai, mal pe bai.
As good as dead—cystal a marw; yn gystal a marw; nid gwell na marw; nid amgen na marw.
As good as his word—cystal a'i air.
Good cheer—byd da, byd gwych, bwyd da, sirdda, gwychfyd, danteithrwydd, gwledd, danteithfwyd.
Good deal—llawer, twysged, swrn, amledd, amlder, helaethran, llaweroedd, llawer iawn, nid ychydig, mwy na mwy, llawer byd, cyfran fawr. [tro da.
Good deed—gweithred dda, cymmwynas,
Good fellow—glân gydymaith, cydymaith glân, cyfeddachwr digriflan, cyfeddachwr, cydyfwr.
Good Friday—Dydd Gwener y Croglith, Dydd Gwener Croglith.
Good God!—och Dduw! Duw anwyl!
Good health—iechyd da, iechyd, hwyl dda, hwyl iechyd.
Good liking—cymmeradwyaeth, cymmodlonedd, cymmodlonrwydd, cymmeradwyad.
Good luck, Good fortune, } ffawd, cynrabad, coelferth, tynged dda, tynged fad, hawddamnor, llwyddiant, llwydd, ffyniant, gorffawd, mattynged, tro da.
Good heavens—nefoedd anwyl! y nef a'n cadwo! O'r unig! gwarched pawb! Duw a'n gwarched!
Good many—nifer nid bychan; rhifedi nid bychan; rhynawd o nifer; crŷn nifer; nifer da; crŷn lawer; bagad, twysged.
Good name—enw da, gair da, geirda; clod, mawl, moliant, bri, parch, cymmeriad.
Good nature—natur dda; hynawsedd, hynawsder, rhadlonedd.
Good natural parts—doniau naturiol da.
Good-natured — da ei natur; hynaws, tirion.
Good part—rhan dda, madran.
Good parts—athrylith dda, doniau da.
Good people—bobl anwyl, bobl dda, y bobl dda.
Good stock, Good family, } teulu da, tylwyth da; tylwyth gonest a da; gwreiddyn da; cyff da, gwehelyth da.
Good store — amlder, amledd, amldra, cyflawnder, llawnder, haflug, digonedd.
Good success — llwyddiant, ffynniant, llwydd, tyciant, ffawd.
Good things—pethau da; lladau; daioni; gwynfyd; madolion.
Good tidings—newyddion da, newydd da, llawen chwedl, llawenchwedl, llonchwedl.
Good turn—tro da, twrn da, gweithred dda, cymmwynas, gober mad, ced, mad; pwyth.
A good navy — llynges deg, llynges dda, llynges odidog, llynges luosog.
A good way off—yn mhell o ffordd oddi wrth; encyd o ffordd oddi wrth; yn mhell, yn bell; draw; yn mhell oddi wrth; yn mhell o ffordd; encyd o ffordd; crŷn getyn o ffordd; cetyn o ffordd.
A good while—ennyd o amser; encyd o amser; ennyd, talm; crŷn dalm; yn hir; dros hir amser; hir amser.

A good while ago—er ys talm; er ys talm o amser; er ys dyddiau, ers dyddiau; er ys dyddiau yn ol; er ys dyddiau bellach; er ys crŷn dalm; er ys hirfyd o amser; er ys cetyn mawr; er ys crŷn getyn; er ys cetyn.
Good will—ewyllys da, gwyllys da; bodd; hoffedd, hoffder, madwyllys.
Bearing good will—yn ewyllysio yn dda; yn dwyn ewyllys da; madwyllysiol.
To bear good will — ewyllysio yn dda; gwyllysio yn dda; dwyn ewyllys da.
With a good will—yn foddlawn, yn fodlon, yn ewyllysgar, yn wyllysgar; o ewyllys da; o fodd, o lwyrfodd, *neu* o lwyrfryd calon.
To make good — cyflawnu; cadarnhau, profi, sefydlu, sicrhau, gwirio; gwneuthur yn dda; gwneuthur i fyny; talu am; digolledu; gwneuthur colled i fyny; gwneyd i fyny golled; dwyn y golled; sefyll yn y golled; gwneuthur yr hyn a gollwyd yn dda; amddiffyn, cynnal, diogelu, myntumio; dwyn i ben.
To make good a charge—profi cwyn, profi cyhudded, profi cyhuddiad; gwneuthur cyhudded *neu* achwyniad yn dda.
To make good one's promise — cywiro, cwblhau, *neu* gyflawnu ei addewid.
To make good a retreat—diogelu diangfa; dïogelu lle i gilio: cynnal byddin ar gil rhag gelyn buddugol.
You make good the proverb—yr ydych yn gwirio y ddïareb.
To think good, To see good, } gweled yn dda; bod yn dda yn ngolwg; tybied yn addas; rhyngu bodd i un; gweled bod yn dda; tybied yn dda.
If you shall think good—os bydd dda yn eich golwg.
To stand good—bod yn gadarn *neu* safadwy; sefyll yn gadarn *neu* safadwy.
To take in good part—cymmeryd yn dda; cymmeryd mewn rhan dda; cymmeryd mewn ffordd dda; peidio âg anfoddloni wrth beth; bod yn gymmeradwy gàn un beth; derbyn yn gymmeradwy.
The good man of the house—gwr y ty; penaeth y ty; y penteulu; pendod y ty.
The good woman of the house—gwraig y ty; y benteulues; pendodes y ty.
In good earnest—o wir ddifrif, yn wir ddïau; yn ddigellwair, yn ddifrif, mewn difrif, yn ddifrifol, o ddifrif.
In good truth, In good faith, } yn wir, yn ddïau, mewn gwirionedd, yn ddilys; mewn gwir da; yn ddigellwair, yn ddifregedd, o ddifrif, mewn difrif, yn ddifrifol, o brudd, o brysur, heb gellwair; yn lle gwir; yn wir ddïau; rhyngof a Duw; rhyngof fi a Duw.
Truly good—gwir dda, gwirdda, iawndda.
Extremely good—tra da, da iawn, tra daionus, da dros ben.
Passing good—odineth, od, godidog, odidog, tra da.
To be of good comfort—bod yn gysurus; cymmeryd cysur.
To be in good health—bod yn iach; bod yn iach lawen; bod mewn iechyd; bod yn hwylus; bod yn dda ei hwyl.

**He was as good as his word**—cadwodd ei air; bu gystal a'i air.
**I reckon it now as good as done**—yr wyf yn ei gyfrif yn awr megys ar ben, wedi ei wneuthur, *neu* wedi ei orphen; yr wyf yn ei gyfrif yn awr gystal a phe buasai wedi ei wneuthur.
**He has as good as married her**—y mae efe yn mraint *neu* mewn braint wedi ei phriodi; gwnaeth gystal a'i phriodi.
**To be good at a thing**—bod yn hyfedr ar beth.
**To have a good mind to do a thing**—bod ar un fawr chwant i wneuthur peth; bod ar un flys, chwant *neu* awydd i wneuthur peth.
**What is it good for?**—i beth y mae yn dda? i beth y mae yn fuddiol? i ba beth y mae yn fuddiol? at beth y mae yn dda? da i beth ydyw? beth a wneir âg ef? at ba ddefnydd y mae efe? i beth y mae dda?
**Good for nothing**—da i ddim; difudd, diles, diffrwyth, anfuddiol, didda, coeg.
**It is good for nothing**—nid yw dda i ddim; ni yw e'n dda i ddim; ni thâl ddim; ni wneir mo'r gyfaredd âg ef; nid yw werth dim.
**How good!**—däed! mòr dda! pa mòr dda!
**I did not know how good it was**—nis gwyddwn ddäed oedd; nis gwyddwn mòr dda ydoedd.
**A word spoken in due season, how good is it!**—O mòr dda yw gair yn ei amser!
**Of good behaviour**—gweddaidd; gweddus ei ymddygiad; o ymarweddiad gweddaidd.
**That is a good boy**—da fachgen.
**With the general good liking of all**—trwy fodd a chydsyniad pawb yn gyffredinol.
**In good time**—mewn pryd da; mewn amser da; mewn pryd ac amser da; mewn pryd, mewn amser; mewn pryd ac amser; ar awr dda ac amser; yn brydlawn.
**To preach good tidings,** }
**To bring good tidings,** } cyhoeddi newyddion da; dwyn newyddion da; efengylu; pregethu newyddion da.
**That brings good tidings**—efengylwr, efengylydd: *f.* efengyles.
**By my good will**—o'm bodd i; o'm hewyllys da i; hyd y gallwyf fi; hyd y gallof fi; hyd y mae ynof fi.
**He wanted no good will**—nid oedd ei ddymuniad, ei fryd, ei fwriad, *neu* ei serch yn niffyg; nid oedd ei ewyllys da yn niffyg.
**Forgetfulness of good turns**—anghof am gymmwynasau; anghof o droion da.
**One good turn deserves another**—a wnel mad, mad a ddyly.
**I will do you as good a turn**—talaf y pwyth i chwi.
**One good turn for another**—tâl pwyth; cymmwynas am gymmwynas; mwynas am fwynas; ced am ged.
**To requite a good turn**—talu pwyth, talu y pwyth; talu diolch.
**Disposed to do good turns,** }
**Apt to do good turns,** } cymmwynasgar.
**It is a good horse that never stumbles**—nid oes neb heb ei fai; nid difai neb a aned; y mae y goreu yn llithro *neu* yn tramgwyddo; da yw y neb ni thramgwyddo.
Good wine needs no bush—afraid gwahodd at gwrw da.
Good success to the Romans—llwyddiant *neu* ffynniant i'r Rhufeiniaid; bid yn dda i'r Rhufeinwyr.
They departed with good success—ymadawsant yn llwyddiannus.
God give you good success—Duw a'ch llwyddo.
There is a sinner that hath good success—y mae pechadur yr hwn sydd yn llwyddo.
Let us enjoy the good things that are present—mwynhäwn y da sydd.
It is a good while ago that I saw him—y mae talm o amser er pan welais ef.
They shall give good ear—hwy a wrandawant (*Doeth.* viii. 12).
Take good heed—edrych (*Eccles.* i. 29).
That they may be of good comfort—megys y byddont gysurus (2 *Mac.* xi. 26).
Take ye good heed unto yourselves—ymgedwch yn ddyfal (*Deut.* ii. 4).

**Good,** *s.* da, daioni, madedd; budd, lles, mad, llad, lleshad, llesiant, mantais, llwyddiant, ffynniant, llwydd, ced, elw.
Chief good, }
Supreme good, } penllad, y daioni penaf, y da penaf, y dawn penaf, prifles, mawrddawn.
For our good—er ein lles; er daioni i ni.
Mutual good—cyfles, cyflad; da o bob tu.
The common good—y lles cyffredin, y budd cyffredinol.
To do good—gwneuthur daioni, gwneuthur da; gwneuthur lles, &c.; lleshau, llesoli, buddio.
To do good for evil—gwneuthur da dros *neu* am ddrwg; talu da dros *neu* am ddrwg.
Much good may it do you—mawr lles i chwi o hono; mawr dda i chwi o hono; mawr lles i chwi o hano.
We do little good, }
We do but little good, } nid ydym yn gwneuthur nemawr o les; nid ydym yn gwneuthur ond ychydig o les.
It does more harm than good—gwna fwy o ddrwg nag o dda; gwna fwy o niwed nag o les.
I get this good from it—caf hyn o fudd oddi wrtho; bydd i mi hyn o leshad oddi wrtho.
Know it for thy good—gwybydd er dy fwyn dy hun; gwybydd hyny er dy les dy hun.
For good and all—yn gwbl, yn llwyr, yn hollol, achlân, am oll; yn ddiweddaf; am y tro diweddaf.
He is gone for good and all—aeth ymaith dros fyth; aeth ymaith nid i ddychwelyd mwy; aeth ymaith heb feddwl dychwelyd mwyach; aeth dros oll.
He is come hither for good and all—daeth yma i wneuthur ei drigfa; daeth yma i wneuthur ei arosfa; daeth yma dros oll.
What good will it do you?—pa les a wna efe i chwi? beth gwell a fyddwch o hono? pa beth gwell a fyddwch oddi wrtho? pa lad fydd ef i chwi?
What good shall my life do me?—i ba beth y chwennychwn fy einioes (*Gen.* xxvii. 46)?

Good, *ad.* da, yn dda, purion; o'r goreu; yn iawn, iawn, yn dda iawn, yn wych.
As good—cystal, cystadl, yn gystal; mòr dda; cystled, cyslad.
Well and good—purion; pob peth yn burion; pob peth o'r goreu; pob peth yn dda; iawn a da; teg a da; eithaf da.
Good cheap—rhad, iselbris.
Good, *in.* purion! da! wel! o'r goreu! da iawn! uniawn!
Good,† *v. a.* gwrteithio, gwellha tir.
Good-breeding, *s.* moesau da, hyfoesedd, moesogrwydd, moesgarwch, moddusrwydd, boneddigrwydd, boneddigeiddrwydd, moeswychder, moeswychedd, dygiadusrwydd, gwiwfoesedd, ymddygiad boneddigaidd, harddwch ymddygiad; dygiad i fyny ar fonedd.
Good-bye, } *ad.* (talfyriad o *God* neu *good be* Good-by, } *with you*) bydd wych, bydd iach; nawdd Duw arnat; nawdd Ion arnat; Duw a fo gyda thi; Duw yn borth iti; porth Duw iti; yn iach, yn wych: *pl.* byddwch wych, &c.
Good-conditioned, *a.* moesog, moesgar, moesol, moddus, moddgar, da ei foes; da ei gyflwr, gwych ei helynt; da ei wedd, ei ansawdd, ei ddrych, *neu* ei ddiwyg; â moesau da ganddo; mewn cyflwr da.
Good-day, *s.* dydd da; dydd da ichwi; dydd da iwch.
Good-fellow, *s.* glân gydymaith, cydymaith glân, cyfeddachwr digrifllan, cyfeddachwr, cydyfwr.
Good-fellow, *v. a.* gwneuthur yn lân gydymaith; meddwi; brwysgo; gwneuthur yn feddw *neu* frwysg.
Good-fellowship, *s.* glân gyfeillach, cyfeillach lawen, cymdeithas lawen.
Good-Friday, *s.* Dydd Gwener y Croglith, Dydd Gwener Croglith.
Good-humour, *s.* hwyl; anian lawen; tymmer, anian, *neu* natur dda; tymmer, anian, *neu* natur ddiddig; hwyl dda; ffrawdden dda, tymmer siriol; llawenfryd; bodd.
Good-humoured, *a.* da ei hwyl, ei dymmer, ei natur, ei anian, *neu* ei anwydau; diddig, hyfodd; à fo yn ei hwyl; siriol ei dymmer.
Good-humouredly, *ad.* yn dda ei hwyl, &c.; mewn tymmer, anian, *neu* natur dda; yn ddiddig ei dymmer; yn ei hwyl; wrth ei fodd.
Good-lack, *in.* (o *lakken* neu *ladykin*, bychanig o *lady*, sef Mair Forwyn, fel yr ys yn tybied) gwae fi! och fi! och Dduw! O'r anwyl!
Goodless, *a.* didda, heb dda, heb ddaoedd, heb foddion.
Goodliness, *s.* (o *goodly*) tegwch, harddwch, prydferthwch, glendid, telediwrwydd, teleidrwydd, prydusrwydd, dillynedd, dillynder, tlysgeinder, mireinwch, berthineb, berthedd, berthyd, ceinder, tlysni; gweddusrwydd, gweddeiddrwydd, godidogrwydd.
Goodly, *ad.* yn rhagorol, yn odidog, yn ardderchog, yn hardd.
Goodly, *a.* (o *good*) hardd, teg, prydferth, prydweddol, golygus, tlws, hardd-deg, glân, glandeg, telediw, telaid, prydus, cain, ceinwedd, lluniaidd, ffurfaidd, gosgeddig, goseiddig, gwiwlun, gwiwffurf; hyfryd, hoff, dymunol; rhagorol, godidog, ardderchog, dewisol, da; gwych, dillyn; hyfad, madaidd, madog; †mawr, chwyddog, chwyddedig.
Goodly words—geiriau teg.
Goodly cedars—cedrwydd rhagorol.
Goodly heritage—etifeddiaeth deg, etifeddiaeth ragorol, etifeddiant ardderchog.
Goodly raiment—dillad gwychion; h[illegible] wisgoedd.
Goodly gifts—rhoddion gwychion.
Goodly to look to—hardd o wedd; hardd ei wedd; hardd yr olwg; teg yr olwg.
A goodly man—gwr golygus o faint; gwr hardd ei bryd; gwr teg yr olwg; gwr teg o bryd.
That goodly mountain—y mynydd d[illegible] hwnw.
Any goodly thing—pob peth gwerthfawr; unrhyw beth rhagorol; unpeth gwych.
Joseph was a goodly person—Ioseph oed[illegible] deg o bryd.
Of a goodly countenance—teg ei wedd; hardd ei wedd; teg o bryd.
Dainty and goodly—danteithiol a gwych.
How goodly are thy tents!—mòr hyfryd yw dy bebyll di!
Gavest thou the goodly wings unto the peacocks?—a roddaist ti adenydd hyfry[illegible] i'r paenod?
Goodlyhead,† *s.* (o *goodly*) daioni, daionusrwydd; rhad, rhadforedd.
Goodman, *s.* (*good* a *man*) gwr da, gwrda; gwr ty, gwr y ty, penteulu; gwr.
Good-manners, *s. pl.* moesau da, moesau; hyfoesedd, moesgarwch, moesogrwydd, moddusrwydd, moddgarwch, moeswychder, moeswychedd, gwiwfoesedd, dygiadusrwydd, boneddigrwydd, mwynfoes, ceinfoes, harddfoes, munudrwydd; medrusrwydd.
Good-morning, } *s.* bore da; bore da i chwi. Good-morrow, } bore da iwch.
Good-nature, *s.* natur dda; hynawsedd, hynawsder, rhadlonedd.
To trespass upon one's good nature—gwasgu ar hynawsedd un; gwasgu ar natur dda un; gwasgu ar amynedd un.
Good-natured, *a.* da ei natur; hynaws, tirion.
Good-naturedly, *ad.* mewn natur dda; yn hynaws; gyda hynawsedd, mewn hwyl dda.
Goodness, *s.* (o *good*) daioni, daionusrwydd, daionedd; madedd, madogrwydd, addwynder, addwyndra; rhinwedd; trugaredd, trugarogrwydd, tosturi; hynawsedd, hynawsder, mwynder; caredigrwydd; llarieidd-dra, addfwynder.
Good-now, *in.* da chwi! da dydi! da di! da i chwi; tynged dda i chwi; adolwg, adolwyn.
Goods, *s. pl.* (o *good*) da, daoedd; dodrefn; nwyddau; moddion; golud; cyfoeth, da byd; alaf, eiddo; pethau; yr hyn sy gàn un.
Household goods—dodrefn ty, dodrefn, dofod.
Moveable goods—da cyffro, da symmudol, da cyfodedyn, daoedd symmudadwy, da cyffröedig, da cychwynol, da symmudadwy.
Immoveable goods—da anghyffro, da digyffro, da ansymmudol, da anghyfodedyn, da anghyffröedig, da anghychwyn.
Divisible goods—da gwahanadwy, da gwahanedig.
Indivisible goods—da diwahan, da diwahanedig, da anwahanadwy.

**Live** goods, } da bywiol, da byw.
**Living** goods, }
**Inanimate** goods—da marwol, da marw.
**Goods** and chattels—da ac elyf; daoedd a moddion.
**Goods** (in commerce)—nwyddau.
**odship,**† *s.* daioni, llad, mwynas, rhad.
**ody,** *s.* (*goodwife?*) gwreigdda, gwreigan.
**odyship,** *s.* (o *goody*) gwreigddäeth, llywfach-u, gwreiganiaeth.
**ogings,** } *s. pl.* llywgryfasau, llywddalion
**odgeons,** } =math o fachau i ddàl llyw
**odings,** } llong.
**om,** *s.* (S. a Goth. *guma*) gwr, mab; un ewydd briodi: arferedig mewn cyfansodd-iad, megys yn *bridegoom*, yn awr *bride-groom*.
**omty,** *a.* ystumiog, dolenog, troawl, troawg, llawn yndro: arferedig yn yr India Ddwyr-einiol.
**oroo,** *s.* arweinydd ysbrydol Hindwaidd.
**osander,** *s.* hwyad ddanneddog.
**ose,** *pl.* Geese, *s.* (S. *gos;* D. *gaas;* Sw. *gäs*) gŵydd, llwdn gŵydd; haiarn gwniedydd, haiarn teiliwr, gŵydd dilledydd, llyfnyr, lleddyr.
**Mother**-goose—mamwydd, gŵydd orllyd.
**Brood**-goose—gŵydd orllyd, mamwydd.
**Green** goose—glaswydd, gŵydd ieuanc.
**Green** geese—gwyddau gleision, glas-wyddau.
**Grey** goose—gŵydd lwyd.
**Wild** goose—gŵydd wyllt, elcysen: *pl.* el-cys, gwyddau gwylltion.
**White**-fronted wild goose—gŵydd wyllt; gŵydd wyllt fronwen.
**Tame** goose—gŵydd ddof, gŵydd wâr.
**Brent** goose—gwyrain fenyw, gŵydd wen-dorch, gŵydd dorchwen.
**Stubble** goose—soflwydd, gŵydd sofl.
**Solan** goose—gans, gwylanwydd, hucan-wydd, yr ŵydd lygadlem.
**A flock of geese**—haid o wyddau, deadell o wyddau.
**He cannot say** *bo* **to a goose**—nid oes yn-ddo nac enaid nac ysbryd.
**To cry like a goose**—lleisio fel gŵydd; clegyr, clegar, clegr, gregar.
**Every man thinks his own geese swans**—goreu, gwell, teg, *neu* decach gàn bob un ei ledfegyn ei hun; gwŷn y gwel y frân ei chyw.
**Gooseberry,** *s.* (llygriad o *crossberry*, *grossberry*, neu *gorseberry*, oddi wrth ei erwinder: Al. *kräuselbeere*) grwysen, eirinen Mair, eirinen gair, eirinen perth eurddrain, gwyfonen; grwyswydden, eurberth, perth eurddrain: *pl.* grwys, eirin Mair, gwyfon, eirin perth eurddrain.
**Rough** gooseberries — gwyfon barfog, grwys; grwyswydd.
**Smooth** gooseberries—gwyfon, eirin Mair; gwyfonwydd.
Gooseberry trees — grwyswydd, gwyfon-wydd, eurberth, perth eurddrain.
Gooseberry fool—grwysfwyd, grwysfysg-edd, grwysfysg.
**Goosecap,** *s.* (*goose* a *cap*) ffwlcyn, hurthgen, penbwl, cuall, cadafael, gŵydd o ddyn, llob, penllorcan, brebwl.
**Goose-corn,** *s.* troellgoryn.
**Goosefoot,** *s.* troed yr ŵydd, gwydd-droed.
Mercury goosefoot, } sawdl y crydd, llys-
Perennial goosefoot, } iau y gwr da, llys-iau y meudwy, llysiau meudwy.
Stinking goosefoot — trwynsor, llygwyn drewllyd, mamog ddrewllyd, rhogai, rhoglus.
Red goosefoot — gwydd-droed rhuddog, troed yr ŵydd rhuddog.
White goosefoot—gwydd-droed gwynaidd, gwydd-droed gwyn, troed yr ŵydd gwŷn.
Sea goosefoot—gwydd-droed arfor, troed yr ŵydd arfor.
Sharp entire leaved goosefoot—gwydd-droed â deilen gyfan flaenfain.
Goosegrass, *s.* cynghafan, gwlydd y perthi, gwlyddyn garw, llysiau yr hidl.
Great goosegrass — cynghafan mwyaf, cynghafan gorweddol.
Gooseherd, *s.* bugail gwyddau.
Gooseneck, *s.* (*goose* a *neck*) ceg gŵydd, gwydd-fwnwg, gwydd-fwnwgl; bach ar lun gwddf gŵydd.
Goosequill, *s.* plufen gŵydd, pluen gŵydd, as-gell gŵydd, bon asgell gŵydd; ysgrifell o blufen gŵydd, plubin gŵydd.
Goosery, *s.* (o *goose*) cut gwyddau, ffronc gwyddau; cut i besgu gwyddau; ffronc i borthi gwyddau.
Goosetongue, *s.* dystrewlys, ystrewlys, tafod yr ŵydd.
Goosewing, *s.* gwyddaden, gwyddadain, adain gŵydd=math o hwyl.
Gopher, *s.* (Ff. *gaufres*) milyn o ddeutu cym-maint a gwiwer.
Gopher, *s.* (H.) Gopher, coed Gopher.
Goppish,† *a.* balch, uchel, anfoddog.
Gorbellied, *a.* (C. *gòr*, a *belly*) cestog, boliog, cestfawr, bolfawr, rhythfoliog, gorfoliog, bolrwth, boldyn, boldwn, torstain, potenog, torllaes, torog.
A gorbellied one — torogyn, un cestog: *f.* toroges, un gestog.
Gorbelly,† *s.* cest, tor, poten, gorfol, rhythfol, rhemmwth.
Gorce,† *s.* (Norm. *gors*) pysgodlyn, cored.
Gorcock, *s.* cochiad, ceiliog coch y grug, coch y grug, ceiliog coch y mynydd, grug-geiliog, ceiliog y grug.
Gorcrow, *s.* breuan.
Gord, *s.* offeryn hapchwareu.
Gordian, *a.* (o *Gordius*, brenin Phrygia) dyrys, astrus, annattodol, annattod, anhyddattod, diddattod, annattodadwy, anhawdd ei ddat-tod.
Gordian knot—clwm annattod, cwlwm an-nattodol, dyrysglwm; anhawsder annat-todadwy.
To cut the Gordian knot—tori y dyrysglwm; tori y clwm annattod; tori y cwlwm di-ddattod.
Gore, *s.* (S. *gor, gore;* C. *gôr;* Gw. *cear*) gwy-ar, gwaed, crau, gôr; ceulwaed, gorwaed, crawnwaed, gwaed o friw; baw, tom, llaid.
Gore, *s.* (Isl. *geir;* Ysg. *gore, gair*) cwysed; llain; lleinddarn; llain drichornel; llain ar lun gaing.
Gore, *v. a.* (C. *gyru*, yn ol *Webster*) cornio; gwanu, brathu, *neu* rwygo â chyrn; cyrchu; hwylio, topi; gwanu, brathu, pwynio; gwaenadu.
Gorge, *s.* (Ff.; It. *gorga, gorgia;* Ysp. *gorja* ceg, llwnc, llwng, llyncfa, breuant, corn

Viviparous fescue-grass—peisgwellt bywhiliog.
Hard fescue-grass—peisgwellt caledaidd, peisgwellt caled.
Creeping fescue-grass—peisgwellt ymdaenol.
Barren fescue-grass—peisgwellt anhiliog.
Wall fescue-grass—peisgwellt y fagwyr.
Single-husked fescue-grass — peisgwellt uncib.
Spiked fescue-grass—peisgwellt twysenaidd.
Tall fescue-grass (*festuca elatior*)—gwrwgawn, peisgwellt hydwf.
Tall fescue-grass (*festuca gigantea*)--peisgwellt hiriain, peisgwellt hirian.
Foxtail grass—rhonwellt y cadnaw.
Meadow foxtail grass—rhonwellt y cadnaw y weirglawdd.
Floating foxtail grass—rhonwellt y cadnaw cymmalog.
Alpine foxtail grass—rhonwellt y cadnaw mynyddig, mynyddig ronwellt y cadnaw.
Hair-grass—brigwellt.
Crested hair-grass—brigwellt cribog.
Water hair-grass—brigwellt dyfrdrig.
Turfy hair-grass—brigwellt mawnog.
Waved mountain hair-grass—brigwellt gwyrgam mynyddol.
Early hair-grass—brigwellt y gwanwyn, brigwellt cynnar.
Silver hair-grass—brigwellt arianaidd.
Hard-grass—corwellt.
Sea hard-grass — corwellt y morfa, cameiddwellt y morfa, corwellt camaidd, corwelltyn y morfa.
Hare's-tail grass—cwt ysgyfarnog.
Heath-grass—grugwellt.
Lyme-grass—amdowellt.
Mat-grass—cawnen ddu, cas gàn bladyrwr.
Meadow-grass—gweunwellt, gwaenwellt.
Float meadow-grass—gweunwellt nawf.
Creeping sea meadow-grass—gweunwellt arfor.
Hard meadow-grass—gweunwellt anhyblyg.
Flat-stalked meadow-grass—gweunwellt cyngwasgedig.
Roughish meadow-grass — gweunwellt lledarw.
Smooth-stalked meadow-grass—gweunwellt llyfn.
Short bluish meadow-grass—gweunwellt wybrliw.
Annual meadow-grass--gweunwellt blyneddol.
Wood meadow-grass—gweunwellt y goedwig.
Decumbent meadow-grass—gweunwellt gorweiddiog.
Melic-grass—meligwellt, meliowellt.
Wood melic-grass—meligwellt y goedwig.
Purple melic-grass—meligwellt rhuddlas.
Millet-grass—miledwellt.
Moor-grass—corswellt.
Blue moor-grass—corswellt rhuddlas.
Oat-grass—ceirchwellt.
Downy oat-grass — ceirchwellt manblu[aidd.
Narrow-leaved oat-grass—ceirchwellt culddail.
Yellow oat-grass—ceirchwellt melynaidd.
Panic-grass—cibog.
Quaking-grass—crydwellt, eigryn, gwenith ysgyfarnog.
Reed-grass—corswellt, cyrswellt, corsenwellt, corsen, cawn, cawnwellt.
Canary reed-grass—gwyran, corswellt amryliw.
• Rye-grass, Ray-grass, } rhygwellt, efr parhäus, efryn parhäus.
Soft-grass—maswellt.
Meadow soft-grass—maswellt sypwraidd.
Creeping soft-grass—maswellt rhedegog.
Oat-like soft-grass—maeswellt ceirchaidd.
Vernal-grass—melynwellt, perwellt, melynwellt y gwanwyn.
Sweet-scented vernal-grass—melynwellt perarogl, melynwellt perarogl y gwanwyn, perwellt y gwanwyn.
Wheat-grass—gwenithwellt.
Creeping wheat-grass, Couch-grass, } gwenithwellt ymdaenol, gwenithwellt ymdaen, glaswellt y cwn, gwenithwellt rhedegog, llygad y ci, triagl y cwn.
Sea rushy wheat-grass—gwenithwellt brwynaidd y morlan.
Fibrous wheat-grass, Bearded wheat-grass, } gwenithwellt sypwraidd coliog, gwenithwellt coliog.
Dwarf sea wheat-grass—corwenithwellt y morfin.
Grass-wrack—gwellt y gamlas, glasnoden, glasnoden y môr, ysnoden laswerdd y môr.
Grass of Parnassus—brial.
Viviparous grasses — bragwair, glaswellt bywhiliog.
Latter-grass—adladd, adwellt, attwf, aethwellt, adwair.
Blade of grass, Spire of grass, } gwelltyn, glaswelltyn, blewyn; blewyn o laswellt.
Green grass—glaswellt, gwellt glas, irwellt, porfa las.
Land very abundant in grass—tir porfelog iawn.
They eat grass together—cydborant.

**Grass**, *v.* glaswelltu, gwelltorio; cuddio â phorfa *neu* laswellt; magu yn laswellt; bod â glaswellt arno.

**Grassation**, *s.* (Ll. *grassatio*) crwydrad, amwibiad, gwibiad, gwibiawd, crwydr.

**Grass-blade**, *s.* gwelltyn, glaswelltyn, blewyn; blewyn o laswellt.

**Grassgreen**, *a.* gwelltwyrdd, gwelltlas, gwyrdd gàn wellt; duwyrdd.

**Grass-green**, *a.* gorchuddiedig gàn laswellt; wedi codi o wellt ar hyd-ddo; llawn glaswellt.

**Grasshopper**, *s.* (*grass* a *hop*) ceiliog rhedyn, hegab, neitiwr y gwair.

**Grassiness**, *s.* (o *grassy*) gwelltogrwydd, glaswelltogrwydd, porfaogrwydd, porfelogrwydd, gwellteiddrwydd; llawnder porfa *neu* laswellt; irlasrwydd.

**Grassland**, *s.* porfeldir, porfadir, tir porfa, tir pori, gwyrlawd.

**Grassless**, *a.* diwellt, diborfa, heb laswellt.

**Grassplot**, *s.* llanerch las, glaslanerch, cadlas, glaslan, talwrn, glas dalwrn, gwerddon, gwyrddon, glesin, parfas.

**Grasspoly**, *s.* gwyarllys.

Purple grasspoly—gwaedlys mawr, llysiau y milwr.
Hyssop-leaved grasspoly—urddon.

**Grass-table**, *s.* porfelfwrdd; tudfwrdd, llorfwrdd.

**Grassvetch**, *s.* porfelbys.

**Grass-week**, *s.* wythnos y gweddïau.

**Grasswrack**, *s.* gwellt y gamlas, glasnoden, glasnoden y môr, ysnoden laswerdd y môr.

**Grassy**, *a.* (o *grass*) glaswelltog, gwelltog, porfaog, porfelog, glaswelltaidd, gwelltaidd, porfelaidd, fel glaswellt; irlas; gwyrdd, glas.

**Grate**, *s.* (It. *grata;* Ll. *crates*) rhesel; gradell, cradell, greidell, greidyll, alch; croesfarau, cledrwy, clwyd haiarn, crud haiarn.
Kitchen grate—rhesel cegin, ceginalch.
Lattice-grate—alch gledrog, alch rwyllog.

**Grate**, *v. a.* rheselu; croesfario, cledrwyo, cledru.
To grate up—rheselu, cledru, eisio, delltu; cau i fyny â chledrwaith, âg eiswaith, *neu* â delltwaith; cau i fyny â gwaith cledr, ais, *neu* ddellt.

**Grate**, *v.* (Ff. *gratter*) rhathellu, rhathu, rhadellu; rhwbio, rhygnu, malu, malurio, briwsioni, *neu* friwioni ar rathell; rhincian, rhincio, rhasglio; treulio; mân rwbio; crafu, crafellu; anfoddhau, dygnu, blino, gofidio, sarhau, coddi, argoddi, cythruddo, niweidio, clwyfo, archolli, briwo; peri gloes, poen, *neu* ddolur; seinio yn ddybryd *neu* anhyfryd; ymrathu, ymrygnu.
To grate one's ears—dygnu, blino, gofidio, sarhau, clwyfo, archolli, rhathu, *neu* grafu clustiau; peri gloes i glustiau un; peri gloes yn nghlustiau un; seinio yn ddybryd *neu* anhyfryd yn nghlustiau un.
To grate the teeth — rhygnu dannedd, rhincian dannedd, rhathu dannedd.
To grate upon one another—ymrathu, ymrwbio, ymrygnu; rhathu *neu* rwbio yn nghyd; rhathu *neu* rwbio y naill yn erbyn y llall.

**Grate**,† *a.* (Ll. *gratus*) hyfryd.

**Grateful**, *a.* (Ll. *gratus*) dïolchgar, dïolchus; hyfryd, hoff, dymunol, boddus, boddlawn, boddhaol, boddlonus, cymmeradwy, wrth fodd, derbyniol, croesawus; per, peraidd, melusber, maws, melus, safwyrus, safwyrber; â chroesaw iddo; à ddïolchgar goffhao gymmwynas; à ddïolchus gydnabyddo gymmwynas; à dalo y pwyth am gymmwynas.

**Gratefully**, *ad.* yn ddïolchgar, &c.; wrth fodd; â chroesaw iddo.

**Gratefulness**, *s.* dïolchgarwch, dïolch, dïolwch, iolwch, dïolchusrwydd; hyfrydwch, hyfrydedd, boddusrwydd, dymunolrwydd, mawsder.

**Grater**, *s.* (o *grate*) rhisellt, rhathell, rhadell, crafell.

**Gratification**, *s.* (Ll. *gratificatio*) boddhad, boddiad, boddiant, rhyngad bodd, rhyngiad bodd, rhyngawd bodd, boddloniad, mawsiant; hyfrydwch, pleser, boddineb, boddlondeb, boddlonrwydd, dywenydd, llawenydd, dyddanwch, maws, mawsder, mawsedd, llawdd, ffawg; melusedd; cydsyniad *neu* gydymagweddiad â meluschwant; digoniad *neu* foddhad gwyniau a chwantau; tâl pwyth, tâl, taledigaeth, taliad, gwobr, gobr, gobrwy: *pl.* hyfrydion.

**Gratifier**, *s.* boddhäwr, boddlonwr, boddlonydd; â foddhao.

**Gratify**, *v. a.* (Ll. *gratificor*) boddhau, boddio, boddloni, rhyngu bodd, bodloni, boddlonocäu; gwneuthur cymmwynas i; rhoi ceisiau i; rhwymo â chymmwynas; cydsynio â; difyru, lloddi, digrifo; digoni; gwobrwyo, gobrwyo, talu, talu y pwyth am, gobrwyo am.
To gratify one's request—rhoi ei arch i un; gwneuthur *neu* ganiatäu dymuniad un; rhoddi i un ei gais; cydsynio â chais un.
To gratify a passion—boddhau gwŷn, nwyd, *neu* chwant; digoni gwŷn, nwyd, *neu* chwant.
His whole study is to gratify his own corrupt inclinations—ni rydd efe mo'i fryd ar ddim amgen na boddhau ei chwantau llygredig; y mae efe yn ymroddi yn hollol i'w dueddiadau llygredig; y mae efe yn ymroddi yn hollol i ddylyn ei chwantau llygredig; ei holl feddylfryd yw boddhau ei dueddau llygredig ei hun.

**Gratifying**, *a.* boddhaol; hyfryd, dymunol, dyddanus.

**Grating**, *a.* (o *grate*) rhygnol, garw, gerwin, gerwinol; llym, tost, tostlym; anhyfryd, cas, dygn, dygnol, poenus, cythruddol; a ddygno, à sarhao, à glwyfo.
Grating sound—swn à glwyfo *neu* à sarhao y glust; swn rhygnol, sain erwinol.

**Grating**, *s.* (o *grate*) alchwaith, eiswaith, rheselwaith, cledrwaith, alches; rheseliad, rhwylliad, cledriad; argaead âg eiswaith.

**Gratingly**, *ad.* yn rhygnol, yn anhyfryd, &c.

**Gratis**, *ad.* (Ll.) yn rhad, yn rhodd, am ddim, heb na gwobr na gwerth; yn rhwydd; yn rhwydd ddigymhell; heb haeddiant; yn hyrad, yn hael.

**Gratitude**, *s.* (Ll. *gratitudo*) dïolchgarwch, dïolch, dïolwch, iolwch, dïolchusrwydd; dïolchus gydnabyddiaeth, cydnabyddiaeth ddïolchus, meddwl dïolchgar, bryd dïolchgar, tymmer ddïolchgar, athrylith ddïolchgar; dïolchus dâl pwyth am gymmwynas; dïolchus gof am ged *neu* gymmwynas; parodrwydd tymmer i dalu y pwyth.

**Gratuitous**, *a.* (Ll. *gratuitus*) gwirfodd, gwirfoddol, o wirfodd, ewyllysgar, gwyllysgar; rhydd, rhad, hyrad; anrhegol; à wneler o ewyllys da; heb na mael na thâl; heb na mâl na thâl; heb na gwobr na gwerth; à roer yn rhad ac yn ddilog; diwobr, didal; dibrawf, heb brawf; haeredig heb brawf; à gymmerwyd yn ganiataol.

**Gratuitously**, *ad.* yn rhad, yn rhodd, am ddim; o wirfodd, yn wirfoddol, o ewyllys da; yn ddibrawf, heb brawf.

**Gratuity**, *s.* (Ff. *gratuité*) rhodd, anrheg, rhadrodd, dawn, cyflwyn, cyfarwys, rhybuched; gwobr, gobr, gobrwy; cydnabyddiaeth rhad; tâl pwyth; ewyllys da.

**Gratulate**, *v. a.* (Ll. *gratulor*) cydlawenhau â cydlawenychu â, cydloni â, llon-gyfarch cyfloddi, hawddammori, hawddammor rhoi hawddammor, llawen-gyfarch, llwydd anerch, cyfanerch, cydgyfarch, cydgyfarch anerch; dymuno llawenydd; cydlawenu cydlawenhau, dymgyfarch.

**Gratulation**, *s.* (Ll. *gratulatio*) cydlawenychiad cydlawenhad, cyfloddiad, llon-gyfarchiad llon-gyfarch, cydloniad, cydgyfarchiad hawddammoriad, hawddammor, llwydd anerchiad, cyfanerchiad, cydgyfarch, cyf

**anerch**, anerchiad, cyfarchiad, anerchedd, cydorfoledd.

**Gratulatory**, *a.* cydlawenychol, cydlawenol, cydlawenhaol, cyfloddol, llon-gyfarchol, hawddammorol, cydgyfarchol, cyfarchedigol, cyfarchiadol, anerchiadol, llwydd-anerchol, dymgyfarchol.

Gratulatory praise—mawl cyfarch, cyfarchfawl, anerchfawl.

Gratulatory present—rhodd gyfarch, cyfarch-ddawn, cyfarch-rodd.

**Grauwacke, Graywacke, Greywacke,** *s.* (Al. *grauwacke*) llwydgraig, blorgraig.

Graywacke slate—llwydgreiglech, llwydlech.

**Grave**, *v.* (Ff. *graver;* S. *grafan*) cerfio, crifellu, crifio, ysgythru; crafu; glanhau gwaelod llong; claddu.

To grave a ship—glanhau gwaelod llong; crafu ymaith yr hen byg oddi ar long a'i phygaw o newydd.

**Grave**, *s.* (S. *greaf;* Sw. ac Is. *graf;* Al. *grab*) bedd, beddrod, claddfa; pwll claddu.

Grave-worm—breuad.

To lay in the grave—claddu, daiaru; gosod yn y bedd; rhoi yn y bedd.

He has one foot in the grave—y mae efe ar wàr ei bwll; y mae efe ar fin ei fedd; y mae un troed iddo yn y bedd.

Grave-ful—beddaid, llonaid bedd.

**Grave**, *a.* (Ff.; Ysp., ac It.; Ll. *gravis*) dwys, difrifol, difrif, dïofregedd, diwagedd, diwegi, difregedd, digellwair, digydgam, dichwareu, dichwerthin; pwysfawr, pwysig, dïorwag, sobr; pwyllog, pwyllig, hybwyll; isel, trwm, (*f.* trom), trymllyd, anghroch; cau; prudd, arbrudd, anhylon, trist, trymfrydig, trymgalon, wynebdrist, llwfr, trwm a thrist; tywyll, gorddu, godywyll, gwrm, twtnai, llai; addwyn, gweddaidd, gweddus, gonest, syber, sad; anghlaer.

Grave accent—acen ddisgynedig, acen drom, acan drom, tromacen, tromsain, sain drom.

Grave sound—tromsain, sain drom.

Grave discourse—ymadrodd dwys, difrif, difrifol, pwysfawr, *neu* ddoethbrudd.

Grave sentences—ymadroddion dwys, dwys ymadroddion, ymadroddion difrifol, broddegau dwysion; dïarebion.

**Graveclod**, *s.* tywarchen bedd, priddell bedd, daiar bedd.

**Graveclothes**, *s. pl.* amwisg, amdo.

**Gravedigger**, *s.* torwr beddau, torydd beddau, cloddiwr beddau, beddwr, bedd-gloddiwr.

**Gravel**, *s.* (Ff. *gravelle;* Llyd. *grevell, maen gravell*) graian, gro, grut, grud, marian, marianro, grafel, tywod bras, graenon; graianwst, tywodwst, y dywodwst, maen tostedd.

White gravel—gro gwŷn, gro gwŷnion, gwynro.

Small gravel—manro, mân ro, gro mân, graian mân.

Gravel in the reins—graianwst yr arenau, graian yn yr arenau, clwyf yr arenau gàn y graian; graianwst, tywodwst, maen tostedd.

Gravel-stone—graienyn, graenyn, gröyn, grutyn, graianfaen, caregyn, (*pl.* caregos), careg fechan.

Gravel-walk—rhodfa fanro, rhodfa farian, rhodfa raian, grudlwybr, marian-lwybr, llwybr manro.

Gravel-pit—grobwll, graianbwll, pwll graian, pwll gro, marianbwll, tywodbwll, grudbwll.

To clear of gravel—diraianu.

**Gravel**, *v. a.* graianu, marianu, tywodi, grafelu; toi â gro; toi â graian; gorchuddio â graian; gorchuddio â gro; glynu *neu* ddàl yn y tywod; dyrysu, petruso, methlu, rhwystro; gosod mewn petrusder; gosod rhwystr yn *neu* ar ffordd; peri nas gwypo un pa beth a wnel; cythruddo.

To be gravelled—bod mewn cyfyng-gynghor; bod heb wybod pa beth i'w wneuthur; bod mewn petrusder *neu* ddyryswch; petruso, rhuso, amheu; cael ei boeni gàn raian.

Gravelled (as a horse)—cloff gàn raian *neu* garegos; wedi cloffi gàn raian *neu* garegos; â'r droedwst arno; wedi cael niwed gàn raian.

Gravelled (as a ship)—gwedi taro ar fais; wedi eistedd ar fais; wedi glynu *neu* ymlynu yn y tywod; wedi taro ar y tywod.

A gravelling question—dadl orchestol, pwnc dyrys, pwnc caled, ymholiad caled, pwnc anhydrin.

**Graveless**, *a.* (*grave a less*) difedd, difeddrod, heb fedd; anghladdedig, heb ei gladdu.

**Gravelly**, *a.* (o *gravel*) graianog, graianllyd, graiandde, marianog, grafelog, grutiog, llawn graian, llawn gro, llawn caregos, tywodlyd, tywodog, groaidd, groawg.

Gravelly soil, Gravelly land, — graiandir, grodir, mariandir, tir graianog.

**Grave-looking**, *a.* yn edrych yn ddifrifol; difrifwedd.

**Gravely**, *ad.* yn ddifrifol, yn ddifrif, o ddifrif, yn ddwys, yn ddïofregedd, yn sobr, yn syber, yn weddaidd.

**Gravemaker**, *s.* torwr beddau, torydd beddau, cloddiwr beddau, gwneuthurwr beddau, beddwr.

**Graven**, *p. p.* cerfiedig, crifelledig; wedi ei gerfio.

Graven image—delw gerfiedig, cerf-ddelw, delw gerf.

Graven as signets are graven—wedi eu naddu â naddiadau sel (*Ecs.* xxxix. 6).

I have graven thee upon the palm of my hands—ar gledr fy nwylaw y'th argreffais (*Esa.* xlix. 16).

Stone graven by art—maen o gerfiad celfyddyd (*Act.* xvii. 29).

**Graveness**, *s.* (o *grave*) difrifoldeb, difrifolder, difrifwch, difrifolrwydd, dwysder, dwysdra, dwysfrydedd, prudd-deb, prudd-der, prudd-ineb, anofregedd, anghellwair.

**Graveolence**, *s.* (Ll. *graveolens*) trymsawr, trymsawyr, trymsafwyr, drygsawr, drewsawr, drewsawyr, drewdod, drygwynt.

**Graveolent**, *a.* trymsawrus, drewsawrus, trymsawr, drygsawrus, drewllyd.

**Grave-robber**, *s.* bedd-ysbeilydd, ysbeiliwr bedd, ysbeiliwr beddau.

**Grave-robbing**, *s.* bedd-ysbeiliad, ysbeiliad bedd, ysbeiliad beddau.

**Graver**, *s.* (o *grave*) cerfiwr, cerfiedydd, crifiedydd, crifellwr, crifellydd, crifiwr, ysgythrydd, ysgythrwr; crifell, cerfyllyr, graffol, grafol.

**Gravestone**, *s.* careg bedd, beddfaen, beddlech, maen bedd, llechfaen bedd, llech bedd.
**Graveyard**, *s.* beddlan, beddle, claddlan, claddfa, claddle, mynwent, monwent, corfflan, corddlan.
**Gravid**, *a.* (Ll. *gravidus*) beichiog, tromfeichiog, trom, coledig, braisg; torog.
**Gravidated**,† *a.* (Ll. *gravidatus*) beichiog, braisg.
**Gravidation**, **Gravidity**, *s.* beichiogrwydd, beichiogi, beichiogiad, coledigrwydd, breisgedd.
**Gravigrades**, *s.* (Ll. *gravis* a *gradus*) trymysgogiaid, trymsymmudiaid, trymgerddediaid.
**Gravimeter**, *s.* (Ll. *gravitas*, a Gr. *metron*) clyfesur, clyfeidyr, dysgyrchiadyr.
**Graving**, *s.* (o *grave*) cerfiad, crifelliad; cerfwaith, crifwaith, cerfiadwaith; argraffiad.
**Graving-dock**, *s.* llongarth gyweirio, llongarth daclu.
**Gravitate**, *v. n.* (Ff. *graviter;* o'r Ll. *gravitas*) dysgyrchu, dymgyrchu, creiddio, creiddgyrchu; pwyso, tueddu, *neu* dynu tua'r canolbwynt; pwyso, gobwyso.
**Gravitation**, *s.* (o *gravitate*) dysgyrchiad, dysgyrchiant, dymgyrchiad, dymgyrchiant, dymgyrch, creiddgyrchiad, creiddiad, cly; pwysiad, tyniad, *neu* dueddiad tua'r canolbwynt; gobwysiad, pwysiad, gogwyddiad pwysau.
  Terrestrial gravitation—dysgyrchiad daiarol.
  Attraction of gravitation—attyniad dysgyrchol, attyniad dymgyrchol, attyniad dysgyrchiant, dysgyrchiad, dymgyrch, atgreiddiad.
  Attraction and gravitation — attyniad a dysgyrchiad.
**Gravity**, *s.* (Ll. *gravitas;* Ff. *gravité*) pwys, pwysineb, pwysi, trymbwys, trymder, gobwys; dysgyrchedd, dymgyrch, dymgyrchiad, dymgyrchiant, dysgyrchiad, dysgyrchiant, llawryd, llawrydedd, creiddgyrch, creiddiad, gwysg, cly; difrifoldeb, difrifolder, difrifwch, dwysder, sobrwydd, pwylledd, hybwylledd, pwyllogrwydd, dwysfrydedd, dysbwylledd, prudd-der, pruddni, tristwch, tristyd; gweddeidd-dra, gwedduswrwydd, syberwedd, anfaswedd; isder sain.
  Centre of gravity — craidd dysgyrchiad, craidd dysgyrchiant, craidd dymgyrch, canolbwynt dysgyrchiad, canolbwnc pwysineb.
  Specific gravity — priodbwys, pwysineb penodol, trymbwys penodol, dymgyrch penodol, llawryd priodol, llawrydiaeth.
  Absolute gravity—pwysineb, pwys, pwysi, *neu* drymder annibynol; trymbwys arbenig, pwysineb arbenig.
**Gravy**, *s.* sew, ciglyn, cignodd; sudd, sug, nodd, llŷn, *neu* irder cigfwyd.
**Gray**, **Grey**, *a.* (S. *grig, græg;* Al. *grau*) llwyd, blawr; llwydwyn, blawrwyn, blorwyn, llwydlas; glas; broc; gwŷn, goleu; tywyll, twtnai, gwrm, gwrmwn; lludliw; hen, addfed.
  Gray colour—lliw llwyd, llwydliw, llwyd, blawr, blawrwyn, llwydlas.
  Of a gray colour—llwydliw, llwyd; llai, lleian; rhwng du a gwŷn.
  Dapple gray—glas ceiniogog, glas mànog, brithlas, glas gwynfànog, glas ysmotiog, ysmotlas.
  Dark gray — dulwyd, llwyd-ddu, gwrm (*f.* gorm), gwrmwn; tywyllddu.
  White gray—blawrwyn, llwydwyn, gwynlwyd.
  Light gray—llwydwyn, gwynlwyd, goleulwyd.
  Iron gray—blawr, haiarnddu, mysglwyd.
  Blackish gray—dulas, erchlas, llwyd-ddu.
  Bluish gray—glaslwyd, glasflawr, llwydlas.
  Raven gray—dulas, erchlas, llwyd-ddu.
  Variegated gray—brithlwyd, brithlas.
  Brownish gray—llwydlas.
  Somewhat gray—lledlwyd, golwyd, llwydaidd, golwydaidd, lledlwydaidd.
  Gray mare—caseg las; caseg lwyd.
  Gray horse—ceffyl glas; march glas; ceffyl broc, llwydfarch.
  Dark gray horse — march llai, march gwrm, march dulwyd, ceffyl llwyd-ddu.
  Gray frost—glasrew, rhew glas.
  To grow gray—llwydo, blawrio, blorio; myned yn llwyd.
  Gray hairs—gwallt llwyd, llwydwallt: penllwydni, penllwydi, penllwydedd; penwyni, penwynedd, penwynder.
  To gray hairs—hyd yn llwyd; hyd benllwydni; hyd benwyni.
  Having a gray beard—barflwyd; barflas.
  Gray eyes—llygaid llwydlas, llygaid llwydleision; llygaid dulas; llygaid llwydion, llygaid gleision.
  Of a faded gray — llwydlos, gwywlwyd, gwywlas, edwinlwyd.
  Gray hen—grugiar, iar fynydd.
  Gray owl—llwydenid, y ddylluan lwyd.
  Grays—llwydleision, glasfarchogion, glasfarchwys.
  Scotch grays—Llwydleision Ysgotig, Llwydlasiaid Albanaidd, Llwydleision yr Alban.
  Gray Friars—Brodyr Llwydion, Lleiogion, Monachod Llwydion; Brodyr o urdd Sant Ffransis.
  Gray mill, Gray millet, maenhad meddygol, grawn yr haul.
**Gray**, *s.* llwyd, blawr, llwydliw, lliw llwyd, caened.
  The gray of the morning—glaswawr, glasddydd, glasiad y dydd, glasiad y wawr, clais y dydd, dychlais y dydd, toriad y dydd, llug y dydd, rhaciad y wawr.
**Gray**, *s.* pryf llwyd, pryf penfrith, broch, gwilfrai, byrhwch, daiarfochyn.
**Gray-beard**, *s.* barflwyd, llwyd ei farf; fy ewythr â'r farf lwyd; henwr, hen wr, henddyn; costrel gwirod.
**Gray-eyed**, *a.* llygadlwyd; llygadfrith; llygadlas.
**Gray-fly**, *s.* llwyd-gleren, llwyd-gylionen, llwydwiban.
**Gray-haired**, *a.* briglwyd, penllwyd; â gwallt llwyd iddo; llwyd ei wallt; llwyd ei ben; penlas; penfrith; gwallt-frith; penwyn.
**Gray-headed**, *a.* penllwyd; briglwyd; penlas, penfrith; llwyd ei ben; penwyn.
  To grow gray-headed—penllwydo, briglwydo, penlasu, penfritho, llwydo; myned yn benllwyd; myned yn llwyd ei ben; penwynu.
  Gray-headed duck—hwyad benllwyd.
**Gray-hound**, *s.*=*Greyhound.*

**Grayish**, *a.* lledlwyd, golwyd, llwydaidd, tràn llwyd, llwydog.
Grayish black—llwyd-ddu, gwineuddu.
Grayish blue—llwydlas, blawrlas, blorlas.
Grayish tinge—golwyd, lledlwyd, gwawr lwyd, gwawr las.

**Grayling**, *s.* (o *gray*) penllwyd, penllwydiad, glasan, glasgangen, teimbysg: *dim.* glasanen.

**Grayness**, *s.* llwydni, llwydedd; llwydlesni, llwydlasedd; penllwydni, penllwydi.

**Graywacke**, **Greywacke**, **Grauwacke**, *s.* (Al. *grauwacke*) llwydgraig, blorgraig.
Graywacke slate — llwydgreiglech, llwydlech.

**Graze**, *v.* (S. *grasian*; Al. *grasen*) pori, porfäu, porfelu, ymbawr, ymbori; trin *neu* feithrin anifeiliaid; sernial, gogyffwrdd, gogyhwrdd, gografu; rhathu, crafu, crafellu, rhwbio, *neu* ysgythru wrth fyned heibio; braidd gyffwrdd, ysgafn gyffwrdd; rhwbio, rhathu.
To graze cattle—porfäu anifeiliaid, porfelu da.

**Grazer**, *s.* porwr, porydd, ymborwr, ymborydd; à ymbortho ar borfa *neu* laswellt.

**Grazier**, *s.* porfäwr, porfelwr, porfelydd; porthwr, trinwr, *neu* feithrinwr anifeiliaid; ysborthiad, pasgadur, pesgadur.

**Grazing**, *s.* porfa, porfel, porfäad; porfelaeth, porfeliad.
They apply themselves more to grazing than husbandry—ymroddant yn fwy i drin anifeiliaid nag i amaethyddiaeth; ymroddant yn fwy i ymbawr anifeiliaid nag i hwsmonaeth.

**Grazioso**, *a.* (It.) teleidwych, tlysgain, tlysgoeth.

**Grease**, *s.* (Ff. *graisse*; Ysp. *grasa*) saim, iraid; brasder; bloneg, mehin; seimwst, sodlwst.

**Grease**, *v. a.* seimio, ireidio; iro, blonegu; hudobrwyo, celobrwyo.
To grease the fist—iro cil dwrn; iro llaw; llygru drwy wobr; llygru â gwobr; rhoi ariandag ar; poeri yn ngeneu un.

**Greasiness**, *s.* seimlydrwydd, seimiogrwydd, ireidlydrwydd; brasder, tewedd; oleweidddrwydd.

**Greasy**, *a.* seimlyd, ireidlyd, seimiog, seimiol, mehinllyd, llawn saim; olewaidd; fel saim, fel olew; tew, brasderog, blonaidd, bras; llyfn, llithrig; corffog, cnodig; anweddaidd, anweddus, brwnt, aflednais.

**Great**, *a.* (S.) mawr; mawreddog, mawreddus, mawryddig, mawrydig, mawrwych, gwych; braisg, praff, helaeth, ehelaeth, helaethfawr, eang, eng; arbenig, prif, penaf, pen, cyfaddef, parod; ardderchog, godidog, rhagorol, tanbaid, angerddol, croch; syberw, uchelfrydig, uchelfryd, balch, uchel, goruchel, dyrchafedig, mawrfrydig; anhawdd, caled, trwm, gorthrwm, blin; pwysig, pwysfawr, dwys; maith, hir, pell, hirfaith; beichiog, torog; cyfrinachol, mynwesol; cyfoethog; helaethwych; llawer; hen.
Greater—mwy, mwyach; penach; mwyaf; mwy mawreddog, &c.; helaethach, lluosocach, amlach; ardderchocach, &c.
Greater and greater—mwyfwy, fwyfwy, yn fwy fwy, yn fwy fwy.
Greatest — mwyaf, penaf; mwyaf mawreddog, &c.; ardderchocaf, uchaf, goruchaf.
Great ones — mawrion, gwŷr mawrion, gwŷr mawr, rhai mawr; uchelwyr.
Great men—gwŷr mawrion, gwŷr mawr, uchelwyr.
Great in number—lluosog, lluaws, aml, llawer.
Very great — dirfawr, mawr iawn, tra mawr, tramawr, gorfawr, erfawr, enfawr, abrwysgl, amrosgo, amrosgoew, mawr byd, amryffleu, mawr anianol, mawr dros ben.
Pretty great, Somewhat great, } lled fawr, lledfawr, go fawr, gofawr, tràn fawr, crŷn fawr, syrn fawr, pur fawr.
As great—cymmaint, mòr fawr.
As great as—cymmaint a, cymmaint ag; mòr fawr a *neu* ag.
So great—cymmaint, mòr fawr; o'r maint hwnw; o'r maint hyny.
How great—pa faint, pa gymmaint; pa mòr fawr; mòr fawr; mòr fawredig.
How great soever—pa faint bynag; pa gymmaint bynag; pa mòr fawr bynag; bynag pa mòr fawr; er maint fyddo; er maint a fyddo; er cymmaint fyddo.
Infinitely great—mawr anfeidrol, anfeidrol o faint, anfeidrol fawr.
Monstrously great—anferth o faint; mawr anferthol; anferth o fawr; anferthol fawr; mawr anafus, anafus o fawr.
Great company—tyrfa fawr, lluaws, llawer, llawer iawn.
Great many, Great number, } lluaws, llawer, (*pl.* llaweroedd), llawer iawn, nifer mawr.
A great deal—llawer, twysged, swrn, amledd, amlder, helaethran, llawer iawn, nid ychydig, mwy na mwy, llawer byd, cyfran fawr.
Great cause—achos mawr, achos dwys, achos pwysfawr, achos pwysig.
Great with child—beichiog, braisg, trom.
Great with young—torog; cyfebr, cyfebol; cyfoen; cyflo.
Great anger—digofaint mawr, llid mawr, digofaint llidiog.
Great things—pethau mawrion, mawrion bethau, pethau mawr; mawredd, mawrhydri.
Great seal—sel fawr, pensel; sel lydan; sel fawr Lloegr.
Great chamberlain—penystafellydd, prifystafellydd, ystafellydd penaf.
Great grandfather — hendaid, gorhendad, hendad cu, hen dad cu.
Great great grandfather—gorhendaid, tad yr hendaid, tad yr hendad cu.
Great grandson—gorwyr.
Great great grandson—goresgynydd.
Great thief—lleidr mawr, pen lleidr, carn lleidr, lleidr cyfaddef, lleidr parod.
The great toe—bawd troed.
A great way—ffordd faith, bell, hir, *neu* hirfaith; ffordd fawr; cetyn o ffordd.
A great way off—yn mhell o ffordd oddi wrth; encyd o ffordd oddi wrth; yn mhell, yn bell; draw; yn mhell oddi wrth; yn mhell o ffordd; encyd o ffordd; crŷn getyn o ffordd; cetyn o ffordd.
A great while—ennyd o amser; encyd o amser; ennyd, talm; crŷn dalm; yn hir; dros hir amser; hir amser.

**A great while ago**—er ys talm; er ys talm o amser; er ys dyddiau; ers dyddiau; er ys dyddiau yn ol; er ys dyddiau bellach; er ys crŷn dalm; er ys hirfyd o amser; er ys cetyn mawr; er ys crŷn getyn; er ys cetyn.
Great age—oedran mawr, oed mawr, mawr oed, mawr-oed, hir hoedl, hirhoedl.
Of great age—oedranus, hiroesog, hirhoedlog, hiroediog, oesog, oesbraff; oedranus iawn.
Of great price, } gwerthfawr, prisfawr,
Of great value, } uchelbris, drudfawr, mawrwerth, mawrwerthiog.
To make great—gwneuthur yn fawr; gwneyd yn fawr; mawrhau, mawrygu; dyrchafu i anrhydedd.
To become great, } myned yn fawr; tyfu
To grow great, } yn fawr; ymfawrhau; cynnyddu.
A great scholar—ysgolor mawr, ysgoläig mawr.
A great kingdom—teyrnas fawr, breniniaeth helaeth, teyrnas helaethfawr.
Great benefit—mawrlles, lles mawr.
Of great benefit—llesfawr, buddfawr, tra llesol.
Great rain—gwlaw mawr, gwlawogydd.
How great things—pa bethau eu maint.
Great lion—llew mawr; hen lew.
Great vexations — blinderau mawrion; blinder lawer.
Of great understanding—mawr ei synwyr; llawn o synwyr; mawr ei ddeall; synwyrbell, synwyrgall.
Great teeth—cilddannedd, cilddaint.
Great auk—carfyl mawr.
A great swelling—chwydd mawr, gorchwydd.
A man of great valour—gwr grymus nerthol; gwr cadarn nerthol; gwr dewrwych, dyn gwrolwych, gwr cadarn-gryf, gwr calon-ddewr, gwr dewr-galon.
A person of great abilities—gwr mawr ei ddoniau; dyn mawr ei alluoedd; gwr doniog, dyn doniog, gwr mawrddawn.
The greater light—y goleuad mwyaf.
In a greater degree—yn rhagor, yn fwy, yn chwaneg.
To grow greater, } myned yn fwy; mwy-
To wax greater, } hau; cynnyddu.
In a great measure—i raddau helaeth; i fesur helaeth; i raddau mawr; i fesur mawr; i radd fawr; mewn gradd fawr; i grŷn raddau; i grŷn fesur; mewn mesur mawr; mewn mesur helaeth; yn fawr; llawer.
There is not a greater argument of folly—nid oes penach *neu* sicrach arwydd o ffolineb; nid oes arwydd penach *neu* sicrach o ffolineb; nid oes arwydd penach *neu* sicrach o ynfydrwydd.
A business of the greatest consequence—neges o'r canlyniad eithaf; gorchwyl o'r pwys mwyaf.
What greater affection can any one shew?—pa ragor o serch a ddichon neb rhyw un ddangos?
He told me a great many things—adroddodd wrthyf *neu* imi laweroedd o bethau.
You have done a great act—gwnaethoch orchest.
There is not a greater thief alive *or* existing—nid oes penach lleidr yn cerdded; ni cherddodd erioed benach lleidr; y mae efe cyn bened lleidr ag a gerddodd erioed; efe yw y lleidr penaf yn fyw; nid oes penach lleidr yn fyw.
As great a persecutor as any living—cyn bened erlidiwr ag a aned; yr erlidiwr penaf yn fyw.
From the least to the greatest—o'r lleiaf hyd y mwyaf; o fychan hyd fawr.
Great cry and little wool—dadleu mawr mynych, ac engu ar lygoden.
What great matter were it?—pa faint o beth a fyddai?
It would be no great matter—ni fyddai nemawr o beth; ni fyddai ef nemawr o beth.
Let the power of the Lord be great—mawrhäer nerth yr Arglwydd.
At great variance—yn ymryson yn dost.
I am in a great strait—y mae yn gyfyng iawn arnaf; yr wyf mewn cyfyngder mawr.
I make no great matter of these things—nid yw y pethau hyn ond bychan yn fy ngolwg; bychan yw'm gofal am y pethau hyn; nid wyf yn prisio nemawr am y pethau hyn.
Though they be ever so great, } pa faint
Be they ever so great, } bynag fyddont; pa gymmaint bynag fyddont; pa faint bynag a fyddont; er maint a fyddont; er cymmaint a fyddont; er maint y byddont; byddent cymmaint ag y bônt; byddent cymmaint ag y byddont.
The small as well as the great—y bychan yn gystal a'r mawr; y lleiaf yn gystal a'r mwyaf.
Alexander the Great—Alecsander Fawr; Alecsander y Mawr.
Great is our God above all gods—mwy yw ein Duw ni na'r holl dduwiau; mawr yw ein Duw ni goruwch yr holl dduwiau.
With his great power—â helaethrwydd ei gadernid; â'i fawr allu; â'i gadarn allu.
A great waster—un treulfawr, un treulgar; gwastraffwr mawr; afradwr mawr.
Consider what a great thing he hath done for you—ystyriwch faint a wnaeth efe eroch.
Consider how great things he hath done for you—gwelwch faint a wnaeth efe eroch.
His great goodness—ei fawr ddaioni; amlder ei ddaioni.
The land hath committed great whoredom—y wlad gan buteinio a buteiniodd; gàn buteinio y puteiniodd y wlad.
For their wickedness is great—am amlhau eu drygioni hwynt (*Joel* iii. 13).
So great is his mercy—y rhagorodd ei drugaredd (*Salm* ciii. 11).
In keeping of them there is great reward—o'u cadw y mae gwobr lawer (*Salm* xix. 11).
There were they in great fear—yna y dychrynasant gàn ofn (*Salm* xiv. 5).
As great as would contain two measures of seed—o gylch lle dau fesur o had (1 *Bren.* xviii. 32).

**Great,** *s.* y cyfan, y crynswth, y cryswdd, y talp, y clamp, swmp, cyfanbeth; mawrion, y mawr, gwŷr mawrion, uchelwyr.

By the great—yn y crynswth; wrth y crynswth; wrth y swmp; wrth y cyfan.

**Great-bellied,** *a.* boliog, cestog, bolfawr, rhythfoliog; torog; beichiog, tromfeichiog, trom, braisg, crothog.

**Great-coat,** *s.* côb uchaf, côb fawr, hugan fawr, gorbais, argoban, uchgoban, uchbais, argob, trosgob, côb, hugan.

**Great-coated,** *a.* argobog, uchgobog, trosgobog; yn gwisgo côb fawr.

**Greaten,**† *v. a.* mawrhau, helaethu.

**Great-hearted,** *a.* mawr-galon, mawr ei galon; mawrfrydig, mawrfrydus; uchel ei ysbryd.

**Greatly,** *ad.* mawr; yn fawr, &c.; yn ddirfawr; yn wych, yn wrolwych, yn fawrydig, &c.; iawn, tra.

How greatly—mòr fawr, mòr ddirfawr, faint, gymmaint, pa gymmaint, cymmaint.

Very greatly—yn ddirfawr, yn fawr iawn, yn dra mawr, yn orfawr, yn erfawr.

So greatly—mòr fawr, mòr ddirfawr, &c.

He pressed upon them greatly—bu daer iawn arnynt.

Greatly to be praised—tra moliannus, tra chanmoladwy, canmoladwy iawn; i'w fawr ganmawl.

We are greatly confounded—ni a lwyr waradwyddwyd; gwaradwyddwyd ni yn ddirfawr.

God is greatly to be feared—Duw sydd [ofnadwy iawn.

I will greatly multiply thy sorrow—gàn amlhau yr amlhaf dy boenau.

Neither shall he greatly multiply to himself silver and gold—ac nac amlhäed arian ac aur lawer iddo.

How greatly I long after you all—mòr hiraethus wyf am danoch oll.

Greatly gifted — mawrddawn; mawr ei ddawn; mawr ei ddoniau.

**Greatness,** *s.* mawredd, mawrder, mawrdra, mawryd, mawrhydi; maint, maintioli, meintioli, maintiolaeth; helaethrwydd, helaethder, eangrwydd; lluosogrwydd, amlder, amledd, lluaws; gwychder, mawrwychder, mawreddogrwydd, mawreddusrwydd, rhwysg; mawrfryd, mawrwriaeth; bri, gallu, rhwysg; uchelfrydedd; dwysder.

Greatness of spirit, } mawrfrydigrwydd,
Greatness of mind, } mawrfrydedd, mawrfryd, mawrwriaeth, mawredigrwydd, mawrwri; mawredd bryd a meddwl; uchder meddwl; uchder ysbryd.

Excessive greatness—tra mawredd, tramawredd, rhyfawredd, dirfawredd.

According to the greatness of thy mercy—yn ol mawredd dy drugaredd; yn ol dy fawr drugaredd.

**Greaves,** *s. pl.* (Port. ac Ysp. *grevas;* Ff. *greve*) coesarfau, coesarnau, coeswisg, curanau, crimogau, botasau.

Greaves of brass—botasau pres.

**Grebe,** *s.* gwyach; Wil y wawch.

Great crested grebe, } gwyach gorniog;
Horned grebe, } tindroed.

Lesser crested grebe, } gwyach glustiog.
Eared grebe, }

White grebe, } gwyach leiaf.
Dusky grebe, }

Little grebe—Harri gwlych dy big; gwyach fach.

Tippet grebe—gwyach dorynog.

**Grecian,** *a.* (Gr. *Graicos;* Ll. *Græcus*) Groegaidd, Groegol; perthynol i wlad Groeg; yn perthyn i dir Groeg; yn perthyn i Groeg.

A Grecian woman—Groeges, Groegyddes.

**Grecian,** *s.* Groegwr, Groegydd, Groegiad; un cyfarwydd yn yr iaith Roeg: *pl.* Groegiaid.

A good Grecian, } Grogyddhyfedr, Groeg-
An able Grecian, } ydd da, un cyfarwydd yn yr iaith Roeg.

**Grecize,** *v. a.* Groegeiddio, Groegio, Grywciddio; troi i'r Groeg; cyfieithu i'r Groeg.

**Grecize,** } *v. n.* Groegeiddio, siarad Groeg;
**Grecianize,** } siarad yr iaith Roeg.

**Grecism,** *s.* (Ll. *Græcismus*) Groegiaeth, Grywiaeth, priodwedd Roeg, hepwedd Ryweig; dull ymadrodd priodol i'r Groeg.

**Gree,** †*s.* (Ff. *gré*) gwyllys da.

**Gree,** †*s.* (o *degree*) gris, gradd.

**Gree,** † *v. n.* cytuno.

**Greece,** }
**Grees,** } *s.* (lluosog o *gree*=degree? C. *gris;*
**Greeze,** } Ll. *gressus*) grisiau, grisres, gris, dring.
**Gryse,** }

**Greed,**† *s.*=*Greediness.*

**Greedily,** *ad.* (o *greedy*) yn wancus, yn awyddus, yn unchwant.

He coveteth greedily all the day long—yn hyd y dydd y mae yn fawr ei awydd.

To eat greedily—bwyta yn llyminog; bwyta yn wancus; gwancio, llawcio, glythu, gnythu, glythinebu.

**Greediness,** *s.* (o *greedy*) awydd, gwanc, ainc, chwant diwala, trachwant, rhaib, gwancusrwydd, rheibusrwydd, gnwth, rhawth, llwth, bolrythni, chwantusrwydd, amig, taer awydd, bariaeth.

With greediness—yn unchwant; yn awyddus, yn wancus; yn fawr ei awydd.

**Greedy,** *a.* (S. *grædig;* Is. *greetig*) awyddus, trachwantus, chwantus, chwannog, trachwannog, gwancus, rheibus, bwytëig, glwth, glythig, gnythig, gnythol, rhawth, rhwth, llwth, bolrwth, cipgar, ysglyfgar, ysgipiol, cribddeilus.

Greedy of honour—chwannog i anrhydedd; awyddus am anrhydedd; trachwannog i anrhydedd; taer ei gais am anrhydedd.

Greedy of gain—chwannog i elw; trachwannog i elw; mawr ei gais am elw.

To be greedy of—chwennychu, chwennych, trachwennychu, trachwennych, awyddu, trachwantu, chwantu, sychedu am; hiraethu, awyddu am, cybyddu, rhybuchu; bod yn awyddus am.

Greedy feeding—bwyta gwancus, bwyta llyminog; glythineb, glothineb, glythni, glythigrwydd, glythedd, bwyteigrwydd, gwanc, gwancusrwydd, glythogrwydd.

Not greedy of filthy lucre—nid yn budrelwa; anchwannog i fudrelw; nad yw awyddus i fudrelwa.

As a lion that is greedy of his prey—fel llew à chwennychai ysglyfaeth.

Be not greedy of the spoil—na fyddwch awyddus i'r ysbail.

Be not too greedy upon meats—na ruthra i fwyd (*Eccles.* xxxvii. 29).

**Greedygut,** *s.* glwth, bolerwr, gwanciwr,

llawciwr, gewai, tryfoliwr, rhummwth, dyn glwth, dyn rhawth, bolrythwr, gloddest-wr.

**Greek,** *s.* (Gr. *Graicos*) Groeg, Gryw, Gryw-aeg, yr iaith Roeg, Groegiaith; Groegiad, Groegwr.

In Greek, / In the Greek, — yn y Groeg; yn y Roeg; yn Roeg; yn Groeg; yn Ngroeg; yn Ngryw.

To speak Greek—siarad, siared, chwedleua, *neu* lafaru Groeg; siarad *neu* lafaru yn Ngroeg.

Canst thou speak Greek?—a fedri di Roeg?

To imitate the Greeks—Groegeiddio; dyn-wared y Groegwyr; efelychu y Groeg-iaid.

A merry Greek—digrifwas, gwas digrif, cydymaith digrif; cyfeddachwr digriflan.

**Greek,** *a.* Groegaidd, Groegol, Gryweig; perth-ynol i'r Groeg; yn perthyn i'r Gryw; perth-ynol i wlad Groeg.

The Greek language—yr iaith Roeg, Groeg, Gryw, Grywaeg, Groegiaith, iaith y Groegiaid.

Greek Grammar—gramadeg Groeg.

Greek letters—llythyrenau Groeg.

The Greek fashions—arferion y Groegwyr, arferion y Groegiaid, yr arferion Groeg-aidd.

**Greekess,** *s.* Groeges.

**Greekish,** *a.* Groegaidd, Grywaidd, lled Roeg-aidd; priodol i wlad Groeg.

The Greekish fashion—arferion y Groeg-wyr (2 Mac. iv. 10).

**Greekling,** *s.* Groegyn, Grywyn, ysgrifenydd Groeg, iselradd.

**Greekrose,** *s.* (*Greek* a *rose*) groegros, lluglys.

**Green,** *a.* (S. *grene;* Al. *grün;* Is. *groen;* D. a Sw. *grön*) gwyrdd, (*f.* gwerdd), gwyrddlas, glaswyrdd, (*f.* glaswerdd); glas; hoeg, ehoeg; gwyrddin, gwyrddain; irlas, irwyrdd, irlas-wyrdd; ir, tirf, gwyrenig, tirflas, irain, ir-dwf, iraidd; newydd, ffres, ffresg, crai, cri, gwyrf, (*f.* gwerf,) gwyrain; llymrig; an-addfed, rhy newydd; ieuanc, ifanc; anmrwd, oflyd, of, annigon; heb ferwi *neu* bobi digon; heb fod yn ddigon pob; heb fod yn ddigon berw; heb ddigoni drwyddo; heb fod yn ddigon; gwelw, gwelwaidd.

Green herbs — gwyrddlysiau, llysiau gwyrddion; llysiau gleision.

Green grass—glaswellt, gwellt glas, irwellt, porfa las.

Green trees—glasgoed, coed gleision, glas-wydd, irwydd, irgoed, coed irion: *sing.* glasgoeden, glaswydden, pren glas, pren ir, pren deiliog.

Green timber—coed ir, coed irion, ir-goed.

Green leaves—dail gleision, glasddail, ir-ddail, dail irion, dail ir.

Green field—maes glas, maes gwyrdd; maes yn dwyn glaswellt.

Green grove—glaslwyn, irlwyn, glasgoed, llwyn glas, llwyn gwyrdd, glasallt, gwerddallt, llwyn ir, llwyn irlas.

Green cloth—brethyn gwyrdd.

Green wound—archoll ir, irfriw.

Green pastures—porfëydd gleision; por-fëydd gwelltog.

Green colour—lliw gwyrdd, gwyrddliw, gwyrdd.

Sea green, / Dusky green, — morlas, morwyrdd, mor-liw, gwrmlas, gwyrdd y môr.

Sea-green colour—morlas, morwyrdd, mor-liw, gwyrddlas, gwrmlas; lliw morlas, &c.; gwyrddlas tryloew, gwyrddliw.

Dark green—duwyrdd.

Bluish green—glaswyrdd, (*f.* glaswerdd); gwyrddlas.

Of a bluish green—glaswyrdd; gwyrddlas.

Green fir-tree—ffeinidwydden ir.

Green oak—derwen las, glas dderwen.

Green cheese—caws newydd, caws ir, caws gwŷn.

Ever-green — bythwyrdd, gwastadwyrdd, bytholwyrdd, bythddeiliog, gwyrdd yn wastad, gwyrdd bob amser, gwyrdd drwy y flwyddyn, bythlas, bythwyrddog, bythwyrddain, glas bob amser, glas yn wastad, glas drwy y flwyddyn, beidiog; anwyw, anwywedig, anwywol.

Green chafer—chwil y bawai, chwilen y baw, chwil y bawen.

To become green, / To wax green, / To grow green, — gwyrddhau, glasu, blawrio; myned yn wyrdd; myned yn las; irlasu; deilio; ireiddio.

To dye green—lliwio yn wyrdd; lliwo yn wyrdd; gwyrddliwio.

Green ears of corn—twys irion, twysenau irion, twysenau ir.

Seven green withes—saith o wdyn irion.

As green as grass—cyn lased a'r geninen; cân lased a'r cenin; cyn lased a'r brwyn; môr las a'r cenin.

Rods of green poplar—gwiail gleision o boplys.

Its leaf shall be green—ei ddeilen fydd ir.

Our bed is green—ein gwely sydd iraidd.

Under every green tree—dàn bob pren deiliog.

The gay bloom of the green mead—glwys-bert fflur y glasbawr.

There is no green thing—nid oes gwyrdd-lesni.

He searcheth after every green thing—chwilia am bob glaswelltyn (*Iob* xxxix. 8).

**Green,** *s.* gwyrdd, lliw gwyrdd, gwyrddliw; glesin, llanerch las, glaslanerch, gwerddon, gwyrddon, parlas, talwrn, glas dalwrn, glas, glesygen, glasledd, glaslan, cadlas, glas-dir, tyno; gwyrddlys.

Greens—gwyrddlysiau, llysiau gwyrddion, llysiau gleision; bresych, cawl; deil-fwyd; bwydlysiau; dail gleision, glas-ddail; deilblethau, gwyrleni.

Bowling-green — pelgadlas, treiglesin, cnaplas, cadlas cnapan; cadlas, llanerch, *neu* dalwrn i chwareu cnapan.

Brunswick green — gwyrdd Brunswig, gwyrdd Brunswic.

Mineral green—delidwyrdd, delwyrdd.

Having a tinge of green — gwyrddaidd, gwyrddain, gwyrddin, glaswyrdd, lled-wyrdd, gowyrdd.

Bluish green—glaswyrdd; gwyrddlas.

Of a bluish green—glaswyrdd; gwyrddlas.

Sea-green — morwyrdd, morlas, morliw, gwyrdd y môr.

A thousand myriads clad in green and white—mil myrdd mewn gwyrdd a gwŷn.

Winter-green—coedwyrdd, gwyrdd y gauaf, glesyn y gauaf, gwyrdd y coed, gelleiglys, gellyglys.
Lesser winter-green—coedwyrdd bychan, glesyn y gauaf.
Chickweed winter-green—gwerddig.
**Green**, *v. a.* gwyrddu; gwneuthur yn wyrdd; gwyrddlasu, glasu.
**Green-bird**, *s.*=*Greenfinch.*
**Greenbroom**, } *s.* banadlos, eurfanadl, banadl
**Greenweed**, } aur, llysiau melynion, llys melyn, melynog y waen, llysiau penfelyn.
Needle greenweed—cracheithin, eithin yr iar.
**Greencloth**, *s.* y Werddlen; Llys y werddlen; y Llys teulu; Bwrdd y werddlen.
**Green-crop**, *s.* cnwd glas: *pl.* cnydau gleision.
**Green-dragon**, *s.* draig werdd.
**Green-dye**, *s.* gwyrddliw, lliw gwyrdd.
**Green-earth**, *s.* daiar werdd; gwyrdd y mynydd.
**Greenery**, *s.* gwyrddlysieufa, gwyrddfa; lle i gadw gwyrddlysiau.
**Green-eyed**, *a.* llygadwyrdd, (*f.* llygadwerdd); eiddig, eiddigus.
The green-eyed monster—yr anghenfil llygadwyrdd; eiddigedd.
**Greenfinch**, *s.* llinos werdd, y llinos werdd, llinosen werdd, pila gwyrdd, y gegid, peleu.
**Greenfish**, *s.* gwyrddbysg, hoegbysg.
**Greengage**, *s.* gwerddberen, yr eirinen werdd: *pl.* gwyrddber, eirin gwyrddion.
**Green-grocer**, *s.* bwydlyseuwr, bwydlysieuwr, gwyrddlysieuwr, irlyseuwr, llyswerthwr, gwerthydd irlysiau, bresychwr.
**Green-grossbeak**, *s.*=*Greenfinch.*
**Greenhaired**, *a.* gwalltwyrdd, gwyrddwallt; â chanddo wallt gwyrdd; gwyrdd ei wallt.
**Greenhood**, *s.* gwyrddni, gwyrdd-der, gwyrddedd; glesni; irlesni.
**Greenhorn**, *s.* irlanc, glaslanc; gwirionyn.
**Greenhouse**, *s.* gwyrdd-dy, ty y gwyrdding; gwydd-dy; ty y gwŷdd tramor bythwyrdd; llysieudy, irlasdy.
**Greening**, *s.* gwyrddyn, afal gwyrdd.
**Greenish**, *a.* gwyrddaidd, lledwyrdd, gowyrdd, glaswyrdd, gwyrddonig, gwerddonig, gwyrddin, gwyrddain.
Greenish blue—gwyrddlas; glaswyrdd.
Greenish blueness—gwyrddlesni, gwyrddlesid.
Greenish yellow—gwyrddfelyn; melynwyrdd.
**Greenishness**, *s.* gwyrddeiddrwydd, lledwyrddni, gowyrddni, gowyrddedd, lledwyrddedd, lledwyrdd-der, gwyrddeinrwydd, gwyrddlesni.
**Green-linnet**, *s.* llinos werdd, y llinos werdd, llinosen werdd, pila gwyrdd, y gegid, peleu.
**Greenly**, *ad.* yn wyrdd, &c.
**Green-mantled**, *a.* gwyrdd-fantellog, glas-fantellog; gorchuddiedig â gwyrdd.
**Greenness**, *s.* gwyrdd-der, gwyrddni, gwyrddedd, gwyrddrwydd; gwyrddlesni; glesni, gleswg; irlesni, irlasrwydd, irlasder, iredd, irder, irdra, irdeb, ireinder, tirfdra, iriant; anaddfedrwydd, llymrigrwydd; anmrydedd, oflydrwydd; creider; newydd-deb; yni.
Greenness (of fruit) — anaddfedrwydd, glesni.
Greenness (of meat) — anmrydedd, oflydrwydd, irder.
While it is yet in its greenness—tra byddo hi eto yn wyrddlas; tra y byddo hi eto yn ei gwyrddlesni.



**Green-room**, *s.* glasgell.
**Greensand**, *s.* tywod gwyrdd; hoegdywod, llasdywod, glasdywod; tywod Sanclin.
**Greenshank**, *s.* coeswerdd, y goeswerdd.
**Green-sickness**, *s.* y glesni, glasglwyf, glaswst.
**Greensnake**, *s.* glasneidr, gwerddneidr, y neidr werdd.
**Green-stall**, *s.* marchnadfainc gwyrddlysiau, mainc gwyrddion.
**Greenstone**, *s.* glasgraig, gwyrddgraig, careg werdd.
**Greensward**, *s.* glasdon, tônen las, tôn las, tywarchen werdd, tywarchen las, glas dudwedd, glasdônen, glesin, galaf.
**Green-vitriol**, *s.* copras gwyrdd, ufelid gwyrdd, gwyrdd gopras, ufelgris haiarn.
**Greenweed**, } *s.*= { *Greenbroom.*
**Greenbroom**, } { *Greenweed.*
**Greenwood**, *s.* glasgoed, glaswydd, irwydd, irgoed, coed gleision, coed irion, coed ir.
Under the greenwood shade—dàn y glaswydd, dàn laswydd, dàn y glasgoed; dàn gysgod glasgoed y glŷn.
**Grees**, } † *s.*=*Greece, Grees,* &c.
**Greese**, }
**Greet**, *v.* (S. *gretan;* Is. *groetan*) anerch, cyfarch, cyfarchu, cyfarch i; cyfarch gwell i; anfon anerch, danfon anerch; cyfarfod a chyfarch; cyfloddi, llon-gyfarch; erchi rhad Duw; anfon cymmediwau at; cyfarfod; † wylo.
To greet one another—anerch eu gilydd; cyfarch eu gilydd; cyfarch gwell i'w gilydd; ymanerch, cydymanerch, cydgyfarch.
**Greeter**, *s.* anerchwr, anerchydd, cyfarchwr, cyfarchydd, cyferchydd, cyferchydd gwell.
**Greeting**, *s.* anerch, cyfarch; anerchiad, cyfarchiad.
Mutual greeting—ymanerch, cydymanerch, ymgyfarch, cydymgyfarch.
To send greeting—anfon *neu* ddanfon anerch; danfon *neu* anfon anerch at; cyfarch gwell i; cyfarch, anerch; dymuno llwyddiant; dymuno llwyddiant i.
Lysius unto the people of the Jews sendeth greeting—Lysias yn anfon anerch at bobl yr Iuddewon.
Areus to Onias, greeting—Areus yn cyfarch gwell i Oniäs.
Lucius unto king Ptolemee, greeting—Lucius yn anerch y brenin Ptoleméus.
**Greeze**,† *s.*=*Greece, Grees,* &c.
**Greffier**, *s.* (Ff.) coflyfrwr, coflyfrydd, cofiadur, cofrestrwr.
**Gregal**, *a.* (Ll. *gregalis,* o *grex*) deadellawl, greawl, mynteiol; perthynol i ddeadell; o'r un ddeadell.
**Gregarian**, *a.* (Ll. *gregarius*) o'r ddeadell gyffredin; o'r fyntai gyffredin; perthynol i'r gyr cyffredin; cyffredin, lledwael.
**Gregarious**, *a.* (Ll. *gregarius*) deadellog, deadellaidd, mynteiog, greog, mynteiol, deadellawl, heidgarol, heidgar, gregarol, gregarus; yn ymgynnull yn ddeadellau, yn ddeadelloedd, yn fynteioedd, yn reon, *neu* yn lluoedd; yn caru bod yn re *neu* fyntai.
Gregarious animals—gwysfilod, anifeiliaid deadellog, milod heidgarol, anifeiliaid

**Grown together**—cyttyfedig, cyttwf, undwf, ymgyttyfol; wedi tyfu yn nghyd.
**A grown woman**—benyw yn ei chyflawn oedran; gwraig yn ei chyflawn oed; benyw dyflawn; menyw yn ei llawn dwf; benyw gyflawn dwf; benyw gyflawn faint.
**She is a grown woman, She is grown a woman,**—mae hi yn ei llawn oed; mae hi yn ei chyflawn oedran; y mae hi wedi cyrhaedd ei llawn oed; y mae hi wedi cyrhaedd ei chyflawn oedran; y mae hi yn fenyw *neu* ddynes dyflawn.
**They are grown proud**—aethant yn falch; maent wedi myned yn falch; maent wedi ymfalchïo.
**When you shall be grown a man**—pan eloch yn wr; pan gyrhaeddoch oedran *neu* faintioli gwr; pan dyfoch yn wr.
**When I was grown a man**—pan aethym yn wr; pan gyrhaeddais oedran gwr.
**He is grown up to man's estate**—y mae efe wedi cyrhaedd oedran gwr; y mae efe wedi cyrhaedd ei gyflawn oedran; mae efe wedi tyfu i fyny i faintioli gwr.
**He is grown a proverb**—aeth yn ddïareb; efe a aeth yn ddïareb; y mae efe wedi myned yn ddïareb; y mae efe wedi dyfod yn ddïareb.
**He is grown up to years of discretion**—y mae efe wedi cyrhaedd oedran pwyll; mae efe wedi cyrhaedd oedran gwr.
**It was all grown over with thorns**—codasai drain ar hyd-ddo oll.

**Growse**,† *v. n.* (S. *agrisan*) crynu, rhynu, crynu gàn annwyd.

**Growth**, *s.* (o *grow*) twf, tyfiant, tyfiad, prifiant, tyddiant, tyddiad, twdd; cynnydd, cynnyrch, adgen, daill; brawn.
**Latter-growth**—attwf; adladd, adwair.
**Slender growth**—meindwf.
**Early growth**—cynnardwf, twf cynnar, cyndwf.
**Tender growth, Weak growth,**—gwandwf, twf gwàn, twf tyner, meinir dwf.
**Luxuriant growth**—twf brwys, twf rhonc, twf bras; gwyreindardd, gwyreindwf.
**Of a luxuriant *or* vigorous growth**—brasdyfol, brasdwf, brwys, rhydwf, trathyfol, bras, rhonc, rhonca, gwyreindwf, gwyreindardd, gwyrenig.
**First growth**—cyndwf, cynhwf, twf cyntaf.
**Of the same growth**—undwf; o'r un twf.
**To stop the growth of**—còri; attal twf, attal tyfiant.
**Growth in piety**—cynnydd mewn duwioldeb.
**Growth of trade**—cynnydd masnach, cynnydd trafnid.
**Growth-halfpenny**—dimai dyfiant.

**Growthead, Growtnol,** *s.* (*gross* neu *great head*, tebygol) penfawr, y pysg penfawr; †segur-yn, segurddyn, lleban.

**Grub**, *v.* (Goth. *graban;* S. *grafan*) cloddio; bod yn cloddio; diwreiddio, dadwreiddio; cloddio *neu* dynu o'r gwraidd; chwynu.
**To grub up**—diwreiddio, dadwreiddio, tynu o'r gwraidd, cloddiaw o'r gwraidd.
**To grub up weeds**—chwynu.

**Grub**, *s.* macai, corbryf, ysbryf, cynronyn, pryfedyn, pry, pryf; còr, coryn, corach, ffallach, llogwrn, pegoryn.

**Grubber**, *s.* cloddiwr, cloddiedydd, chwynwr.

**Grubbing-hoe**, *s.* chwynogl, caib chwyn.

**Grubble**, *v. a.* (Al. *grübeln*) palfalu, ymbalfalu, palfu; ymgreinio, ymgropian.

**Grubstreet**, *s.* (enw heol gynt yn Llundain, à elwir yn awr *Milton street*) Heol y Crach; Crachfa; gwaelbeth, peth gorwael, gwaeliaith, iseliaith.
**A grubstreet poem**—crach-gerdd, crach bryddest; cerdd à brydwyd heb awen; càn orwael; càn y grachfa.

**Grudge**, *v.* (C. *grwgnach, grwgach*) grwgnach, grymial, grymiala, grymialu, grwytho, gryngian, gryngio, manson, grwgach, grwgachu, grwnachu, gythu; cenfigenu, cenfigenu wrth; gwarafun; ymddigio, anfoddloni, anfoddogi, ymofidio, digio; dannod.
**To grudge one a thing**—gwarafun i un beth; gwarafun peth i un.
**They grudge at my success**—mae yn ddrwg *neu* yn flin ganddynt am fy llwyddiant; cenfigenant wrth fy llwyddiant.
**The people grudge at these things**—y mae y bobl yn grwgnach, yn grymial, *neu* grwytho am y pethau hyn.
**Grudge not one against another**—na rwgnechwch yn erbyn eich gilydd.
**He that hath knowledge will not grudge when he is reformed**—gwr doeth ni rwgnach pan y cerydder ef.

**Grudge**, *s.* cas, dygasedd, casineb, casedd, anghymmodlonedd, gwg, cilwg, malais, drygwyllys, drwg ewyllys, cynddrygedd, annysgymmod, brŷn, llid, casgof, casgofiad, gelyniaeth ddirgel, cenfigen, cynghorfynt; grwgnach, grwgach; gwarafun;† edlid, adgno, grwyth cydwybod.
**A little grudge**—lledwg.
**To owe a grudge**—dàl gwg, dàl cilwg, cadw llid, dwyn malais.
**A secret grudge, A privy grudge,**—brŷn, anghymmodlonedd dirgel, casineb cudd, casineb heb ymddangos, cilwg cuddiedig, soriant cuddiedig.
**The grudge of a disease**—grwyth clefyd, mwyth clefyd; yr haint *neu* fethiant à adawo clefyd ar ei ol.
**To bear a grudge**—dàl gwg, cadw cilwg, cadw llid, dwyn malais; ymarfer o annysgymmod *neu* anysgymmod; bod ganddo frŷn.
**Bearing a grudge**—maleisus; yn dwyn malais a chenfigen; yn dàl gwg, &c.; cynghorfynus.
**He bears me a grudge**—y mae ganddo frŷn ataf; y mae cilwg rhyngddo a mi; y y mae yn dàl gwg ataf.
**Herodias bore him a grudge**—Herodias a ddaliodd wg iddo.

**Grudgeon**,† *s. pl.* rhuddion, rhuchion, bràn; rhynion; blawd bras, blawd garw.

**Grudger**, *s.* grwgnachwr, grwnechydd, grymialwr, grymialydd, grwythwr, cenfigenwr.

**Grudging**, *s.* (o *grudge*) grwgnach, grwyth, casineb, casedd, dygasedd, cas, brŷn, annysgymmod; cenfigen, cynghorfynt; gwarafuniad, gwarafun.
**Without grudging**—heb rwgnach, heb rymial; yn ddirwyth, yn ddirwgnach, yn ddiwarafun.

**Grudgingly**, *ad.* yn rwgnachlyd, dàn rwgnach, dàn rymial, dàn ryngian; nid o wirfodd; yn

anwyllysgar; yn erbyn ewyllys; yn erbyn ei wyllys; o'i anfodd.
Gruel, *s.* (C. *grual; Ff. gruau*) grual, cawl, isgell, sucan.
Water gruel—grual dwr, cawl dwr, cawl dwfr, dyfgawl, grual trwy ddwfr; sucan blawd.
Barley gruel—heiddgawl, cawl haidd.
Milk gruel — grual llaeth, cawl llaeth, grual trwy laeth.
Like gruel—grualaidd, fel grual.
To make into gruel—grualu, gwneuthur grual, gwneyd yn gawl.
Gruff, *a.* (Is. *grof;* Al. *grob*) sarig, diserch, sur, afrywiog, anfwyn, gerwin, garw, tryn, derfoes, sor, taiog, cras, craseiriog, anhynaws, chwerw, traws, grwm.
Gruffly, *ad.* yn sarig, &c.
Gruffness, *s.* sarigrwydd, diserchrwydd, afrywiogrwydd, gerwinder, gerwindeb; garwedd, anfwynder, surni tymmer, surni golwg, trymder.
Gruidæ, *s. pl.* (Ll. *grus*) y garanod, y crychyddion, y crechyddion, tylwyth y creyrod.
Grum, *a.* (D.; Sw. *grym;* C. *grwm*) sarig, diserch, anfwyn, sur, surllyd, afrywiog, anhynaws, gerwin, anniddig, grwm; isel, cegol, cegaidd, myngus, mynglyd, myngialog, isel yn y geg; grwythol, godyrddol.
Grum voice — ceglais, llais myngialus, myngus, mynglyd, *neu* gegol.
Grumble, *v. n.* (Is. *grommelen;* Ff. *grommeler*) grwgnach, grymial, grymialu, grymiala, grwgach, grwytho, gryngian, gryngio, grwgnachu, grwgachu, grwnachu, manson, conach, myngial, myngialu, grydian, grydwst, grydystu, gremial, gremian, tuchan, tuchanu, gythu, iselgyngian, rhegain; chwyrnu, ymchwyrnu, arthu, arthal; rhuo, trystio, dadyrddu.
Grumbler, *s.* grwgnachwr, grwgnechydd, grymialwr, grymialydd, grwythwr, grwythydd, &c.
Grumbling, *p.* yn grwgnach, dàn rwgnach, gàn rwgnach, &c.; grwgnachlyd, grwgnachus, grymialog, grymialus, grwgachlyd, myngialus, myngus, mynglyd, grwgachol, tuchanllyd, gryngiol, grwythol, grydystiol, gythol, gythus, achwyngar; anesmwyth, anfoddlawn.
Grumbling, *s.* grwgnach, grwgach, grwyth, grydwst, grwng, grwm, gyth, manson, myngial, grem, tuchan, grwnach; grwgnachiad, grwythiad, &c.
Grume, *s.* (Ll. *grumus;* Ff. *grumeau*) tolchen, tolch, ceulwaed, tolchwaed, gwaed tolchenog.
Grumly, *ad.* yn sarig, yn ddiserch, yn afrywiog.
Grumous, *a.* (*o grume*) tolchenog, tolchog, ceulog, ceuledig, tew; cygnog, clymog, clopog.
Grumousness, *s.* tolchogrwydd, tolchenogrwydd, ceulogrwydd, tewogrwydd, tewrwydd; cygnogrwydd.
Grundsel, *s.* = *Groundsel.*
Grunt, *v. n.* (D. *grynter;* Al. *grunzen;* Ll. *grunnio*) rhochain, rhochian, rhwchial, rhwchiala, rhochio; gryngian, gryngio, grymian, grymial, grydwst, grydian, grwytho; mochyria, mochyrio; erthychain fel moch.
Grunt, } *s.* rhoch, rhwch, rhochan, rhwchial,
Grunting, } erthwch moch, grwng, grwm, grydwst, gyth, grwgnach, tuch; rhochiad, rhwchiad, tuchiad, grwgnachiad.
Grunter, *s.* rhochiwr, rhochydd, rhwchiwr, rhwchialydd, grwythwr; gythbysg, grwythbysg, rhochiad, (*pl.* rhochiaid).
Grunting, *p.* yn rhochain, dàn rochian, gàn rwchial, &c.; rhochus, rhwchiol, rhwchialog; grymialus, grymialog, gryngiol, grwythol, gythol, gythus.
Gruntingly, *ad.* dàn rochian, dàn rwchian, dàn rochio; dàn rwgnach; yn rhochus.
Gruntle, *v. n.* (o *grunt*) rhochian, rhochain, rhwchial, rhwchio; grwytho, grymial.
Gruntling, *s.* (o *grunt*) rhochyn, porchell, porchellyn.
Grus, *s.* (Ll.) garan, crychydd, crechydd, crëyr.
Grutch,† *v.*=*Grudge.*
Grutch,† *s.*=*Grudge.*
Gry, *s.* (Gr. *gru*) bychodfedd; y ddegfed o linell; bychanigyn, bychodyn, bychod, bychydigyn.
A gry is one-tenth of a line, a line onetenth of an inch—bychodfedd yw y ddegfed o linell, a llinell y ddegfed o fodfedd; y ddegfed o linell yw bychodfedd, a'r ddegfed o fodfedd yw llinell.
Gryllidæ, *s. pl.* (Ll. *gryllus*) grilliedyddion, cricellod, criciaid; tylwyth y criciaid.
Gryphite, *s.* (Ll. *gryphites;* Gr. *grupos*) branfaen, crymfaen, penbwla, gwrachen, bawd y melinydd.
Gryphosis, *s.* (Gr. *grupoô*) ewinwst, clefyd yr ewinedd.
Guacharo-bird, *s.* yr aderyn Gwacharo, perthynol i Ddeheubarth America.
Guaiacine, *s.* (o *guaiacum*) brechwyddain.
Guaiacum, *s.* (*guaiac*, ei enw yn Neheubarth America) brechwydd; brechwyddystor: *sing.* brechwydden.
Guana, *s.* math o fadfall Americaidd.
Guanaco, *s.* math o lama.
Guano, *s.* (*huanu*, tom, yn y Periwaeg) adardom, adardail, adaraul, adareulon=gwrtaeth o dom adar, à ddygir o ddeheubarthau America ac Affrica.
Guara, *s.* un o adar Brasil.
Guaranina, *s.* (Ysp. *guarana*) math o alcali.
Guarantee, } *v. a.* (Ff. *garantir*) gwarantu,
Guaranty, } gwaranredu, arwaesogi, gwaesafu, dywaesu, gwaesu; mechnïo; sicrhau, dilysu, diogelu; ymrwymo, ymfechnïo, cyngwystlo, *neu* ymgyngwystlo ar fynu; cymmeryd arno warchadw *neu* warcheidwadaeth cyfammodau; digolledu; awdurdodi.
Guarantee, } *s.* (Ff. *garant;* Ysp. *garantia*)
Guaranty, } gwarant, gwaranrwy, gwaranred, gwarantrwydd, mach, gwaesaf, arwaesaf, briduw, machydr; gwarantwr, gwarantydd, gwarantai, mechnïwr, mechnïydd, meichiai, ymrwymwr, gwarcheidwad.
Guarantor, *s.* gwarantwr, gwarantydd, gwarantor, mechnïwr.
Guard, *v.* (Ff. *garder;* It. *guardare*) cadw, gwarchadw, gwarchad, gwarchod, gwarchodi, gwarched, gwylio, gwilied, argadw, archadw, gwartu, gwardu, gwardio, trusio, amddiffyn, amddiffynu, diffynu, diffyn, diogelu, amwyn, diffredu, differu; amgylchu, amgylchynu, cylchynu; gwared; arlochi; canymdöi, canymdaith; amwregysu, gwregysu.
To guard against—gochel, rhagochel, ymogelyd rhag, ymnoddi rhag, ymofalu

rhag, gwilied rhag, gwilio rhag; amddiffyn rhag; ymswyn rhag.
To guard one's self against—ymochelyd rhag, ymswyn rhag, &c.
To guard a general on a journey—canymdaith *neu* ganymdeithio cadfridog; canymdöi cadfridog ar ei daith; teithnoddi cadfridog.

**Guard**, *s.* (Ff. *garde*; Ysp. *guarda*) cadwraeth, ceidwadaeth; gwiliadwriaeth, gwyliadwriaeth, gwylfa; nodded, amddiffyn, diffyn, nawdd, diogelwch; gosgordd, gwardlu, gwartlu, gwart, gward, diffyngor, gwylgor, gwylgordd, trusgordd, trusgor, gwarchlu, gwarchodlu, gosgorddlu, diffredlu, diffredgor, cordd, trus; gwyliwr, gwyliedydd, gwiliwr, gwiliedydd, gwiliad, gwiliawdr, trusiad; gwylwyr, gwyliedyddion, gwiliaid, gwilwyr, gwiliedyddion, gwiliodron, trusiaid, gwarchodwyr, gwarcheidwaid; sawdwyr, milwyr; llywodraeth, rheolaeth, gofal; gochelgarwch, gocheliad; golyn.
Advance-guard, Advanced-guard, Van-guard, } cynnhorf, cynhorf, talgad, cyncad, y fyddin flaen, blaen y gad, llugynnor, blaenfyddin, gwyneb y drin, rhagosgordd, rhagwart, rhagward, rhagdrus; y blaeniaid; rhagwylfa; rhagwylwyr.
Rear guard—olfyddin, gorddin, olgad, bon y gad, llosgwrn y gad, cefn y drin, olosgordd, olward, oldrus; olwyliaid.
Life-guard—nawddosgordd, corffosgordd, diffyngor, diffynwys, gosgordd, gosgorddlu, llysfilwyr, teyrn-osgordd, gwŷr mael; gosgordd y brenin *neu* y frenines; teyrnward, teyrndrus; gwylwyr *neu* warcheidwaid corff y brenin; gwylgor brenin, &c.
Yeomen of the guard—gosgorddion y brenin, gosgorddwyr y brenin, diffyngor y brenin, iangwyr yr osgordd, eangwyr y gward, iangwyr y gwart, gwŷr eang y gosgorddlu.
Guard of a sword—golyn cleddyf, golyn; claes, menybr, carn, *neu* ddwrn cleddyf.
Fire-guard—cylch aelwyd, tanward.
One that has no guard of himself—un dilywodraeth arno ei hun; un nad oes ganddo lywodraeth arno ei hun; un nas medr lywodraethu ei wyniau a'i chwantau; un nas medr wylio drosto ei hun.
To be upon the guard—bod ar ei wylfa; bod ar yr wylfa; bod ar ei orsaf; bod ar yr orsaf; bod ar ei amddiffyn; bod ar yr amddiffyn; bod ar ei ochel; bod yn ochelgar *neu* ddysgwylgar.
To stand upon one's guard—sefyll ar ei amddiffyn; sefyll ar ei ochel; bod ar ei amddiffyn; sefyll ar yr amddiffyn; bod *neu* sefyll ar ei wyliadwriaeth; bod *neu* sefyll ar ei wiliadwriaeth.

**Guardable**, *a.* cadwadwy, gwarchodadwy, diffynadwy.

**Guardage**,† *s.* gwarchodaeth, gwarcheidiaeth.

**Guardant**, *a.* gwarchodol, gwarcheidiol; gwyliog, gwylig; yn syllu, yn edrych; yn edrych ar yr edrychydd; yn edrych i'w ol; yn edrych yn ei ol; â'i wyneb yn ol; gwyneblawn.

**Guardant**,† *s.* gwarcheidwad, gwarchodwr.

**Guard-boat**, *s.* gwylfad, erylfad, trusgwch.

**Guard-chamber**, **Guard-room**, } *s.* ystafell y gwarchodlu, ystafell gwŷr y gward, ystafell y gwylgor, gwardgell, gwilgell.

**Guarded**, *a.* gochelgar, gochelog, gwagelog, gochelus, ymogelgar, amgelog, amwel, gwyliadwrus, gofalus, rhagofalus; gwarchodedig, &c.

**Guardedly**, *ad.* yn ochelgar, &c.; gyda gofal.

**Guardedness**, *s.* gochelgarwch, gwachelgarwch, gochelogrwydd, gwagelogrwydd, gocheledd, gwiliadwriaeth, rhagofal.

**Guarder**, *s.* gwarchodwr, gwarchodydd, gwarcheidwad; canymdöwr, canymdöydd, canymdeithydd.

**Guardful**, *a.* gochelgar, gochelog, gwagelog, gochelus, ymogelus, ymogelgar, amgelog, amwel, gwyliadwrus, gofalus, call, cyfrwys.

**Guardian**, *s.* (o *guard*; Ff. *gardien*; Ysp. *guardian*) gwarcheidwad, gwarchodwr, gwarchodydd, gwarchadwr, gwarchawdwr, gwarchawdur, gwarchawdr, gwarcheidydd, gwarcheidiwr, ceidwad, arffedog, amgeleddwr, ymgeleddwr, argeidwad, amddiffynwr, noddwr, achleswr, gwardydd, gwardwr, gwardan, ceidwedydd, cedwidydd; golygwr, goruchwyliwr, areiliad.
Board of guardians—bwrdd gwarcheidwaid, cyfeisteddfod gwarchodwyr.
Fellow-guardian—cydwarcheidwad, cydwarchodwr, cydarffedog.
Female guardian—gwarcheidwades, gwarcheides, gwarchodes, arffedoges, ceidwades, cedwides, cedwidyddes.
Guardian of the spiritualities—gwarcheidwad yr ysbrydolion; gwarchodwr y pethau ysbrydol.
Guardian of the temporalities—gwarcheidwad y tymmorolion; gwarchodwr y pethau tymmorol.
To act as a guardian—gwarcheidwadu; ymddwyn *neu* weithredu fel gwarcheidwad.

**Guardian**, *a.* gwarcheidiol, gwarchodol, gwarcheidwadol, gwarchodol, gwarchadol, gwarcheidwol, amgeleddol, ymgeleddol, arffedogol, modurol, cyffrydol; perthynol i geidwadaeth ac amgeledd; yn perthyn i nodded ac amddiffyn.
Guardian angel—angel gwarcheidiol, angel gwarcheidwol.

**Guardianess**, *s.* gwarcheidwades, gwarcheides, gwarchodes, arffedoges, cedwides, ceidwades.

**Guardianship**, *s.* (o *guardian*) gwarchodaeth, gwarcheidiaeth, gwarcheidwadaeth, arffedogaeth, gwarchadwraeth, ceidwadaeth, amgeleddiaeth, moduriaeth, ysywâeth, gwardiaeth, gorfodogaeth, gwarchawd, gwarchodraeth; gwyliadwriaeth, gwyliodraeth, gwyliadaeth, gofal, cyffrydiad; amgeledd etifedd dàn oed.

**Guard-irons**, *s. pl.* haiarn gwarchod, barau gwarched, gwarchod-farau.

**Guardless**, *a.* dïamddiffyn, dinawdd, dinodded, diddiffyn, dïamgeledd; diofal, penrydd, diwyliadwriaeth.

**Guardship**, *s.* (o *guard*)=*Guardianship*.

**Guardship**, *s.* (*guard* a *ship*) gwarchodlong, gwardlong, gwarchlong, gwarchadlong, noddlong, llong nawdd, llong warchad.

**Guarish**,† *v. a.* (Ff. *guérir*) iachäu.

**Guava**, *s.* math o bren Americaidd.

**Gubernate,**† *v. a.* (Ll. *guberno*) llywodraethu, rheoli, llywio.
**Gubernation,** *s.* (Ll. *gubernatio*) llywodraeth, rheolaeth, llywiaeth, llywiadaeth, llywiodraeth, gwledychawd.
**Gubernative,** *a.* llywodraethol, llywiol, llywiadol.
**Gubernatorial,** *a.* (Ll. *gubernator*) llywodraethol, llywiol, llywiadol; llywyddol; perthynol i lywodraeth; perthynol i lywodraethwr.
**Gudgeon,** *s.* (Ff. *goujon*) llyfrothen; gwyniad; symlyn, ffwlcyn, dyn hydwyll, cuall, iolyn; llith, abwyd, arlith, hudoliaeth; rhwybill.
Sea-gudgeon—morlyfrothen, llyfrothen y môr, creigbysg.
To swallow a gudgeon—derbyn *neu* gymmeryd sarhad yn llwfr *neu* yn ddyoddefgar; derbyn *neu* gymmeryd anfri yn llwfr *neu* yn ddyoddefgar; cymmeryd ei sarhau, ei anfrio, *neu* ei argoddi yn ddiddig *neu* yn ddigyffro; llyncu ei anfoddlonrwydd; llyncu ei ddigofaint.
**Guelder-rose,** / **Gelder-rose,** *s.* (o *Guelderland*) gwifwrnwydd, corswig, corswigen, ysgaw y gors, corsysgaw.
Mealy guelder-rose—gwifwrnydd blawdog.
**Guerdon,** *s.* (Ff.) gobr, owobr, gobrwy, gwobrwy; tâl, taledigaeth, pwyth.
**Guerdon,** *v. a.* obrwyo, gwobrwyo, gobri.
**Guerdonable,** *a.* gwobradwy, gobradwy, gobrwyadwy; teilwng o wobr.
**Guerdonless,** *a.* diwobr, diwobrwy, didal.
**Guerilla,** *s.* (Ysp.) pleidiwr, ymbleidiwr, pleidgarwr, gwr plaid; ysbeiliwr Yspaenig.
**Guess,** *v.* (Is. *gissen*; Sw. *gissa*) dyfalu, tybied, tybio, tybygu, llettybio, godybio, amcanu, dyfeisio, dychymygu, dychymyg, bwrw amcan, meddylied, meddylio, lledfeddylio, lledwybod, bwrw ar antur.
**Guess,** *s.* amcan, amcaniaeth, tyb, amcandyb, llettyb, godyb, tebygoliaeth, lledamcan, tybiaeth, tybiant, tybygiad, tybiad, dychymyg, dyfais, dyfaliad, amcanfarn.
By guess—ar amcan, wrth amcan.
Guess-work—amcanwaith, gwaith ar amcan, gwaith amcan.
**Guesser,** *s.* amcanydd, amcanwr, amcandybiwr, dychymygwr, dychymygydd, dyfalwr, tybiwr, llettybiwr, lledamcanwr.
**Guessingly,** *ad.* ar amcan, wrth amcan, ar antur.
**Guest,** *s.* (S. *gest*; Al. ac Is. *gast*) gwestai, gwestwr, gwr gwahodd, osb, llettŷwr, ymwelwr, ymwelydd, gofwywr, gwestifiant; dyfodiad, dyeithr: *pl.* gwesteion, osbion, esbyd, ysb, gwahoddedigion.
To be guest, / To be a guest, gwesta; bod ar west; bod yn westai; llettya.
**Guest-chamber,** *s.* gwestle, gwestfa, gwestgell, gwest, ystafell westa, ystafell west, lletty.
**Guest-rite,** *s.* gwest-arfer; defod ddyledus i westai.
**Guest-rope,** / **Guess-rope,** *s.* gwest-raff; rhaff i sicrhau cwch.
**Guestwise,** *ad.* fel gwestai, ar ddull gwestai.
**Guggle,** *v. n.* (It. *gorgogliare*; Ll. *gurges*) bwrlymu, ffreulo, boglymu, boglynu; lleisio fel costrel wrth ei harllwys; gwneuthur swn fel potel wrth ei harllwys; rhincio.
**Guhr,** *s.* (gair Dwyreiniol) oeugreiglorion= gwaddod deierin, chwal, a geir yn holltau creigiau.
**Guidable,** *a.* (o *guide*) hyfforddadwy, arweiniadwy, hylyw.
**Guidage,** *s.* (o *guide*) arweindal, tywysdal; tâl cyfarwyddwr *neu* hyfforddwr; gwobr hyfforddwr.
**Guidance,** *s.* arweiniad, hyfforddiad, arweinid, cyfarwyddyd, cyfarwyddiad, tywysiad, hyfforddiant, llywiaeth, llywaeth, rheolaeth, llywodraeth, cyfeiriad, cyfarwyddawd, llwybreiddiad, arlywiad, arwyddyd, trefniad, trefnid.
**Guide,** *v. a.* (Ff. *guider*) hyfforddi, hyfforddio, cyfarwyddo, arwain, tywys, tywyso, arfforddi, cyfeirio, hylwybro, llwybreiddio, cyfrwyddo, arweinio, fforddoli, fforddi, hyfrwyddo, trefnu, llywio, llywodraethu, gwarchod, cadw.
**Guide,** *s.* arweinydd, hyfforddwr, cyfarwyddwr, cyfarwyddor, tywysydd, tywysor, cyfarwyddyd, cyfarwyddur, hyfforddydd, arweiniwr; fforddwr, fforddoliad, cyfeiriwr, cyfeirydd.
Female guide—arweinyddes, tywysyddes, hyfforddes, arweiniores, cyfarwyddes, arweinwraig, tywyswraig, numeres.
**Guidless,** *a.* diarweinydd, didywysydd, dihyfforddwr, digyfarwyddydd; heb neb i'w dywys, i'w arwain, *neu* i'w gyfarwyddo.
**Guidepost,** *s.* cyfeirbost, mynegbost.
**Guider,** *s.* arweinydd, hyfforddwr, cyfarwyddwr, tywysydd, tywyswr, arweiniwr, cyfeiriwr.
**Guidon,** *s.* (Ff.) lluman, baner, baniar, penon; llumanwr, penonwr.
**Guild,** *s.* (S. *geld*, *gild*, *gyld*; Is. *gild*; Al. *gilde*) cymdeithas, cydymdeithas, cydymeithas, brawdoliaeth; corfforaeth, bwrdeisiaeth; cymdeithwys.
Guild-hall—llysdy, bwrdeisdy, neuadd y dref, llys y dref; llysdy *neu* ddadleudy bwrdeisiaid; neuadd-dy corfforiaethau.
**Guildable,** *a.* trethadwy, tasgadwy; agored i dreth *neu* deyrnged.
**Guile,** *s.* (hen Ff. *guille* neu *gille?*) twyll, dichell, hoced, ystryw, cyfrwysdra, cyfrwysder, ffalsedd, ffug, twyllofaint.
Without guile=*Guileless.*
**Guile,**† *v. a.* twyllo, hocedu, cyfrwys ffugio.
**Guileful,** *a.* twyllodrus, hocedus, dichellgar, ystrywgar, cyfrwys, twyllgar, twyllfawr, twyllog, chwiredus, ffals, ffel, cyfrwysddrwg, anghywir, bradychus.
**Guilefulness,** *s.* twyll, hoced, dichell, twyllgarwch, dichellgarwch, ystrywgar, twyllodrusrwydd, twyllodrusedd, dichellrwydd, bradusrwydd.
**Guileless,** *a.* didwyll, diddichell, dihoced, annichellgar, anghyfrwys, annhwyllodrus; heb dwyll ynddo; cywir, gonest, olau, rhydd.
**Guilelessness,** *s.* didwylledd, dihocedrwydd, annichellgarwch, anghyfrwysdra, cywirdeb, gonestrwydd, symledd.
**Guiler,** *s.* dichellwr, hocedwr, bradychwr, bradwr, geuadur.
**Guillemot,** / **Guilimot,** *s.* (o'r C.) gwilym, gwylog, chwilog, moriar.
Black-guillemot—gwilym du.
Lesser guillemot—chwilog.
**Guillevat,** *s.* gilerwyn, twrnel eplesu, cafn breci.
**Guilloche,** *s.* (Ff. o'r Gr. *guion* a *loxos*) rhwydaddurn, rhwydwaith.
**Guillotine,** *s.* (oddi wrth enw y dyfeisiwr) torben, syrthfwyell, pendoryr, Gilotyn.

**Guillotine**, *v. a.* torbenu; dibenu â'r torben; tori pen, torfynyglu.
**Guills**, *s.* aban, gold, gold yr yd, graban, graban yr yd, golt yd.
**Guilt**, *s.* (S. *gylt*) euogrwydd; affaith; bai, trosedd, cwl, cwyl, camwedd, pechod.
The guilt of sin—euogrwydd pechod; cydwybod pechod.
**Guiltlike**,† *a.*=*Guilty.*
**Guiltily**, *ad.* yn euog; fel un euog; fel rhai euog.
**Guiltiness**, *s.* euogrwydd; beiusrwydd, camgylusrwydd.
**Guiltless**, *a.* dïeuog, aneuog; difai, diniwed, digwl, gwirion.
The Lord will not hold him guiltless—nid dïeuog *neu* wirion gàn yr Arglwydd.
He will not render guiltless—ni ddïeuoga.
**Guiltlessness**, *s.* dïeuogrwydd, aneuogrwydd; difeiedd, diniweidrwydd.
**Guilt-sick**, *a.* claf gàn euogrwydd; sal o euogrwydd; euog-glaf.
**Guilty**, *a.* (o *guilt*; S. *gyltig*) euog; beius, cylus, camgylus, camweddus, camweddog, troseddol, anwir, drwg, drygionus, anwirion, diriaid; ymwybodol, ymwybodus.
To make guilty—euogi, euoghau, euocäu; gwneuthur yn euog.
To become guilty—ymeuogi, euoghau, euocäu; myned *neu* ddyfod yn euog.
To judge guilty — euogfarnu; barnu yn euog.
To plead guilty — cyfaddef y cwyn; addef y cwyn; cyfaddef ei euogrwydd; cyfaddef ei hun yn euog.
To plead not guilty — gwadu y cwyn; haeru ei ddiniweidrwydd; hòni ei ddïeuogrwydd; haeru ei aneuogrwydd; dadlu ei ddïeuogrwydd.
He pleaded guilty—cyfaddefodd y cwyn; addefodd ei hun yn euog; addefodd ei euogrwydd.
He pleaded not guilty—gwadodd y cwyn; haerodd ei ddiniweidrwydd; hònodd ei ddïeuogrwydd; dadleuodd nad oedd euog.
To find one guilty—cael, bwrw, barnu, dyfarnu, *neu* adael un yn euog.
To know one's self guilty—bod â'i gydwybod yn ei gyhuddo; bod â'i feddwl yn tystio yn ei erbyn; ymwybod â'i fai; gwybod ei fod yn euog.
One found guilty of death—eneidfaddeu, un dywynfaddeu, un eneidfaddeu; un à gaed yn euog o farwolaeth; un à gafwyd yn euog i farw.
**Guimbard**, *s.* y delyn Iuddewig.
**Guinea**, *s.* (oddi wrth *Guinea*, gwlad eurog yn Affrica) Gini, eurell, teyrnaur=darn aur gwerth 21*s.*
**Guinea-dropper**, *s.* un à dwyllo drwy gwympo eurellod ffugiol; dyferwr eurellod.
**Guinea-hen**, *s.* iar Gini, iar yr India.
**Guinea-pepper**, *s.* pupyr Gini.
**Guinea-pig**, *s.* mochyn Gini; mochyn *neu* dwrch yr India; mochyn Brasil.
**Guiniad**, } **Gwiniad**, } *s.* (C. *gwyniad*) gwyniad: *pl.* gwyniaid.
**Guise**, *s.* (Ff.; It. *guisa*) modd, dull, sut, gwedd, llun, sud; defod, arfer; gwisg, gwisgad, diwyg; rhith, ymddangosiad, golwg.
The guise of religion—rhith crefydd.



**Guiser**, *s.* lledrithiwr, lledrithydd, geurithiwr; un dàn gel; un mewn ffugwisg.
**Guitar**, *s.* (Ff. *guitare*; Gr. a Ll. *cithara*) gutorn=math ar offeryn cerdd chwech tant.
**Gula**, } **Gola**, } *s.* (Ll. *gula*) tònfolden, tònfold, tòn-addurn.
**Guland**, *s.* hwyad fronwen Ynys yr Ia.
**Gulch**,† *s.* (Is. *gulzig*) glwth, gwanciwr, bolerwr; glythiad, gwanciad.
**Gulch**,† *v. a.* gwancio, glythu, llawcio.
**Gules**, *s.* (Ff. *gueules*) rhuf, rhufon, coch, rhudd, rhuddgoch.
**Gulf**, } **Gulph**, } *s.* (Ff. *golfe*; Is. a Llyd. *golf*; It. ac Ysp. *golfo*) llynclyn, morgainc, lledlyn, llychlyn, gagendor, agendor, morgerwyn, golf; cadduglyn, ceufa, llyncfa, llyn llwnc, llŷn anoddyn, anoddyn, noddyn, dyfnder, eigion, pwll diwaelod; llŷn tro, llyn tröedig, trobwll, sybwll, claig.
A yawning gulf—llynclyn ceufawr, ceufa amroth, ceufa lyngfawr, gagendor, agendor; llyncfa, anoddyn.
Full of gulfs—llynclynog, ceufaog; llawn llynclynoedd, &c.
Persian gulf—llynclyn Persia, morgainc Persia, y llynclyn Persiaidd.
**Gulfy**, *a.* (o *gulf*) llynclynog, ceufaog, golfog, trobyllog, sybyllog, cleigiog; llawn llynclynoedd, &c.
**Gull**, *v. a.* (Is. *kullen*; cyttras â *cully*) twyllo, hocedu, coegio, hudo, seithugio, somi, castio, chwiredu, camarwain, ffoli.
**Gull**, *s.* twyll, hoced, dichell, ystryw, chwired, cast; un hydwyll, cuall, symlyn, gwirionyn.
**Gull**, *s.* (C. *gwylan*; Cern. *gulan*) gwylan; *pl.* gwylanod.
Sea-gull—gwylan, morwylan.
Common gull—gwylan lwyd, hucan.
Great black and white gull—gwylan ddu a gwŷn.
Black-backed gull—gwylan gefnddu.
Great black-backed gull—gwylan gefnddu; gwylan ddu a gwŷn.
Lesser black-backed gull—gwylan gefnddu leiaf; gwylan ddu a gwŷn leiaf.
Brown and white gull—gwylan rudd a gwŷn.
Black-toed gull—gwylan ysgafn.
Arctic gull—gwylan y gogledd.
Herring gull—gwylan y penweig, gwylan benweig.
Brown spotted gull—gwylan frech.
Small brown gull—gwylan fechan.
Winter gull—gwylan y gweunydd, gwylan y gwaenydd.
Great grey gull—gwylan lwyd, hucan.
Pewet gull—gwylan benddu, brân y môr.
Red-legged gull—gwylan goesgoch.
Three-toed gulls—gwylanod tribys.
**Gullcatcher**, *s.* twyllwr, hudwr, hocedwr, twyllawdr, chwiredwr; twyllwr gwirioniaid.
**Guller**, *s.* twyllwr, twyllydd, twyllawdr, hocedwr, somwr, chwiredwr.
**Gullery**, *s.* twyll, twyllofaint, hoced, somiant, somedigaeth.
**Gullet**, *s.* (Ff. *goulet*; Ll. *gula*) sefnig, y sefnig, ceg, y geg, cegen, llwnc, llwng, llonc, llyncfa, corn y geg, y corn pori, corn y gwddf, ceudod y gwddf, corn breuant, y ffordd i'r cylla; bwlch.
**Gulleyhole**, } **Gullyhole**, } *s.* ffosdwll, ffosgeg, ceg gwehynffos, ceg canolffos, twll y darlwng, twll y darlwnc; twll y geudy.

**Gullibility**, *s.* (o *gull*) hygoeledd, dilettyb, hydwylledd, gwiriondeb, gwirionyni.
**Gullible**, (o *gull*) hydwyll, hyhud; hawdd ei dwyllo.
**Gullish**,† *a.* (o *gull*) ffol, dwl, cuall, penbylaidd, ynfyd, gwirionllyd.
**Gullishness**,† *s.* ffoledd, ffolineb, cualldra.
**Gully**, *s.* ffos, rhewyn, dyfrffos, cwter, clawdd, dyfrglawdd.
**Gullyhole**, *s.*=*Gulleyhole*, &c.
**Gully**,† *v. n.* cegleisio, bwrlymu, ffreuo.
**Gully**, *s.* gylyf, cadgyllell, cyllell fawr.
**Gulo**, *s.* (Ll. *gulonis*) y rhemmwth.
**Gulosity**, *s.* (Ll. *gulosus*) gwancusrwydd, glythni, glythedd, glythi, glythineb, gwanc, rhaib, gnwth, bolrythi, bwyteigrwydd.
**Gulp**, *v. a.* (Is. *gulpen*) traflyncu, cegu, llyncu yn awchus, llyncu yn un-llwnc, darlyncu, tarlyncu, trancellu, llawcio, llyncu yn llyminog, yfed yn awchus; llyncu.
To gulp up—dislyncu, dadlyncu, darlyncu, tarlyncu, chwydu, cyfogi, dadgegu.
**Gulp**, *s.* llwnc, llwng, llonc, traflwnc, traflwng, darlwnc, tarlwng, tarlwnc, trancell, cegaid, llawg; tarlynciad, dislynciad.
**Gulph**, **Gulf**, *s.*= *Gulf*, *Gulph*.
**Gum**, *s.* (S. *goma*) uchanedd, cig y dannedd, cig dannedd, gorchyfannedd, gorchfannedd; danneddle, deintle.
The red gums—yr ân goch.
**Gum**, *s.* (S. *goma*; Ll. *gummi*; Gr. *commi*) mol, mwl, coedlud, gwyddlud, tyflud, deiglud, deiglws, moli, gwm; sudd, nodd; glud.
Gum elastic, Elastic gum, twythlud, twythygl, twythlws, rhwbiedydd yr India.
Gum-drop—deigryn pren.
Gum in the eye—mol yn y llygad, moli y llygad.
**Gum**, *s.* math o bren.
**Gum**, *v. a.* molio, moli, coedludio, deigludio; dwbio â gwyddlud; gludio, edlynu; gymo.
**Gum-Arabic**, *s.* coedlud Arabia, coedlud Arabig, gwyddlud Arabig, gwm Arabia.
**Gumbo**, *s.* math o saig gymmysg.
**Gumboil**, *s.* llynoryn uchanedd, llynoryn ar gig y dannedd.
**Gumlac**, *s.* ystorlud.
**Gumresin**, *s.* molystor.
**Gumminess**, **Gummosity**, *s.* (o *gummy*, *gummous*) mologrwydd, coedludiogrwydd, gymogrwydd; gludiogrwydd, hyludedd, hylynedd, gwydnedd.
**Gummous**, **Gummy**, *a.* (o *gum*) molog, coedludiog, gymog, gymaidd; gludiog, hylud, hylyn, gwydn; molaid.
**Gump**, *s.* (D. a Sw.) ffwlcyn, iolyn, ffwl, cuall, brebwl, hurthgen.
**Gumption**, *s.* (S. *gymene*) gofal, carc; medr; deall.
**Gun**, *s.* (C. *gŵn*; Cern. *gun*) gŵn, dryll, dryll saethu, gŵn saethu; cyflegr.
Great gun—gŵn mawr, cyflegr, magnel.
To draw a gun—tynu ergyd o ddryll; tynu ergyd o ŵn.
As sure as a gun—cyn sicred a sicrwydd ei hun.
To let off a gun—gollwng ergyd; gollwng ergyd o ddryll; saethu.
**Gun**,† *v. n.* saethu.
**Gun-barrel**, *s.* baril gŵn, baril dryll.
**Gun-boat**, *s.* gynfad; bad cymhwys i gario gŵn.
**Gun-carriage**, *s.* câr gŵn, cludai gŵn, clwyd gŵn, magnelgar, câr magnel.
**Gun-cotton**, *s.* cotwm saethu, cotwm gŵn, gyngotwm, cotwm ffrwydrol.
**Gun-deck**, *s.* gynfwrdd, magnelfwrdd, bwrdd y cyflegrau, bwrdd y gynau.
**Gunnel**, **Gunwale**, *s.* gynblanc, gynwalc; ymyl uchaf ochr llong.
**Gunner**, *s.* gynydd, gynwr, cyflegrydd, cyflegrwr, magnelwr.
Master-gunner — pen-gynwr, pen-gynydd, pen-cyflegrwr.
**Gunnery**, *s.* gynyddiaeth, gyniadaeth, cyflegraeth, gyniaeth; ergydiaeth; celfyddyd trin gynau rhyfel.
**Gunning**, *s.* hely â gŵn; saethu â dryll; gyniad.
**Gunney**, *s.* (Bengalaeg, *guni*) sachliain Bengal.
**Gunpowder**, *s.* pylor gŵn, pylor gynau, ffylor gŵn, fflamlwch, gynlwch, gynbylor, chwalwch, pylor saethu.
Gunpowder plot, Gunpowder treason, brad y pylor gŵn.
**Gunroom**, *s.* gynle, gyn-gell; ystafell y gynwr.
**Gunshot**, *s.* ergyd gŵn, ergyd dryll.
Out of gunshot—allan o ergyd gŵn; allan o gyrhaedd gŵn.
Within gunshot—o fewn ergyd gŵn; o fewn cyrhaedd gŵn.
**Gunshot**, *a.* â wnaed gân ergyd gŵn.
Gunshot wound — archoll ergyd gŵn; clwyf â wnaed gân ergyd gŵn.
**Gunsmith**, *s.* gof gynau, gof drylliau, gynof, dryllof; gynwr, gynydd; gynwerthwr.
**Gunsmithery**, *s.* gynofiaeth, dryllofiaeth, celfyddyd gof gynau.
**Gunstick**, *s.* gwialen gŵn, ialen gŵn, gynialen, gynwialen, gwialen dryll.
**Gunstock**, *s.* bon gŵn, arlost gŵn, bonwn dryll, gafael gŵn, cyff gŵn, gynsaid.
**Gunstone**, *s.* maen gŵn, maen blif, gynfaen.
**Guntackle**, *s.* gyndacl, tacl y gynau.
**Gunter's Chain**, *s.* (oddi wrth Edmund *Gunter*) tid Gunter, tidfesur Gunter, tidres Gunter.
**Gunwale**, **Gunnel**, *s.* gynblanc, gynwalc; ymyl uchaf ochr llong.
**Gurge**, *s.* (Ll. *gurges*; It. *gorgo*) pwll tro, llyn tro, trobwll, claig, llynclyn, golf, llyn tröedig.
**Gurge**,† *v. a.* llyncu.
**Gurgion**,† *s.* rhuddion, rhuchion, brân; rhynion, blawd bras, blawd garw, eilflawd.
**Gurgle**, *v. n.* (It. *gorgogliare*; Ll. *gurges*) bwrlymu, ffreulo, boglymu, boglynu, ffreuo; lleisio fel costrel wrth ei harllwys; cadw swn fel potel wrth ei harllwys.
**Gurgoyle**, **Gargoyle**, **Gargoil**, *s.* (Ff. *gargouilles*) murwaddeg, cerfwaddeg=pistyll cerfiedig yn dyfod allan o fur neu wàl.
**Gurhofite**, *s.* delidfaen â geir ger llaw Gorhoff, yn Awstria Isaf.
**Gurnard**, **Gurnet**, **Gournet**, *s.* (Gw. *guirnead*; C. *pengernyn*; Cern. *pengarn*) pengernyn, penheiernyn, penhaiarn.
Red gurnard—penhaiarn coch, ysgyfarnog y môr.
**Gurrah**, *s.* llian India.
**Gush**, *v. n.* (Al. *giessen*; Gw. *gaisim*) ffrydio, pistyllio, pistyllo, gorlifo, llifeirio, llifo, ffreuo, hitflaid, gwancgu, goferu, rhedeg allan, tori allan, ffrydio allan, tasgu allan, rhedeg.

Blood gushing out—gwaed yn hifflaid; gwaed yn ffreuo.
**Gush**, *s.* ffrwd, ffrydlif, ffrau, pistyll, gorlif; gwaneg.
**Gushing**, *p.* yn ffrydio, &c., ffrau, ffreuol, ffrydiol.
**Gushingly**, *ad.* yn ffrwd, dàn ffrydio, yn ffrau, yn ffreuol.
**Gusset**, *s.* (Ff. *gousset*) cwysed; llain, dernyn.
**Gust**, *s.* (Ll. *gustus;* Ff. *goût*) blas, chwaeth, archwaeth, chwaedd, chwaeg, dychwaeth; hyfrydwch.
To have a gust for a thing—bod gàn un flas ar beth; bod gàn un hyfrydwch mewn peth.
**Gust**, *v. a.* blasio, chwaethu, archwaethu, profi.
**Gust**, *s.* (D.) cwthwn, pwff, awel, enawel, gorchwa, chwyth, chwythyn, chwaf, chwaff, chwaw, cwth, gwthwynt, cawad o wynt, ffwyrad awel.
A violent gust of wind—gorchwyth, hyrddwynt, cwthwn angerddol.
**Gustable**, *a.* chwaethadwy; blasus.
**Gustation**, *s.* (Ll. *gustatio*) chwaethiad, archwaethiad, blasiad.
**Gustatory**, *a.* chwaethol, archwaethol; blasus.
**Gustful**, *a.* chwaethus, blasus, archwaethus, chwaethol, archwaethol.
**Gustfulness**, *s.* blas, chwaeth, archwaeth; blasusrwydd, chwaethusrwydd; chwaedd, chwaeg; mwyniant.
**Gustless**, *a.* diflas, dichwaeth, dïarchwaeth, anchwaethus.
**Gusto**, *s.* (It. ac Ysp.; Ll. *gustus*) blas, chwaeth, archwaeth, dychwaeth.
Con gusto—gyda chwaeth, yn chwaethus, gyda blas.
**Gusty**, *a.* chwawiog, cythynog, chwythain, chwythynog, awelog; tymhestlog, ystormus, dryghinog, dryghinol, dryghinllyd; garw.
**Gut**, *s.* (Al. *kuttel*) perfeddyn, coluddyn; ymysgar, monochen, ymysgaren; cylla; glythineb, glythgarwch: *pl.* perfedd, coludd, monoch, elanedd.
The strait gut—herwth.
The great gut—y coluddyn mawr, y coluddyn bras, y coluddyn rhefr.
The blind gut—y coluddyn pengauad, y coluddyn pengaead.
The small guts—y glasgoludd, y mân goludd, y glas berfedd, y mân berfedd; elanedd: *sing.* monochen.
To draw the guts—diberfeddu; tynu y perfedd.
Gut-pudding—monochen, selsigen, gwaedogen.
**Gut**, *v. a.* diberfeddu, tynu perfedd, tynu y perfedd; llwyr ysbeilio, anrheithio.
To gut fish—ysbarnu pysgod, ysbarchu pysgod, gildio pysgod, diberfeddu pysg.
To gut herrings—gildio ysgadan, ysbarnu ysgadan, ysbarchu penweig.
To gut a house—ysbeilio ty, anrheithio ty.
**Gutta**, *s.* (Ll.) dyferyn, dafn, defnyn, dos, mèr, meryn, degryn, deigryn, dws.
Gutta serena—pylolwg, pylni, tywyllni, dafn araul.
**Guttæ**, *s. pl.* (Ll.) boglynau, boglymau, pwmplau, bagadau.
**Gutta Percha**, *s.* (Malayaeg) gludledr.
**Guttated**, *a.* (Ll. *guttatus*) defnynog, dosog, mânog; taenelledig â defnynau.



**Gutter**, *s.* (Ff. *gouttière*) ceuffos, ffos, rhewyn, cwter, dyfrffos, gwyffos, gwyth, dyferffos, merai; cafn, cafn dwr, dyfrgafn, dyfergafn; dyfrglawdd, clawdd.
Gutter-ledge—ffosgefnen.
A gutter into which eaves drop—bargodgafn, cafn y bargod.
Gutter tile—cafnbeithynen; crombeithynen.
Gutter-work—ffoswaith, gwaith rhygnog, gwaith rhigolog, gwaith rhewynog.
Full of gutters—ffosog, ceuffosog, rhewynog, cwterog, rhigolog; llawn ceuffosydd, &c.
A gutter common to two *or* more houses—cydffos, ceuffos gyd, cwter gyd; cydgafn, cafn cyd.
**Gutter**, *v.* ffosi, ceuffosi, rhewynu, cwteru; rhychu, rhigoli.
**Guttifer**, *s.* (Ll. *gutta* a *fero*) doswydden, dyferwydden, deigwydden.
**Guttiferæ**, **Clusiaceæ**, *s. pl.* doswydd, dyferwydd, deigwydd.
**Guttiferous**, *a.* (Ll. *gutta* a *fero*) ystorddwyn, molddwyn, gludfag; yn dwyn mol *neu* ystor.
**Guttle**, *v.* gwancio, llawcio, cegu, ymddyfoli, bolera, glythinebu, glythu, bolrythu, cestu, ymlenwi; bwyta yn wancus, yn llyminog, *neu* yn awchus; llyncu, traflyncu.
**Guttler**, *s.* gwanciwr, llawciwr, bolerwr, bolerai, tryfoliwr, glwth, bolrythwr, traflyncwr.
**Guttulous**, *a.* (o'r Ll. *guttula*) defnynog, dafnog, dyferynog, dosog, dosaidd; ar lun defnynau.
**Guttural**, *a.* (Ff. o'r Ll. *guttur*) cegol, cegaidd, sefnigol, gyddfol; perthynol i'r geg; yn perthyn i'r sefnig; â seinier yn y geg; myngus, mynyglus, myngialus.
Guttural letter=*Guttural, s.*
Guttural voice — ceglais; llais cegol, myngus, mynyglus, mynglyd, *neu* fyngialus.
A guttural manner of speaking—myngial; llafaru yn y geg; llafaru yn fyngus.
**Guttural**, *s.* ceglythyren, cegiad; llythyren gegol, gegaidd, *neu* sefnigol; llythyren arw ei sain; mynyglai: *pl.* cegolion, cegiaid, ceglythyrenau=*ch* yn y Gymraeg, neu Χ yn y Groeg.
**Gutturally**, *ad.* yn gegol, &c.; yn y geg, yn y sefnig; dàn fyngial, dàn fyngialu.
Gutturally speaking—myngialus, myngialog, ceglafar; yn llafaru yn fyngus.
**Gutturalness**, *s.* cegoldeb, cegolrwydd, cegeiddrwydd, myngusrwydd, myngialusrwydd.
**Gutturine**,† *a.* cegol, cegaidd; yn perthyn i'r geg.
**Gutty**, *a.* (o'r Ll. *gutta*) dafnog, dosog, defnynog.
**Gutwort**, *s.* perfeddlys, echrydlys.
**Guy**, *s.* (Ysp. a Port. *guia*) rhwymraff, dyrwynraff llong.
**Guzes**, *s. pl.* ysmotiau cochddu (mewn herodraeth).
**Guzzle**, *v.* ymyfed, ymddyfoli, yfetri, cofftio, dïota; yfed yn awyddus, yn afradlawn, *neu* yn ddiwala; yfed y cwbl; traflyncu, trancellu, dyfolio, ymfolio; bolera, boleru, cegu, glythu, cestu, llawcio, gwancio, tryfolio, ymddyfolio, ymdryfolio, bolrythu, glythu, glythinebu, bolio.
**Guzzle**, *s.* peth diwala; un diwala; bolerai, bolerydd, glwth.

**Guzzler**, *s.* traflyncwr, yfwr diwala, ymyfwr, cofftiwr, ymddyfoliwr, bolerwr, bolerai, bolerydd, ymfoliwr, tryfoliwr, ymdryfoliwr, glwth, cestiwr, bolgi, blythai, bolhoryn.
Gybe, *s.*=*Gibe*.
Gybe, *v.*=*Gibe*.
Gybe, *v. a.* symmud hwylbawl llong o'r naill ochr i'r llall.
Gye,† *v. a.* (Ysp. *guia*) arwain, tywys.
Gymnasiarch, *s.* (Gr. *gumnasion* ac *archos*) pen, penaeth, penmeistr, penathraw, *neu* benllywydd egnifa; penswyddog y preithfaon (yn Groeg).
Gymnasium, *s.* (Ll. o'r Gr. *gumnasion*) egnifa, gorchestfa, ymdrechle, gwronfa, preithfa, preithle, arbreithfa; preithysgol, arysgol, uchysgol, athrofa, coleg, clasgor, dysgeidfa.
Gymnast, *s.* gwrolgampwr; dysgwr ymarferion corfforol, addysgydd noetharferion.
Gymnastic, *a.* (Ll. *gymnasticus;* Gr. *gumnasticos*) preithiadol, preithiol, arbreithiol, preithig, gorchestol, ymdrechol, amdrechol, ymarialus, noethymarferol, noetharferol, noethymdrechol; gwrolgampus; egnïol, pybyr; perthynol i ymarfer corfforol.
Gymnastic exercise — ymarfer corfforol, noethymarfer, gwrolgamp, gorchestiaeth, gorchestedd, pybyrwaith, ymarial.
Gymnastic, *s.* ymarfer corfforol, noethymarfer, noetharfer, gwrolgamp, gorchestiaeth, gorchestedd, gorchest, camp, pybyrwaith, ymarial.
Gymnastically, *ad.* yn breithiadol, &c., trwy ymarfer corfforol.
Gymnastics, *s.* preithiadaeth, preithoniaeth, ymdrechwaith, celfyddyd ymarfer corfforol; ymarferion corfforol.
Gymnic, Gymnical, *a.* (Ll. *gymnicus;* Gr. *gumnos*) preithiadol, preithiol, arbreithiol, preithig, gorchestol, ymdrechol, ymarialus, noethymarferol, noetharferol, gwrolgampus; yn perthyn i ymarfer corfforol.
Gymnic, *s.* ymarfer corfforol, noethymarfer, noetharfer, ymarial, pybyrwaith, gorchestiaeth.
Gymnogens, *s. pl.* (Gr. *gumnos* a *gennaô*) hadnoethion, noeth-hadogion.
Gymnosophist, *s.* (Gr. *gumnos* a *sophistês*) Noethofydd, Noethwyddon, Athronydd noeth Indiaidd.
Gymnosophy, *s.* noethofyddiaeth, noethwyddoniaeth, athroniaeth y Noethofyddion, athrawiaeth Noethofyddion yr India.
Gymnospermia, Gymnosperms, *s. pl.* (Gr. *gumnos* a *sperma*) noeth-hadogion, noethhadog, hadnoethion=enw llwyth o blanigion yn nghyfundrefn gelfyddydol Linnæus.
Gymnospermous, *a.* hadnoeth, noeth-hadog, noeth-hadus.
Gymnote, Gymnotus, *s.* (Gr. *gumnos* a *nôtos*) cefnnoeth, y cefnnoeth=math o bysg.
*Gymnotus electricus* — llysŵen drydan, llysŵen drydanol, llysŵen luchiasol.
Gyn,† *v. a.* (S. *gynnan*) dechreu.
Gynæcium, *s.* (Gr. *gunaiceion*) benywfa.
Gynander, *s.* (Gr. *gunê* ac *anêr*) benwryw, planigyn benwryw.
Gynandria, *s.* Benwryw=yr 20fed genedl yn nhrefniant llysieuol Linnæus.
Gynandrian, Gynandrous, *a.* benwrywaidd, benwrywol; perthynol i'r genedl à elwir Benwryw.
Gynarchy, *s.* (Gr. *gunê* ac *archê*) gwreiglywodraeth, gwreiglywiaeth, llywodraeth benyw, llywodraeth gwraig.
Gynecian, *a.* (o'r Gr. *gunê*) gwrageddol, merchedaidd, benywol; perthynol i fenywod; yn perthyn i wragedd.
Gyneocracy, *s.* (Gr. *gunê* a *cratos*) gwreiglywodraeth, gwreiglywiaeth, llywodraeth gwragedd, llywiaeth benywod; llywodraeth breninea.
Gynobase, *s.* (Gr. *gunê* a *basis*) sodffrwythel.
Gynophore, *s.* (Gr. *gunê* a *phoreô*) benywddwyn, bunddygai.
Gypseous, *a.* (o *gypsum*) glyfeinin, glyfeinig, glyfaenaidd, cleifynoraidd.
Gypsey, Gypsy, *s.* =*Gipsy*.
Gypsiferous, *a.* (Ll. *gypsum* a *fero*) yn cynnyrchu glyfaen; yn dwyn glyfaen; mynorgleiog, cleifynorog.
Gypsum, *s.* (Ll. o'r Gr. *gupsos*) glyfaen, cleifynor, mynorglai, plastfaen.
Gyral, *a.* (o *gyre*) amdroawl, troawl, chwyldroawl, chwildroawl, dystroawl, cylchdroawl.
Gyrate, *a.* (Ll. *gyratus*) amdroawg, troawg, chwyldroawg, dystroawg, cylchdroawg, amdröedig.
Gyration, *s.* (Ll. *gyratio*) cylchdroad, chwyldroad, chwyldro, amdroad, cylchdro, cylchymdro, amred, cylchsymmudiad.
Centre of gyration — craidd cylchdroad, canolbwynt amdroad.
Gyratory, *a.* cylchdroawl, amredol, damredol, chwyldroawl, coreddus, cylchfynedol.
Gyre, *s.* (Ll. *gyrus;* Gr. *gyros*) tro, cylchdro, cylchred, amred, cylch, trogylch, cylchwy, chwyldro, chwyldroad; modrwy.
Gyre, *v. a.* troi, chwyldröi, cylchdröi.
Gyred, *a.* modrwyog, troiog, cylchynog.
Gyrfalcon, *s.* (Ff. *gerfault;* Ll. *gyrus* a *falco*) hebog chwyldro.
Gyroma, *s.* (Gr.) tro, cylchdro, trogylch.
Gyromancy, *s.* (*guros* a *manteia*) cylcharnes; dewiniaeth wrth gerdded mewn cylch.
Gyron, *s.* (Ff.) cilgwysed = math ar ddarlun teirongl yn arwyddion bonedd, à wneir gàn ddwy linell ddïymdro à gyfodant o ddau bwnc gwahanredol yn ymyl y cwnsallt, ac à wastad dueddant at eu gilydd hyd oni chyfarfyddont yn y canolbwynt.
Gyronny, *a.* cilgwysedaidd.
Gyrose, *a.* (Ll. *gyrus*) crybachog, amddolenog, cylchdroawg, cylchdroawl.
Gyve, *s.* (C. *gefyn;* Gw. *geibheal, geibion*) gefyn, hual, llyffethar, llyffethair, llyffethyr, llywethyr, llawethyr, llyffethr, cloffrwym, troedog, meg; burwy, berrwy.
Gyve, *v. a.* gefynu, hualu, llyffetheirio, llyffethyru, llyffethru, cloffrwymo, berrwyo, burwyo; cadwyno.

END OF THE FIRST VOLUME.

DENBIGH, PRINTED BY THOMAS GEE.